# ALLWEDD Y CYSSEGR,

NEU

# EGLURHAD BYR

AR YR

# YSGRYTHYRAU SANCTAIDD,

YN CYNNWYS

## CASGLIAD DETHOLEDIG

O SYLWADAU

THOMAS HARTWELL HORNE, M. A., FRANCIS ROBERTS, D D.,
STACKHOUSE, BURDER, GLEIG, AC ERAILL.

---

GAN Y PARCH. DAVID OWEN, (BRUTUS.)

GOLYGYDD YR EFANGYLYDD.

---

LLANYMDDYFRI:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN D. R. a W. REES.

—

1834.

# RHAGYMADRODD.

Y DIBEN o gyfansoddi a chyhoeddi y Llyfr hwn ydoedd, cynnorthwyo yr ymofyngar i ddeall y Llyfrau Cyssegredig, yn y rhai y mae ewyllys y Creawdwr wedi ei datguddio i ddynion, llwybr eu dyledswydd wedi ei wneuthur yn oleu, a drws bywyd tragywyddol wedi ei agoryd. Yr ydys wedi bod yn ofalus iawn i ddefnyddio yr awduron goreu yng nghyfansoddiad y llyfr hwn, ac i beidio rhoddi dim ynddo ond y pethau hynny yn unig sydd yn angenrheidiol eu gwybod tuag at ddeall gwahanol rannau yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Y mae y Dywysogaeth yn bresennol yn dra llawn o Esponiadau, Traethodau Duwinyddol, Geiriaduron, &c. ond hyd gyhoeddiad y llyfr hwn yn gwbl fyr o grynodeb o wybodaethau er rhoddi eglurhad cyflawn ar y rhannau hynny a adawyd ac a adewir gan esponwyr yn hollol dan y llenni. Ni esgeuluswyd dim a dybid yn angenrheidiol i fyfyriwr yr Ysgrythyrau eu gwybod; a gobeithir y gwna yn gyflawn atteb y diben, ac y rhydd foddlonrwydd cyffredinol.

Ni bu mwy o ddarllen erioed yng Nghymru nag yn bresennol, ac y mae yn ddywenydd mawr i bawb sydd yn caru helaethiad terfynau teyrnas gwybodaeth ysgrythyrol, fod cynnifer o filoedd o'n hieuengctyd mor sychedig am ddeall gair yr Arglwydd, a dios y dylid

estyn iddynt bob cynnorthwyon at hyn o orchwyl. Y mae maes y Bibl yn helaeth iawn, ac y mae y dynion goreu ac enwoccaf a fu erioed ar y ddaear wedi bod yn lloffa ynddo, ac yr ydym ni yn ddyledus i'n hynafiaid am eu llafur ac am y trysorau gwerthfawr a adawsant ar eu hol i ni. Casglasant hwy fynyddoedd ynghyd, y rhai ni all y cyffredin eu perchennogi; a phė perchennogent y cyfryw, teimlent eu hunain yn analluog i'w dringo, ac felly ni chaent leshad oddiwrthynt; ond drwy eu rhannu yn fryniau bychain, gall yr hen a'r ieuangc eu cyd-ddringo, er gweled rhyfeddodau yr Arglwydd yn ei holl fawrion weithredoedd erioed. A chyda golwg ar y llyfr presennol, cynnwysa lafur a blodau yr ysgrifenwyr goreu ar yr Ysgrythyrau, y rhai y mae eu bri yn uchel yn Lloegr, oblegid y gwasanaeth a wnaethant i grefydd drwy eu llyfrau. Ond yn gymmaint ag na wna atteb unrhyw ddiben i ddywedyd dim am Lyfr mewn Rhagymadrodd pan y mae y Llyfr ei hun ger bron, gadewir hwn yn awr i'r darllenydd, gan obeithio y meda wir leshad wrth ei ddarllen.

Eich ufuddaf wasanaethydd,

D. OWEN.

*Pentrefty gwyn, Mehefin* 18, 1834.

# CYNNWYSIAD.

# ALLWEDD Y CYSSEGR.

## PENNOD I.

### PUMP LLYFR MOSES.

GELWIR Llyfrau Moses wrth yr enw Pentateuch, oddiwrth y gair Groeg Πενταπευχος, *pente*, pump; a *teuchos*, llyfr neu rol; sef y pump llyfr. Yr Iuddewon a'u galwent *Chometz*, gair cyfystyr â Pentateuch; ond yn gyffredinol, Y Gyfraith, neu Gyfraith Moses, am y cynnwysant yr ordinhadau eglwysig a gwladol a roddes Duw i Israel. Yr enwau Genesis, Ecsodus, Lefiticus, Numeri, a Deuteronomium, ydynt hen iawn; ond nid oes wybodaeth sicr pa bryd y dechreuwyd galw y llyfrau crybwylledig wrth y cyfryw enwau. Ond yn gymmaint a bod y llyfrau hyn a'u henwau yn darddedig o'r Groeg, ac yn gymmaint a bod pum' llyfr Moses yn cael eu crybwyll gan Josephus, y mae genuym seiliau digonol i gredu bod yr enw Pentateuch wedi cael ei roddi gan y deg a thrugain wrth y cyfieithad Alexandriaidd. Y dosparth hwn o'r Ysgrythyr Lân a gynnwysa hanes creadigaeth y byd, cwymp dyn, crybwylliad byr o ddigwyddiadau boreuol y byd, adroddiad cyflawn o'r gyfraith Iuddewig, a'r digwyddiadau perthynol i'r Israeliaid er pan yr aethant yn bobl wahanol hyd eu dyfodiad allan o wlad yr Aipht, a'u mhynediad i derfynau Canaan,—yspaid o ddwy fil, pum' cant, a phumtheg mlynedd, yn ol y cyfrif cyffredin; neu dair mil, saith cant, a thrugain mlynedd a phump, yn ol cyfrifiad Dr. Hales. Ysgrifenwyd y llyfrau hyn mewn Hebraeg bur, yn fyr gyda golwg ar amrywiol bethau, ond yn dra chynnwysfawr, a'r prawf mwyaf iddynt gael eu hysgrifenu gan yr un awdwr. Heblaw y pum' llyfr, cyfrifa yr Iuddewon ddeg o Salmau i Moses, sef o Salm 90 i 99; ond nid oes sail ddigonol i ystyried mai Moses ydoedd cyfansoddydd y Salmau dywededig; oblegid nid ydyw enwad y 90, sef "Gweddi Moses gwr Duw," yn profi mai efe a gyfansoddodd y deg Salm eraill. Rhai o'r hen dadau a dybiasant hefyd mai Moses ydoedd awdwr llyfr Job. Origen, yn ei esponiad ar Job, a ddywed i Moses ei gyfieithu o'r Syriaeg i'r Hebraeg; ond y dyb hon a wrthodir gan Iuddewon a Christionogion. Cyfrifir i Moses hefyd amrywiol lyfrau eraill, y rhai nid ydynt

ar gael yn bresennol,—megis Datguddiad, Genesis Bychan, Esgyniad Moses, Testament Moses, a llyfrau Dirgeledigaethau Moses. Y rhan fwyaf o'r Genesis Bychan oedd ar gael yn yr Hebraeg yn y flwyddyn 400, oblegid difyna Jerom ryw rannau o hono. Ac y mae rhai wedi barnu mai o Ddatguddiad Moses y cymmerodd Paul yr Apostol yr ymadroddion yn Gal. 5. 6. a 6. 15. Rhai hefyd a feddylient mai o lyfr Esgyniad Moses y cymmerodd yr Apostol Judas yr ymadrodd yn adn. 9, mewn perthynas i'r ymrysonfa rhwng Michael yr arch-angel a diafol ynghylch corph Moses. Y farn gyffredin am y llyfrau crybwylledig ydyw, iddynt gael eu cyfansoddi ym moreu oes Crist-ionogaeth, a'u tadogi yn anghyfiawn ac anghyfreithlon ar Moses.

# LLYFR GENESIS.

Llyfr cyntaf Moses, yr hwn a elwir Genesis, a gafodd ei alw felly oddiwrth yr enwad y mae yn ei ddwyn yn y Bibl Groeg, sef cyfieithad y deg a thrugain. Gelwir ef yn hwn *Biblos Geneseos*, yr hyn a arwydda lyfr cenhedliad neu ddygiad pob peth. Yr Hebreaid a'i galwant *Bereshith*, am mai hwn ydyw y gair cyntaf, hynny yw, *yn y dechreuad*. Ac er ei fod yn anwadadwy i'r llyfr hwn gael ei ysgrifenu gan Moses, etto y mae dysgedigion ym mhell iawn o gyttuno pa bryd yr ysgrif-enodd efe yr hanes a gynnwysa. Eusebius a farnai iddo ei ysgrifenu pan fugeiliai ddefaid ei chwegrwn Jethro ym Midian. Ond y farn gywiraf yn ddiau ydyw eiddo Theodoret, sef iddo ei ysgrifenu wedi gwaredigaeth Israel o'r Aipht, ac wedi rhoddiad y ddeddf ar Sinai; oblegid cyn iddo dderbyn yr alwad ddwyfol a grybwyllir yn Exod. 3, nid ydoedd ond dyn anghyhoedd, heb ei gynnysgaeddu âg yspryd prophwydoliaeth. Heb yr yspryd hwn, annichonadwy iddo adrodd pethau gyda y manyldra a wnaeth, ynghyd â rhagddywedyd yr hyn a ddigwyddai wedi ei amser ef, mewn perthynas i'r Messia, i haned-igion Ishmael a meibion Jacob. Ac heblaw hyn, pe cyn derbyn yspryd prophwydoliaeth a'i alw er bod yn ddeddfroddwr i'r Iudd-ewon, yr ysgrifenodd efe lyfr Genesis, ni allasid ei dderbyn i Ganon yr Eglwys, am nad ysgrifenwyd gan brophwyd ysprydoledig; o ganlyniad, y mae yn amlwg mai wedi ei alw i'r swydd brophwydol yr ysgrifenodd efe y llyfr dan sylw. Rhai o'r ysgrifenwyr Iuddewig ar ol y Rabbi Moses Ben Nachman, a dybiasant i Dduw ei adrodd i Moses, sef y cynnwysiad o hono, sef yn yspaid y deugain niwrnod y bu efe gyda'r Arglwydd ar fynydd Sinai, ac i Moses ei ysgrifenu yn union-gyrchol wedi dyfod o hono i lawr o'r mynydd. Ond y mae yn gwbl analluadwy gwybod, ac nid ydyw o gymmaint pwys, pa bryd yr ysgrifenwyd ef gan Moses, oblegid y mae yn amlwg i'r awdwr gael ei gynnorthwyo gan Yspryd y gwirionedd yng nghyf-ansoddiad y gwaith sanctaidd hwn, yr hwn sydd fel arweiniad i'r deddfau a'r barnedigaethau a draddodir yn y llyfrau dilynol.

Llyfr Genesis a gynnwysa hanes 2369 o flynyddoedd, yn ol y cyfrifiad cyffredin; neu o 3619, yn ol cyfrifiad Dr. Hales. Ac heblaw hanes creadigaeth pob peth, cynnwysa, hanes sefyllfa wreiddiol dyn, ei ddiniweidrwydd a'i gwymp, cyfodiad crefydd, gwrthgiliad a llygredd y byd, y diluw, adferiad y byd, rhaniad a phoblogiad y ddaear, galwedigaeth Abraham, a'r cyfammod dwyfol a wnaed âg ef, ynghyd â hanes y patrieirch boreuol hyd farwolaeth Joseph. Cynnwysa y llyfr hwn hefyd rai prophwydoliaethau nodedig am y Messia; megis pen. 3. 15. a 12. 3. a 18. 18. a 22. 18. a 26. 4. a 28. 14. a 49. 10.

Gellir ystyried diben llyfr Genesis yn ddyblyg:—1. Er adrodd hanes y byd o ddechreuad amser; ac yn 2. Er nodi allan darddiad a sefydliad yr Eglwys. Diben Moses yn y llyfr hwn a ddeallir yn well, wrth i ni ystyried sefyllfa y byd pan ysgrifenodd efe. Yr oedd dynolryw y pryd hwnnw yn amdöedig gan lenni duon eilun-addoliaeth, yr hon a darddodd drwy esgeuluso, gwyrdroi, a cham-ddeall gwirioneddau neillduol, y rhai a wybuwyd yn gyffredinol unwaith. Am hynny y mae Moses yn dechreu ei hanes drwy adrodd y gwirioneddau crybwylledig mewn iaith oleu ac eglur. Yn ei ddilyniad o'r cynllun hwn, adrodda yn llyfr Genesis darddiad gwirioneddol, ynghyd â hanes pob bodau creuedig, mewn gwrthwynebiad i dybiadau cyfeiliornus cenhedloedd y byd; tarddiad pechod, ynghyd â phob drwg naturiol a moesol; sefydliad gwybodaeth ac addoliad yr unig wir Dduw yn y byd; ymollyngiad yr hiliogaeth ddynol i eilun-addoliaeth; yr addewid o'r Messia; ynghyd â sefydliad cyntaf yr Eglwys, a'i llwyddiant dros oesau lawer. Ym mhellach, gwna yn hyspys i Israel hanes eu hynafiaid, a gweinyddiadau rhagluniaeth Duw tuag attynt yn eu holl gyfyngderau; ac a ddengys iddynt yr achos paham y dewisodd yr Hollalluog hwynt er bod yn bobl neillduol iddo ei hun, amgen holl dylwythau eraill y greadigaeth, sef mai oddiwrthynt hwy y deilliai y Messia. Rhaid cadw yr amgylchiad hwn mewn golwg, am yr eglura amrywiol bethau yn llyfr Genesis. Y gobaith o'i bod wedi cael y Messia, a achosodd i Efa ddywedyd pan aned Cain iddi, "Cefais wr gan yr Arglwydd;" neu yn ol yr Hebraeg, "Cefais wr,—yr Arglwydd." Anesmwythdra Sarah am ei ammhlantadrwydd; aml-wreigiaeth Jacob; yr eiddigedd rhwng Leah a Rachel, rhwng Ishmael ac Isaac, a rhwng Jacob ac Esau, a achosid drwy eu dymuniadau y deilliai y Messia oddiwrthynt. Am eu neillduo yn gyffion y genedl o'r hon y deilliai yr had addawedig, y gelwid Duw yn Dduw Abraham, yn Dduw Isaac, ac yn Dduw Jacob, yn amgen na Duw Lot, Duw Ishmael, a Duw Esau.

Rhennir llyfr Genesis gan yr Iuddewon yn ddeuddeg o ddosparthiadau mawrion, ac yn dri a deugain o ddosparthiadau llai; ond yn ein Biblau ni, rhennir ef yn ddeg pennod a deugain, cynnwysiad cyffredinol y rhai a ddangosir yn y rhaniadau canlynol:—

Rhan I. Dechreuad a chreadigaeth y byd. Pen. i. a ii.

Rhan II. Hanes y cyn-ddiluwiaid, sef yr hen fyd. Pen. i—vii.

Dosp. 1. Cwymp dyn, ynghyd â'i droad allan o Baradwys. Pen. 3.
2. Hanes Adda a'i hanedigion hyd Noa. Pen. iv. a v.
3. Cynnydd drygioni yn y byd, a'i ddinystr trwy ddwfr y diluw. Pen. vi. a vii.

RHAN III. Hanes gyffredinol dynolryw wedi y diluw. Pen. viii—xi.
Dosp. 1. Adferiad y byd. Pen. viii.
2. Meddwdod Noa. Pen. ix.
3. Poblogiad y byd gan ei hanedigion. Pen. x.
4. Cymmysgiad yr ieithoedd, a gwasgariad dynion. Pen. xi.
RHAN IV. Hanes neillduol y Patrieirch. Pen. xii—l.
Dosp. 1. Hanes Abraham a'i deulu. Pen. xi—xx. Genedigaeth Isaac. Pen. xxi. Prawf Abraham. Pen. xxii. Marwolaeth Sara. Pen. xxiii. Priodas Isaac. Pen. xxiv. Marwolaeth Abraham. Pen. xxv.
2. Hanes yr eglwys dan y Patriarch Isaac. Pen. xxv. a xxvi.
3. Hanes yr eglwys dan y Patriarch Jacob. Pen. xxvii—xxxvi.
4. Hanes yr eglwys dan y Patriarch Joseph. Pen. xxxvii—l.

Oblegid rhyw anhawsderau ym mhennodau cyntaf llyfr Genesis, y mae amryw ddynion dysgedig, y rhai a ganiattânt mai Moses a ysgrifenodd y llyfrau sydd ar ei enw, etto a ddadleuant nad ydyw yr hanes am y greadigaeth a chwymp dyn yn hanes sylweddol, ond yn chwedl gywrain philosophyddaidd, wedi ei dyfeisio gan Moses mewn cyffelyb ddull i'r hen awdwyr Groegaidd, er rhoddi mwy o bwys i'w ddeddfau. Ond y mae Moses wedi ysgrifenu ei lyfrau agos i bump cant a hanner o flynyddoedd cyn Hesiod, awdwr y chwedlau Groegaidd; ac heblaw hyn, y mae dull y pennodau cyntaf o Genesis, fel yn wir y mae y llyfr oll, yn gwbl hanesiol, heb yr arwydd lleiaf o gyffelybiaeth ynddynt. Adrodda Moses ei hanes fel yr oedd pethau yn ymddangos. "Bydded goleuni, a goleuni a fu." Y mae yn dyfod ym mlaen â'i hanes, gan adrodd ffeithiau neu wirioneddau hollol a sylweddol, ac nid ffugiol; oblegid os ffugiol neu gyffelybiaethol ydyw hanes creadigaeth y byd a chwymp dyn, yn ol yr un dull o resymu, pe byddai yn rhesymu hefyd, gellir dywedyd mai Allegori ydyw y diluw, galwedigaeth Abraham, caethiwed yr Aipht, a'r cyffelyb. Ac yn gymmaint a bod Moses yn ddyn ysprydoledig, rhaid mai nid hanes ffugiol a roddes efe, amgen y mae yr hyn oll a ysgrifenodd yn amheus. Ond am sylweddolrwydd yr hanes y mae Moses yn ei roddi yn y tair pennod gyntaf o Genesis, cyfeirir yn aml attynt yn y Testament Newydd; sef at y greadigaeth, y temtiad, a chwymp ein rhieni cyntaf, yr hyn a brawf yn eglur, mai hanes ffeithiau a rydd efe. O lawer, detholir y cyfeiriadau canlynol:—

1. *Cyfeiriadau at y greadigaeth.*—Salm 33. 9. Canys efe a *ddywedodd*, ac felly bu; efe a *orchymmynodd*, a hynny a safodd. Y mae yma gyfeiriad amlwg at Gen. 1. 3, &c. Salm 24. 2. Canys efe a'i seiliodd ar y moroedd, ac a'i sicrhaodd ar yr afonydd. 2 Pedr 3. 5. Mai trwy air Duw yr oedd y nefoedd er ys talm, a'r ddaear yn cydsefyll o'r dwfr, a thrwy'r dwfr. Diau bod yr ysgrifenwyr sanctaidd yn yr adnodau difynedig yn cyfeirio at Gen. 1. 6, 9. 2 Cor. 4. 6. Canys Duw yr hwn a orchymmynodd i'r goleuni lewyrchu o dywyllwch, yw yr hwn a lewyrchodd yn ein calonnau, i roddi goleuni gwybodaeth gogoniant Duw yn wyneb Iesu Grist. Y mae yma gyfeiriad neillduol at Gen. 1. 3. 2. Cyfeiriadau at demtiad a chwymp ein rhieni cyntaf, yr hyn a adroddir yn Gen. 3. Job 31. 33. Os cuddiais fy nghamweddau fel Adda; gan guddio fy anwiredd yn fy mynwes. Ioan 8. 44. O'ch tad diafol yr ydych chwi, a thrachwantau eich tad

a fynnwch chwi eu gwneuthur. Lleiddiad dyn oedd efe o'r dechreuad; ac ni safodd yn y gwirionedd, oblegid nid oes gwirionedd ynddo ef. Pan yw yn dywedyd celwydd, o'r eiddo ei hun y mae yn dywedyd; canys y mae yn gelwyddog, ac yn dad iddo. 1 Tim. 2. 13, 14. Canys Adda a luniwyd yn gyntaf, yna Efa. Ac nid Adda a dwyllwyd; eithr y wraig wedi ei thwyllo, oedd yn y camwedd. 2 Cor. 11. 3. Megis y twyllodd y sarph Efa trwy ei chyfrwystra. 1 Ioan 3. 8. Yr hwn sydd yn gwneuthur pechod, o ddiafol y mae; canys y mae diafol yn pechu o'r dechreuad. I hyn yr ymddangosodd Mab Duw, fel y dattodai weithredoedd y diafol.

Os oes ystyr mewn geiriau, yn sicr y mae yr ymadroddion a nodwyd yn brawf diymwad bod yr hanes Foesenaidd yn adroddiad o wirioneddau, ac nid dammegion a chyffelybiaethau. Ac wrth ystyried llyfr Genesis yn y goleuni hwn, fel y mae yn ddyledswydd ar bawb i wneuthur, y mae ei ddarllen yn ddifrifol a dwys yn fuddiol ac yn adeiladol i bawb; nid yn unig mewn pethau ysprydol, ond hefyd am ei fod yn agoriad er egluro anhawsderau mewn natur. Anhawsdra mawr ydyw i ddynion anwybodus o gynnwysiad llyfr Genesis, i roddi cyfrif am gregin, esgyrn, a'r cyffelyb a geir yn nyfnderau y ddaear; ond y mae yr hanes a geir am y diluw yn deongli hyn mor amlwg, fel nad oes achos myned ym mhellach.

Mewn perthynas i'r athrawiaethau a eglurir, a gadarnheir, ac a sefydlir yn llyfr Genesis, y maent o'r pwys mwyaf, ac megis yn seiliau yr holl oruwch-adeiladaeth gyda golwg ar wybodaeth nefol ac ysprydol. Y mae yn y llyfr hwn brawf, yn

I. O hanfodaeth un gwir a bywiol Dduw, yr Aleim mawr tragywyddol, yr hwn a greodd y byd a'r hyn oll sydd ynddo drwy air ei nerth; ac o gredu y dystiolaeth, y mae holl gyfundraeth eilunaddoliaeth ar unwaith yn dyfod i'r llawr, a'r meddwl yn ymddyrchafu mewn parch a gostyngeiddrwydd atto, yr hwn sydd mor fawr fel na rydd ei ogoniant i arall, na'i fawl i ddelwau cerfiedig.

II. Bod y Jehofa mawr yn gweithredu ac yn dwyn ei amcanion oddiamgylch yn ol ei ewyllys ben-arglwyddiaethol ei hun. Creodd y byd y pryd yr ewyllysiodd ac yn y wedd y gwelodd yn addas, yn gwbl yn ol ei feddwl goruchel ei hunan; yr un modd y dyn, yr hwn a osododd efe i'w lywodraethu dano.

III. Y mae yn egluro uniondeb Duw yng nghreadigaeth dyn, drwy ei gyfansoddi yn rhydd-weithredydd, ei gynnysgaeddu â galluoedd digonol i atteb dibenion ei greadigaeth, a'i osod mewn sefyllfa dra manteisiol iddo wasanaethu ei Grewr hyd oni therfynai dyddiau ei brawf yn y fuchedd hon.

IV. Bod y Duw anfeidrol yn gwbl rydd oddiwrth ddinystr dyn, am mai efe o'i wir ewyllys ei hun a ddewisodd y drwg yn hytrach na'r da; ac iddo â'i lygaid yn agored neidio dros y terfynau a waharddwyd yn bendant iddo gan ei Greawdwr mawr.

V. Bod cadwedigaeth dyn yn hollol o ras, am nad ydoedd y Goruchaf mewn un wedd yn ddyledus neu yn rhwymedig i ddyn, i'w godi o'r dyfnderau i fynu, a'i ddwyn yn ol o'r pellder mawr yr aeth iddo drwy bechu yn ei erbyn. Mai yn ol ei ewyllys da a'i gariad yr agorodd efe byrth y baradwys well, wedi gosod y cherub a'i gleddyf tanllyd ym mhorth Eden, er cadw pawb dynolion oddiyno.

VI. I bechod wedi ei ddyfodiad i'r byd wneuthur y cyfnewidiad mwyaf ar ddeiliaid rhesymol llywodraeth y Brenin mawr. Brawd yn lladd brawd; geneuau yn myned yn llawn melldith a chwerw-edd; y byd yn cael ei lanw â gormes; a dynolion yn gyffredinol yn suddo ym mhydewau lleidiog llygredigaeth.

VII. Bod sylw y Creawdwr ar ei holl greaduriaid; y gwobrwya efe y da, ac y cospa yn llymdost y rhai hynny a galedant eu calonnau yn ei erbyn. Ac felly bod ymddygiadau Iôr, yng nghychwyniad y byd, yn dadymchwelyd yn hollol gyfundraeth y Deistiaid, y rhai a wadant fanyldra llywodraeth yr Hollalluog.

VIII. Y dichon Duw weithredu y gwaredigaethau rhyfeddaf i'w bobl, a'i diogelu yng nghanol llifeiriant angheuol ei lid; megis Noa yn yr arch, bywyd yr hwn ydoedd mor ddiogel ar y berw digofus a phe buasai yn breswylydd Paradwys Duw.

IX. Bod goruchwyliaeth cyfammod o ras yn barod gan Dduw er derbyn dyn cyfrgolledig wedi myned o hono ar ddisperod; ac i'r oruchwyliaeth hon gael ei hegluro yn Eden yn yr ymadrodd, Had y wraig, yn yr eglurhad o'r cyfammod i Noa, ac yn y cadarnhad o hono âg Abraham, i'r hwn y rhag-efangylwyd ac y rhoddwyd y sel yr hon a barhaodd mewn grym am tua dwy fil o flynyddoedd.

X. Bod gweinyddiadau rhagluniaethau Duw yn dwyn ei amcanion goruchel i ben yn ddiwyrni; ac nad ydyw efe heb ei ddiben yn chwyldroadau ymerodraethau, dymchweliadau pennau coronog, a'r holl derfysgoedd mawrion a thrallodus a gymmerant le ar y ddaear.

XI. Mai gwasanaethu Duw mewn sancteiddrwydd bywyd a duwioldeb buchedd a sicrha ffafr Duw ym mhob sefyllfaoedd, ac a wna y fynwes yn gysurus ym mhob tymhestloedd trymion.

XII. Bod y duwiolion dan nawdd ac ymgeledd Duw ym mhob rhyw fannau, fel na all neb eu drygu na'i nhiweidio, gan nad faint a fyddo eu cynddaredd yn eu herbyn.

Y mae yr hyn a grybwylla llyfr Genesis am y greadigaeth yn dangos gallu, gogoniant, mawrhydi, a doethineb Duw; yr hyn a fynega am gwymp dyn, sydd yn dangos bod gelyn anghymmodlon i'w ddedwyddwch yn hanfodi; yr hyn a ddywed am ymddygiad y Creawdwr at greadur wedi ymlygru o hono yn ei weithredoedd ei hun, a brawf nad oes ar Dduw eisiau damnio dyn; a'r hyn a eglura y llyfr hwn am wahanol ymddygiadau Iôr at y rhai a'i carant ac a'i gwasanaethant, a wiria yr athrawiaeth o fod pob peth yn cydweithio er daioni y rhai sydd yn caru Duw, sef y rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth ef. Tuag at ddeall yr Ysgrythyrau a natur trefn Duw, y mae yn angenrheidiol myfyrio y llyfr dan sylw yn fanwl; a phwy bynnag sydd yn fyr o ddoethineb, ceisied hi gan Dduw, oblegid y mae efe yn rhoddi yn haelionus i bawb, ac heb ddannod.

# HYNODION LLYFR GENESIS.

## I. Y GREADIGAETH.

Yr ydym yn synnu wrth y palasau heirdd, y caerau cedyrn, a'r dinasoedd ehang a adeiladwyd gan ddynion; ond y mae gwaith yr Hollalluog, mewn creadigaeth, uwchlaw a welodd neu a glywodd dyn erioed. Nid trwy ddigwyddiad y daeth y pethau a welir, ac nid ydynt o dragywyddoldeb; oblegid yn y dechreuad y creodd yr Aleim sylwedd y nefoedd a sylwedd y ddaear. Anfeidrol allu Bod hollalluog yn unig a allasai adeiladu y fath balas mawr ag ydyw y greadigaeth; ac mor amlwg yr ymddisgleiria efe yn ei weithredoedd, fel y mae pob man yn rhy oleu o lewyrch gogoniant Duw i ddyn ei wadu, nes y delo adref i ystafell dywyll ei galon ei hun; oblegid yr ynfyd a ddywed yn ei galon nad oes un Duw.

Wrth greu, y mae i ni ddeall, 1. Gwneuthur pethau o ddim. Gen. 1. 1. 2. Ffurfio pethau o sylwedd anaddas. Gen. 1. 21. 3. Plannu grasusau achubol lle nid ydynt. Eph. 2. 10. 4. Puro calon oddiwrth halogrwydd. Salm 51. 10. 5. Dwyn pethau oddi amgylch yng ngweinyddiad rhagluniaeth. Esay 45. 7. Y mae, yn ol y cyfrif cyffredin, tua 5855 o flynyddoedd er y greadigaeth; ac y mae gair nerth yr Hollalluog yn cynnal y cwbl oll er y pryd hwnnw. Y mae amryw o gyfundraethau, gan y rhai a gymmerant arnynt fod yn ddysgedigion mewn perthynas i'r ddaear, cyn yr hanes a rydd Moses mewn perthynas iddi; ond am ei fod ef yn hanesydd ysprydoledig, ac wedi adrodd ffeithiau, yr ydym yn rhwym o'i gredu, neu anghredu Datguddiad yn hollol. I'r diben o ddangos dull a threfn ei weithrediad mewn creadigaeth, y mae yn cyfarwyddo Moses i hyspysu hynny yn y wedd ganlynol:—Ar y dydd cyntaf, crewyd sylwedd y nefoedd a'r ddaear, ac efallai yr angylion hefyd. Yr oedd y ddaear bryd hyn yn un gymmysgedd fawr, ac heb drefn arni. Ar yr ail, gwnaeth Duw y ffurfafen, sef yr awyrgylch, er cynnal y dwfr yn y cymmylau, ac i wahaniaethu rhyngddo a'r hyn oedd dano. Ar y trydydd, casglodd y dyfroedd ynghyd o'r ddaear, fel y gwnaed tir a môr; efallai mai yng nghalon y ddaear yr oedd y dyfroedd hyn hyd y diluw, ac mai y cronfeydd hyn a olygir wrth ffynnonau y dyfroedd mawr. Ar y pedwerydd, casglodd y goleuni cyntaf a greodd yng nghyd, ac a ffurfiodd o hono yr haul, y lleuad, a'r ser, gan bennodi iddynt eu gorsafion a'u hysgogiadau. Ar y pummed, ffurfiodd y pysg o'r dwfr, a'r ehediaid o gymmysgedd o ddwfr a daear. Ar y chweched, ffurfiodd yr anifeiliaid a'r ymlusgiaid, ynghyd â chorph Adda, ac o'i asen a wnaeth iddo wraig. Ar y seithfed dydd, gorphwysodd Duw oddiwrth ei holl waith. Y mae y greadigaeth yn amlygu gallu, doethineb, a daioni Duw, ac yn ddigon i daro y genau gwrthgred, a wado ei Grewr, yn fud yn y fan. Ond y mae llawer yn cael oes hir ar y ddaear, ac yn ei threulio heb ddarllen enw ei Grewr, er ei fod wedi ei ysgrifenu mewn llythyrenau tra amlwg. Tydi fy enaid, pan yr edrychech ar emmau gwynion yr wybren, ac ar ryfeddodau y ddaear hon, cofia dy Greawdwr mawr, yr hwn a

sicrhaodd y ddaear ar ei sylfeini, a estynodd y nefoedd fel llen, a eilw ar y ser wrth eu henwau, a gymhwysa bridd y ddaear mewn mesur, ac a ddichon ddinystrio corph ac enaid yn uffern.

---

## II. ALEIM.

Yr enw Hebraeg Aleim, yr hwn a roddir i'r goruchaf Arglwydd, sydd o derfyniad lliosog, ac yn atteb i'r gair Duwiau yn ein hiaith ni. Geilw y Jehofa ei hun wrth yr enw Aleim, a llefara am dano ei hun mewn modd lliosog; megis, Gwnawn ddyn—Wele y dyn sydd megis un o honom ni—Deuwch, cymmysgwn eu hiaith. Yr hwn a wada liosogrwydd yn yr un hanfod Ddwyfol, a wada Dduw; oblegid y mae Tri yn tystiolaethu yn y nef, y Tad, y Gair, a'r Yspryd Glân; ac felly, yr hwn a wada Dduwdod un o'r Personau Dwyfol, a wada yr holl Dduwdod. Nid tebyg mai priodol yr ymadrodd cyffredinol hwnnw, "Ti yr hwn wyt yn Dad, Mab, ac Yspryd Glân;" oblegid nid Duw y Tad ydyw Duw y Mab a'r Yspryd Glan; nid Duw y Mab chwaith ydyw Duw y Tad a'r Yspryd Glân; ac nid Duw yr Yspryd Glân ydyw Duw y Tad a'r Mab. Personau gwahanol mewn un hanfod, yn ogyhyd dragywyddol, ac yn gyfartal mewn gogoniant; ond yn nhrefn iechydwriaeth pechadur, y mae gan bob un ei swydd briodol ei hun; ac ym Mherson y Cyfryngwr rhoir tragywyddol fawl i'r Tri yn Un Duw byth. Y mae y dirgelwch hwn wedi bod yn dramgwydd i lawer, ac yn wirionedd a wrthodir gan lawer, oblegid nad ydynt yn gallu ei amgyffred; ond gellir gwadu pob peth perthynol i'r Duwdod, os ar sail yr hyn yr ydym yn ei amgyffred yr ydym yn derbyn gwirioneddau o'r natur hyn. Y mae pawb ag ydynt gyfeiliornus yn eu barn am athrawiaeth y Drindod, yn gyfeiliornus hefyd yn eu barnau am drefn gras yn cadw pechadur cyfrgolledig; oblegid yr athrawiaeth hon ydyw cadwyn bennaf yr holl drefn, ac yn ganfyddedig ym mhob dosparth o honi. Yn isel yn y llwch y mae yn gweddu i ni fod, ac yn wylaidd iawn hefyd yn trin ac yn siarad am athrawiaethau mawr duwioldeb, oblegid dirgelwch mawr ydynt; ac y mae y rhai hynny a ymdriniant â hwynt mewn cellwair, bob amser yn ammharchus o bethau ysprydol. Nid ydyw athrawiaethau i'w gwrthod am na fedrwn ni eu cynnwys o fewn cylch ein rheswm, amgen gallwn anghredu ein hanfodaeth ein hunain.

---

## III. GARDD EDEN.

Mewn gardd o'r tu dwyrain i Eden y gosododd Duw ddyn wedi ei greu, er ei chadw ac i'w llafurio hi; yr hyn a brawf mai nid i ddiogi a segurdod yr amcanwyd ef. Ystyr y gair Eden ydyw Hyfrydwch; a'r wlad a elwir Eden sydd ar lennydd yr afon Euphrates, ychydig i'r gogledd o'r lle yr ymarllwysa i'r môr Persiaidd, ac yn agos i Haran a Gosan. Y mae hon yn awr yn wlad dda odiaeth, gyda'r oreu drwy holl ymerodraeth y Twrc, pe gadawai diogi y Tyrciaid iddynt ei thrin a'i gwrteithio. Yn Eden yr oedd y baradwys ddaearol, yn agos i gyssylltiad yr Euphrates a Hidecel,

neu y Tigris. Ond er na fedrir yn gywir ddywedyd y man yr oedd yr ardd ddymunol, ac er ein bod ni wedi colli pob hawl iddi, y mae etto orphwysfa i bobl Dduw; ac y mae yn gweddu i ni ofni, rhag colli hon; oblegid os yn fyr o honi, byddwn yn dragywyddol druenus. Bod hon yn hardd sydd ddiamheuol, oblegid Pen Garddwr natur a'i lluniodd ac a'i plannodd hi. Yr oedd yn y baradwys ddaearol ddau bren nodedig; un o ba rai oeddynt bren gwybodaeth da a drwg. Nid am fod ynddo un rinwedd naturiol y gelwid ef felly; ond am mai efe a neillduwyd er bod yn brawf o ufudd-dod dyn. Y llall a elwid pren y bywyd; ffrwyth yr hwn ydoedd i gadw y dyn mewn bywyd ac ieuengctyd parhaus. Ond er mor ddymunol yr etifeddiaeth hon, collwyd hi trwy bechu yn erbyn yr Arglwydd,—trowyd y dyn allan o honi; a gosodwyd y cherubiaid, â chleddyf tanllyd ysgwydedig, i gadw ffordd pren y bywyd. Ni cheir yr etifeddiaeth hon yn ol; ond y mae yng Nghrist, Cyfryngwr y Testament Newydd, fendithion a golud anfeidrol well; ac ond i ni gael y rhai hyn yn ein meddiant, bydd bob peth yn eiddo i ni.

---

## IV. TROSEDD EIN RHIENI CYNTAF.

Mewn perthynas i fwytta o ffrwyth pren neillduol i ddwyn y fath drueni, gresynoldeb, a melldith i'r byd, y mae yn angenrheidiol sylwi, fod cyfrannogiad o ffrwyth pren gwybodaeth da a drwg, yr hwn a waharddwyd yn bendant, yn drosedd yn erbyn Duw ac yn wrthryfel yn erbyn ei lywodraeth oruchaf. O drosedd moesol, yn ystyr gyffredinol y gair, ni allasent fod yn euog:—Yn gymmaint a bod yr holl fyd yn eu meddiant, ni allasent ledratta; gyda gwrryw neu fenyw ni allasent odinebu; o ganlyniad, rhaid oedd eu profi drwy unrhyw brawf a welai y Pen Llywydd fod yn dda ei sefydlu. Ac nid oedd y gosp yn y mesur lleiaf yn fwy na'r trosedd; oblegid yr oedd, fel y sylwyd, yn wrthryfel cyhoedd yn erbyn Duw, am mai trwy droseddu ei orchymmynion y gwedid ei hawl i lywodraethu. Nid ydyw y dyn a ladrattao yr hyn a allo, pe byddai ond un swllt, yn llai lleidr na'i gymmydog yr hwn a ladrattaodd yr oll a allodd gyrhaeddyd, pe byddai gydaid o berlau. Yr oedd Adda mor anufudd i orchymmyn Duw, drwy fwytta o ffrwyth y pren gwaharddedig, ag Aaron yr hwn a luniodd ac a addolodd y llo aur. Trwy y trosedd hwn ymlygrodd yn ei natur, ac a aeth dan ddedfryd collfarniad; 'Oblegid yn y dydd y bwyttâi di o hono, gan farw ti a fyddi marw.' Ac nid yn unig effeithiodd y trosedd ar Adda ei hun, ond ar ei holl hiliogaeth hefyd, trwy eu dwyn i'r un cyflwr ag ef ei hun; oblegid annichonadwy i'r canghennau sefyll wedi i'r pren syrthio. Yr oedd Adda yn ben ac yn wreiddyn dynoliaeth, yn eu cynnrychioli mewn cyfammod â Duw; oblegid os na wnaeth Duw gyfammod âg Adda, ni wnaed cyfammod o weithredoedd, hyd nes oedd dyn wedi ymlygru ac yn gwbl analluog i'w gadw. Ond am fod Adda yn ben cynnrychiolwr i'w had naturiol mewn cyfammod, yr ydym ni oll wedi meirw yn Adda; ac mor wir ag i'r holl had naturiol feirw yn yr Adda cyntaf, fel eu pen cynnrychiolwr mewn cyfammod o weithredoedd, mor wir a hynny y bywheir pawb o'r had

ysprydol yng Nghrist, yr hwn ydyw eu Pen Cynnrychiolwr mewn cyfammod o ras. Pechod gwreiddiol ydyw halogedigaeth natur dyn, yr hwn sydd yn etifeddiaeth i'r holl hiliogaeth ddynol, ac yn groes i natur cyfraith Duw, Salm 51. 5. Y llygredd hwn ydyw y pechod sydd yn preswylio ynom, Rhuf. 7. 17, 20; ac yn gweithio ynom bob trachwant, Rhuf. 7. 8. Y mae yn rhyfela ynom, Rhuf. 7. 23. Yn teyrnasu ynom ac arnom, Rhuf. 6. 11, 12, 14. Ac y mae yn ein lladd, Rhuf. 7. 11. Gelwir ef chwant, Iago 1. 15. Cnawd, Rhuf. 8. 1. Corph pechod, Rhuf. 6. 6. Corph y farwolaeth, Rhuf. 7. 24. Deddf yr aelodau, Rhuf. 7. 23. Deddf pechod a marwolaeth, Rhuf. 7. 20.

---

## V. YR ADDEWID.

Rhyfedd diriondeb Tad y trugareddau at ddyn, wedi iddo droseddu y gorchymmyn a roddwyd iddo; oblegid yn gyfiawn gallasai ei ddamnio a'i gyfrgolli byth; ond yn lle hynny, ymwelodd âg ef mewn gras ac mewn trugaredd, gan ddyrchafu ei ben o'r dyfnderau i fynu. Yn y bygythiad a gyhoeddwyd ar y sarph, "Y byddai i Had y wraig ysigo ei phen," tywynodd gwawr bywyd tragywyddol ar ein rhieni cyntaf yn eu trueni a'u gresynoldeb mawr; dyma yr addewid wiw, a'r addewid fawr, yr adferid y golled yn ol, ac yr agorid ffordd er etifeddu bywyd a gwynfyd, i'r rhai a gauasant byrth y nef yn wirfoddol yn eu herbyn eu hunain. Dyweda yr Apostol Paul yn 1 Tim. 2. 14. "Mai y wraig, wedi ei thwyllo, oedd yn y camwedd;" ond etto, ei had hi ydoedd i ddwyn y beichiau, a phechodau dynion, sef eu cospedigaeth, yn ei gorph ei hun, modd yr arbedid ac y gwaredid hwynt. Y mae yr addewid yn Eden yn arwyddo, 1. Mai drwy un, mewn perthynas â dyn, yr oedd y waredigaeth i'w chael. Yn awr gallasid meddwl fod y pellder mor fawr rhwng Duw a dyn, yn neillduol wedi i ddyn bechu, fel nad dichonadwy iddynt yn dragywydd ddyfod at eu gilydd; oblegid nid neb llai na Duw a allasai wared dyn. Ond yn ymddangosiad Had y wraig, gwnaethpwyd y Gair yn gnawd—Duw a ymddangosodd yn y cnawd—a chan fod y plant yn gyfrannogion o gig a gwaed, Crist yntau yr un modd a fu gyfrannog o'r un pethau. Gwnaethpwyd ef o had Dafydd o ran y cnawd; ac yn y berthynas hon â dyn, dygodd iechydwriaeth dragywyddol oddi amgylch, i'r rhai oll a gredant yn ei enw ef. 2. Y mae yr addewid hon yn arwyddo, y gorchfygai Had y wraig y gelyn a achosodd gwymp a dinystr dyn; "A ysiga dy ben di." Crist yn natur dyn, a orchfygodd holl allu y tywyllwch—yspeiliodd y tywysogaethau a'r awdurdodau—dyrchafodd i'r uchelder a chaethgludodd gaethiwed; ac yn ei fuddugoliaeth fawr, y mae uffern, angau, a'r bedd, wedi derbyn archollion na wellhant o honynt yn dragywydd. 3. Y mae yr addewid hon wedi ei chyflawnu, a Christ wedi ymddangos yn y cnawd a gyhoeddir yn y Testament Newydd. Nid ydoedd yr addewid ond megis gwawr wannaidd, er y cynhwysai lawer yn y rhoddiad o honi; ond yn ei chyflawniad, y mae yn haul disglaer a golau, yn llewyrch yr hon y mae yr holl genhedloedd yn cael eu galw i rodio.

## VI. CAIN.

Digllonodd Cain wrth Abel, am edrych o'r Arglwydd ar Abel ac ar ei offrwm, a naccâu o hono roddi y cyfryw arwyddion iddo ef. Wrth i'r Arglwydd edrych ar offrwm Abel, y deallir, iddo losgi yr offrwm, sef oen o'r praidd, â gwreichionen o'r Shecinah dwyfol. Dywedodd Duw wrth Cain, Os gwnai efe ddaioni, y byddai iddo gael yr oruchafiaeth, sef y llywodraeth ar ei frawd, am ei fod yn henach nag ef; ynghyd â bod dymuniad Abel atto ef, i fod yn ddarostyngedig iddo mewn pob peth cyfreithlon, fel y mae yn gweddu i frawd ieuangaf fod tuag at yr henaf. Ond y fath ydoedd llidiawgrwydd Cain, fel yn erbyn natur efe a laddodd ei frawd; a phan y galwyd ef i gyfrif ger bron Duw, ac wedi cyhoeddi y ddedryd a'r felldith arno oddiar yr orsedd, ymddengys ei fod wedi cael ei ddwyn i raddau o deimlad, oblegid yr hyn yr ysgafnhawyd y gosp gan y goruchaf Arglwydd. 'Yna y dywedodd Cain wrth yr Arglwydd, Mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu."—Mwy yw fy nghospedigaeth nag y gallwyf ei oddef, ar ymyl y ddalen. Y mae rhyw beth yn ddyrus iawn i'r dysgedigion yn yr ymadroddion crybwylledig, ac y mae rhai o honynt yn barnu y dylid eu darllen gyda gofyn-nod, megis, 'Ai mwy yw fy anwiredd nag y gellir ei faddeu?' Yr oedd ar Cain ofn neillduol i gael ei ladd; ond dywedodd yr Arglwydd wrtho, y dialai efe yn saith dyblyg ar bwy bynnag a'i lladdai: gosododd nôd arno, rhag i neb a'i caffai ei ladd ef. Mewn perthynas i'r nôd hwn, y mae Iuddewon a Christionogion wedi bod yn dra ffrwythlon eu hymenyddiau yn eu dyfeisiadau yn ei gylch. Mewn perthynas i'r gair Hebraeg *Aoth*, a gyfieithir *nôd*, a ganlyn a ddywedir gan Mr. Parkhurst yn ei Eirlyfr Hebraeg. '*Aoth*, arwydd neu argoel, yn gyffredinol pob peth a ddengys neu a achoso ddyfod i'r meddwl unrhyw beth arall, pa un bynnag ai wedi myned heibio, yn bresennol, neu i ddyfod, &c. Gen. 4. 15. a ddylai fod, 'A'r Arglwydd a roddodd i Cain arwydd;' hynny yw, A weithredodd wyrth er ei argyhoeddi na fyddai iddo gael ei ladd. Yr un gair a ddefnyddir gan yr Arglwydd mewn perthynas i'r bwa yn y cwmmwl. 'Ac efe a fydd yn *Aoth*, yn arwydd, neu yn nôd cyfammodol rhyngof fi a'r ddaear.' Yn ol y deongliad hwn, ystyr y nôd ar Cain ydyw, i'r Arglwydd roddi cyflawn foddlonrwydd i Cain, trwy arwydd neillduol, na fyddai iddo gael ei ladd. Y niwed yng nghymmeriad Cain ydoedd, 1. Ei fod yn anghrefyddol. 2. Iddo ymwneud â gwasanaeth Duw yn ddibarch at Dduw. 3. Iddo ymddigio ac ymgreuloni wrth gymmeradwyaeth eraill. 4. Iddo ladd ei frawd am ei fod yn fwy yn ffafr Duw nag ef ei hun. 5. Nad edifarhaodd ger bron Duw am ei drosedd. 6. Iddo ymadael yn llwyr a throi ei gefn ar arwyddion y presennoldeb Dwyfol, ac ymroddi i eilun-addoliaeth.

---

## VII. ENOCH.

Ni ddywedir dim yn hynod am neb o'r cyn-ddiluwiaid ond Enoch, o leiaf y mae rhyw beth yn fwy hynod yn dwyn perthynas âg Enoch nag â neb o breswylwyr boreuol y byd. Ganed ef yn y

flwyddyn o oed y byd 623, ac felly yn gyd-oeswr ag Adda, drwy yr hyn y cafodd gyfleusdra i wybod llawer am yr Arglwydd. Dywedir am dano yn yr hanes byr a roddir o hono, 'Iddo rodio gyda Duw.' Yr oedd yn gyfaill ac yn gydymaith i'r Arglwydd,—y fraint fwyaf a all dyn ei chael. Er bod Adda yn fyw yn amser Enoch, yr oedd y byd wedi myned yn dra llygredig, drwy i hiliogaeth Cain ymwrthod yn hollol â gwasanaeth y Goruchaf, ac i feibion Duw, sef hiliogaeth Seth, ymgyfathrachu â hwynt. Ym mhlith y cwmmwl tystion a grybwyllir gan yr Apostol yn yr unfed bennod ar ddeg o'r Epistol at yr Hebreaid, y mae Enoch yn un. 'Trwy ffydd y symmudwyd Enoch fel na welai farwolaeth; ac ni chaed ef, am ddarfod i Dduw ei symmud ef: canys cyn ei symmud efe a gawsai dystiolaeth, ddarfod iddo ryngu bodd Duw.' Yr oedd Enoch hefyd yn bregethwr enwog,—efe a bregethodd Grist i'r cyn-ddiluwiaid, ac a brophwydodd am ddyfodiad yr Arglwydd. Judas 14, 15. Pa fodd y daeth yr Apostol yn hyspys o'r brophwydoliaeth hon, nis gellir dywedyd; efallai mai yn draddodiadol o dad i fab. Duw, er dangos mai sancteiddrwydd oedd efe yn hoffi, ac mai duwiolion yn unig a etifeddent fywyd tragywyddol, a gymmerodd Enoch i'r nefoedd heb brofi marwolaeth; efallai mai mewn cerbyd tanllyd a meirch tanllyd, unwedd ag Elias, ond y mae hyn yn anhyspys. Tri chorph a grybwyllir eu cymmeryd i'r nef—Enoch, Elias, ynghyd â Christ, blaenffrwyth yr adgyfodiad. Er rhodio gyda Duw fel Enoch, y mae yn anghenrheidiol i ni, 1. Ddysgu adnabod Duw. 2. Dysgu gwasanaethu Duw. 3. Ymroddi yn gwbl iddo.

---

## VIII. ARCH NOAH.

Yr ydoedd yr Arch yn llestr mawr iawn, wrth yr hon y bu Noah a'i feibion yn gweithio tua chwe' ugain mlynedd; a bod dwylaw eraill gydag ef yn y gorchwyl hwn sydd dra thebygol. Yr oedd yn wastad yn ei gwaelod, a'i phen uchaf yn debyg i nen tŷ. Nid oedd iddi na hwyliau na llyw, yn debyg i'r llongau sydd yn awr; ac felly yn anaddas i nofio ond fel y cludid hi gan y dwfr. Hyd yr Arch ydoedd 300 cyfudd, yr hyn yn ol Dr. Arbuthnot ydoedd 547 o droedfeddi; ei lled yn 90 cyfudd, sef tua 91 o droedfeddi; a'i huchder yn 30 cyfudd, sef tua 54 o droedfeddi. Yr oedd o faintioli i gludo 42,413 o dunnelli, yn gyfartal i ddeunaw o'n llongau rhyfel mwyaf. A phan yr ystyrir nad ydyw y rhywogaethau o anifeiliaid pedwar troed ond o ddau i ddau cant a hanner, gellai yr Arch eu cynnwys gyda'r ymlusgiaid a'r ehediaid, ynghyd âg wyth dyn a'u hymborth, yn dra hawdd; ac yn hytrach nag ymofyn am le yn yr Arch i'r holl anifeiliaid, fel y gwna y Deistiaid; yr ydym, oblegid ei maintioli anferth, yn myned yn hytrach i ymofyn am anifeiliaid i lanw yr Arch. Gwnaed hi o goed gopher—math o gypryswydd, fel y tebygir, coed celyd ac o barhad mawr. Arosodd yr Arch, medd yr Ysgrythyr, ar fynydd Ararat; yr hwn, yn ol barn y beirniaid cywiraf, yw mynydd Musis yn Armenia, yn agos i Mesopotamia a Sinar. Gyda golwg ar adeiladaeth yr Arch gan Noah, gellir sylwi, 1. Mai trwy ffydd y darparwyd hi ganddo er achub ei dŷ. Y mae yn rhaid i ni gael ffydd

cyn y bo ein gwasanaeth yn gymmeradwy gyda Duw; oblegid pob peth nad yw o ffydd, pechod yw. Credodd Dduw ar ei air, ac ufuddhaodd yn union-gyrchol i'w orchymmyn. 2. Yr oedd Noah mor ddiogel yn yr Arch a phe buasai ger bron Duw yn y nef. Yr oedd y dymhestl yn ofnadwy a'r cynhyrfiad yn frawychus; ond nid oedd dim gan Noah i'w ofni, am ei fod dan warcheidwadaeth y nefoedd. Felly, yr un modd y mae yr hwn sydd mewn undeb â Mab Duw yn y fuchedd hon, mor ddiogel o fywyd tragywyddol a phe byddai wedi cyrhaeddyd gogoniant. 'Nid oes gan hynny yn awr ddim damnedigaeth i'r rhai sydd yng Nghrist Iesu.' 3. Y bydd i bawb a ddilynant lwybrau gorchymynion Duw ddyfod i ddiben da yn y pen draw. Wedi bod yn hir yn y dymhestl fawr, daeth Noah allan yn ddiogel: un wedd Sïon, sydd yn bresennol yn yr anialwch ac yn y cystuddiau, dygir hi i gyflawn fwynhad o'r etifeddiaeth yn y pen draw.

---

## IX. Y DILUW.

Noah, yr hwn a gadwyd, efe a'i deulu, rhag dinystr y diluw, a aned yn y flwyddyn 1057 o oed y byd, pryd yr oedd y ddaear yn llawn o drigolion ac yn llawn drygioni. Ymddengys fod gormes wedi cynnyddu i raddau rhyfedd iawn, a phob drygioni arall yn gyfartal, fel y penderfynodd Jehofa ymwisgo ym mantellau ei ddialeddau, a dymchwelyd holl drigolion y byd, ond y gwr duwiol a enwyd. Noah ydoedd fab Lamech, fab Methuselah, fab Enoch, gwr cyfiawn, ag ofn Duw yn ei galon. Gorchymmynwyd iddo barottoi arch; yr hyn a wnaeth, mewn ffydd a gostyngeiddiaf barch; ac efe a gadwyd yn ddiogel yn nydd y dymhestl fawr. Bu Noah chwech ugain mlynedd yn parottoi yr arch; ac ar y 17 o'r ail mis, sef tua diwedd Hydref, dechreuodd wlawio o'r nefoedd, a'r dwfr bistyllu i fynu o'r ddaear, a pharhaodd yn ddiorphwys am ddeugain niwrnod; a'r dwfr a gynnyddodd am 150 o ddiwrnodau, neu bum' mis; a'r dwfr a gynnyddodd i'r fath raddau, fel yr oedd ychydig dros saith troedfedd ar hugain yn uwch na'r mynyddoedd uchaf. Niferi anamgyffredadwy o greaduriaid a dynion a foddwyd. Meddylir i bedwar ugain miliwn o ddynion syrthio dan y farnedigaeth hon. Tua dechreu Ebrill, dechreuodd y dyfroedd dreio, a'r arch a safodd ar un o fynyddoedd Ararat. Tua diwedd Mai, gwelid pennau y mynyddoedd. Ddechreu Awst, anfonodd Noah gigfran allan, ynghyd â cholommen. Tua diwedd Medi, ymddangosodd y ddaear yn y dyffrynoedd; a thua dechreu Hydref, y 27 o'r ail mis, Noah, a'i feibion, a'r anifeiliaid, a ddaethant allan o'r arch, wedi bod ynddi flwyddyn a deg diwrnod. Y mae amryw o'r paganiaid yn crybwyll am y diluw, megis Berosus ac eraill; ac y mae y traddodiad o hono agos gan holl genhedloedd y greadigaeth. Y mae yn dra thebygol bod y byd yn dra lliosog ei drigolion pryd y boddwyd ef gan y diluw, ac y mae arwyddion o ddiluw cyffredinol i'w cael agos ym mhob parth o'r greadigaeth. Coedydd yn gladdedig ar bennau y mynyddoedd uchaf; dannedd anifeiliaid gwledydd pellenig, a'u hesgyrn, a geir yn y deyrnas hon; a chregyn

y môr yn y ddaear yng nghanol y wlad. Ac y mae esgyrn rhai anifeiliaid wedi eu cael, yn neillduol yn yr Amerig, mor fawrion, fel y dywedir eu bod yn tra rhagori mewn maint ar esgyrn y creaduriaid mwyaf a geir yn bresennol ar y ddaear. Dyweda rhai nad ydoedd y diluw yn gyffredinol, ond dros ychydig o'r dwyrain, a gyfanneddid gan ddynion; ond y mae hynny yn ynfydrwydd o'r mwyaf. Yr oedd y byd yn ddwy fil o flynyddoedd o oedran yn amser y diluw; ac y mae yn hysbys i ni bod y byd yn dra lliosog o drigolion yn amser Abraham, yr hwn a aned ychydig gyda deng mlynedd a deugain cyn marwolaeth Noah. Ac os na bu y diluw yn gyffredinol, pa angenrheidrwydd ydoedd peri i Noah barottoi arch, a chymmeryd yr anifeiliaid gydag ef i mewn iddi, pan y gallasai symmud ymaith i wlad lle ni chyrhaeddai y diluw?

---

## X. TWR BABEL.

Tebygol bod teulu y ddaear gyda'u gilydd y pryd y cynlluniwyd ac y dechreuwyd adeiladu Twr Babel, yn neillduol y rhai oeddynt yn dechreu ymddieithrio a gwrthgilio oddi ar ol y Duw byw. Ond y mae braidd yn anghredadwy bod Noah, Sem, Japheth, ac ereill a barchent yr Hollalluog, wedi rhoddi eu cydsyniad, chwaethach eu cynnorthwyon at y gorchwyl rhyfygus ac annuwiol hwn; eithr mai Nimrod, ac ereill o gyffelyb egwyddor, a aethant at y gorchwyl, er ymgadarnhau, gwneuthur iddynt eu hunain enw, a chadw gyda'u gilydd, yn lle ymwasgaru yn ol ewyllys y Goruchaf. Y pryd hwn, yr oedd cymmaint o drigolion ag oedd yr amser hwnnw, o un iaith ac ymadrodd; ond pa iaith ydoedd honno, y mae yn anhawdd penderfynu; myn rhai mai yr Hebraeg ydoedd. Amlwg ydyw, 1. I adeiladwyr Twr Babel dynnu eu cynllun, a gweithredu oddiar falchder eu calonnau. Nid oeddynt yn chwennychu nac yn ymestyn er mawrygu enw eu Crëwr, ynghyd a dyrchafu ei glod; ond gwnawn i *ni* enw. Oddiar yr egwyddor hon y gweithreda pob dyn dibarch i Dduw; ni wna yr egnïad lleiaf er dyrchafu gogoniant yr Hollalluog, ond yn ymdrechu i'r eithaf drwy bob moddion, cyfreithlon neu anghyfreithlon, er cael ei hun uwchlaw pawb. 2. Iddynt weithredu mewn hollol anufudd-dod i orchymmyn Duw; yr hwn a ddywedodd wrth Noah pan y bendithiodd efe ef a'i deulu, "Ffrwythwch a lliosogwch, a llenwch y ddaear;" ond Nimrod, er bod yn ben, a fynnai eu cadw ynghyd, a hwythau yn ewyllysgar a roddent eu gyddfau dan yr iau. 3. Nad oes ond yr aflwydd yn dilyn y rhai a droseddant orchymmynion yr Arglwydd. Cymmysgwyd a chwalwyd adeiladwyr Babel gan y Duw a ddiystyrent; ac am y rhai oll a barhant mewn anufudd-dod i'r Brenin tragywyddol, gorchuddir hwynt â gwaradwydd ac â gwarth yn y diwedd. Y ffordd a gymmerodd yr Arglwydd i rwystro yr adeiladwyr, ydoedd cymmysgu eu hiaith, yr hyn yn ddiau a wnaed mewn modd gwyrthiol; a'r canlyniad fu, iddynt fethu deall eu gilydd, a rhoddasant eu gorchwylion heibio; ac oblegid yr hwn amgylchiad y galwyd enw y lle Babel.

Nimrod a adeiladodd amryw ddinasoedd, meddiannodd Assyria, ac a adeiladodd yno ddinas, ac a'i galwodd Ninefeh, (gair yn

arwyddo preswylfod Ninus.) Y mae yr amgylchiad yn Babel yn dangos, 1. Y myn dyn ymladd â Duw er pob peth. 2. Y gorchfyga Duw ddynion, gwnaent a fynnont, y mae efe yn sicr o gael y llaw drechaf ar ei holl elynion.

---

## XI. ABRAHAM.

CYN amser Abraham, nid ydoedd yr Arglwydd wedi neillduo neb fel teulu, er sefydlu ei eglwys ynddo; ac er nad ydoedd Noah wedi marw ond tua dwy flynedd cyn galw Abraham, etto yr oedd trigolion y byd wedi myned yn dra eilun-addolgar, yn neillduol yn Chaldea. Am drugain mlynedd a deg o'i oes, preswyliodd o fewn Ur y Caldeaid gyda'i dad, ac yn ol pob tebygolrwydd bu yn eilunaddolwr. Wedi marwolaeth ei frawd Haran, galwodd Duw arno, a gorchymmynodd iddo ymadael â gwlad ei enedigaeth; yr hyn yn ddiau ydoedd orchwyl anhawdd iawn i'w wneuthur. Ond, drwy ffydd, aeth Abraham yn grwydryn er mwyn crefydd; credodd i Dduw, a chyfrifwyd hynny iddo yn gyfiawnder, a gelwir ef hyd y dydd heddyw yn Dad y ffyddloniaid.

Y mae amryw o bethau yn perthynu i'r patriarch boreuol hwn ag sydd yn dra theilwng o sylw: megis, 1. Ei ufudd-dod uniongyrchol i alwedigaeth yr Arglwydd. Ni ddywedir iddo betruso ac oedi ufuddhau, ond ymadael yn union â'i wlad pan orchymmynwyd hynny iddo gan ei Grëwr. 2. Credu Duw ar ei air, heb fawr arwyddion y buasai yr addewidion y cael eu cyflawnu:—bu yn hir heb Isaac, a Duw wedi dywedyd y buasai ei had fel ser y nefoedd mewn rhifedi. 3. Ymadael â gwrthddrychau pennaf natur yn ddirwgnach, pan elwid arno gan Dduw. Cyfododd yn foreu, er cychwyn tua phen Morïah, i aberthu ei unig fab Isaac.—Y mae llawer yn cymmeryd arnynt fod yn grefyddwyr tra zelog, ond heb wneuthur aberth o gymmaint a chwe' cheiniog erioed i achos yr Arglwydd Iesu Grist. 4. Cafodd Abraham lawer o arwyddion boddlonrwydd drwy ystod taith ei bererindod: ond yr oedd yn ymgadw gyda llwybr ei ddyledswydd, onidê ni chawsai nawdd a ffafr y nef. 5. Y mae yn rhaid i ninnau gael ein gwneuthur yn blant i Abraham, onidê byddwn heb y fendith; a chofiwn mai y rhai sydd o ffydd, sydd yn blant i Abraham.

---

## XII. YR ENWAEDIAD.

I ABRAHAM yn ddiau y rhoddwyd ordinhad yr enwaediad gyntaf, er gwahaniaethu ei deulu oddiwrth deuluoedd eraill y ddaear, i fod yn sêl y cyfammod newydd iddynt, i'w rhwymo i gadw ei ddeddfau, ac i ddangos iddynt y symmudid eu llygredd ymaith drwy waed yr Arglwydd Iesu Grist. Yr oedd yr ordinhad hon i gael ei gweinyddu ar yr wythfed dydd, i holl wrrywiaid Israel. Yr oedd y plentyn dienwaededig i gael ei dorri ymaith o blith ei bobl; ond nid cyn y deuai i farnu drosto ei hun, ac esgeuluso yr ordinhad yn wirfoddol. Esgeuluswyd yr ordinhad am tua 38 o flynyddoedd, pan

oedd Israel yn yr anialwch; yr hyn a achoswyd, debygid, am fod y gwersyll yn symmud mor aml o un lle i'r llall. Wedi eu mynediad drwy yr Iorddonen, enwaedwyd yr holl wrrywiaid; yr hyn a elwir eu henwaediad yr ail waith, oblegid adnewyddu y sefydliad y tro hwn. Yr oedd yr enwaediad hwn yn symmudiad ymaith o warad-wydd yr Aipht, drwy i Dduw ddangos mewn modd neillduol mai ei bobl ef oeddynt, a'u bod yn etifeddion y wlad addawedig. Wedi i enwaediad barhau am ynghylch 1930 o flynyddoedd, diddymwyd ef drwy farwolaeth yr Arglwydd; fel y mae, er y pryd hwnnw, nid yn unig heb fod yn angenrheidiol, ond yn dra niweidiol; a gwrth-wynebid athrawon yr enwaediad yn dra chadarn gan yr Apostolion, yn neillduol gan yr Apostol Paul. Enwaediad y galon, ydyw cyf-newidiad y galon, drwy gymhwysiad gwaed Iesu Grist, i fod ar ddelw Duw. "Yr enwaediad ydym ni, y rhai ydym yn gwasan-aethu Duw yn yr yspryd, ac nid yn ymddiried yn y cnawd."

I fod yn fanylach gyda'r enwaediad, gellir sylwi, 1. Ei fod yn arwydd cyfammod rhwng Duw ac Abraham a'i had; a bod y cyf-ammod hwn yn llawn o ras sydd amlwg, oblegid yr oedd yn cynnwys addewid bywyd tragywyddol,—"Ac mi a fyddaf yn Dduw i ti, ac i'th had ar dy ol di." Y mae bod Duw yn rhan i ddyn, yn bob peth sydd rasol iddo. 2. Yr oedd yn sêl y cyfammod, ac felly yn arwydd amlwg y byddai y bendithion i'r holl had. 3. Nid ydoedd yn ddirym, er ei weinyddu gan rai yn afreolaidd, megis Zippora, gwraig Moses; yr hyn a brawf nad ydyw ordinhadau y nef yn bethau i gellwair â hwynt, ond i'w trin mewn sobrwydd. 4. Yr oedd yn tueddu er meithrin meddyliau gweddus i Dduw, a pharchus tuag atto: gallai rhieni ddywedyd am Dduw, ei fod yn Dduw iddynt hwy ac i'w plant, y rhai oeddynt dan ei nodded drwy ordin-had amlwg yn y cnawd. 5. Yr oedd yn gwneuthur rhieni Israel yn gysurus yn wyneb marwolaeth eu plant; oblegid yr oedd yn gwbl naturiol iddynt benderfynu, yn gymmaint a bod Duw yn eu harddel fel aelodau o'i eglwys yma, ac wedi gorchymmyn eu rhoddi dan arwydd y cyfammod, na wnai ommedd eu derbyniad i'r eglwys orfoleddus yn y nef.

---

## XIII. MELCHISEDEC.

Y GWR enwog hwn, Melchisedec, ydoedd frenin Salem, ac offeiriad y Duw goruchaf. Pwy ydoedd, sydd wedi bod yn achos dadl nid bychan: rhai a aethant mor bell a haeru mai Mab Duw ei hun ydoedd; ond ym Methlehem yr ymddangosodd Crist yn y cnawd, ac ni bu brenhiniaeth ddaearol ganddo ef; ac heblaw hyn, dywed yr Apostol am dano, mai ei wneuthur yn debyg i Fab Duw a gafodd ef. Yr Iuddewon a'r Samariaid a farnent mai Shem ydoedd, eraill mai Ham, ac eraill mai Japheth, neu un o'i hiliogaeth ydoedd. Ond y mae yr Yspryd Glân wedi gweled bod yn dda i guddio ei achau; a phe buasai angenrheidrwydd i ni wybod pwy ydoedd, dywedasid hynny wrthym. Yr oedd yn Offeiriad i Dduw Goruchaf, ac y mae Crist, Mab Duw, yn Offeiriad yn dragywydd yn ol ei urdd

ef, ac nid yn ol urdd Aaron. Yr oedd Melchisedec heb dad na mam, dechreuad dyddiau na diwedd einioes, gyda golwg ar ei Offeiriadaeth; ond nid felly urdd Aaron. Yr oedd yr Offeiriaid i fod o deulu Aaron, i fyned i'w swydd pan ddeuent i oedran, ac i fyned o'u swydd pan elent dros ben oedran; ond nid ydoedd y rheolau hyn yn perthynu i urdd Melchisedec; o ganlyniad yn ol ei urdd ef yr oedd Mab Duw yn Offeiriad; oblegid o Juda y cyfododd ein Harglwydd ni, am yr hwn lwyth ni ddywedodd Moses ddim mewn perthynas i'r Offeiriadaeth, ac y mae efe yn aros yn dragywydd yn ei swydd.

---

## XIV. SODOM A GOMORRAH.

Sodom, Gomorrah, Adma, a Zeboim, oeddynt ddinasoedd y Canaaneaid, ac yn nyddiau Abraham teyrnasai brenin ar bob un o honynt, ond a ddinystriwyd yn ddychrynllyd drwy i'r Arglwydd wlawio tân a brwmstan arnynt o'r nefoedd. Yr oedd y dinasoedd crybwylledig yn sefyll mewn gwastattir hyfryd, yn agos i'r Iorddonen, ond yn llawn sylweddau tanllyd megis *bitumen a sulphur*; a phan yr oedd pechodau y trigolion wedi myned mor waedd-fawr, fel na ddioddefai yr Arglwydd hwynt yn ychwaneg yn y byd hwn, melldenodd arnynt o'r nefoedd, hyd onid oedd yr holl wlad yn oddaith oddi amgylch iddynt. Y mae hyd y dydd hwn dan y felldith, ac yn ei chanol y mae y Môr Marw, neu fel y gelwir ef weithiau, Môr Sodom. Dyweda Josephus ei fod yn 72 o filldiroedd o hyd, a 19 o led; ond teithwyr diweddar a ddywedant nad ydyw dros 24 o filldiroedd o hyd, ac o 6 i 7 o led. Y mae ei ddyfroedd yn chwerw iawn, ond nid yn wenwynig, oblegid y mae pysg yn byw ynddo;—pob un na fedr nofio, ni sudda yn hwn; ond a saif ar ei wyneb fel madarch. Ymarllwysa yr Iorddonen i'r Môr Marw, ond nid oes dwfr i'w weled yn myned o hono.

Dengys amgylchiadau truenus Sodom a'r dinasoedd eraill i ni, 1. Pa oreu fyddo sefyllfaoedd dynion, mai mwyaf rhyfygus ydynt i bechu yn erbyn Duw. Yr oedd gwlad fel paradwys yn y gwastadedd hwn, ond y trigolion, yn lle cydnabod a gwasanaethu Duw yn y mwynhad o'i drugareddau, a bechent yn ffiaidd yn ei erbyn; ac fel hyn y mae gyda llawer etto sydd yn byw yn fras ac yn foethus. 2. Y daw y farn yn ddychrynllyd pan dreulio amynedd Duw allan, ac na wna efe arbed yn nydd y dymhestl fawr. Damniodd Duw y Sodomiaid â dymchweliad pan ymwisgodd ym mantellau ei ddialeddau, ac efe a fwrw dan ei draed ei holl gaseion yn nydd mawr ac ofnadwy y farn. 3. Y gwareda efe y rhai a'i hofnant ac a'i carant yng nghanol y dryccinoedd mwyaf. Lot gyfiawn a waredwyd, ac nid oedd fodd arllwys y llifeiriant nes ei gael i Soar.

---

## XV. Y SWYDD FUGEILAIDD.

Yn Llyfr Genesis yr ydym yn darllen am y cyfoethogion fel yn berchennogion praidd aml, ac yn amlder eu praidd yr oedd eu cyfoeth yn gynnwysedig fwyaf. Nid oedd y byd y pryd hwnnw yn

llawn iawn o drigolion; a symmudid y diadellau yma ac accw, yn ol y byddai cyfleusdra yn rhoddi. Yr oedd Abraham yn gyfoethog iawn, a chanddo weision a morwynion lawer, y rhai hefyd oeddynt yn eiddo iddo unwedd a'i ddefaid a'i wartheg. Y gwyr mwyaf y crybwyllir am danynt ym moreu yr oesau oeddynt fugeiliaid, megis Abel, Abraham, Isaac, Jacob, Moses, a Dafydd; ïe merched mawrion y gwledydd a ddilynent y swydd hon, megis merched Jethro a Laban. Yr oedd bugeiliaid yn ffieidd-dra gan yr Aiphtiaid; oblegid bod mintai o ddieithriaid, bugeiliaid o Ethiopia neu Arabia, wedi goresgyn ac wedi bod yn gormesu ar yr Aipht. Aberthau yr Hebreaid hefyd oeddynt ffieidd-dra yr Aiphtiaid; hynny yw, ychain, geifr, ŵyn, a hyrddod, y rhai a ystyrid yn gyssegredig, ac a addolid gan yr Aiphtiaid: o ganlyniad credent mai anghyfreithlon eu haberthu. Ni ellir llai na sylwi, 1. Bod gwahaniaeth mawr rhwng mawrion yr oesau boreuol a mawrion yr oesau diweddar hyn. Abraham yn eistedd dan gysgod coeden i fwynhau yr awel hwyrol wedi lludded y dydd, ac megis yn ymofyn am gyfle i ddilyn lletteugarwch;—y mawrion presennol yng nghanol eu twrf a'u gloddest; a'r cwn gartref i gyfarth y pererin ymaith rhag rhoddi o hono bwys ei ben o fewn i'w hanneddau. 2. Y cyfeillgarwch mawr a hanfodai rhwng mawrion yr oesau boreuol; pan aeth Abraham i brynu meddiant beddrod gan feibion y tir er claddu ei wraig Sarah, y fath ymgrymmu a'r fath barch a roent i'w gilydd! Mynnai Ephron a meibion Heth iddo gymmeryd ogof Macpelah a'r maes am ddim. Y mawrion presennol ydynt yn siglo gorseddau drwy eu hymrafaelion, ac yn fynych a dywalltant waed y naill y llall.

---

## XVI. YSGOL JACOB.

Jacob yn ei ffoedigaeth o dŷ ei dad, rhag ofn ei frawd Esau, ydoedd yn drwm iawn ei galon, a'r dagrau heilltion a wlychent ei ruddiau pan droai ei olwg ddiweddaf tua chaerau hoff yr hen annedd; ond erbyn ei ddyfod ar ddamwain i ryw fangre, yr oedd yr haul wedi machludo a'r bachgen heb un lletty. Noswaith ofidus i Isaac, a thebygol mai nid cwsg cysurus a gafodd Rebecca, gan ymofidio oblegid ei hanwyl blentyn; ond Duw a'i gwarchodai ef, oblegid wedi gorwedd o hono, a dodi pwys ei ben ar garreg, "Efe a freuddwydiodd, ac wele ysgol yn sefyll ar y ddaear, a'i phen yn cyrhaeddyd i'r nefoedd: ac wele angylion Duw yn dringo ac yn disgyn ar hyddi." Diau mai rhagluniaeth fawr y Goruchaf a arddangosai ac a arluniai hon; nefoedd a daear yn cael eu cyssylltu ynghyd ganddi, ac angylion Duw yn gweinyddu er dwyn pethau oddi amgylch i'r rhai y mae y nefoedd yn gofalu am danynt. Golwg ar Dduw yn ei oruchaf lywodraeth ac yng ngweinyddiad ei ragluniaeth ydoedd cysur mwyaf Jacob yn ei gyfyngder presennol; a Duw a roes hynny o'i drugaredd iddo; ac y mae yn dra amlwg i Jacob ystyried y weledigaeth hon fel arddangosiad o'i fod dan warcheidwadaeth y nefoedd, oblegid aeth ym mlaen yn ei daith tua Mesopotamia yn dra chysurus. Dysgwn, 1. Na wneir niwed i neb os dan warcheidwadaeth yr Hollalluog:—yn y dwfr ni orchuddir ni gan y llifeiriant, ac

yn y tân ni ennyna y fflam arnom. 2. Bod presennoldeb Duw yn gwneuthur y lle anial yn nefoedd;—"Dyma dŷ i Dduw, a thyma borth y nef;" er heb gronglwyd i'w gysgodi pan ymledai mentyll duon y nos dros y fro.

---

## XVII. JOSEPH.

Ganed Joseph yn y flwyddyn o oed y byd 2259, ac oblegid ei dduwioldeb, ynghyd a'i fod yn fab i Rachel, yr oedd ei dad Jacob yn ei hoffi yn fawr; yr oedd tua dwy ar bumtheg pan anfonodd ei dad ef i edrych helynt ei frodyr, y rhai wedi ei ddyfod attynt a ymddygasant yn dra anfrawdol atto: gwerthasant ef am ugain darn o arian, yr hyn sydd tua dwy bunt a chwech swllt o'n harian ni. Gwerthodd yr Arabiaid ef i Potiphar, cadben Pharaoh brenin yr Aipht, lle y dangosodd ei dduwioldeb mewn modd neillduol yn ei waith yn gwrthod ymhalogi gyda gwraig ei feistr; bwriwyd ef i garchar, ond dygwyd ef allan er bod yn llywodraethwr ar holl wlad yr Aipht; a bu yn waredwr i'r Aiphtiaid ac i deulu ei dad. Yn hanes Joseph y gwelwn, 1. Mor ddiwyrni y mae rhagluniaeth y Goruchaf yn dwyn dibenion Iôr oddi amgylch: yr oedd yn rhaid cael Joseph i'r Aipht; ond mor rhyfedd y trodd olwynion y peiriant er ei drosglwyddo yno! Ymddangosodd yn y wlad fel caethwas, ac o'r carchardy y dygwyd ef i eistedd yn nesaf at y brenin. 2. Bod ofn Duw yn y galon yn diogelu ffafr y nef ym mhob rhyw amgylchiadau. Ofnai Joseph Dduw pan yn myned at ei frodyr, ac efe a'u hattaliodd i'w ladd; ac ofnai Dduw yn nhŷ Potiphar, ac efe a'i cadwodd ef rhag pob niwed; a'r ffordd oreu er bod yn ddiogel ym mhob cyfyngderau, ydyw ofni Duw ac ymgadw rhag pob drygau.

---

## XVIII. JACOB A'I FEIBION YN MYNED I'R AIPHT.

Gwlad Canaan oedd Duw wedi addaw i Abraham a'i had, ond yn awr wele ei hiliogaeth yn myned i lawr i'r Aipht, oblegid yn ol trefn Duw, yno yr oeddynt i gael eu gwneuthur yn genedl fawr. Y mae gan yr Arglwydd amser neu adeg i gyflawni ei addewidion, ac ni chyflawna efe ei addewidion ond pan ddel cyflawnder yr amser oddi amgylch. Yn yr Aipht yr oedd Israel i gael eu haddfedu i wlad Canaan, ac yn y cystudd mawr y mae Israel ysprydol i gael eu cymhwyso i'r nefoedd; ac yn wyneb bod ffyrdd Duw yn anchwiliadwy, a'i lwybrau yn anolrheinadwy, na fydded i ni ryfygu dywedyd yn ynfyd yn erbyn ei drefniadau ef, oblegid y mae yr Apostol wedi llefaru, "Bod pob peth yn cyd-weithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw, sef y rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth ef."

# LLYFR ECSODUS.

Enw y llyfr hwn a ddeillia oddiwrth y cyfieithad Groegaidd, ac a arwydda un o'r hynodion mwyaf a grybwyllir yn yr hanes a rydd, sef *Exodos*, neu Ymadawiad yr Israeliaid o'r Aipht. Gan yr Iuddewon ac yn y Bibl Hebraeg, gelwir ef *Ve ale shemoth*, (Y rhai hyn ydyw y geiriau.) Cynnwysa hanes y digwyddiadau a gymmerasant le yn yspaid 145 o flynyddoedd, sef o oed y byd 2369, hyd y flwyddyn 2514; o farwolaeth Joseph hyd adeiladaeth y Babell. Pum' gwaith ar hugain yn ol Rivet y difyna ein Hiachawdwr ymadroddion o lyfr Ecsodus, ynghyd â'r Apostolion; a phedwar ar bumtheg o gyfeiriadau at yr ystyr yn y Testament Newydd. Mai Moses a ysgrifenodd y llyfr hwn sydd ddios, ac iddo ei ysgrifenu wedi rhoddiad y ddeddf ar Sinai sydd yr un mor ddiamheuol; oblegid ni ellir ysgrifenu hanes hyd oni chymmero pethau le, ac y mae yn amlwg bod ysgrifenydd y llyfr hwn yn dyst llygad a chlust o'r hyn oll y mae wedi ei adrodd.

Wedi i Moses yn llyfr Genesis ddarlunio y greadigaeth a phoblogaeth y byd, ynghyd â sefydliad yr eglwys; y mae yn llyfr Ecsodus yn darlunio cyflwr yr eglwys, fel wedi ei chynnull o wahanol deuluoedd, a'i huno yn un corph neu gymdeithas, Pen yr hon ydoedd Jehofah ei hun. Adrodda llyfr Ecsodus am erledigaeth greulon yr Israeliaid gan yr Aiphtiaid, dan deyrnasiad Pharaoh Rameses yr ail; genedigaeth a diogelwch Moses; ei ffoëdigaeth i Midian; ei alwedigaeth a'i gennadiaeth dros Dduw at Pharaoh Amenophis yr ail. Y gwyrthiau a gyflawnwyd ganddo ef a'i frawd Aaron; y deg pla a roddwyd yn wyrthiol ar yr Aiphtiaid; mynediad Israel drwy y Môr Coch, a dinystr yr Aipht; eu teithiau yn yr anialwch, eu heilunaddoliaeth, a'u tuchaniadau yn erbyn Duw. Rhoddiad y ddeddf ar Sinai, ac adeiladaeth y Babell.

Diben y llyfr hwn ydyw cadw coffadwriaeth o ymadawiad Israel o'r Aipht, ac arddangos eglwys Dduw yn cael ei diogelu yn ei blinderau gan ei goruchaf ragluniaeth, ynghyd â'r barnedigaethau a dywalltwyd ar ei gelynion. Noda y llyfr hwn allan yn amlwg, gyflawniad o'r addewidion dwyfol, a'r prophwydoliaethau a roddwyd i Abraham, y byddai i'w hiliogaeth fod yn lliosog iawn. Gen. 15. 5. a 17. 4—6. a 46. 27. Num. 1. 1—3, 46. Y byddai iddynt gael eu blino mewn gwlad ddieithr, o'r hon yr ymadawent yn y bedwaredd genhedlaeth, gyda golud mawr. Gen. 15. 13—16. Ecsod. 12. 25, 40, 41. Ym mhellach, yng ngwaith Israel yn myned drwy y Môr Coch, yr anialwch, a'r Iorddonen, i wlad yr addewid; y mae y llyfr hwn yn dangos yn gysgodol sefyllfa yr eglwys yn anialwch y byd hwn, hyd ei dyfodiad i'r Ganaan nefol,—yr orphwysfa dragywyddol. Yr Apostol Paul yn 1 Cor. 10. 1. &c. ac mewn amrywiol fannau yn ei Epistol at yr Hebreaid, a brofa fod y pethau hyn yn cael eu harddangos, ac yn gymhwysiadol i'r Eglwys Gristionogol. Myfyrdod gofalus am gyfryngwriaeth Moses, a'n cynnorthwya er deall cyfryngwriaeth Crist.

Yn llyfr Ecsodus y mae gwawr yr iechydwriaeth yn tywynu allan yn amlwg yn y cysgodau a bortreiadant yr Had addawedig. Yr oedd Aaron yr Archoffeiriad yn gysgod neillduol o Grist. Heb. 4. 14—16 a 5. 4, 5. Oen y Pasg. Ecsod. 12. 46. Ioan 19. 36. 1 Cor. 5. 7, 8. Y Manna. Ecsod. 16. 15. 1 Cor. 10. 3. Y Graig yn Horeb. 17. 6. 1 Cor. 10. 4. Y Drugareddfa. Ecsod. 37. 6. Rhuf. 3. 25. Heb. 4. 16.

Yr Iuddewon a rannant lyfr Ecsodus yn un ar ddeg o bennodau, ac i naw ar hugain o ddosparthiadau; yn ein Bibl ni rhennir ef i ddeugain o bennodau, cynnwysiad y rhai ydynt fel y canlyn:

RHAN I. Hanes amgylchiadau blaenorol i ymadawiad Israel o'r Aipht.

Dosp. 1. Caledi dwys meibion Israel. Pen. 1.
2. Genedigaeth ac amgylchiadau Moses. Pen. ii—vi.
3. Călediad calon Pharaoh, a thywalltiad y deg pla. Pen. vii—xi.

RHAN II. Hanes ymadawiad y llwythau etholedig o'r Aipht. Pen. 12—14.

RHAN III. Yr amgylchiadau canlynol i'w hymadawiad. Pen. 14—40.

Dosp. 1. Eu mynediad gwyrthiol drwy y Môr Coch. Pennodau xiv a xv.
2. Y gwyrthiau mawrion a rhyfeddol a wnaed yn eu rhan. Pen. xv. xvi. xviii.
3. Dyfodiad gwraig Moses, ei blant, a'i chwegrwn atto. Pen. xviii.

RHAN IV. Rhoddiad y ddeddf ar fynydd Sinai.

Dosp. 1. Parottoad Israel er adnewyddu y cyfammod â Duw. Pen. xix.
2. Rhoddiad y ddeddf foesol. Pen. xx.
3. Y ddeddf farnol. Pen. xxi—xxiii.
4. Y ddeddf seremonïol, ynghyd â chynllun ac adeiladaeth y Babell. Pen. xxiv—xxxi. xxxv—xl. Yn Pen. xxxii—xxxiv. adroddir eilunaddoliaeth yr Israeliaid, a thorriad llechau y gyfraith gan Moses, ynghyd âg adnewyddiad y cyfammod drachefn.

Ym mhlith hynodion llyfr Ecsodus, y mae gorchestion swynwyr yr Aipht, a'r plaau a osodes yr Hollalluog ar yr Aiphtiaid yn deilwng iawn o sylw. Bod y swynwyr yn gwneuthur gwyrthiau yr un mor wirioneddol a sylweddol a Moses, sydd ddiamheuol; oblegid os rhith wyrthiau a wnaent, y mae gan y Deist ddadl, er haeru mai rhith wyrthiau a wnaeth Moses, ond ei fod yn berffeithiach yn y gelfyddyd na Jannes a Jambres. Yr oedd Moses yn gyfarwydd yn holl ddysgeidiaeth yr Aipht, ond yr oedd gwyrthiau yn ddieithr iddo, oblegid pan aeth ei wialen gyntaf yn sarph, ofnodd a ffodd ymaith. Yn awr y mae yn amlwg fod hyn yn beth newydd iddo ef, ac y mae yn dra anghredadwy fod mwy wedi cael ei ddatguddio i swynwyr yr Aipht, nag i Moses. Barna rhai mai trwy y diafol y gwnai y swynwyr eu gwyrthiau: ond a oes ganddo allu i hyn, sydd, nid yn unig yn amheus, ond yn gwbl anghredadwy; oblegid yn gymmaint a bod deddfau natur yn cael eu gwrthdroi yng nghyflawniad gwyrthiau, nid dichonadwy i neb wneuthur gwyrthiau ond Awdwr natur ei hun; a'r canlyniad ydyw, mai drwy nerth y Goruchaf Dduw y gwnaent y swynwyr eu gwyrthiau yn gystal a Moses; ac i'r Arglwydd ganiattau hynny er dangos nerthoedd ei ryfeddodau yn nhir Ham, ac ym maes Soan.

Yr oedd y plaau a dywalltwyd ar yr Aipht, yn tueddu yn neillduol er dangos i Israel wagedd eilunaddoliaeth, ac er dieithrio eu meddyliau oddiwrth y grefydd lygredig hon: a gwnaent yn amlwg anallu yr eilunod a addolid gan yr Aiphtiaid beilch, eu gormeswyr.

Y pla cyntaf ydoedd *troi y dwfr yn waed.* Trwy hyn dangoswyd goruwch allu y Jehofah ar ddwfr-dduwiau yr Aiphtiaid, ynghyd â gwaelder yr elfenau a barchent hwy. Yr oedd parch crefyddol yn cael ei roddi i'r afon Nilus, yr hon a ystyrid ganddynt hwy yn afon sanctaidd; ond drwy allu mawr Duw, trowyd ei dyfroedd yn waed, yr hwn ydoedd yn wrthddrych ffieidd-dra gan yr holl Aiphtiaid.

Yr ail ydoedd pla y *llyffaint.* Y Nilus, gwrthddrych eu parch eilunaddolgar, a wnaed drwy allu Duw yn offeryn i'w cospi. Ystyrid llyffaint yn sanctaidd gan yr Aiphtiaid; ond drwy i'r Nilus heigio o lyffaint, halogwyd hi yr ail waith, a'r holl wlad a halogwyd yn gyfartal.

Y trydydd pla ydoedd pla y *llau.* Tybient yr Aiphtiaid ei fod yn halogrwydd mawr ar y deml os byddai pryfed o'r rhywogaeth hon arnynt pan elent i mewn iddi; ond yn awr yr oedd y llau yn heigio ar bawb, yr offeiriaid a'r swynwyr, a chyfaddefwyd *mai bys Duw ydoedd hwn.*

Y pedwerydd pla ydoedd y *gymmysg-bla,* sef gwybed a chilion o bob natur a rhywogaethau. Rhoddwyd y pla hwn arnynt yng nghanol y gauaf, ac nid yn yr haf, pan ydoedd yr Aipht yn llawn gwybed; dangosai hyn i'r Aiphtiaid ynfydrwydd eu tyb y gallasai yr eilun-dduw a addolent hwy yrru ymaith y *gad-fly,* math o gilionen, pigiad yr hon ydoedd dra phoenus.

Y pummed pla ydoedd *haint ar yr anifeiliaid.* Cyrhaeddodd hwn wrthddrychau eu haddoliad; gwelent y tarw sanctaidd, y fuwch, yr anner, yr hwrdd, a'r bwch, yn syrthio yn farw ger bron eu haddolwyr. Yr oedd eu man-dduwiau oll yn orchfygedig gan Dduw yr Hebreaid.

Y chweched pla ydoedd y *cornwyd llinorog.* Yr oedd yr Aipht yn enwog yn ei mheddygon, a chan yr Aiphtiaid ffydd fawr ynddynt: ond yn awr tarawyd hwynt â phla, yr hwn ni ellai eu duwiau gadw draw, na'u meddygon ei wellhau.

Y seithfed pla ydoedd y *cenllysg a'r tân.* Dangosai hyn nad allai y duw Osirus, yr hwn yn nhyb yr Aiphtiaid a lywodraethai y tân; na'r duw Isis, yr hwn a lywodraethai y dwfr, gadw na diogelu rhag dialeddau Duw Abraham, Isaac, a Jacob.

Yr wythfed ydoedd pla y *locustiaid.* Pan fyddo y rhai hyn yn heigiau mawrion yn ymweled â gwlad, y maent mewn ychydig amser yn dinystrio ei holl gynnyrch. Yn y pla hwn gwelai yr Aiphtiaid y gwynt, yr hwn a barchent yn grefyddol, yn cael ei wneuthur yn offeryn er dwyn llu mawr Duw er dinystrio eu holl ffrwythau.

Y nawfed pla ydoedd *dywyllwch mawr am dri diwrnod dros holl wlad yr Aipht.* Addolai yr Aiphtiaid yr haul, gan ei ystyried yn enaid y byd; ond yn y tywyllwch gwyrthiol hwn, rhoddwyd prawf ei fod yn gwbl dan lywodraeth, ac felly yn anaddas ac yn annheilwng o fod yn Dduw.

Y degfed, a'r pla olaf, ydoedd *lladd holl gyntaf-anedigion gwlad yr Aipht.* Yr ydoedd hon yn farn gyfiawn ar yr Aipht, oblegid yr aml

nifer o blant yr Hebreaid a orchymmynodd ei brenin i gael eu rhoddi i farwolaeth.

Y mae Cân Moses, wedi gwaredigaeth Israel o'r Aipht drwy y Môr Coch, yn dra theilwng o sylw, oblegid y mae yn cyfatteb i gân y gwaredigion i'r Oen wedi y buddugoliaethont ar eu gelynion.—"A chanu y maent gân Moses, a chân yr Oen."—

| | |
|---|---|
| 1. Yn yr *Aipht gysgodol*, gorthrymmwyd Israel yn dost gan Pharaoh erlidgar. | 1. Yn yr *Aipht ysprydol* gorthrymmwyd y saint yn dost gan Anghrist erlidgar. Dat. 11. 8. |
| 2. Gwaredwyd Israel o'r Aipht, a chafwyd buddugoliaeth gyflawn ar Pharaoh. | 2. Daw y saint yn rhydd o gaethiwed, a buddugoliaethant ar Anghrist. Dat. 15. 2. |
| 3. Ymladdodd Duw Hollalluog dros Israel, a gorchfygodd eu gelynion pennaf. | 3. Yr Arglwydd Crist a ymladda holl ryfeloedd y saint. Dat. 19. 11. |
| 4. Pharaoh a'i fyddin a suddasant dan donnau y Môr Coch. | 4. Fel hyn gyda rhuthr y teflir Babilon, y ddinas fawr, ac ni cheir hi mwyach. Dat. 18. 21. |
| 5. Wedi gorchfygu Pharaoh, Moses ac Israel a ganasant i Dduw y lluoedd. | 5. Y saint pan gaffont gyflawn orfodaeth, a ganantyn felus. Dat. 15. 23 |
| 6. Cân Moses pan ddinystriwyd Pharaoh, ydyw y gyntaf a grybwyllir yn yr Hen Destament. | 6. Cân yr Oen am y fuddugoliaeth ar Anghrist ydyw y ddiweddaf a grybwyllir yn y Testament Newydd. Dat. 15. 3. a 16. 5—7. a 19. 1—8. |

Ym mhlith yr amrywiol bethau a wneir yn amlwg yn llyfr Ecsodus y mae y rhai canlynol yn taro y meddwl wrth eu darllen; sef,

1. Pa bellaf y byddo ymwared yn ein golwg ni, efallai ei fod yn ein hymyl, a Duw â'i offerynau yn barod er gweithredu i ni iechydwriaeth. Yr oedd caethiwed Israel yn yr Aipht wedi myned yn flin iawn, a'r llenni duaf a'u hamgylchynent yn feunyddiol, fel yr oedd eu gwaredigaeth braidd yn anobeithiol; ond y pryd hynny yr oedd Duw yn trefnu ei fesurau er eu gwaredu. Y mae hyn yn ein dysgu i ymddiried yn yr Arglwydd ym mhob cyfyngderau.

2. Y medr Duw wneuthur i elynion ei bobl fod yn offerynau er cynnorthwyo yn nygiad eu gwaredigaeth oddi amgylch. Merch y brenin ei hun yn magu Moses, yr hwn oedd i siglo teyrnas yr Aipht, ac i arwain Israel o honi! Luther, yr hwn a fagwyd yng nghanol tywyllwch Pabyddiaeth, a siglodd ddegfed ran y ddinas hyd lawr.

3. Fod rhyw bethau allan o'r ffordd gyffredin yn ymddangos bob amser pan fyddo Duw yn myned i weithio. Diau i Moses weled tân mewn perth lawer gwaith, ond erioed ni welodd berth yn llosgi heb ei difa, nes yr aeth i Horeb, y mynydd ar yr hwn y disgynodd Duw. Disgwyliwn ni yn ddyfal wrth yr Arglwydd, ac ond i ni ddilyn ei adnabod, deuwn i fedru gwahaniaethu rhwng llais Duw ac eiddo dieithriaid.

4. Na anghofia Duw yn dragywydd mo addewid y cyfammod. Yr oedd Abraham wedi marw, Isaac wedi marw, a Jacob wedi marw, a'i hiliogaeth ar farw mewn cyni caled yn yr Aipht: ond yr oedd llŵ y cyfammod ger bron Duw; ac ar ddydd yr addewid gwaredodd hwynt â llaw gadarn ac â braich estynedig, gan eu dwyn i fynydd ei sancteiddrwydd.

5. Gan nad pa offerynau bynnag a ddefnyddia yr Hollalluog er gwaredu ei eglwys o'i chyfyngderau, mai iddo ef y perthyna y mawl

a'r gogoniant. Trwy Moses y dygwyd Israel o'r Aipht, ond i Dduw y rhoddwyd y clod; trwy gyrn hyrddod y syrthiodd caerau Jericho, ond gallu mawr Duw a amlygwyd; a thrwy offerynau gwaelion y dygir pechaduriaid at Grist, ond Duw biau y clod am achub.

6. Mai nid yn ol eu mympwy eu hunain y mae dynion i wasanaethu Duw, ond yn ol y cyfarwyddiadau a roes Duw i'w greaduriaid. Os oedd y fath fanylrwydd yn holl ddosparthiadau y grefydd Iuddewig, pa faint mwy yn y grefydd sydd yr awr hon, pan y mae yr holl gysgodau wedi ymadael.

## HYNODION LLYFR ECSODUS.

### I. CAETHIWED HAD ABRAHAM.

Cyfododd brenin newydd yn yr Aipht, yr hwn nid adwaenai mo Joseph; ond pa un ai hiliogaeth un o frenhinoedd y bugeiliaid, neu frenhinoedd cyntefig yr Aipht, y mae dysgedigion yn amrywio yn eu barnau. Er attal eu cynnydd, ac er rhwystro eu gwrthryfel, rhoddwyd hwynt mewn caethiwed blin a thost. Adeiladasant ddwy ddinas i Pharaoh, sef Ramases a Pithom; ac y mae Josephus yn dywedyd mai hwy a adeiladasant y Pyramidiau, ac iddynt gloddio ffosydd er dwyn dyfroedd y Nilus i ddyfrhau y wlad; ond er bod mewn caledwaith, cyfodi yn fore, a bod dan haul poeth yr Affric drwy gorph y dydd, yr oedd y dieithriaid yn cynhyddu yn rhyfedd. Wrth weled hyn, gosodwyd deddf mewn grym, mwy creulon nâ'r hon ni ddeilliodd yr un erioed o orsedd unrhyw ormeswr, sef dinystrio holl blant gyrrywaid yr Hebreaid; ond yr oedd rhagluniaeth y Goruchaf o hyd yn eu pleidio, fel na chai y gelyn ei gyflawn wynfyd arnynt. Yr oedd caethiwed Israel yn yr Aipht, 1. Wedi ei ragfynegu gan yr Arglwydd i Abraham, "Ac efe a ddywedodd wrth Abram, Gan wybod gwybydd, y bydd dy had di yn ddieithr mewn gwlad nid yw eiddynt, ac a'u gwasanaethant, a hwythau a'u cystuddiant bedwar can' mlynedd." Dywedodd yr Arglwydd Iesu Grist wrth ei bobl, "Yn y byd gorthrymder a gewch;" a phwy bynnag a fynno fyw yn dduwiol yn y byd hwn, efe a erlidir. 2. Yr oedd Israel dan warcheidwadaeth y nef yn eu holl gystudd yn yr Aipht. Er cynddaredd y brenin, er holl gynlluniau y llys, ac er holl ymgais eu gelynion i'w dinystrio; gwnaeth yr Hollalluog hwynt yn genedl fawr. Er cynddaredd gelynion Sion a'u hymgais i'w dinystrio drwy yr holl oesau, y mae yr Arglwydd ei Duw yn ei chanol hi yn gadarn, ac efe a'i dwg i'r trigfannau dedwydd gyda sain cân a moliant. 3. Yr oedd y cyfammod yn gadarn âg Israel, er eu bod dan ormes eu cas yn yr Aipht. Ac er bod plant yr Arglwydd yn bresennol, weithiau yng ngwaelodion y cymmydd ac yn y tiroedd pell; "Cyfammod fy hedd ni syfl, medd yr Arglwydd sydd yn trugarhau wrthyt.

## II. MOSES.

Esgorodd ei fam ar Moses mewn amgylchiadau neillduol gyfyng; oblegid bod y ddeddf i ddinystrio yr holl blant gwrrywaid mewn grym y pryd hwnnw; ond drwy ffydd, efe a guddiwyd dri mis gan ei rieni; a phan na allent ei guddio yn hwy, gosodwyd ef mewn cawell wedi ei wneuthur o hesg, ac a ollyngwyd gyda yr afon Nilus. Efe ydoedd fab Amram, yr ail o Lefi, ac a aned yn y flwyddyn o oed y byd 2433. Wedi ei ollwng i'r afon, canfyddwyd ef gan ferch Pharaoh, yr hon a ddaeth i lawr i ymdrochi, ac a orchymmynodd ei dynnu ef allan. Magwyd ef gan ei fam ei hun, ac a gymmerwyd dan ymgeledd merch y brenin, ac a ddygwyd i fynu yn holl ddysgeidiaeth yr Aipht. Ond wedi ei fyned yn fawr, efe a wrthododd ei alw yn fab merch Pharaoh, gan farnu yn hytrach yn fwy golud ddirmyg Crist, na holl drysorau yr Aipht:—ffodd o'r wlad, daeth yn ei ol, ac arweiniodd Israel allan o dŷ y caethiwed mawr.

Yr oedd Moses, 1. Wedi ei neillduo o'r groth er bod yn waredwr ac yn ddeddf-roddwr; ac y mae rhagluniaeth y Goruchaf yn gofalu yn neillduol er cadw a diogelu y rhai hynny y mae ganddo ef waith iddynt i'w wneuthur. 2. Ni anghofiodd Moses ei bobl, er cael ei ddwyn i fynu ym mhlith mawrion y llys. Mor isel a gostyngedig y mae crefydd yn cadw ei pherchennog:—arddelodd hwynt, a chymmerodd eu plaid pan yn eu cyfyngderau a than bwys eu beichiau. 3. Er bod am ddeugain mlynedd oddi wrthynt, nid anghofiodd hwynt; ond pan gafodd gommissiwn a gorchymmyn gan Dduw, ymwelodd â hwynt er eu hiechydwriaeth. Bu fel gwas yn ffyddlon, ac yn ffyddlon iawn yn holl ddosparthiadau tŷ ei Dad.

---

## III. Y MOR COCH.

Y mor Coch sydd fraich o fôr yr India, yn torri i mewn drwy gyfyng-fôr Babelmandel, ac yn rhedeg gyda y gogledd orllewin i wlad Arabia, a'r gorllewin i Ethiopia a'r Aipht, hyd agos i ddeuddeg cant o filldiroedd o hyd. Gelwid ef gan yr Hebreaid Yam-Suph, neu y Môr Chwynnog, oddiwrth y chwynn o amryw liwiau a dyfent ar ei lennydd. Ond am y meddiennid ei borthladdoedd am amser hir gan yr Edomiaid, daeth i gael ei alw yn Fôr Edom; a'r Groegiaid a'i galwasant, Y Môr Coch, am fod Edom yn arwyddo coch. Nid dichonadwy myned drwyddo ond yn wyrthiol, yn ol hanes y teithwyr cywiraf. Agorwyd ef gan yr Hollalluog, yr hwn a farchogodd o flaen ei etholedigion yng ngherbydau ei iechydwriaeth, gan wneuthur iddynt ffordd drwy y dyfroedd dyfnion. Nid ydyw Sïon i ofni cyfyngderau, oblegid y mae ei Phrynwr a'i Phriod yn alluog i bob peth, ac a wna y ffordd yn oleu o'i blaen yng nghanol y tywyllwch mwyaf. Rhydd ddyffryn Achor yn ddrws gobaith iddi, a'i gwinllanoedd o'r fan honno; a hithau yn wyneb y waredigaeth a gân megis yn nyddiau ei hieuengctyd.

## IV. Y GOLOFN FWG A THAN.

Dywedodd Jehofa y byddai iddo ef ei hun fyned allan o flaen Israel o wlad yr Aipht; ac yn eu mynediad, ymddangosodd colofn fawr o'u blaen, yn eu harwain yn y ffordd yr oeddent i fyned ar hyd-ddi. Cwmmwl mawr ydoedd hwn yn ffurf colofn, ac yr oedd hon yn myned o'u blaen o wlad yr Aipht. Wedi dyfod o Pharaoh a'i fyddin ar eu hol, symmudodd y golofn o'r tu ol iddynt, gan eu cuddio rhag yr Aiphtiaid, a'u goleuo hwythau yn eu taith. Safodd rhwng yr Aiphtiaid a hwynt yn y Môr Coch; ac o'r golofn hon yr edrychodd Duw ar lu Pharaoh, ac y taflodd hwynt i derfysg. Yr oedd yn dywyllwch dudew ar yr Aiphtiaid, yr hyn a'u llanwodd â dychryn ac âg ofn. Pan y gwersyllent, yr oedd y golofn uwch ben y babell, megis cwmmwl o niwl y dydd, ac yn dân fflamllyd y nos. Canlynodd hon hwynt am ddeugain mlynedd, sef hyd farwolaeth Moses, pan yr oeddynt ar derfyn tir yr addewid. Y mae eglwys y Testament Newydd dan gyfarwyddiadau neillduol yr Yspryd Glân, yr hwn sydd yn ei harwain ar hyd y ffordd y mae iddi rodio. "A'r Arglwydd a grea ar bob trigfa o fynydd Sïon, ac ar ei gymmanfa-oedd, gwmmwl a mwg y dydd, a llewyrch tân fflamllyd y nos: canys ar yr holl ogoniant y bydd ymddiffyn." Gellir sylwi, 1. Fod yr Arglwydd mewn modd neillduol yn cyfarwyddo ei bobl yn y ffordd y mae iddynt rodio—Efe a'u tywys hwynt hyd angeu. 2. Mai trwy droi o'r llwybrau y mae ei bobl yn cyfarfod â thramgwyddiadau. 3. Nad dichonadwy cyrhaeddyd gwlad yr addewid, ond trwy edrych ar y Blaenor mawr, yr hwn ydyw Tywysog a Pherffeithydd ffydd y saint.

---

## V. MYNYDD SINAI.

Y mae mynydd Sinai yn un o'r lleoedd hynottaf y crybwylla yr Ysgrythyr am dano, oblegid mai arno y disgynodd Duw er rhoddi y gyfraith i Israel. Y mae mynydd Sinai yn Arabia garregog, nid ym mhell o gongl ddeheuol y Môr Coch, o ddeutu dau cant a thru-gain milldir i'r dwyrain o Cairo, yn yr Aipht. Y mae amryw fryn-iau ar ei ben, ond y mae iddo ddau yn nodedig o uchel; y pen gorllewinol a elwir Horeb; a'r pen dwyreiniol, yr hwn sydd lawer uwch, a elwir Sinai. Dywedir bod ffynhonau a choed ffrwythlawn ar Horeb, ond ar Sinai nid oes ond dwfr gwlaw yn unig. Y mae yr esgyniad i'r mynydd hwn yn dra syth, ar hyd risiau, y rhai a orchymmynodd yr Ymerodres Helena, mam Cystenyn Fawr, i'w torri yn y graig. Y mae ar ben Sinai gapel cyssegredig i St. Catharine, ac y mae yma ychydig fynachod yn byw yn bresennol. Ar Horeb yr ymddangosodd Duw i Moses mewn fflam dân o ganol perth; ac wrth odreu y mynydd y tarawodd Moses graig, fel y ffryd-iodd dwfr allan; yma y ffodd Elias rhag cynddaredd Jezebel; ac yma, mewn tân a cholofnau mwg, y rhoddwyd y gyfraith. Llefarir am Sinai, fel arlun o gyfammod torredig, "Canys yr Agar yma yw mynydd Sinai yn Arabia;" a dywedir hefyd ei fod yn fynydd teim-

ladwy; ac nid o natur ysprydol mynydd Sïon. Y mae llawer yn ymofyn am fywyd ym mynydd Sinai, ond nid oes neb wedi ei gael, oblegid y mae Agar yn gaeth, hi a'i phlant; ac mewn perthynas i'r rhai sydd dan y cyfammod newydd, ni ddaethant at y mynydd teimladwy; ond i fynydd Sïon, lle mae gwleddoedd yr efengyl wedi eu parottoi, a Duw yn cymdeithasu â'i bobl.

---

## VI. Y MANNA.

Y MAE rhywogaeth o Fanna i'w gael hyd heddyw yn Poland, Calabria, Dauphine, Libanus, ac Arabia. Ceir ef yn Arabia ar ddail coed, ar lysiau, ac ar y tywod; y mae o natur rydd, ac yn cael ei ddefnyddio yn unig fel meddyginiaeth. Ond manna yr Hebreaid yn yr anialwch ydoedd wyrthiol, ac yn faethlon iawn. Gwlawid ef am chwech diwrnod, ond peidiai y seithfed dydd; ac yr oedd yn y fath gyflawnder oddi amgylch gwersyll Israel, fel yr oedd yn gynnaliaeth i dair miliwn o bobl. Yn ol Schenchzer, yr oedd pedwar ugain a phedwar ar ddeg, pedwar cant a chwech a thrugain o *fwsheli* o fanna yn cael ei ddefnyddio bob dydd! Rhyfedd allu mawr Duw! Parhaodd hwn i fod yn ymborth iddynt am ddeugain mlynedd; a gelwir ef yn fara angylion, neu yn hytrach, bara'r cedyrn: syrthiai yn y boreu gyda'r gwlith; a phan sychai hwn, yr oedd y manna yn barod i'w gasglu. Gronynau mân ydoedd, gwyn fel llwydrew, ac o faintioli had coriander. Wedi ei guro mewn mortar, neu ei falu, pobid ef yn fara, yr hwn ydoedd dra blasus i'r archwaeth; ond Israel a'i galwent, pan ymrysonent â Moses, "Y manna gwael hwn." Yr oedd y manna yn gysgod neillduol o Grist, yr hwn ydyw y gwir Fanna a'r Manna cuddiedig. Yng nghanol ein gwrthryfel, rhad rodd Duw yw efe—disgynodd o'r nefoedd—ac y mae yn holl gyflawnder ei drysorau wedi ei arlwyo i bechadur yng ngwledd yr efengyl. Efe ydyw y Bara bywiol a ddaeth i wared o'r nef; a phwy bynnag sydd yn ymborthi arno yn ysprydol, y mae ganddo fywyd ysprydol yn ei enaid.

---

## VII. Y SARPH BRES.

OBLEGID amryfusedd Israel yn yr anialwch, anfonodd Duw seirph tanllyd i'w plith, fel y bu amryw o'r bobl feirw o herwydd eu brathiadau. Yn wyneb eu hedifeirwch, gorchymmynodd Duw i Moses wneuthur sarph bres, a'i dyrchafu ar drostan, fel y byddai i bwy bynnag a frathid edrych ar hon, modd y byddai fyw. Y mae deongliad neillduol ar wellhad y rhai a frethid gan y seirph tanllyd, drwy edrych ar y sarph bres, yn llyfr Doethineb yr Apocrypha, pen. 16. 12. "Oblegid nid llysieuyn nac eli a'u hiachaodd hwynt; eithr dy air di, O Arglwydd, yr hwn sydd yn iachau pob dim." Nid un rhinwedd yn y sarph bres oedd yn iachau y bobl, ond gallu Duw; "Ac megis y dyrchafodd Moses y sarph yn y diffeithwch, felly y mae yn rhaid dyrchafu Mab y dyn; fel na choller pwy bynnag a gredo yn-

ddo ef, ond caffael o hono fywyd tragywyddol." Dyrchafwyd y sarph ar drostan, a dyrchafwyd Crist ar y groes; rhaid oedd i'r Israeliaid brathedig edrych ar y sarph cyn y gwelent, a rhaid i bechaduriaid colledig edrych yn unig ar Grist am iechydwriaeth. Nid oedd un feddyginiaeth i Israel ond drwy edrych ar y sarph, ac nid oes un feddyginiaeth i bechadur ond drwy edrych ar Fab Duw: pob un a edrychai ar y sarph bres a ddeuai yn iach, a phob pechadur a edrycho ar Grist a achubir. Cadwyd y sarph bres yn hir fel colofn o drugaredd ddwyfol, ond o'r diwedd gwnaed eilun o honi gan blant Israel. Pa bryd y dechreuodd Israel wneuthur eilun o honi gyntaf, y mae yn anhawdd dywedyd; ond yr hanes oreu a roddir gan y Rabbi Iuddewig, David Kimchi; "Arogldertbid gan yr Hebreaid, pan dueddent i eilun-addoliaeth, o flaen y sarph bres, am yr ystyrient hi yn rhyw beth neillduol, o herwydd dywedyd o Moses, y byddai i bwy bynnag a edrychai arni fyw. Dychymmygent y rhoddid bendithion iddynt drwy ei chyfryngwriaeth; am hynny rhoddeut wasanaeth crefyddol iddi." Ni ddinystriwyd hi gan Asa na Jehosaphat pan burasant y wlad o eilun-addoliaeth; ond Hezeciah, pan ddeallodd fod y bobl wedi gwneuthur eilun o honi, a'i llwyr ddinystriodd, fel na byddai yn fagl mwyach i'r rhai yr oedd eu bryd ar ymbellhau oddiwrth yr Arglwydd.

---

## VIII. YR URIM A'R THUMMIM.

Yr oedd yr Urim a'r Thummim yn un o'r pethau hynottaf a berthynent i'r gwisgoedd Arch-offeiriadol, ynghylch y rhai y mae y dysgedigion Iuddewig a Christionogol yn dra gwahanol yn eu barnau. Arwydda y geiriau, *Urim* a *Thummim*, Oleuadau a Pherffeithiadau, ac yr oeddynt yn nwyfronneg y farnedigaeth; ond pa beth oeddynt y mae yn anhawdd iawn penderfynu. Rhai a feddyliant mai dau faen gwerthfawr oeddynt, a ychwanegwyd at y deuddeg maen yn y ddwyfronneg, ar y rhai y llewyrchai goleuni disglaer pan gymmeradwyai Jehofa unrhyw beth, a thrwy eu tywyllwch arwyddai ei anghymmeradwyaeth. Eraill a dybiant bod y geiriau *Urim* a *Thummim* yn naddedig ar faen gwerthfawr, neu ddalen aur, wedi ei sicrhau wrth y ddwyfroneg. Y crybwylliad cyntaf a wneir mewn perthynas iddynt, sydd yn Ecsod. 28. 30. "A dod ar ddwyfroneg y farnedigaeth yr *Urim* a'r *Thummim*; a byddant ar galon Aaron pan elo i mewn ger bron yr Arglwydd: ac Aaron a ddwg farnedigaeth meibion Israel ar ei galon, ger bron yr Arglwydd, yn wastadol." Yn Lef. 8. 8. dywedir, "Ac efe a osododd y ddwyfroneg arno, ac a roddes yr *Urim* a'r *Thummim* yn y ddwyfroneg." Tra thebygol wedi pob peth, mai y deuddeg maen yn y ddwyfroneg oeddynt yr *Urim* a'r *Thummim*, yn y rhai yr oedd enwau deuddeg llwyth Israel wedi eu naddi. Gweler Ecsod. 28. 17—21. 29, 30. a 39. 8. Lef. 8. 8. Pan yr ymgynghorid â'r Arglwydd trwy *Urim* a *Thummim*, rhoddai yr archoffeiriad ei wisgoedd pennaf am dano, ac mewn achosion cyffredin a elai i'r cyssegr, gan sefyll â'i wyneb ar y Sanctaidd Sancteiddiolaf, a'r ymofynnydd mor agos atto ag y caniattae y gyfraith. Ond pa fodd y rhoddid attebiad, sydd anhysbys; pa un ai

trwy lais eglur oddiar y drugareddfa, neu ddisgleirdeb anarferol ar y ddwyfronneg, y mae yn anhawdd penderfynu. Ni ymofynid â barn *Urim* mewn perthynas i fatterion ffydd, oblegid yr oedd y ddeddf ganddynt, nac ychwaith mewn perthynas i bethau o ychydig bwys. Tra bu Moses byw, nid oedd achos ymgynghori â'r *Oracle*, oblegid llefarai efe â Duw wyneb yn wyneb. Wedi marwolaeth Moses, ymofynid â Duw drwy *Urim*, hyd oni chyfododd prophwydi. Yr oedd yr *Urim a'r Thummim* yn eisiau cyn dyddiau Ezra a Nehemiah. Dyweda yr Iuddewon fod ganddynt *Oracle* wedi marwolaethu Malachi, a elwid *Bathcol*, neu (ferch y llais,) ond nid ydoedd hon amgen nag ynfydrwydd rhai dynion, yn agoryd y Bibl, ac yn penderfynu bod yr adnod y tarawo eu llygaid gyntaf arni, yn dwyn rhyw berthynas neillduol â'u hachosion. Y mae yr *Urim a'r Thummim* wedi ei gael yn y perffeithrwydd mwyaf yng Nghrist; yr hwn sydd wedi egluro i ni feddwl ac ewyllys Duw, ac a wnaeth ddirgelion teyrnas nefoedd yn hyspys i ni drwy ei efengyl. Y mae efe i'w gael ym mhob man, a groeso i bawb agoshau at y Tad yn ei enw ef; a thrwy ei Yspryd y mae yn cyfarwyddo dynion at y ffyrdd ym mha rai y gogoneddant yr Arglwydd.

---

## IX. Y DDEDDF FOESOL.

Y DDEDDF foesol a roddwyd ac a gyhoeddwyd gan Dduw ei hunan, yng nghanol y dychrynfeydd mwyaf, ac a ysgrifenwyd â bys Duw mewn deg o bennau ar ddwy lech garreg. Pedwar pen ar y llech gyntaf mewn perthynas i ddyledswydd dyn at Dduw, a chwech ar yr ail mewn perthynas i ddyledswydd dyn at ei gymmydog; oblegid hyn dywedir bod yr holl gyfraith yn gynnwysedig mewn dau beth, sef cariad at Dduw, a chariad at ddyn. Ac y mae y fath gyssylltiad rhwng gwahanol bennau y ddeddf a'u gilydd, fel y mae yr hwn a droseddo un o honynt yn droseddwr o'r holl ddeddf. Gellir ystyried y ddeddf yn y tri goleu canlynol: 1. Fel deddf natur; ym mha oleu y gofyna berffaith ufudd-dod, neu gosp anfeidrol, ond heb ddangos gwobr bywyd taagywyddol i'r hwn a'i cadwo. 2. Fel y mae wedi ei llunio i gyfammod o weithredoedd, oblegid yr hyn y gelwir hi "deddf gweithredoedd;" gofyna ufudd-dod perffaith, dan boen marwolaeth, tymhorol, ysprydol, a thragywyddol; ynghyd â thragywyddol ddedwyddwch i'r hwn a'i cadwo yn berffaith, yr hyn sydd yn hollol annichonadwy i neb o blant Adda yn eu cyflwr llygredig presennol. Rhuf. 10. 5. Gal. 3. 10, 12, 21. Er manylrwydd ac ysprydolrwydd, tybia dynion yn eu cyflwr natur y medrant ennill cyfiawnder drwyddi, o herwydd pa ham gwrthodant Grist a'i gyfiawnder, ac ni dderbyniant drefn achubol gras; ond glynant wrth y ddeddf, gan ddisgwyl cael dedwyddwch tragywyddol trwyddi. Rhuf. 9. 31—33. a 10. 3. 3. Fel cyfraith Crist, neu reol dyledswydd yn llaw Crist fel Cyfryngwr. Yn y goleu hwn gofyna berffaith ufudd-dod, ond derbynia yr ufudd-dod a roir drwy ffydd. Mewn perthynas i roddiad y ddeddf ar Sinai, ai dangosiad o gyfammod o ras, cyfammod o weithredoedd, neu gyfammod gwladol ydoedd, y mae dadleu mawr

wedi bod ac yn bod rhwng duwinyddion; ond pan yr ystyriom y deg gorchymmyn, yn cael eu rhoddi gyda y fath ddangosiadau brawychus, ynghyd â'r fath felldithion i'r troseddwr, ymddengys yn hytrach mai ail adroddiad o'r cyfammod gweithredoedd ydoedd, trwy ba un y gallai yr Hebreaid weled eu cyflwr drwg, a ffoi at Grist drwy ffydd er achub eu heneidiau. Pan yr ystyriom lechau y gyfraith, fel wedi eu rhoddi yn yr arch, yr hon a daenellid â gwaed ynghyd â seremoniau eraill, y mae yma ryw arwydd efangylaidd o fod y gyfraith yn awr yn llaw Cyfryngwr, ac yn rheol dyledswydd i ni. Y mae pob dyn yn ei gyflwr natur yn elyn i oruchaf ddeddf yr Arglwydd, o herwydd ei bod, 1. Yn rhy sanctaidd yn ei nhatur. 2. Yn rhy fanol yn ei gofyniadau. Ac yn 3. Yn rhy drwm yn ei bygythion.

---

# LLYFR LEFITICUS.

Trydydd llyfr Moses a elwir gan yr Iuddewon, *Va-Yikra*, (ac efe a alwodd,) sef y gair cyntaf yn y llyfr. Yn y Bibl Groeg gelwir ef *Leviticon*, oddiwrth yr hwn air y deillia Lefiticus, sef y llyfr Lefiticaidd; nid am ei fod yn ymdrin yn neillduol â gweinidogaeth y Lefiaid, ond am ei fod yn cynnwys y deddfau perthynol i grefydd yr Israeliaid, yr hon ydoedd yn gynnwysedig gan mwyaf mewn aberthau, gofal y rhai a roddwyd i Aaron y Lefiad, fel ei gelwir yn Ecsod. 4. 14. ac i'w feibion, i'r rhai yn unig y perthynai yr Offeiriadaeth yn llwyth Lefi. Caniatteir yn gyffredinol mai Moses a ysgrifenodd y llyfr hwn, a thrwy gydmaru Ecsod. 40. 17. a Num. 1. 1. yr ydym yn cael ein rhoddi ar ddeall fod y llyfr dan sylw yn cynnwys hanes tua mis o amser; sef o adeiladaeth y babell, hyd oni chyfrifwyd y bobl addas i ryfel.

Diben y llyfr ydyw gwneuthur yn adnabyddus i Israel y deddfau, yr aberthau, a'r ordinhadau; a thrwy y rhai hyn, fel cyfryngau, i arwain y bobl at y Messiah. Heb. 10. 1. Gal. 3. 24. Ac ymddengys oddiwrth ymadroddion yr Apostol Paul yn 1 Cor. 10. 1—4. fod ganddynt ryw ddrychfeddwl am arwydd ysprydol y rhai hyn: ond yn fwy neillduol, bod y ddeddf seremonïol wedi eu hamcanu, 1. Er cadw Israel yn bobl wahanol a neillduol oddiwrth holl dylwythau y ddaear. Yr oedd y gwasanaeth hwn mor gostus a drudfawr, fel na buasai neb yn ei ymarferyd, ond yn unig y rhai hynny a gredent yn ei ddwyfol sefydliad. 2. Trwy yr aberthau iawnol arweinid eu mheddyliau at Grist, yr hwn oedd i fod yn Iawn dros bechodau dynion, a'r hwn yn unig drwy ei waed oedd yn alluog i buro y gydwybod. Heb. 9. 9. 3. Yr aberthau o ddiolchgarwch, a ddangosent eu dyledswydd tuag at Dduw, sef ei foli yn ostyngedig am ei holl dosturiaethau tuag attynt. 4. Trwy sefydliad yr Arch-offeiriadaeth, arweinid hwynt at Iesu Grist, yr Arch-offeiriad mawr, yr hwn sydd âg Offeir-

iadaeth dragywyddol ac anghyfnewidiol ganddo. Heb. 7. 24, 25. Y mae y llyfr hwn o ddefnydd neillduol er deongli amrywiol rannau o'r Testament Newydd, yn neillduol yr Epistol at yr Hebreaid, yr hwn fyddai yn hollol annealladwy hebddo: ond wrth ymdrin âg ef, dylid bod yn dra gofalus i beidio estyn y cysgodau yn rhy bell. Dyweda Jerome am lyfr Lefiticus, bod pob sill o hono braidd yn sacrament ysprydol.

Rhennir llyfr Lefiticus gan yr Iuddewon i naw dosparth; ond yn ein Biblau ni, i saith ar hugain o bennodau, y rhai a gynnwysant y pedwar dosparth canlynol yn neillduol:

RHAN I. Y deddfau perthynol i'r aberthau, lle y pennodir y gwahanol rywogaethau o honynt, gyda y seremoniau perthynol iddynt.

Dosp. 1. Yr *aberth tanllyd*, yr hwn a elwir *Ilholah*, hynny yw *esgyniad*, am yr esgynai y fflamiau tua'r nef. Arddangosai hwn aberth perffaith, cyflawn, a digonol Crist, yr hwn drwy un aberth a berffeithiodd yn dragywydd y rhai a sancteiddiwyd. Heb. ix. 26. a x. 14. 1 Ioan i. 7. Pen i.

2. Y *bwyd-offrwm*, yn Hebraeg *Minchah*, sef *rhodd*. Yr oedd hwn o bedwar rhywogaeth; 1. Wedi ei bobi mewn ffwrn. 2. Ar radell. 3. Mewn padell. 4. Blaenffrwyth y tywysenau. Pen. ii.

3. Yr *ebyrth hedd*, sef aberth o ddiolchgarwch, a elwir yn Hebraeg, *Zebach-Shelamin*, sef yr *aberth o bethau yn heddychu*. Arddangosai y rhai hyn Grist yn rhoddi ei hun, drwy yr hyn y daeth efe i fod yn heddwch ac iechydwriaeth i ni. Eph. ii. 14—16. Act. xiii. 47. Heb. v. 9. a ix. 28. Pen. iii.

4. *Pech-aberth*, mewn achos o anwybodaeth, gelwir hwn yn Hebraeg *Chataah*, sef *pechod*. Hwn a losgid o'r tu allan i'r gwersyll, ac a arwyddai Grist, yr hwn yntau a ddioddefodd o'r tu allan i'r porth. Heb. xiii. 11—13. Yr oedd, 1. Dros yr Arch-offeiriad. 2. Y gynnulleidfa. 3. Y Llywodraethwr. 4. Personau unigol. Pen. iv. v.

5. Yr *offrwm dros gamwedd*; yn Hebraeg *Asham*, *pechod* neu *euogrwydd*. Yn yr aberth hwn, ystyrid yr euogrwydd megis yn cael ei drosglwyddo ar y creadur a offrymid neu a aberthid i Jehofah; a'r hwn a'i hoffrymmai, megis yn cael ei ryddhau oddiwrth y gosp. Dywedir am Iesu Grist, iddo "roddi ei enaid yn aberth dros bechod." Esay liii. 10. 2 Cor. v. 21. Pen. vi. vii.

RHAN II. Sefydliad yr Offeiriadaeth Iuddewig, lle yr adroddir am gyssegriad Aaron a'i feibion, ynghyd â chosp Nadab ac Abihu. Yr oeddynt i gael eu cyssegru i'w swyddau gan Moses, yng ngolwg yr holl gynnulleidfa: yr oeddynt, 1. I gael eu golchi â dwfr. 2. I gael eu gwisgo â'r gwisgoedd Offeiriadol. 3. I gael eu henneinio. 4. Aberth tri-phlyg. 5. Aros yn y babell saith niwrnod wedi eu cyssegriad. Pen viii—x.

RHAN III. Y deddfau perthynol i lanhad a phuredigaeth y bobl a'r Offeiriaid. Ym mhlith y rhai hyn y mae rheolau mewn perthynas i'r gwahanglwyf, yr hwn sydd megis drych i ddangos llygredigaeth pechod. Y mae y rhai hyn er adnabod y gwahanglwyf mewn personau, mewn dillad, ac mewn teiau; ac er ei lanhau drachefn os na bydd wedi ymaflyd yn rhy ddwfn, ac i'r Offeiriad eu cyhoeddi yn aflan. Y mae y bwch diangol ar ddydd mawr y cymmod hefyd yn deilwng o sylw, am ei fod yn cysgodi marwolaeth ac adgyfodiad Crist, ynghyd â'r Iawn a roes. Heb. ix. 7—12, 24—27. Pen. xi—xxii.

RHAN IV. Y cyfreithiau mewn perthynas i'r gwyliau sanctaidd, addunedau, diofrydau, a degymmau. Nodir saith gŵyl arbennig; sef, 1. Y Sabboth. 2. Y Pasg. 3. Ysgub y cwhwfan. 4. Y Pentecost. 5. Yr Udgyrn. 6. Dydd mawr y cymmod. 7. Gŵyl y Pebyll: yr oedd y rhai hyn oll yn tueddu er cadw yr Hebreaid gyda gwasanaeth ac addoliad Duw. Yn Pen. 25. adroddir y rheolau mewn perthynas i'r flwyddyn Sabbothaidd, ynghyd â'r Jubili, &c.

Wrth ddarllen, sylwi, a myfyrio ar lyfr Lefiticus, y mae braidd yn annichonadwy peidio sylwi ar y pethau canlynol, ym mhlith lluaws ereill; megis,

1. Fod cymmaint o ysprydolrwydd yn nirgelwch cnawdoliaeth y Cyfryngwr, ei angau, ei adgyfodiad, a natur ei deyrnas, fel yr oedd yn rhaid cael amser mawr, a chysgodau lawer, er parottoi dynion erbyn amser cyflawniad yr addewid.

2. Fod dynion wedi myned i ryw annhrefn ryfedd yn eu cyfeiliorni a'u gwrthgiliadau oddiwrth Dduw, cyn y buasai angenrheidrwydd am gynnifer o reolau a deddfau er eu cadw yn y llwybrau yr oedd yn ddyledus arnynt i rodio ynddynt.

3. Fod yr Iesu Mab y Duw byw yn Berson anfeidrol fawr; o fri, o fonedd, ac anrhyddedd, uwch pendefigion pennaf y ddaear, a lluoedd disglaer gogoniant; cyn y llenwai holl gysgodau yr hen oruchwyliaeth; oblegid am dano ef yr ysgrifenodd Moses yn y gyfraith, a Dafydd yn llyfr y Salmau.

4. Fod dyn o ran ei enaid yn dra gwerthfawr, ïe yn fwy gwerthfawr na'r byd a'i holl drysorau; oblegid methu o bob aberthau a sefydlwyd gan Dduw ei hunan wneuthur drosti, hyd nes y neidiodd y Mab ei hun i'r adwy yng nghyflawnder yr amser, yr hwn drwy un aberth, a gafodd i ni dragywyddol ryddhad.

5. Y dylai yr Arglwydd Iesu Grist gael ei barchu yn fawr gennym, am iddo o'i fawr drugaredd ein rhyddhau o lyffetheiriau yr hen oruchwyliaeth, yr hon ydoedd i'r craffaf ei olygon yn lled gaddugawl. Yr ydym mewn drych golau yn gweled Calfaria, a'r Iuddew a'r Cenedl-ddyn megis rhwng darnau yr aberth yn ysgwyd dwylaw yn heddychol, a than ganu.

# LLYFR NUMERI.

Y PEDWERYDD llyfr hwn i Moses, a elwir yn gyffredin gan yr Hebreaid, *Va-Jedabar*, (ac efe a lafarodd.) Gelwir ef hefyd weithiau ganddynt, *Bemidbar*, (yn yr anialwch,) yr hwn air sydd yn yr adnod gyntaf o'r llyfr; ac am mai mewn perthynas i helyntion Israel yn yr anialwch yr ysgrifena Moses yn y llyfr. Galwyd ef gan y Deg a Thrugain wrth yr enw Groeg *Arithmoi;* a chan y tadau Lladinaidd wrth yr enw cyfystyr, *Numeri*, yr hwn enw a fabwysiadwyd gan y cyfieithwyr Cymreig, a'i ystyr ydyw, *niferi* neu *rifedi*; a'r enw hwn a rodded arno oddiwrth yr amgylchiad o rifo Israel, yr hyn a grybwyllir yn pen. 1. 3. a 26. Ymddengys oddiwrth pen. 36. 13. iddo gael ei ysgrifenu gan Moses, yn rhosydd Moab. Diben llyfr Numeri ydyw dangos mor ffyddlon y cyflawnodd Duw ei addewidion i'r patrieirch, Abraham, Isaac, a Jacob, yng nghynnydd eu hiliogaeth, ac yn ei ofal rhagluniaethol yn eu cadw ac yn eu diogelu rhag pob niweidiau. Dengys hefyd nad ydyw Duw i gellwair âg ef, am y cospai bechodau a grwgnachrwydd, hyd yn nod yn ei bobl ei hun. Crybwyllir am wahanol orsafion plant Israel yn yr anialwch, a'r amgylchiadau pennaf a gymmerasant le ym mhob gorsaf. Y cysgodau mwyaf neillduol o'r Messia yn y llyfr hwn, ydyw y dwfr o'r graig. Num. 22. 11. 1 Cor. 10. 4. Ynghyd â dyrchafiad y sarph bres. Num. 21. Ioan 3. 14. Cyfeiria y cysgodau hyn yn amlwg at Grist, a gwelid ef gan y rhai oll oeddynt berchennogion ar ffydd.

Ni chynnwysa y llyfr hwn ond un rhag-ddywediad am y Messia, sef Num. 24. 17, 19. "Gwelaf ef, ac nid yr awr hon; edrychaf arno, ond nid o agos: daw seren o Jacob, a chyfyd teyrn-wialen o Israel, ac a ddryllia gonglau Moab, ac a ddinystria holl feibion Seth. Ac arglwyddiaetha un o Jacob, ac a ddinystria'r gweddill o'r ddinas." Y brophwydoliaeth hon yn ddiau yn ei hystyr flaenaf, a arwydda y cyfodai Tywysog galluog o Israel, yr hwn a orchfygai ac a fuddugoliaethai ar deyrnasoedd Moab ac Edom, yr hyn a gyflawnwyd yn Dafydd, yr hwn a ddygodd dan deyrnged y cenhedloedd dywededig, 2 Sam. 8. 2, 14. Ond yng nghyflawniad pennaf a pherffeithiaf y brophwydoliaeth hon, y mae yn perthynu iddo ef, yr hwn yr oedd Dafydd yn gysgod o hono, ac arwydda fuddugoliaeth gyflawn y Messia ar ei holl elynion. Cynnwysa llyfr Numeri, hanes Israel o ddechreu yr ail fis o'r ail flwyddyn wedi ymadawiad Israel o'r Aipht, hyd ddechreuad yr unfed mis ar ddeg o'r ddeugeinfed flwyddyn o'u teithiau; yspaid o ddeunaw mlynedd ar hugain, a naw neu ddeng mis. Cydmarer Num. 1. a 36. 13. â Deut. 1. 3. Yn ol y rhaniad Iuddewig, y mae y gyfran hon o'r Ysgrythyr Lân wedi ei rhannu yn ddeg o bennodau, ac yn ein Biblau ni yn un ar bumtheg ar hugain o bennodau, y rhai a gynnwysant y dosparthiadau canlynol.

RHAN I. Cyfrifiad yr Israeliaid, a'u trefniad i wersyllfa reolaidd. Yr oedd y cyfrifiad hwn yn ddau fath: 1. Cyfrifiad gwladol, o bob gwrryw o fab ugain mlwydd, hyd drugain, yn ol eu llwythau. Gorchymmynwyd hyn i Moses ac Aaron, ynghyd â phennaethiaid y llwythau. Pen. i. ii. 2. Cyfrifiad neillduol y Lefiaid, a'u gosodiad yn eu swyddau, a'u sefydliad i wahanol wasanaeth y llwythau. Pen. iii. iv.

RHAN II. Sefydliad gwahanol ddefodau.

Dosp. 1. Puredigaeth y gwersyll, drwy symmud pob personau aflan o hono; a phrawf yr odineb-wraig amheus, drwy ddwfr yr eiddigedd. Pen. v.

2. Sefydliad y Nazareaid. Pen. vi.

3. Cyfrif o'r rhoddion a'r anrhegion a wnaed wrth osod y Babell i fynu gan dywysogion a phenaethiaid y llwythau. Pen. vii.

4. Cyssegriad y Lefiaid. Pen. viii.

5. Gweinyddiad y Pasg. Pen. ix.

6. Rheolau ynghylch symmudiad ac arosiad gwersylloedd Israel yn eu teithiau. Pen. x.

RHAN III. Hanes taith Israel o fynydd Sinai i wlad Moab, yr hon a ellir ei darlunio yn rwgnachrwydd wyth o weithiau yn neillduol, pob un o'r rhai a geryddwyd gan yr Arglwydd.

Dosp. 1. Oblegid meithder y ffordd, yr hwn a geryddwyd drwy dân, yn Taberah. Pen. ii. 1—3.

2. Eu grwgnachrwydd am na chaent gig, a gospwyd drwy anfon iddynt sofl-ieir, fel pla. Pen. ii. 4—35.

3. Grwgnachrwydd Aaron a Miriam yn erbyn Moses, o herwydd yr hyn y tarawyd Miriam â gwahanglwyf. Pen. ii.

4. Grwgnachrwydd y bobl yn Cades, mewn canlyniad i ddychweliad yr ysbïwyr, y rhai, ond dau, a roddasant anair i'r wlad dda; y rhai hyn a fuont feirw o'r pla, a'r gynnulleidfa rwgnachlyd ni chawsant fwynhau y tir dymunol. Hyn ydoedd yr achos i'r Israeliaid fod cyhyd yn crwydro yn y diffaethwch, hyd oni fu yr holl genhedlaeth honno feirw, o fab ugain mlwydd ac uchod. Pen. xiii. xiv. Yn pen. xv. rhoddir hanes sefydliadau er dwyn ym mlaen addoliad yr Arglwydd yng ngwlad Canaan.

5. Gwrthryfel Cora, Dathan, ac Abiram, a'u canlynwyr, yn erbyn Moses ac Aaron, ynghyd â'u cospedigaeth. Pen. xvi. 1—40.

6. Grwgnachrwydd y bobl yn erbyn Moses ac Aaron, o herwydd y farnedigaeth flaenorol. Gwialen Aaron yn blodeuo yn wyrthiol ym mhlith gwiail y llwythau, y rhai a osodwyd yn y Babell, er cadarnhad yr offeiriadaeth. Pen. xvii. Ardderchogrwydd y swydd offeiriadol ar eiddo y Lefiaid. Pen. xviii. Rheolau mewn perthynas i ddwfr neillduaeth a wnaed o ludw yr anner goch. Pen. xix.

7. Eu grwgnachrwydd yn anialwch Sin am ddwfr; anghrediniaeth Moses; twyll yr Edomiaid; a marwolaeth Aaron. Pen. xx.

Dosp. 8. Eu grwgnachrwydd wrth amgylchynu gwlad Edom, o herwydd y ffordd, am yr hyn y cospwyd hwynt gan seirph tanllyd. Pen. xxi.

RHAN IV. Hanes yr amgylchiadau a gymmerasant le yn rhosydd Moab. Pen. xxii—xxxvi.

Dosp. 1. Dyfeisiadau eu gelynion yn eu herbyn,—prophwydoliaethau Balaam mewn perthynas i'w gelynion,—maglu Israel i odinebu gan eu gelynion,—a'r gosp a syrthiodd arnynt oblegid hynny.

2. Ail rifo y bobl, yr hyn a ddengys ofal rhagluniaethol y Jehofah am ei bobl, yn eu lliosogi mor ddirfawr, fel nad oeddynt ond 61,020 yn llai mewn nifer na'r cyfrif cyntaf, er yr amrywiol blaäu a fu yn eu plith.

3. Y pennodau dilynol a adroddant am bennodiad Joshua i ddilyn Moses fel pennaeth y llwythau,—rheolau mewn perthynas i'r aberthau,—a rhaniad gwlad yr addewid. Pen. xxvii—xxxvi.

Yr ymadrodd sydd wedi tynnu sylw beirniaid a deonglwyr y llyfr hwn fwyaf, ydyw yr un hynny yn Num. 21. 14. lle y crybwyllir am 'Lyfr rhyfeloedd yr Arglwydd.' Rhai a feddyliant mai wrth hwn y deallir holl lyfrau Moses; ond y mae Dr. Lightfoot o'r farn mai llyfr o gofion ac o gyfarwyddiadau ydoedd, a ysgrifenodd Moses i Joshua, er myned ym mlaen gyda'r rhyfeloedd wedi ei farwolaeth ef, ac â'r dyb hon y cyduna amryw o ddysgedigion.

Y mae llyfr Numeri yn dangos ac yn profi,

1. Y cynnydda Duw ei achos, er yn ol ymddangosiadau fod pob peth yn ei rwystro ac yn ei lethu. Yr oedd sefyllfa Israel yn yr Aipht yn dra anfanteisiol iddynt gynnyddu; yr un modd drachefn yn yr anialwch, oblegid liosocced y plaäu; ond er pob peth, cynnyddu yn ddirfawr a wnaent. Fel hyn y bu gyda golwg ar eglwys Dduw, er bod yr erledigaethau yn frawychus, a'i gelynion wedi ymgynddeiriogi yn ddirfawr yn ei herbyn; etto dan ymgeledd a gwarcheidwadaeth Duw Hollalluog, yr oedd yn cynnyddu yng nghanol y tymhestloedd mwyaf.

2. Na wna efe fyned heibio i amryfuseddau ei blant a'i bobl ei hun, heb eu chwerwi iddynt, a'u dwyn i deimlad o'u plegid. Pechai Israel yn barhaus yn ei erbyn, a themtient ef, er yn derbyn eu dogn beunyddiol oddiar ei fwrdd; ond gwialenodid hwynt bob tro yr elent dros y terfynau. A phan bechom ninnau, os nad ydym yn cael ein ceryddu am ein troseddiadau, y mae gennym achos i ofni mai bastardiaid ydym, ac nid plant; oblegid pob mab y mae Duw yn ei garu, y mae hefyd yn ei geryddu; ac os heb gerydd yr ydym, yna bastardiaid ydym, ac nid meibion.

3. Fod y pechod o anghrediniaeth yn un mawr yn erbyn Duw. Dygwyd Israel o'r Aipht er myned â hwynt i Ganaan; ond am anghredu o honynt eiriau Duw, buont oll feirw ond dau yn yr anialwch, o fab ugain mlwydd ac uchod. Y mae anghrediniaeth etto wedi cadw myrddiynau o'r nefoedd.

## HYNODION LLYFR NUMERI.

### I. GWERSYLL ISRAEL.

Yr oedd trefn hardd, a golwg dra gogoneddus ar wersyll yr Hebreaid yn yr anialwch, gwersyllent bob un wrth ei lumman ei hun, dan arwyddion tŷ eu tadau: oddi amgylch pabell y cyfarfod y gwersyllent o hirbell. Ymddengys bod y gwersyll yn bedwar ongl, a'r llwythau wedi eu trefnu yn weddus o bob tu iddo. Yr oedd gan bob llwyth ei lumman briodol ei hun; a dywed rhai o'r Rabbiniaid, bod rhyw lun ar bob llumman; megis llew ar lumman Juda; dyn ar lumman Ephraim, &c.; ond nid oes sail ysgrythyrol i hyn. Dywedai Balaam yn ardderchog am danynt yn eu gwersyll, pan yr edrychai arnynt o bennau mynyddoedd Moab:—"Mor hyfryd yw dy bebyll di, O Jacob! dy gyfaneddau di, O Israel! Ymestynant fel dyffrynoedd, ac fel gerddi wrth afon, fel aloewydd a blannodd yr Arglwydd, fel cedrwydd wrth ddyfroedd." Yr oedd y gwr a lefarodd yr ymadroddion difynedig wedi cael ei gyrchu i'r diben o regu Israel, ond wrth weled eu gwersyll, a hwythau mor drefnus dan eu llummanau, nis gallai lai na synnu a rhyfeddu wrth yr olwg arnynt. Ond modd y caffom ddrych-feddwl am y gwersyll, sylwer ar yr arlun canlynol.



Yr oedd cwmmwl gogoniant Duw yn amdoi y Babell, ac nid oedd y gwersyll i symmud ond pan gymmerid y cwmmwl ymaith oddiar y Babell; yr udgorn a ganai, ac wrth y sain cyntaf, llumman Juda a gyfodai, a'r tri llwyth a berthynai iddi a symmudent ymaith: yna cymmerid y Babell i lawr, yr hon swydd a berthynai i'r Lefiaid, y Gershoniaid, a'r Merariaid. Pan oedd y rhai hyn ar eu taith, seinid yr udgorn yr ail waith, a llumman Reuben a gychwynai, a'r tri llwyth perthynol iddi: ar ol y rhai hyn elai y Cohathiaid, a chyda hwynt y Cyssegr sancteiddiolaf. Yn nesaf, llumman Ephraim a'i lwythau: ac yn ddiweddaf y tri llwyth dan lumman Dan. Moses ac Aaron a edrychent dros y cwbl, a meibion Aaron a chwythent yn yr udgyrn.

---

## II. Y DINASOEDD NODDFA.

Er mwyn diogelu yr hwn a laddai ei gymmydog yn amryfus, neu yn anfwriadol, neillduwyd drwy orchymmyn yr Arglwydd chwech o ddinasoedd noddfa, er ffoi i un o honynt, ac yno yr oedd y llawruddiog yn ddiogel. Yr oedd tair o honynt yr ochr hyn, a'r tair arall o'r tu draw i'r Iorddonen; Bezer, Golan, a Ramoth Gilead, o'r tu draw; a Cedesh Naphtali, Sechem, a Hebron, yr ochr hyn i'r Iorddonen. Yr oedd y dinasoedd hyn oll yn perthynu i'r Lefiaid, ac yn hawdd myned iddynt, er cyfleusdra y llawruddiog yn ei ffoëdigaeth. Fel na byddai un rhwystr i'w hattal, yr oedd y ffyrdd a arweinient iddynt agos i ugain llath o led, a phontydd dros yr afonydd; a phan fyddai croes-ffordd, yr oedd yr ysgrifen, "Noddfa, Noddfa," er dangos i'r ffoadur i ba le i fyned. I un o'r dinasoedd noddfa hyn y rhedai yr hwn a laddai ddyn yn anfwriadol, ond os delid ef ar y ffordd gan rai o gyfeillion neu berthynasau y trengedig, yr oedd yn rhydd iddynt i'w ladd. Wedi i'r llawrudd gyrhaeddyd y ddinas, anfonai ryw rai er cyfarfod â'r dialydd, ac wedi dyfod o hono yntau i'r ddinas, gwnai ei achwyniad wrth y barnwr, a'r llawruddiog a brofid, ac os ymddangosai mai yn anfwriadol y lladdodd ei gymmydog, efe a gedwid yn y ddinas, amgen rhoddid ef i fynu i'r dialydd. Yr oedd y dinasoedd noddfa hyn yn gysgodau neillduol o'r Arglwydd Iesu Grist, unig noddfa pechaduriaid euog. Y mae efe yn gysgod craig fawr mewn tir sychedig; a'r neb sydd mewn undeb gwirioneddol âg ef, y mae yn rhydd oddiwrth y ddamnedigaeth.

---

## III. YR ARCH A'R DRUGAREDDFA.

Yr arch sanctaidd a safai yn y cyssegr sancteiddiolaf, ydoedd goffr bychan, wedi ei gwneuthur o goed Sittim, a'i gorchuddio âg aur. Yr oedd yn bedair troedfedd a hanner o hyd, dwy droedfedd a naw modfedd o led, a chymmaint a hynny o uchder: ei chauad a elwid y drugareddfa, ac uwch ben hon yr oedd y Shecina, arwydd o'r presennoldeb dwyfol; yr oedd y drugareddfa wedi ei gwneuthur o aur pur. O ddau ben y cauad hwn y curwyd â morthwyl ddau Gerub, yn ol fel y darlunia Moses. Yn yr arch hon y rhoddwyd llechau y gyfraith, y crochan aur â'r manna, a gwialen Aaron, yr

hon a flagurasai. Pan symmudid yr arch, nid oedd neb i'w dwyn ond y Lefiaid; ac yr oedd mor sanctaidd, fel ag yr oedd yn angeu i bawb edrych arni ond offeiriad. Yr arch, wedi ei chyssegru drwy daenelliad gwaed, ac eneiniad âg olew, a ddygid gyda gwersyll Israel. Wedi adeiladu y deml, gosodwyd hi yn y cyssegr sancteiddiolaf, lle y bu yn aros am gryn amser. Pan osododd Manasseh, neu Amnon ei fab, yr eilunod yng nghyssegr sancteiddiolaf y deml, offeiriad zelog a'i symmudodd oddi yno, ac a'i cadwodd hyd amser Josiah, yr hwn a'i hail sefydlodd yn y deml. 2 Cron. 35. 3. Pan gymmerwyd y deml gan y Caldeaid, nid oes wybodaeth pa beth a wnaed o'r arch, ond yr oedd yn eisiau yn yr ail deml. Yr oedd yr arch a'r drugareddfa yn gysgod neillduol o'r Arglwydd Iesu Grist.

---

## IV. BALAAM.

Balaam ydoedd fab Beor neu Bosor, yn brophwyd nodedig, neu ddewin, o ddinas Pethor, ar yr Euphrates. Pan welodd Balac mab Zippor, brenin Moab, rifedi yr Hebreaid, a chan ofni yr ymosodent ar ei deyrnas, efe mewn cyssylltiad â thywysogion Midian, a anfonodd genhadau at Balaam, gyda gwobrwyon mawrion, er ei gyrchu i Moab i regu Israel, ac felly i aflwyddo eu holl fesurau. Yn awyddus i'r gyflog, dymunodd ar y cenhadau i aros gydag ef y noswaith honno, fel y gellai ymgynghori â Duw, meddai ef, ond yn fwy tebygol â rhyw hen goelion; ond y gwir Dduw ei hunan a'i cyfarwyddodd pa fodd i ymddwyn yn yr amgylchiad hwn. Gollyngodd Balaam y cenhadau ymaith, a naccäodd fyned gyda hwynt, er yn ddiau mai hynny ydoedd ei ewyllys. Anfonwyd atto drachefn, a chan weled o'r Arglwydd mai ewyllys Balaam oedd myned gyda thywysogion Moab, caniattaodd iddo fyned, ond ar y ffordd ei asen a'i ceryddodd, gan lefaru â llef ddynol, i wahardd ynfydrwydd y prophwyd. Wedi clywed o Balac fod Balaam ar y ffordd, aeth i'w gyfarfod, a dangosodd barch neillduol iddo; ac wedi gwledda, aeth Balac âg ef drannoeth i fryn uchel yng ngolwg gwersyll yr Hebreaid; lle y gorchymmynodd Balaam am i saith allor gael eu cyfodi, ac i fustach a hwrdd gael eu hoffrymu ar bob allor. Gwnaed hyn dair gwaith, ond yn ofer; oblegid yr oedd goruwch lywodraeth yr Arglwydd arno i'r fath raddau, fel yn lle melldithio, efe er siomedigaeth fawr i Balac, a fendithiodd Israel. Ond rhoes gynghor drwg i Balac, yr hwn a fu yn dramgwydd ac yn fagl i Israel; ac efe ei hun yn y diwedd a laddwyd gan Israel. Yr oedd yn ddyn drwg, a'i galon heb fod yn union ger bron Duw.

Mewn perthynas i Balaam, gellir sylwi, yn 1. Mai dewin ydoedd, yn arferyd swynion, ac wedi cynnyddu mewn clod ac wedi cyrhaeddyd i fri ac anrhydedd mawr yn y gelfyddyd. 2. Yr oedd yn barod i wneuthur pob peth er mwyn elw. Yr oedd ganddo ryw wybodaeth am Dduw, ond cymmerodd daith i regu a melldithio Israel Duw. 3. Bu farw pan yn rhyfela â llwythau yr Arglwydd, a diau ei fod yn ddyn cyfrgolledig. Gochelwn dwyll gwobr Balaam.

### Y GWRTHRYFEL CORA.

CENEDL wargaled wrthnysig ydoedd Israel, er holl diriondeb ac ewyllys da y Goruchaf tuag attynt. Yr oedd yr Arglwydd wedi dethol Moses i fod yn flaenor ac yn ddeddfwr i Israel, ac Aaron ei frawd yn ben yr offeiriadaeth. Ffurfiwyd bradwriaeth gadarn yn erbyn Moses; a Chora, Lefiad, a gyhoeddodd ei hun fel yn sefyll am y swydd o flaenor i'r genedl; a Dathan, Abiram, ac On, o lwyth Reuben, a honnent eu hawl yn yr offeiriadaeth, am eu bod wedi hanu o Reuben, cyntafanedig Jacob. Ond dinystriwyd hwynt oll mewn modd gwyrthiol gan yr Hollalluog, yr hwn a'i tarawodd hwynt oll â dymchweliad. Nid da ymdrechu gwrthdroi deddfau y nef, oblegid y maent yn arfau mor finiog, fel y gwnant archolli pawb a wna gellwair â hwynt. Gwell ydyw dysgu aros a bod yn ddiwyd yn y cylchoedd y mae rhagluniaeth wedi ein cyfleu ynddynt, nag ymchwyddo, a myned i neidio dros y terfynau yn groes i orchymmyn Duw, ac felly i niweidio ein hunain.

# LLYFR DEUTERONOMIUM.

Y LLYFR hwn a elwir gan yr Iuddewon, *Misneh*, neu ail-adroddiad; ond yn fwy cyffredinol *Aleh Hadebarim* "Dyma'r geiriau." Gelwir ef Deuteronomium, oddi wrth y gair *Deuteronomion*, a roddwyd iddo gan y Deg a Thrugain, ac a arwydda *ail gyfraith*. Wrth gydmaru Deut. 1. 5. â 34. 1. ymddengys iddo gael ei ysgrifenu gan Moses yn rhosydd Moab, ychydig cyn ei farwolaeth. Oddi wrth yr hanes o farwolaeth Moses, ynghyd â rhai geiriau eglurhaol yma a thraw yng nghorph y llyfr, y mae rhai wedi rhyfygu haeru mai nid Moses a'i hysgrifenodd; ond y sylw canlynol a wna ddadymchwelyd yr haeriad hwn. Ymadroddion Moses a derfynir yn y drydydd bennod ar ddeg ar hugain, a'r bedwarydd bennod ar ddeg ar hugain a ychwanegwyd er cyflawni yr hanes; yr wyth adnod gyntaf efallai gan ei ganlyniedydd Joshua; a'r pedair olaf gan ryw ysgrifenydd ysprydoledig diweddarach, megis Samuel, Ezra, neu rai o'r prophwydi. Diben llyfr Deuteronomium ydyw ail adrodd i'r Israeliaid wahanol ddosparthiadau o ddeddf Duw, yr hon a rodded iddynt; trwy yr hyn yr oedd y rhai hynny ni anesid yn amser ei rhoddiad ar fynydd Sinai, yn cael y fraint oruchel a'r cyfleusdra o'i chlywed yn cael ei phregethu a'i hesponio gan Moses ei hun, fel y parottoid hwynt yn well i fyned i mewn a meddiannu gwlad yr addewid. Ac fel na byddai i neb rhag llaw ddadleu ei anwybodaeth yng nghyfraith y Goruchaf, gorchymmynodd Moses iddi gael ei darllen i'r bobl ar derfyn pob saith mlynedd. Terfynodd ei weinidogaeth a'i lafur ym mhlith yr Hebreaid drwy gân ardderchog, yr hon a orchymmynodd efe i bob un ei dysgu; a chan roddi ei fendith bro-

phwydoliaethol i'r deuddeg llwyth. Ni chynnwysa y llyfr hwn ond hanes ychydig ddyddiau, pum wythnos leuadol, sef o'r dydd cyntaf o'r unfed mis ar ddeg o'r ddeugeinfed flwyddyn wedi ymadawiad Israel o'r Aipht, hyd yr unfed dydd ar ddeg o'r deuddegfed mis o'r un flwyddyn; yn y flwyddyn o oed y byd 2553, a chyn Crist 1451.

Ni chynnwysa y llyfr hwn ond un brophwydoliaeth mewn perthynas i'r Messia, sef Deut. 18. 15, 18, 19. yr hon a gyflawnwyd bumtheg can' mlynedd wedi ei thraddodi, ac a gymhwysir yn uniongyrchol at yr Arglwydd Iesu Grist, yn Act. 3. 22, 23. a 7. 37. Cynnwysa hefyd rag-ddywediadau neillduol am yr Israeliaid, y rhai a gyflawnir ger gwydd ein llygaid ni. Y mae amlder o brofion diymwad bod ysgrifenydd y llyfr hwn yn ysprydoledig.

Rhenir y llyfr gan yr Iuddewon i ddeg o bennodau, ond yn ein Biblau ni cynnwysa bedair ar ddeg ar hugain o bennodau, cynnwysiad y rhai sydd fel y canlyn.

Rhan I. Ail adroddiad o'r hanes a grybwyllir yn y llyfrau blaenorol.

Dosp. 1. Adroddiad o'r digwyddiadau a gymmerasant le yn yr anialwch wedi iddynt ymadael a mynydd Horeb, hyd eu dyfodiad i Cades. Pen. i.

2. Eu taith o Cades, hyd oni ddaethant i wlad yr Amoriaid, eu buddugoliaeth ar Sehon Brenin yr Amoriaid, ac Og Brenin Basan, a rhaniad y tir a gymmerwyd rhwng y Reubeniaid, y Gadiaid, a hanner llwyth Manasseh. Pen. ii. a iii.

3. Cynghor i ufuddhau y gyfraith ddwyfol, ac i ymgadw rhag eilun-addoliaeth. Pen. iv.

Rhan II. Ail adroddiad y gyfraith foesol, seremoniol, a barnol.

Dosp. 1. Ail adroddiad y gyfraith foesol, neu y deg gorchymmyn, Pen. v. a'i heffaith ar lwythau Israel. Pen. v. Esponiad ar y gorchymmyn cyntaf, a chynghor i garu Duw â'u holl galonau. Pen vi. Esponiad ar yr ail orchymmyn yn erbyn eilun-addoliaeth, a gwaharddiad i ymgyfathrachu â'r cenhedloedd eilun-addolgar, a gorchymmyn i lwyr ddinystrio y cenhedloedd, a phob gweddillion eilun-addoliaeth. Pen. vii. Cymhelliadau i ufudddod, &c. Pen. viii—xi.

2. Ail adroddiad y gyfraith seremoniol. Pen. xii—xvi. Gorchymmyn i ddiddymmu eilun-addoliaeth, a rheolau i addoli Duw. Pen. xii. Cyfraith yn erbyn gau-brophwydi a dinasoedd eilun-addolgar. Pen. xiii. Gwaharddiad yn erbyn anffurfio eu hunain mewn galar. Pen. xiv. Ail-adroddiad y gyfraith mewn perthynas i anifeiliaid glân ac aflan. Pen. xiv. Taliad degymmau i'r Lefiaid. Pen. xiv. Rheolau ynghylch blwyddyn rhyddhad. Pen. xv. Rheolau mewn perthynas i'r gwyliau blynyddol, y Pasg, y Pentecost, a gwyl y Pebyll. Pen. xvi. Rheolau mewn perthynas i etholiad Barnwyr, a gweinyddiad cyfiawnder. Pen. xvi. Gwaharddiad yn erbyn plannu llwyni neu osod i fynu eilunod yn ymyl allor Duw. Pen. xvi.

Dosp. 3. Ail adroddiad ac esponiad y gyfraith farnol. Pen. xvii—xxvi. Gorchymmyn i osod eilun-addolwyr i farwolaeth, a rheolau er penderfynu dadleuon anhawdd, ac mewn perthynas i etholiad a chymhwysderau brenin. Pen. xvii. Cynnaliaeth yr offeiriaid a'r Lefiaid. Pen. xviii. Gocheliadau i ymgadw rhag ffieidd-dra y cenhedloedd, yn neillduol dewiniaeth. Pen. xviii. Prophwydoliaeth am y Prophwyd mawr a gyfodai. Pen. xviii. Y modd i wahaniaethu rhwng gau-brophwydi a phrophwydi yr Arglwydd. Pen. xviii. Deddfau perthynol i'r dinasoedd noddfa. Pen. xix. Y modd i ymddwyn at lofruddion. Pen. xix. Deddfau perthynol i ryfel, a'r modd yr ymddygid at y Canaaneaid. Pen. xx. Yr iawn am lofruddiaeth ansicr, priodas â chaethion, iawnderau y cyntaf-anedigion, a chosp y mab anufudd. Pen. xxi. Rheolau ynghylch yr hyn a gollid neu a elai ar gyfeiliorn, gwahaniaeth gwisgoedd y ddau ryw, a chospedigaeth godineb. Pen. xxii. Pwy i fyned, ac i beidio myned i'r gynnulleidfa, gwaharddiad yn erbyn aflendid, a rheolau perthynol i usuriaeth, addunedau, a chamweddau. Pen. xxiii. Ynghylch ysgaru, breintiau y rhai newydd briodi, gwystlau, dyn-ledrad, cyflogau, gweinyddiad cyfiawnder, a lloffa. Pen. xxiv. Am ymgyfreithio a chospedigaethau, pwysau a mesurau. Pen. xxv. Seremoniau y cyhwfan. Pen. xxvi. Y cyfammod rhwng Duw a'r Israeliaid Pen. xxvi.

Rhan III. Cadarnhad y gyfraith, i ba ddiben y gorchymmynwyd y gyfraith i cael ei hysgrifenu ar lechau cerrig, a'u gosod ar fynydd Ebal. Pen. xxvii. Addewidion prophwydoliaethol i'r ufudd, a melldithion ar yr anufudd. Pen. xxviii. Cynghor i ufudd-dod oddiwrth yr adolygiad o drugareddau, ac iddynt hwy a'u hiliogaeth ymroddi yn gwbl i wasanaeth y Goruchaf. Pen. xxix. Addewidion o faddeuant i'r edifeiriol. Pen. xxx. Da a drwg yn cael eu gosod ger bron yr Israeliaid. Pen. xxx.

Rhan IV. Hanes bersonol Moses hyd ei farwolaeth.

Dosp. 1. Pennodi Joshua i fod yn ganlynwr iddo. Pen. xxxi. Rhoddi Ysgrif o'r gyfraith i'r offeiriaid i'w dodi yn yr arch, a'i darllen yn gyhoedd bob saith mlynedd. Annerchiad difrifol i Joshua. Pen. xxxii.

2. Y bobl yn cael eu cynnull er clywed cân brophwydoliaethol a hanesol Moses. Pen. xxxi. a xxxii.

3. Ei fendith brophwydoliaethol ar y llwythau. Pen. xxxiii.

4. Marwolaeth a chladdedigaeth Moses. Pen. xxxiv.

Y mae llyfr Deuteronomium a'r Epistol at yr Hebreaid yn cynnwys yr esponiad goreu ar natur, diben, a defnydd y gyfraith. Gellir sicrhau nad oes un o lyfrau yr Hen Destament yn cynnwys mwy o athrawiaeth na'r llyfr dan sylw; a phwy bynnag a'i darlleno yn ystyriol, bydd yn sicr o fod yn adeiladaeth i'w enaid. Y mae cân Moses yn un o'r rhai pennaf yn yr Ysgrythyr Lân; y [illegible]

cyfiawnhau Duw yn ei ymddygiadau tuag at yr Israeliaid, ac yn dangos natur a diben y barnedigaethau dwyfol. Trwy ddarllen y llyfr hwn, gwneir yn amlwg,

1. Mai wrth ei ddeddfau a'i reolau ei hun y myn Duw gael ei wasanaethu gan ei greaduriaid. Rhoddes ei ddeddf iddynt mewn gogoniant brawychus, ac yn y llyfr hwn ail adroddir hi gan ei was Moses, modd y gwneid hi yn eglurach ac y tynnid mwy o sylw y bobl atti. Y mae felly yn angenrheidiol i ni fod yn dra manol, rhag nad ydyw ein gwasanaeth crefyddol yn ol rheolau y nefoedd. Gair Duw a ddylai fod yn llusern i'n traed ac yn llewyrch i'n llwybrau.

2. Mai nid pethau i'w hanghofio ydyw pethau Duw. Mor ddwys y gorchymmynai Moses i Israel gofio deddfau a barnedigaethau Iôr, a'u dysgu i'w plant, ac i'w plant eu dysgu i'w plant hwythau o genhedlaeth hyd genhedlaeth dros byth. Pan elo Duw a'i bethau dros gof gennym, fe'n llenwir gan y diafol a'i bethau ei hun. Nôd pennaf dyn duwiol ydyw, ei fod â'i ewyllys yng nghyfraith yr Arglwydd, ac yn myfyrio yn ei gyfraith ef bob amser.

3. Nad ydyw yn rhyfedd bod dynion yn cael eu dwyn i wasgfeuon a chyfyngderau, pan wyront oddi wrth ddeddfau Arglwydd y lluoedd. Dywedodd Moses y byddai Israel mewn cyfyngderau lawer, os na chadwent gyfraith lân yr Arglwydd; ac nid rhyfedd bod arwyddion o anfoddlonrwydd y Goruchaf ar ei greaduriaid yn y fuchedd hon, yn awr marwolaeth, ac yn y byd mawr tragywyddol, oblegid ni pharchant ei eiriau glân ef.

4. Fod marw tangnefeddus yn dilyn buchedd o ogoneddu Duw ar y ddaear. Bu Moses fel gwas, yn ffyddlon iawn yn holl dŷ yr Arglwydd; esgynodd y mynydd gyda Duw, cafodd olwg ar y wlad y tu draw yr Iorddonen, ac er iddo farw yn nhir Moab, bu farw yng nghymdeithas Duw; a'r rhai oll a ofnant yr Arglwydd, a gânt farw â'u llygaid yn gweled ei iechydwriaeth ef.

---

PENNOD II.

# Y LLYFRAU HANESIOL.

Y MAE y rhanniad hwn o'r Ysgrythyr Lân yn cynnwys deuddeg llyfr, sef o Joshua hyd Esther; y saith cyntaf a elwir gan yr Iuddewon, Y Prophwydi Blaenorol. Y mae yr hanes a gynnwysant yn coffhau digwyddiadau y genedl Iuddewig am tua mil o flynyddoedd, yn dechreu gyda marwolaeth Moses, ac yn terfynu gyda y diwygiad gwladol a effeithiwyd drwy Nehemiah, wedi dychweliad yr Iuddewon o gaethiwed Babilon. Y mae yn dra amlwg fod Llyfrau Hanesiol yr Hen Destament wedi eu casglu o ysgrifeniadau cywir y genedl Iuddewig, a hynny gan bersonau ag oeddynt yn llygad-dystion o'r hyn a adroddir. Ysgrifenid pob digwyddiadau a hanes

helyntoedd y genedl, er dechreuad eu ffurf-lywodraeth. Gwel Ecs. 17. 14. Cyfeirir at Lyfr Jaser, yn Jos. 10. 13. a 2 Sam. 1. 18. ac y mae cyfeiriadau aml hefyd at Gronicl Brenhinoedd Israel a Juda yn llyfrau Samuel a Brenhinoedd, ynghyd â Llyfrau Gad, Nathan, ac Iddo; yr hyn a brawf yr ysgrifenid digwyddiadau a phob hanesion perthynol i'r genedl, gan ddynion geirwir ac addas. Ond er na ellir penderfynu yn sicr pwy oeddynt ysgrifenwyr y Llyfrau Hanesiol; etto gallwn fod yn sicr am yr Iuddewon, y rhai yn barod a dderbyniasent Lyfrau Moses, gan gredu yn eu hysprydolrwydd, iddynt fod yn dra gwyliadwrus, yn nerbyniad y Llyfrau Hanesiol, ar eu bod o'r wir argraff. Ac yn nesaf i dystiolaeth Crist a'i Apostolion, y rhai a gadarnhant ysprydoliaeth yr Hen Destament, y mae tystiolaeth yr Iuddewon mewn perthynas i'w llyfrau eu hunain yn cael ei derbyn gennym; ac er nad ydyw tystiolaeth cenedl bob amser yn ddigonol reswm i gredu bod ei llyfrau neillduol o awdurdod ddwyfol, etto y mae tystoliaeth yr Iuddewon a rhyw beth yn fwy neillduol ynddi; oblegid bod yn eu meddiant yn barod lyfrau ysprydoledig, yr oeddynt yn alluoccach, ac felly yn addasach, i farnu mewn perthynas i'r rhai a gynnygid i'w sylw, trwy wneuthur yr ymholiadau manylaf yn eu cylch. Y mae y Llyfrau Hanesiol o'r pwys mwyaf, ac o ddefnydd neillduol er deall amrywiol rannau o'r Hen Destament; yn neillduol y rhannau hynny a fynegant am fywyd a theyrnasiad Dafydd, ydynt fel cynnifer o agoriadau er deall amrywiol o'r Salmau; ac y mae y rhannau prophwydoliaethol o'r Ysgrythyrau yn derbyn goleuni mawr oddiwrth y dosparth hanesiol o honynt. Ond ni chyfyngai yr Ysgrifenwyr sanctaidd eu hunain o fewn cylch y genedl yn unig, eithr sylwent hefyd ar amgylchiadau a helyntion y gwledydd a'r cenhedloedd oddi amgylch iddynt. Y mae eu hanes yn dra gwerthfawr, ac yn angenrheidiol anhebgorol er gwneuthur y Gyfrol gyssegredig yn gyflawn.

## LLYFR JOSHUA.

Y MAE Llyfr Joshua yn yr holl ysgrifau o'r Ysgrythyrau yn canlyn Llyfrau Moses, ac a elwir yn Llyfr Joshua, am y cynnwysa yn bennaf weithrediadau Joshua, fel llywydd y fyddin Hebreaidd, yn goresgyn gwlad yr addewid, ac yn meddiannu y tir sanctaidd. Meddylir ei fod wedi ei ysgrifenu yn foreu iawn, o herwydd purdeb yr iaith, heb ddim geiriau Caldeaidd yn gymmysg â hi. Amryw o'r tadau ydynt o'r farn iddo gael ei ysgrifenu gan Joshua ei hun; ac y mae amryw o ddysgedigion diweddarach, megis Gerhard, Diodati, Huet, yr esgobion Patrick a Tomline, a Dr. Gray, o'r un farn. Sefydlant eu barnau ar y rhesymau canlynol:—

1. Dywedir yn pen. 24. 26. "A Joshua a ysgrifenodd y geiriau hyn yn llyfr cyfraith Duw." Ond os craffwn yn fanwl ar yr ymadroddion crybwylledig a'u cyssylltiad, ni a gawn eu bod yn perthynu i

adnewyddiad y cyfammod â Jehofa gan yr Israeliaid, ac nid i Lyfr Joshua.

2. Yn yr ymadroddion yn pen 24. 29. lle yr adroddir am farwolaeth a chladdedigaeth Joshua, y mae y dull o ysgrifenu yn wahanol, megis Deut 34. lle yr adroddir am farwolaeth a chladdedigaeth Moses.

3. Bod yr awdwr yn lled arwyddo yn pen. 5. 1. ei fod yn un o'r rhai a ddaethant drwy yr Iorddonen.

4. Bod yr holl lyfr yn arogli o gyfraith Moses, yr hyn sydd yn ddadl gadarn i'r llyfr gael ei ysgrifenu gan Joshua, gweinidog neillduol Moses.

Ond wedi y cwbl, ymddengys mai ar ol marwolaeth Joshua yr ysgrifenwyd y llyfr, o leiaf y casglwyd ef ynghyd i'w agweddiad presennol; ac nad ydoedd yr awdwr yn cyd-oesi â'r helyntion a adroddir. Darllenir yn pen. 15. 63. "Ond ni allodd meibion Juda yrru allan y Jebusiad, trigolion Jerusalem: am hynny y trig y Jebusiaid gyda meibion Juda yn Jerusalem hyd y dydd hwn." Ni chymmerodd y cyd-gyfanneddiad hwn le hyd wedi marwolaeth Joshua, pan gymmerwyd y ddinas gan feibion Juda. Barn. 1. 8. Yr adroddiad yn Jos. 4. 9. mewn perthynas i'r cerrig a gyfodwyd o'r Iorddonen, eu bod yno "hyd y dydd hwn," sydd yn amlwg wedi ei ychwanegu gan ryw awdwr diweddarach na Joshua. Yr un sylw hefyd a ellid wneuthur am pen. 15. 13—19. wedi eu cydmaru â Barn. 1. 10—15. ynghyd âg amrywiol fannau eraill; yr hyn sydd brawf amlwg mai nid Joshua ydoedd yr ysgrifenydd. Y mae Dr. Lightfoot o'r farn i'r llyfr hwn gael ei ysgrifenu gan Phineas; Henry, iddo gael ei ysgrifenu gan Jeremiah; a Van-Til, mai Samuel ydoedd ei awdwr. Ond gan nad pwy ydoedd yr ysgrifenydd, diau ei fod yn ysprydoledig; ac wrth gydmaru Jos. 15. 63. a 2 Sam. 5. 6—8. y mae yn amlwg iddo gael ei ysgrifenu cyn y seithfed flwyddyn o deyrnasiad Dafydd.

Bod y llyfr hwn yn ysprydoledig sydd sicr, o herwydd y mae yr ysgrifenydd, pwy bynnag oedd, wedi cael ei ystyried gan Iuddewon a Chenhedloedd yn un o eirwiredd, ac addas i'r gorchwyl, amgen buasid yn ei wrthod. Cynnwysa hanes Israel am tua dwy flynedd ar bumtheg, neu yn agos i ddeunaw mlynedd, yn ol cyfrifiad rhai. A chan ei fod yn dra angenrheidiol yn awr i benderfynu yr amser, a chadw amseryddiaeth yr ysgrythyrau yn gywir, sylwer i Solomon yn y bedwerydd flwyddyn o'i deyrnasiad ddechreu adeiladu tŷ yr Arglwydd, yn y bedwar-ugeinfed a phedwar can' mlynedd wedi dyfodiad Israel allan o'r Aipht.

| | |
|---|---|
| Crwydrodd Israel yn yr anialwch ........ ... | 40 |
| Joshua yn farnwr ar Israel .................... | 17 |
| O Joshua hyd Eli, fel y profir etto............ | 299 |
| Eli yn barnu Israel .............................. | 40 |
| Samuel yn farnwr a Saul yn frenin............ | 40 |
| Dafydd yn teyrnasu ............................. | 40 |
| Solomon yn teyrnasu, cyn adeiladu ......... | 4 |
| | 480 |

Amlwg ydyw mai am tua dwy flynedd ar bumtheg y cynnwysa y llyfr hwn helyntion Israel; a'i ddiben ydyw dangos y Jehofa yn ei

ffyddlondeb yn cyflawni yr addewidion lliosog a roddes efe i'r Patrieirch, y dygai efe eu had i'r wlad dda, ac y rhoddai efe hwynt mewn meddiant hollol o honi. Ac megis y mae gwlad Canaan yn gysgod neillduol o'r etifeddiaeth nefol, y mae y llyfr hwn yn gryfdwr ac yn gadernid i ffydd Israel ysprydol yn yr anialwch, y dwg Duw hwynt yn wyneb pob peryglon a rhwystrau i ben eu taith, ac y byddant mor sicr o fwynhau eu hetifeddiaeth yn y nef a phe byddent yno yn barod. Gellir rhannu llyfr Joshua yn y wedd ganlynol:—

RHAN I. Hanes meddiannu gwlad Canaan gan yr Israeliaid. Pen. i—xii.

Dosp. 1. Galwad a sefydliad Joshua i fod yn llywydd ar Israel. Pen. i.
2. Anfon yspiwyr er edrych ansawdd dinas Jericho. Pen. ii.
3. Mynediad gwyrthiol yr Israeliaid trwy yr Iorddonen, a gosodiad i fynu y deuddeg carreg goffadwriaethol. Pen. iii. a iv.
4. Enwaediad yr Israeliaid, cyfrannogiad o'r Pasg cyntaf yng ngwlad Canaan, ac ymddangosiad Cadpen llu Arglwydd y lluoedd i Joshua. Pen. v.
5. Cymmeryd Joshua ac Ai. Pen. vi—viii.
6. Twyll y Gibeoniaid â meibion Israel. Pen. ix.
7. Y rhyfel â brenhinoedd Canaan, a'r haul a'r lleuad yn sefyll. Pen. x.
8. Gorchfygu Jabin a'i gyngreirwyr. Pen. xi.
9. Adroddiad o fuddugoliaethau Joshua a'r Israeliaid. Pen. xii.

RHAN II. Rhaniad y tir wedi gorchfygu ei drigolion.

Dosp. 1. Rhaniad cyffredinol gwlad Canaan. Pen. xiii.
2. Rhaniad neillduol o honi ym mhlith yr Israeliaid, yn cynnwys, Rhan Caleb, Pen. xiv; Juda, xv; Ephraim, xvi; Manasseh, xvii; Benjamin, xviii; a'r chwe' llwyth, Simeon, Zabulon, Issachar, Aser, Naphtali, Dan, a Joshua ei hun. Pen. xix.
3. Pennodiad dinasoedd noddfa, a dinasoedd y Lefiaid. Pen. xx. a xxi.
4. Gollyngiad o wersyll Israel fyddinoedd y ddau lwyth a hanner, y rhai yr oedd eu hetifeddiaeth o'r tu draw i'r Iorddonen. Pen. xxii.

RHAN III. Cynnulliad y bobl ynghyd, ac annerchiad a chynghorion olaf Joshua iddynt; ei angeu a'i gladdedigaeth. Pen. xxiii. a xxiv.

Y mae yn angenrheidiol etto i sylwi, bod gwall wedi digwyddo yn nhrefn pennodau y llyfr hwn, trwy gam-gyflead rhyw ddosparthiadau allan o drefn eu hamseryddiaeth. Yn ol trefn amseryddiaeth, y mae y bennod gyntaf i'w darllen hyd y nawfed adnod, ac yna y mae yr ail bennod yn dyfod i mewn; yna o ddegfed adnod yr ail bennod, hyd ddiwedd y bennod gyntaf. Yna y drydedd bennod hyd yr unfed ar ddeg; wedi hynny yr unfed bennod ar hugain; ac yna o'r ddeuddegfed hyd yr unfed ar hugain; ac yn olaf y drydedd a'r bedwaredd bennod ar hugain.

Y mae meddyliau esponwyr yr Ysgrythyrau yn dra gwahanol mewn perthynas i lyfr Jaser, a grybwyllir yn Jos. 10. 13; ond y mae

Esgob Lowth, beirniad dysgedig iawn, yn barnu mai llyfr barddonol ydoedd; ac y mae y difyniad yn Jos. 10. 13. yn hollol awenyddol:—

> "Haul, aros di yn llonydd ar Gibeon,
> A thithau leuad, yn nyffryn Ajelon;
> A'r haul a arosodd, a'r lloer a attaliodd ei mhynediad,
> Hyd oni ddialwyd y bobl ar eu gelynion;
> Felly yr haul a safodd yng nghanol y nefoedd,
> Ac ni frysiodd i fachludo dros ddiwrnod cyfan."

Ni all llyfr Joshua lai na bod yn adeiladol iawn i'r eglwys filwrus tra yn anialwch blin y fuchedd bresennol; oblegid,

1. Diogelodd Duw lwythau Israel yn eu holl gyfyngderau, nes eu cael i Ganaan. Bu yn gyfyng iawn arnynt lawer tro, ond ni roddodd Iôr hwynt i fynu, ac ni lwyr adawodd mo honynt chwaith. Ond wedi hir deithio a chrwydro, dygodd hwynt yn ei amser da ei hun i'r wlad a addawsai efe i Abraham, i Isaac, ac i Jacob eu tadau. Ac er i'r eglwys filwrus gael ei churo yn nhrigfa y dreigiau, a bod allan mewn llawer o dymhestloedd nerthol, ni phery ei thaith yn hir, canys y mae yn tynnu tua'r terfyn, a Duw a'i dwg i'r orphwysfa dawel, lle y sychir y dagrau oddiar bob llygad.

2. Ymladdodd Duw dros Israel, amgen yr oedd y gelynion yn rhy gedyrn iddynt. Dymchwelodd gaerau Jericho drwy chwythiad cyrn hyrddod; bwriodd gerrig cenllysg mawrion o'r nefoedd i ddinystrio eu gelynion; a pharodd i'r haul a'r lleuad sefyll yn eu gyrfaoedd, modd y caent lwyr orchfygu. Yr un Duw yw efe, ac y mae yr un gallu ganddo etto; a chyn y gorchfyger Sïon gan ei chas, efe a ddiosg ei fraich ac a wna rymusderau yng ngolwg yr holl genhedloedd. "Yr Arglwydd sydd ryfelwr, yr Arglwydd yw ei enw."

3. Os yn gysurus ar y llwythau wedi gorchfygu y gelynion, wedi rhannu y wlad, ac yn eistedd i lawr wedi rhannu yr yspail yn y Ganaan ddaearol, myrdd a myrddiwn mwy ar yr had ysprydol, wedi darfod o honynt â gorthrymderau'r llawr, ac wedi dyfod o honynt yn ddihangol drwy lifeiriant y dyfroedd dyfnion i'r breswylfa deg a dymunol o fewn tiroedd anfarwoldeb. Eilchwyl ac eilchwyl y dywedant Haleluia, gan ddyrchafu clodydd eu Pryniawdwr mawr hyd yn oes oesoedd.

4. Ar hyd ffordd uniawn yr arweiniodd Duw y llwythau ym mlaen i Ganaan. Ni fu un erioed yn ymddangos yn groesach i ddyn na hon, ond dyma y ffordd a drefnwyd iddynt gan yr hwn a wyddai pa beth oedd oreu er eu lles; a'r ffordd y mae'r nefoedd wedi ei threfnu, sydd sicr o fod yn ffordd uniawn. Dysgwn ni i ymdawelu dan ein beichiau a bod yn ddistaw yn ein gorthrymderau, oblegid er ein darostwng ac er gwneuthur i ni ddaioni yn y diwedd, y dygir ni yn aml i gyfyngderau. Nid ydym ni yn gweled etto ddibenion olwynion y peiriant mawr; ond os yn blant i Dduw, y mae yr holl ofidiau a'r chwerwderau yn ein nesu at ein gwlad ac yn ein cymhwyso i'w mwynhau.

5. Dan arweinyddiad Joshua, mab Nun, y dygwyd llwythau Israel i wlad Canaan; ac o dan arweinyddiad Iesu, Mab Duw, y dygir llwythau Sïon i'r orphwysfa nefol. Efe yw Tywysog a Pherffeithydd ffydd y saint, efe a ymladdodd ac a ymladda ryfeloedd ei bobl, ac nid dichonadwy i'r eglwys ddyfod i fynu o'r anialwch

ond ar ei bwys ef. Dyweda yr Apostol Paul am deulu Duw, eu bod i redeg yr yrfa a osodwyd o'u blaen, gan edrych ar Iesu; a thrwy gyrchu atto ef fel nôd, y deuant i fynu o'r tiroedd, ac y mwynhant yr etifeddiaeth wiw ym mhresennoldeb yr Arglwydd yn oes oesoedd.

6. Yr oedd llawer o waith cymhwyso ac addasu ar Israel cyn eu rhoddi mewn meddiant o wlad Canaan. Gallasai yr Arglwydd Iôr eu dwyn o'r Aipht i wlad Palestina mewn ychydig ddyddiau, ond nid oeddynt yn addas iddi, am hynny cadwyd hwynt yn yr anialwch hyd onid oedd y rhai gwrthnysicaf o honynt wedi marw. Pan ddygwyd hwynt allan o wlad yr Aipht, nid oeddynt nemmawr gwell na barbariaid, wedi bod o honynt cyhyd yn y fath gaethiwed caled: rhaid cael cryn amser i'w dysgu yn egwyddorion crefydd, a pha fodd yr oedd iddynt wasanaethu yr Arglwydd. Gwir y gall yr Yspryd Glân addasu dyn i'r nefoedd cyn gynted ag y symmudir ef o feddiant y tywyllwch i deyrnas anwyl Fab Duw; ond yn gyffredinol, yn raddol y mae efe yn perffeithio ei waith; ac wedi y delo ei bobl yn addfed, y mae yn eu cymmeryd i ogoniant.

---

## HYNODION LLYFR JOSHUA.

### I. AGORIAD YR IORDDONEN.

Arosodd y gwersyll yng nghymmydogaeth yr Iorddonen am dri diwrnod; ac wedi i Israel gael ei sancteiddio, rhoddwyd hwynt mewn ysgogiad drachefn. Yn y gwanwyn, chwyddai dyfroedd yr Iorddonen, yr hyn a achosid yn bennaf gan doddiad yr eira ar fynydd Libanus;—yr oedd yr afon bryd hyn dros ei cheulannau; ac y mae ei lled cyffredin pan na byddo yn gorlifo dros ei cheulannau, yn ol yr hanes a rydd y teithiwr Pococke, yn gyfartal i'r Tafwys ger Castell Windsor. Annichonadwy i'r llwythau pryd hyn fyned trwy rydau yr afon; am hynny Duw a orchymmynodd i'r offeiriaid flaenori y fyddin, a'r arch ar eu hysgwyddau; a chyn gynted ag y gwlychasant eu traed yn y dyfroedd, yr afon a dorrodd, a rhedodd yn ei hol hyd onid oedd y dwfr yn bentyrrau cyn belled i fynu a dinas Adam; ac oddi yno i waered hyd y môr marw, sychodd y dyfroedd am o ddeutu deunaw milldir o ffordd. Arosodd yr arch yng nghanol yr afon hyd onid aeth yr olaf drosodd; ac wedi cyrhaeddyd o honi y lan draw, dychwelodd y dyfroedd i'w rhedegfa gyntefig.

Sylwer, 1. Bod hollti dyfroedd yr Iorddonen yn wyrth neillduol o eiddo Arglwydd Dduw y lluoedd. Nid neb ond Ior a allasai wneuthur hyn; ac efe a amlygodd ei allu mawr, gan ddinoethi braich ei gadernid, er gwneuthur ffordd agored i'w etholedigion fyned i'w tir eu hunain. Pa beth ydyw y rhwystrau mwyaf o flaen Sïon, pan fyddo ei Phriod a'i Phrynwr yn ei blaenori?

2. Na ddylid petruso myned ym mlaen yn y llwybrau a orchymmyna Duw eu teithio, er y gall fod anhawsderau lawer ar y ffordd,

Ein gwaith ni yw gofalu bod ein traed ar lwybrau ein dyledswydd, ac fe ofala Duw am bob peth arall.

3. Y mae Duw y nefoedd wedi gofalu am ei eiddo mewn dyfnach afon, ac un fwy brawychus na'r Iorddonen, sef afon angeu. I hon ni ddaw na pherthynas na chyfaill i'n cynnorthwyo; ond y mae yno Wr harddach na llewyrchiad y wawr foreuol wedi cyfarfod â rhif y dail o blant y gaethglud, ac wedi eu cadw rhag suddo yn y llifeiriant mawr.

---

## II. CWYMP JERICHO.

Tuag wyth milltir i'r gorllewin o'r Iorddonen yr oedd Jericho, dinas gadarn a chaerog, yr hon ydoedd y gyntaf a warchauwyd ac a gymmerwyd gan Joshua a'r Israeliaid. Dangosodd Duw yma ei fod yn ymladd yn neillduol dros Israel. Mewn ufudd-dod i orchymmyn Duw, amgylchynodd Joshua a lluoedd Israel y ddinas am chwe' diwrnod, a'r offeiriaid yn chwythu mewn cyrn hyrddod ym mlaenaf. Y seithfed dydd, a'r seithfed tro i'w hamgylchynu y diwrnod hwnnw, ar arwydd nodedig, chwythodd yr offeiriaid yn y cyrn, a'r milwyr a ddyrchafasant waedd; a'r canlyniad fu i'r caerau syrthio, i Israel gymmeryd y ddinas, ac i bawb gael eu rhoddi i farwolaeth, ond Rahab y buttain, (neu yn hytrach Rahab y westeiwraig,) yr hon a ddiogelodd yr yspïwyr. Pob creadur, yn ddyn ac yn anifail, a ddinystriwyd, a'r tai a losgwyd â thân; a Joshua a gyhoeddodd felltith ar bwy bynnag a'i hail-adeiladai hi, gan ddywedyd, "Melltigedig ger bron yr Arglwydd fyddo y gwr a gyfyd ac a adeilado y ddinas hon Jericho: yn ei gyntaf-anedig y seilia efe hi, ac yn ei fab ieuangaf y gesyd efe ei phyrth hi." A chan ofni y felltith hon, ni anturiodd neb gyfodi ei mheini o'r adfail, hyd amser Ahab, brenin Israel, pan yr adeiladwyd hi gan Hiel y Betheliad; ac megis y dywedodd Joshua, pan sylfaenodd efe hi bu farw Abiram, ei gyntaf-anedig; a phan osododd efe ei phyrth hi, trengodd ei fab ieuangaf Segub. Sylwer, 1. Mai trwy offerynau gwael yn aml y dengys yr Hollalluog fawredd ei nerth. Nid peiriannau cedyrn a ddefnyddiwyd er curo y caerau i lawr, ond cyrn hyrddod, trwy y rhai y gwnaed yn amlwg fawr nerth y Goruchaf. "Y mae gennym y trysor hwn," medd yr Apostol, "mewn llestri pridd."

2. Trwy ffydd y syrthiodd caerau Jericho. Nid oes wybod faint o ddaioni nac o gysuron y mae ein hammeuaeth yn ei gadw oddiwrthym. Yn neillduol am dduwiolion boreu yr oesau, ni ddywedir wrthym am eu dilyn, ond yn eu ffydd: "Ffydd y rhai dilynwch, gan ystyried diwedd eu hymarweddiad hwynt."

3. Nac anobeithiwn y gorfoda Sïon Duw bob rhwystrau; oblegid er mor wael yr ymddengys y peiriannau, etto y mae'r deisen haidd yn ddigon i ddymchwelyd caerau Babilon, ac i ennill buddugoliaeth lawn.

---

## III. YR HAUL A'R LLEUAD YN SEFYLL.

Un o'r erfyniadau mwyaf nodedig a wnaed er dechreuad y byd, ydoedd hwnnw o eiddo Joshua, pan ddymunodd am i'r haul aros yn

Gibeon a'r lleuad yn nyffryn Ajalon, hyd oni byddai iddo gael gorfodaeth lawn ar ei elynion. Dywediad hollol ammhriodol yw hwnnw, bod yr haul yn machludo, neu bod y lleuad yn myned i lawr, er ei fod yn cael ei ddefnyddio yn yr Ysgrythyr Lân a chan Seryddion yr holl oesau; ond nid ydyw ammhriodoldeb yr ymadrodd hwn yn gwneuthur dim yn erbyn y wyrth ryfeddol dan sylw, oblegid y mae yr haul a'r lleuad yn machludo mewn ymddangosiad i ni; ac y mae yn wir ymddangosiadol eu bod felly, er nad ydyw yn wir priodol. Tebygol i'r wyrth hon gymmeryd lle heb daflu natur i'r dyryswch lleiaf; ac heb feddwl i'r ddaear gael ei hattal yn ei thro dyddiol, y mae yn hawdd cyfrif am hwyhâd y dydd nodedig hwn. Er gwneuthur y wyrth hon yn eglur, sylwer, Pe gosodid swllt ar waelod llestr, ac i un nesu yn ei ol hyd na welai ond ymyl bellaf y swllt dros ymyl y llestr, ac i un arall dywallt dwfr yn araf i'r llestr hyd oni fyddai yn llawn, gwelid y swllt yn amlwg o'r tu draw i'r ymyl. Yn awr y mae yn wybodus i bawb a wyddant ychydig mewn philosophyddiaeth, bod pelydr o oleuni pan yn myned ar oleddf o darth, neu gyfrwng teneu i un tewach, yn gam, ac yn myned yn gamach yn ol tewder y cyfrwng: ac felly y mae yr haul yn ymddangos ei fod uwch y terfyngylch pan y gellir profi ei fod lawer o raddau dan y terfyngylch; ac er atteb deisyfiad Joshua, nid oedd gan yr Arglwydd ond gwneuthur cyfrwng pelydron yr haul, mewn modd goruwch-naturiol, yn dew, a buasai wyneb yr haul ar unwaith dros hanner y byd, neu y byd oll. Ond gan nad pa ffordd yr estynwyd y dydd hwn, Crewr y nefoedd a'r ddaear a fu wrth y gorchwyl, ac y mae pob peth yn hawdd iddo ef i'w gyflawnu. Y mae yr amgylchiad nodedig hwn yn brawf, 1. Y gall Duw wneuthur y dydd yn nos a'r nos yn ddydd, yn ol y byddo achos ei eglwys yn gofyn am hynny. 2. Y rhydd Duw i'w bobl eu deisyfiad, cyn belled ag y byddo hynny yn angenrheidiol iddynt; ond nid ydynt i ymofyn am arwyddion gwyrthiol yn awr er dangos bod Duw yn eu pleidio, oblegid y maent yn barod wedi eu cael. 3. Y mae yr eilunod yn methu cynnorthwyo yn nydd cyfyngder. Yr oedd y Canaaneaid yn addoli yr haul, ond wele efe yn goleuo Israel i'w dinystrio.

---

## IV. Y CENHEDLOEDD A ORCHFYGWYD GAN JOSHUA.

Y WLAD ym mha un y rhyfelodd Joshua a meibion Israel, a gynnwysai y dosparth hwnnw o Dwrci yn Asia, a adnabyddir wrth yr enw Palestina, yr hon a derfynir ar y tu gogleddol gan fynydd Libanus, ar y tu dwyreiniol gan fynydd Hermon, y tu deheuol gan Arabia Garregog, ac ar y tu gorllewinol gan Fôr y Canoldir. Gwlad Canaan, neu Palestina, a gyfanneddid gan wahanol lwythau pan oresgynwyd hi gan lwythau Israel, ac yn gwbl anymddibynol ar y naill y llall. Rhai o honynt, megis yr Amoriaid, y Midianiaid, y Moabiaid, a'r Edomiaid, y rhai a breswylient ar y tu dwyreiniol a deheuol i'r Iorddonen a'r Môr Marw, nid oeddynt o ran hynafiaeth yn amgen na'r Israeliaid. Eraill a breswylient y dosparthiadau dwyreiniol o'r Iorddonen, megis y Canaaneaid, y Philistiaid, a'r Amaleciaid, a han-

fodent megis Cenhedloedd ym mhell cyn galw Abraham o Ur y Caldeaid. Yr Amoriaid, y Moabiaid, y Midianiaid, a'r Edomiaid, ni chynnwysid dan y felldith a roed ar drigolion Canaan. Gwir eu bod yn llygredig ac yn llygredig iawn yn eu moesau, etto nid oedd mesur eu hanwiredd wedi cyrhaeddyd eiddo y Canaaneaid, ac yr oeddynt wedi deilliaw hefyd o'r un gwreiddyn a hiliogaeth Abraham. Yr Amoriaid a'r Moabiaid oeddynt hiliogaeth Lot, y Midianiaid oeddynt hiliogaeth Abraham, a'r Edomiaid yn hiliogaeth Isaac; ac y mae yn dra thebygol na ymosodasai yr Israel pan ar eu taith ar y Cenhedloedd dywededig, oni buasai iddynt ddyfod allan i'w rhwystro ar y ffordd. Y Canaaneaid, y rhai a ddinystriwyd gan Israel, a ddeilliasant oddi wrth Canaan, ŵyr Noa, y rhai yn foreu a gymmerasant feddiant o'r wlad, gan lwyr ymroddi i eilun-addoliaeth a phob ysgelerderau. A phan gyflawnwyd eu hanwiredd, dymchwelwyd hwynt, a meddiannwyd eu tir. Ond er eu gorchfygu a'u dinystrio fel meddianwyr y wlad, ni yrwyd hwynt ymaith ar unwaith. Ffodd amryw o honynt i Affric, lle yr ymsefydlasant ac y buont flodeuog am oesau, yn Carthage a lleoedd eraill. Mewn perthynas i'r Amaleciaid, ymosodasant yn ddiachos ar yr Israeliaid yn fuan wedi eu dyfodiad o'r Aipht, yn anialwch Rephidim; a hyn ydoedd sail yr elyniaeth a hanfododd rhwng y ddwy genedl am oesau lawer. Yn y diwedd llwyr orchfygwyd yr Amaleciaid, a dilewyd eu coffadwriaeth fel cenedl oddi ar wyneb y ddaear.

## LLYFR Y BARNWYR.

Llyfr y Barnwyr a gafodd ei enw oddi wrth yr amgylchiad o'i fod yn cynnwys hanes yr Israeliaid o farwolaeth Joshua hyd amser Eli, dan weinyddiad tri ar ddeg o Farnwyr, cyn sefydlu y llywodraeth frenhinol. Gelwir ef yn Hebraeg, *Shophetim,* sef Barnwyr. Y Barnwyr hyn oeddynt ddynion o ysprydoedd gwrol, wedi eu cyfodi gan Dduw o'r gwahanol lwythau, er eu gwaredu o'r peryglon hynny a ddygasant arnynt eu hunain drwy bechu yn erbyn y Duw mawr. Cynhyrfid y Barnwyr i'w swyddau gan Dduw Abraham, a hwy a gynnysgaeddid â gallu goruwch naturiol. Cydmarer pen. 2. 18. a 6. 14, 34. â 11. 29. a 14. 6, 19. Y mae yn angenrheidiol cadw hyn mewn cof, yn neillduol pan ddarllenir am wroldeb rhai o honynt. Oddi wrth ymadrodd a ddefnyddir yn y llyfr hwn, pen. 18. 30. "A meibion Dan a osodasant i fynu iddynt ddelw gerfiedig; a Jonathan mab Gerson, mab Manasse, efe a'i feibion, a fuant offeiriaid i lwyth Dan hyd ddydd caethgludiad y wlad." Dychymmygodd rhai nad ysgrifenwyd y llyfr hwn hyd wedi y caethiwed ym Mabilon, ond y mae y dyb hon yn gyfeiliornus; oblegid wrth gydmaru Salm 77. 60, 61. a 1 Sam. 4. 11. â'r adnod ddifynedig, y mae yn amlwg mai caethiwed neillduol llwyth Dan a olygir, yr hwn a gymmerodd le pan

gymmerwyd yr arch gan y Philistiaid. Heblaw hynny, y mae absennoldeb hollol o eiriau Caldeaidd yn Llyfr y Barnwyr, yn profi yn ddigonol bod amser ysgrifeniad y llyfr hwn gannoedd o flynyddoedd cyn caethiwed Babilon. Y llyfr hwn, modd bynnag, a ysgrifenwyd cyn Ail Lyfr Samuel; cydmarer 2 Sam. 11. 21. a Barn. 9. 53: a chyn cymmeryd Jerusalem gan Dafydd; cydmarer 2 Sam. 5. 6 a Barn. 1. 21.

Y mae amrywiaeth barn neillduol mewn perthynas i bwy ydoedd ysgrifenydd y llyfr hwn; rhai a'i priodolant i Phineas, Hezeciah, Jeremiah, Ezeciel, neu Ezra; ond y dyb gywiraf ydyw, iddo gael ei ysgrifenu gan Samuel, y diweddaf o'r Barnwyr, ac o'r dyb hon y mae yr Iuddewon eu hunain.

Cynnwysa y llyfr hwn hanes Israel am o ddeutu dau cant a phedair ar bumtheg a phedwar ugain o flynyddoedd, yr hyn a brofir wrth y daflen ganlynol:—

| | |
|---|---|
| O farwolaeth Joshua hyd farwolaeth Othniel...... | 40 mlyn. |
| O farwolaeth Othniel hyd eiddo Ehwd a Samgar. | 80 |
| O farwolaeth Ehwd hyd farwolaeth Deborah..... | 40 |
| O farwolaeth Deborah hyd farwolaeth Gedeon ... | 40 |
| O hynny hyd farwolaeth Abimelech ............... | 3 |
| O hynny hyd farwolaeth Tola ......................... | 23 |
| O hynny hyd farwolaeth Jair ........................ | 22 |
| O hynny hyd farwolaeth Jephthah .................. | 6 |
| O hynny hyd farwolaeth Ibsan ...................... | 7 |
| O hynny hyd farwolaeth Elon........................ | 10 |
| O hynny hyd farwolaeth Abdon ..................... | 8 |
| O hynny hyd farwolaeth Samson........ ............ | 20 |
| | 299 |

Gellir cynnwys Llyfr y Barnwyr o fewn y rhanau canlynol:—

RHAN I. Sefyllfa yr Israeliaid wedi marwolaeth Joshua hyd oni ddechreuasant droi oddiwrth ac ymadaw â gwasanaeth yr Arglwydd eu Duw. Pen. i—iii. Blwyddyn cyn Crist 1443—1413.

II. Hanes gorthrymderau yr Israeliaid, a'u gwaredigaethau drwy eu Barnwyr. Pen. iii—xvi.

Dosp. 1. Darostyngiad yr Israeliaid dwyreiniol dan Cusan-risathaim, brenin Mesopotamia, a'u gwaredigaeth drwy Othniel. Pen. iii. Cyn Crist 1413—1405.

2. Darostyngiad yr Israeliaid dwyreiniol gan frenin Moab, a'u gwaredigaeth drwy Ehwd. Yr Israeliaid gorllewinol yn cael eu gwaredu drwy Samgar. Pen. iii. Cyn Crist 1343—1305.

3. Yr Israeliaid gogleddol, wedi eu gorthrymmu gan Jabin brenin Canaan, yn cael eu gwaredu gan Debora a Barac. Pen. iv. Cân o ddiolchgarwch Debora a Barac. Pen. v. Cyn Crist 1280.

4. Yr Israeliaid dwyreiniol a gogleddol yn cael eu gorthrymu oblegid eu pechodau gan Midian, a'u gwaredu drwy Gedeon. Hanes Gedeon a'i deulu, ynghyd â theyrnasiad Abimelech. Pen. vi—ix. Cyn Crist, 1252—1233.

Dosp. 5. Hanes gweinyddiad y Barnwyr Tola a Jair. Yr Israeliaid yn cael eu gorthrymu gan Ammon, a'u gwaredu drwy Jephthah. Gweinyddiadau y Barnwyr Ibsan, Elon, ac Abdon. Pen. x—xii. Cyn Crist 1233—1157.

6. Genedigaeth Samson. Darostyngiad yr Israeliaid gan y Philistiaid, a'u gwaredigaeth drwy Samson, ynghyd â hanes ei farwolaeth. Pen. xiii—xvi. Cyn Crist 1155—1117.

RHAN III. Hanes dyfodiad eilun-addoliaeth i blith yr Israeliaid, a llygriad crefydd mewn canlyniad i hynny; oblegid yr hyn y rhoddes Duw hwynt i fynu i gael eu gorthrymu gan eu caseion. Pen. xvii—xxi.

Dosp. 1. Hanes eilun Micah a'i wasanaeth eilun-addolgar. Pen. xvii. xviii. Cyn Crist 1413.

2. Hanes y trais neillduol a'r llofruddiaeth ysgeler o eiddo y Benjaminiaid yn Gibeah, a'r rhyfel mawr a fu mewn canlyniad i hynny. Pen. xix—xxi. Cyn Crist 1413.

Y mae Llyfr y Barnwyr yn gadwyn neillduol yn hanes yr Israeliaid, ac yn briodol wedi ei gyfleu rhwng Joshua a Samuel, am mai y Barnwyr oeddynt y llywodraethwyr yn y cyfwng hwn, cyn sefydlu y frenhiniaeth yn Israel. Ac ym mhlith yr amrywiol bethau a ganfyddir yn y llyfr hwn, y mae yn amlwg,

1. Na fydd trefn byth mewn gwladwriaeth, oni fydd ynddi swyddwyr addas er rhoddi y cyfreithiau mewn grym; tra fyddo y llwybrau yn anhygyrch, y fforddolion a gerddant lwybrau ceimion. Ond tuag at i wladwriaeth fod yn ddedwydd, ac i'r gyfraith gael ei gweinyddu mewn cyfiawnder, anghenraid i'r swyddogion fod âg ofn Duw o flaen eu llygaid, ac yn dra dichlynaidd yn eu moesau, amgen bydd annuwioldeb yn sicr o lanw y tir.

2. Y mae amynedd Duw yn neillduol ganfyddedig yn y Llyfr hwn, ynghyd â'i barodrwydd i faddeu pan ymostyngir ger ei fron. Ymadawai Israel â gwasanaeth y gwir Duw, yntau a'u rhoddai hwythau i fynu i drugaredd eu gelynion; ond pan ddychwelent mewn edifeirwch atto, buan y tosturiai wrthynt, gan gyfodi rhyw un i'w gwaredu. Y mae eu gwrthgiliadau, eu hedifeirwch, a'u gwaredigaethau drwy holl du-dalennau y Llyfr hwn. Rhaid bod amynedd a thrugaredd Duw yn fawr, amgen buasai ei farnedigaethau wedi eu llwyr ddadymchwelyd a'u dileu oddiar wyneb y ddaear. Y mae efe yn fawr yn ei amynedd tuag attom ninnau hefyd; ac oni buasai hyn, rhoddasid ni er ys talm i fedi o ffrwyth ein gweithredoedd; ac y mae yn drueni mawr bod dynion yn cymmeryd achlysur oddiwrth amynedd Duw i bechu yn ei erbyn, ond am na ddygir barn yn erbyn gweithred ddrwg yn fuan, y mae calonnau plant dynion yn llawn ynddynt i wneuthur drwg.

3. Bod myned i gyfathrach â gelynion yr Arglwydd yn niweidiol iawn i grefydd, a brofir yn y Llyfr hwn. Yn lle gyrru eu buddugoliaeth ym mlaen, nes llwyr fwrw allan y cenhedloedd, aeth Israel i gynghrair â hwynt, dysgasant eu gweithredoedd a gwasanaethasant eu delwau hwynt, a'r canlyniad fu tynnu gwg a digllonedd Duw arnynt. Y mae yn angenrheidiol i grefyddwyr fod yn dra gofalus am danynt eu hunain, pan ym mhlith caseion yr Arglwydd, onidê

hwy a benwynnant yn ddiarwybod iddynt eu hunain. Y mae llawer un wedi ei ddal yn y rhwyd, cyn gwybod o hono ei fod ynddi: ni wnaeth Dina ond myned allan i weled merched y wlad, ond daeth y forwynig lon i'r fath warth a chywilydd fel na chrybwyllwyd ei henw mwy. Y mae drygioni mawr yn y byd, a myrdd wedi dryllio eu hesgyrn wrth daro yn ei greigiau; am hynny gweddiai Crist yn ddwys am i'w ddisgyblion gael eu cadw rhag y drwg oedd ynddo.

## HYNODION LLYFR Y BARNWYR.

### I. GEDEON.

Yr oedd y Midianiaid yn gorthrymu Israel yn dost, oblegid pan hauent eu maesydd, dygai eu gelynion yr holl gynnyrch ymaith; ac ni adawent iddynt na dafad, nac eidion, nac asyn. Yn y cyfwng hwn, pan oedd Gedeon, mab Joas yr Abiesriad, yn dyrnu gwenith wrth y gwinwryf, i'w guddio rhag y Midianiaid, (yn curo yr ŷd â phren, y mae yn debygol, fel y gwneir â lloffion yn ein gwlad ni, oblegid y perygl o ddyrnu yn gyhoedd,) ymddangosodd angel yr Arglwydd iddo, a dywedodd wrtho, "Yr Arglwydd sydd gyda thi, wr cadarn nerthol—Dos yn dy rymusdra yma, a thi a waredi Israel o law y Midianiaid." Yr oedd ymadrodd yr angel wrth Gedeon i'r ystyr ganlynol,—"Pa fath fraich rymus sydd gennyt ti! Byddai yn waredigaeth i Israel pe rhoddid y fath ergydion yna i'r Midianiaid. Cerdda yn dy nerth, a gwared y wlad." Yn y fuddugoliaeth a gafwyd ar y Midianiaid, dangosodd Duw yn amlwg mai efe ei hun oedd y Rhyfelwr, a bydd dydd Midian mewn coffadwriaeth oesol. Cynnygiodd y llwythau ei wneuthur yn frenin, ond efe a wrthododd hynny, gan ddywedyd mai yr Arglwydd yn unig oedd i deyrnasu arnynt; ond gofynodd am glust-dlysau yr anrhaith ganddynt, yr hyn a ganiattasant, ac efe a wnaeth ephod o honynt. Efallai mai ei ddiben yn gwneuthur hon ydoedd i fod yn golofn goffadwriaethol o'r fuddugoliaeth fawr a gafwyd, ond bu yn fagl i dŷ Israel i butteinio gyda hi.

Y mae hanes Gedeon yn dangos, 1. Mai yr offerynau distadlaf yn ein golwg ni, lawer pryd, y mae Duw yn ddefnyddio er gwaredu ei bobl. Cymmerwyd Gedeon oddiwrth y ffust, er gwaredu Israel; ac oddiwrth y rhwydau y cymmerodd Mab Duw y nifer amlaf, er llanw swydd oruchel yr apostoliaeth. 2. Pan fyddo Arglwydd y lluoedd yn myned i ddwyn ei amcanion oddi amgylch, y mae ei offerynau ganddo yn barod, oblegid y mae pob peth wrth ei orchymmyn pan ofyno efe am eu gwasanaeth. 3. Pan fyddo Duw yn gweithio, y mae honno yn adeg i ninnau gyd-weithredu gydag ef. Er mai Duw oedd flaenaf yn y fyddin, yr oedd Gedeon â'i holl nerth yn ei ddilyn.

## II. ADDUNED JEPHTHAH.

Y MAE dynion dysgedig yn dra gwahanol yn eu barnau mewn perthynas i'r modd y cyflawnodd Jephthah ei adduned o roddi ei ferch yn boeth-offrwm: rhai a farnant iddi yn sicr gael ei rhoddi i farwolaeth, tra y mae eraill o'r farn mai mewn gwedd arall y cyflawnodd efe ei adduned. Y rhai a farnant na chafodd y wyryf ei rhoddi i farwolaeth a ddadleuant yn wedd ganlynol; sef bod y fath offrwm a hwn yn groes i ewyllys Duw, yn ffiaidd gan Dduw, ac yn waharddedig yn neddf Duw; ac yn lle ei haberthu neu ei hoffrymu, mai ei chyssegru i weddwdod parhaus a wnaeth, yr hyn a ystyrid yn orthrymder mawr gan ferched Israel, y rhai a ewyllysient gael plant, mewn gobaith o gael esgor ar y Messïah. Y mae Pagnine wedi beirniadu ar yr iaith Hebraeg yn ymadrodd Jephthah, ac yn dywedyd mai a ganlyn ydyw ei ystyr:—"*Erit Jehovæ, aut offeram illud in holocaustum*—bydd yn eiddo yr Arglwydd, neu offrymaf ef yn boeth-offrwm:" a bod y gair Hebraeg *Letanoth*, yn y dull a elwir *Pihel*, yn arwyddo nid yn unig galaru, ond ymddiddan neu siarad; ac y gellir darllen y geiriau, fel y mae ar ymylau rhai Biblau, nid i *alaru* am ferch Jephthah, ond i *ymddiddan* â merch Jephthah, bedwar diwrnod yn y flwyddyn; o ganlyniad y mae yn amlwg na roddwyd hi i farwolaeth, ond yn hytrach ei chadw mewn gwyryfdod parhaus. Ac heblaw hynny, yr oedd ei rhoddi i farwolaeth braidd yn weithred na buasai yr annuwiolaf yn Israel yn ei chyflawnu, chwaithach un o'r rhai cedyrn yn y ffydd, am yr hwn y crybwylla yr Apostol mewn modd pennigol. Sylwer yma,

1. Bod Jephthah dan gyfarwyddyd Yspryd yr Arglwydd pan wnaeth yr adduned dan sylw: oblegid yn pen. 11. 29. dywedir yn bendant, "Yna y daeth Yspryd yr Arglwydd ar Jephthah," ac yn yr adnod ganlynol crybwyllir am ei adduned; o ganlyniad nid oedd yn adduned fyrbwyll, ac ni buasai Yspryd Duw yn ei gyfarwyddo i wneuthur adduned i ladd ei ferch. 2. Nid oes dim yn yr adduned yn gosod Jephthah dan yr angenrheidrwydd o ladd ei ferch; oblegid ni fwriadodd roddi y peth cyntaf a ddeuai allan o'i dŷ i'r Arglwydd, ond yr hyn ydoedd gymmeradwy gan yr Arglwydd, ac a dderbynid gan yr Arglwydd. Ni feddyliodd aberthu y ci neu y gath i'r Arglwydd, llawer llai ei ferch. 3. Dywedir i ymddygiad Jephthah at ei ferch fyned yn ddefod yn Israel; o ganlyniad ni roddodd hi i farwolaeth, oblegid ni bu hyn yn ddefod erioed yn Israel.

---

## III. SAMSON.

Y BARNWR rhyfeddaf a ymddangosodd yn Israel erioed ydoedd Samson, yr hwn ydoedd o gorph cryf a chadarn, yr hyn a ddangosodd droion yn y rhuthriadau a wnaeth ar ei elynion. Ymddangosai megis difyrrwch ganddo fwrw ei hun bendramwnwgl i berygl, o'r hyn y gwaredai ei hun drwy roddi ei gadernid mewn gweithrediad. Ni fu gymmaint ag unwaith yn llywyddu byddin, ond yn bersonol yr wynebai luoedd o Philistiaid. Priododd âg un o ferched

y Philistiaid, a chymmerodd achlysur ymrafael oddiwrth y briodas er dial ar y genedl hon. Daliodd dri chant o lwynogod, neu yn hytrach o *Jacaliaid*, ac a wnaeth ddefnydd o honynt er llosgi yr ydau ym maesydd y Philistiaid. Ond y fuddugoliaeth fwyaf nodedig braidd a gafodd Samson ar ei elynion ydoedd yn Lehi, pryd y lladdodd efe fil o wŷr â gên asyn îr. Ond y mae yr adroddiad mewn perthynas i ran o'i helynt, fel y mae wedi ei gyfleu gan gyfieithwyr y Bibl, yn tueddu i arwain y darllenydd i gamsyniad bychan; nid amgen nag i Dduw hollti y cilddant yn yr ên, ac y mae rhai wedi meddwl mai cilddant gên yr asyn ydoedd hwn. Ond wrth yr ên yma y deallir lle neu fan, neu yn hytrach dwyn o dir neu graig, a elwid *Lehi*, sef *gên;* a childdant Lehi, a elwid felly, a holltwyd yn wyrthiol gan Dduw, a chafodd Samson ddwfr i'w ddisychedu. Yr oedd y ffynnon yno pryd yr ysgrifenwyd Llyfr y Barnwyr; ond pe o gilddant gên asyn îr y deilliodd y dwfr, gallasai Samson gludo y ffynnon yn ei logell. Ond er holl ddewrder Samson, cynllwynion Dalilah a'i gwnaeth fel gwr arall; cafwyd y dirgelwch allan, a Barnwr Israel a roddwyd yn y cyffion: ond pan yr oedd y Philistiaid yn bwriadu cael difyrwch mawr ar ei draul yn nhŷ eu duw, tynnodd ei golofnau i lawr, ac a laddodd yn ei farwolaeth fwy nag a wnaeth yn ei holl fywyd. Yn hanes Samson y gwelwn,

1. Ei fod yn ddychryn i'w elynion, tra yr ymgadwodd yn ddihalog; ond pan yr ymhalogodd, llaw ei elynion fu drechaf. 'Pan lefarodd Ephraim â dychryn, ymdderchafodd efe yn Israel: ond pan bechodd gyda Baal y bu farw.' Y mae bod duwioldeb dyn yn disgleirio, yn peri dychryn i gaseion Duw. 2. Mai nid ar ei ennill y daw neb allan o gyfathrach pechaduriaid. Collodd Samson ei wallt, collodd Dinah ei gwyryfdod, collodd Solomon ei heddwch, a chollodd mwy na mwy eu cysuron. 3. Er bod anwyliaid Duw yn colli eu traed, etto y maent yn ymgryfhau drachefn. Tyfodd gwallt Samson wedi ei dorri, ac efe a ddaeth drachefn i'w nerth.

# LLYFR RUTH.

Ystyrir Llyfr Ruth fel attodiad i lyfr y Barnwyr, ac fel arweiniad i mewn i lyfr Samuel. Yn yr hen Ganon Iuddewig yr oedd y Barnwyr a Ruth yn un llyfr, er ei fod yn awr yn wahanol ganddynt. Darllenant ef yn gyhoedd yn eu synagogau ar ŵyl yr wythnosau neu y Pentecost. Y mae wedi cael ei enw oddi wrth Ruth y Foabëes, hanes yr hon yn bennaf a adrodda. Y mae Augustine yn barnu i amgylchiadau y llyfr hwn gymmeryd lle dan y llywodraeth frenhinol ar Israel; Josephus, yr hanesydd Iuddewig, i amser Eli; Moldenhawer, i amser y barnwr Ehwd; ac Archesgob Usher, i'r amgylchiadau ddigwydd yn amser Samgar. Y mae anhawsdra neillduol i benderfynu amseriad y llyfr hwn, am y crybwyllir gan Matthew, pen. 1. 5, 6. bod Salmon tad Boaz yn briod â Rahab, wrth yr hon y deallir yn gyffredin Rahab y buttain; ac etto bod Boaz yn daid

Dafydd, yr hwn a aned tua thri chant a thri ugain mlynedd wedi cymmeryd Jericho: ac felly nad ydoedd ond Boaz, Obed, a Jesse, rhwng Rahab a Dafydd. Ond gellir cyfrif am yr anhawsdra hwn, drwy ystyried bod rhai enwau anghyhoedd yn y cyfwng hwn wedi eu gadael allan gan yr Efangylwr, fel yr ydym yn gwybod ei fod ar ryw achlysuron; neu benderfynu gydag Archesgob Usher, bod hynafiaid Dafydd yn ddynion enwog mewn duwioldeb, a chan fod y Messïa i hanu o honynt, eu bod wedi eu bendithio âg oes hwy, ac â chyrph cryfach na phobl eraill. Y mae yn sicr fod Jesse yn hen ddyn pan nad oedd Dafydd ond icuangc. 1 Sam. 17. 12. Ac yn gymmaint ag mai hen-daid Dafydd ydoedd Boaz, y mae yn amlwg nas gallai hanes Ruth fod mor ddiweddar ag Eli, nac mor foreu a Samgar; am hynny yr amser tebyccaf i amgylchiadau Llyfr Ruth gymmeryd lle, ydyw hwnnw a enwir gan yr Esgob Patrick, sef yn amser Gedeon; neu ynghylch y flwyddyn o oed y byd 2759, cyn Crist 1241.

Unwedd a llyfr y Barnwyr, y mae rhai yn ei briodoli i Hezeciah, eraill i Ezra; ond y mae yn dra thebygol mai tyb yr Iuddewon sydd gywiraf, sef mai Samuel ydoedd ei ysgrifenydd. Ac oddi wrth y gofrestr yn pen. 4. 17—19. y mae yn amlwg nad allasai yr hanes a gynnwysir yn llyfr Ruth gael ei ddwyn i'r ffurf bresennol cyn amser Samuel. Amcan y llyfr hwn yn bennaf ydyw gwneuthur yn amlwg ran o achau Crist yn amser Dafydd. Cydmarer Ruth 4. 18—22. a Mat. 1. 5, 6. Rhagddywedwyd wrth yr Iuddewon y deilliai Crist o lwyth Juda, a datguddiwyd wedi hynny yr hanai efe o deulu Dafydd; o ganlyniad, yr oedd yn angenrheidiol i gael hanes manwl o'r teulu crybwylledig, fel y byddai pob peth mewn perthynas i Grist yn amlwg. Dygiad Ruth, yr hon ydoedd genedl-wraig, ac a fu un waith yn eilun-addolgar, i linach y Messia, a ystyrir gan rai megis rhag-arwydd o alwedigaeth y Cenhedloedd i freintiau yr eglwys. Ni chynnwysa y llyfr ond pedair pennod, y rhai a ellir rannu yn y wedd ganlynol:—

RHAN I. Hanes Naomi, er ei hymadawiad o Ganaan i wlad Moab, gyda'i gwr Elimelech, hyd ei dychweliad adref gyda'i mherch-yng-nghyfraith Ruth. Pen. i. Cyn Crist 1241—1231.

II. Cyfarfod Boaz a Ruth, ynghyd â'u priodas. Pen. ii. a iii.

III. Genedigaeth Obed, mab Boaz o Ruth, o'r hwn yr hanodd Dafydd. Pen. iv.

Y mae llyfr Ruth, er byrred ydyw, yn cadarnhau athrawiaethau o bwys neillduol, megis,

1. Bod rhagluniaeth Duw, nid yn unig yn llawn o ryfeddodau, ond yn gweithredu yn ddiwyrni er dwyn dibenion y Goruchaf oddi amgylch. Yr oedd yn rhaid cael Ruth i wlad Canaan, ac yn wraig i Boaz; ac y mae y llwybr a gymmerodd rhagluniaeth er dwyn hyn oddi amgylch yn rhyfedd iawn. 1. Cyfodi newyn yng ngwlad Israel. 2. Dwyn Elimelech a'i deulu i amgylchiadau mor gyfyng, fel nad allai fyw yn ei wlad ei hun. 3. Ei dueddu i fyned i wlad Moab, lle yr oedd Ruth yn byw. 4. Ei fab yn ei phriodi. 5. Elimelech a'i ddau fab yn marw. 6. Naomi a Ruth yn dychwelyd i Bethlehem. 7. Y cyfathrachwr agos yn gwrthod ei chymmeryd yn wraig. 8. Boaz

y nesaf i hwnnw yn ei phriodi. Rhyfedd ydyw ffyrdd y nef! Yr ydym ni yn aml yn methu deall troadau olwynion y peiriant mawr, ond y mae yn ddiwyrni yn dwyn amcanion y Jehofa oddi amgylch; am hynny ni ddylem ni anobeithio, er dued y tywyllwch; oblegid ef allai bod y wawr yn ymyl; a gall Duw wneuthur hanner nos yn hanner dydd, yr un ffunud ag y gall wneuthur hanner dydd yn hanner nos.

2. Bod pob peth yn ffyrdd rhagluniaeth yn dyfod i ben yn rhwydd iawn pan fyddo pethau wedi cyflawn addfedu. Y mae y fath beth a rhedeg o flaen rhagluniaeth, yr hyn nid ydyw gyfiawn; megis y gwnaeth meibion Jacob i werthu Joseph i'r Israeliaid; a Jacob a'i fam Rebeccah, yn neillduol yn y cynllun a dynnwyd er dwyn y fendith. Ond yn amgylchiadau Ruth, y mae rhagluniaeth yn gweithio ei hun, ac oblegid bod pob peth yn addfed, y mae pob hoel yn myned yn rhwydd i'w lle. Y mae yn iawn i ni ddisgwyl yn dawel ac yn amyneddgar wrth yr Arglwydd; bod yn graff, er adnabod ol ei law pan fyddo efe yn gweithio; nid bod yn fyrbwyll ac yn rhy brysur pan fyddom yn petruso, neu o leiaf pan fyddo gennym achos i betruso; ond disgwyl wrth yr awelon, a phan glywom eu sŵn ym mrigau y morwydd, gwneuthur pob egniadau yn ein gallu, a Duw a'n gesyd yn y gorsafion hynny y mae ganddo waith i ni i'w gyflawni.

3. Na ddylid pwyso gormod ar ragluniaeth, mwy na pheidio ymddiried dim i ragluniaeth. Y mae rhai yn ddiau yn pwyso gormod ar ragluniaeth, a hynny oblegid nad ydynt yn deall pa beth ydyw rhagluniaeth. Ynfydrwydd i'r dyn aros yn ei wely yn y gwanwyn, a dywedyd y gwna rhagluniaeth aredig ei faesydd a'u hau; oblegid drwy offerynnau bob amser y gweithia rhagluniaeth; a phwy bynnag sydd yn ymorphwys arni yn y wedd hon, ni ŵyr pa beth ydyw, ac y mae yn sicr o gael ei siommi. Y mae eraill nad ymddiriedant ddim i ragluniaeth, oblegid eu bod yn ei hystyried megis damwain ddall, heb na chadwyn iddi, na threfn arni. Y mae y rhai hyn yn rhedeg yma a thraw fel lloerigion, ac yn erthylu braidd yn eu holl fwriadau. Llyfr ag y dylem ni graffu yn fanol iawn arno ydyw llyfr rhagluniaeth y Goruchaf; oblegid mai â hon y mae efe yn llywodraethu yr holl greadigaeth, ac heb y llyw sicr hon, ni lywid llestr byth yn ddiangol heibio a rhwng creigiau mor beryglus. Y mae Duw a'i ffyrdd yn y môr, a'i lwybrau yn y dyfroedd dyfnion; o ganlyniad anchwyliadwy ac anolrheinadwy ydynt hwy i ni.

---

## HYNODION LLYFR RUTH.

---

### BOAZ.

Boaz ydoedd wr anrhydeddus a chyfoethog, mab Salmon o Rahab, yr hwn a breswyliai ym Methlehem, tref neu ddinas yn llwyth Juda; yr hwn wedi iddo ddangos tiriondeb a charedigrwydd i

Ruth y Foabëes, a'i priododd, ac a gafodd fab o honi, yr hwn a alwyd Obed. Ond yn gymmaint a bod tua thri chant a thrugain mlynedd o briodas Salmon hyd enedigaeth Dafydd, y mae yn angenrheidiol efallai ychwanegu ychydig sylwadau at y rhai a wnaed eisioes. Y mae rhai megis y crybwyllwyd yn barnu bod rhai wedi eu gadael allan o'r achau, ond pan y crybwyllir yr achau bedair gwaith, y mae yn ddiddadl eu bod yn eu lle ac yn briodol wedi eu cyfleu, gwelir Ruth 4. 20. 1 Chron. 2. 11. Math. 1. 5. Luc. 3. 31. Ac ar y cwbl nid oes angenrheidrwydd i ychwaneg fod. Gellai Boaz gael ei eni ynghylch trugain mlynedd wedi marwolaeth Moses. Yn y ganfed flwyddyn o'i oed priododd Ruth, ac a genhedlodd Obed. Obed yn y ganfed flwyddyn o'i oed, a genhedlodd Jesse; a Jesse ynghylch ei ganfed flwyddyn a genhedlodd Dafydd, y ieuangaf o'i feibion. Ymddengys fod Boaz yn dra anrhydeddus yn ninas Bethlehem, ac yn llawn o garedigrwydd. Yr ydoedd allan gyda y medelwyr, er mor gyfoethog ydoedd; ac yn cysgu yn gyfagos i'r llawr dyrnu er gofalu am ei ŷd; ac yr oedd ei waith yn lledu ei aden dros Ruth, yn arwydd o'i gydsyniad i'w chymmeryd mewn priodas yn wraig iddo. Mewn perthynas i Boaz ac amgylchiadau ei briodas, y mae yn angenrheidiol i ni ystyried, yn 1. Bod amryw ddefodau ac arferion mewn gwledydd a chan genhedloedd y pryd hwnnw, hollol ddieithr i oesau diweddarach; a rhai o honynt etto mewn ymarferiad yn y dwyrain. Tebygol i Naomi dybied mai Boaz oedd cyfathrachwr agosaf ei mhab, ac felly yn rhwym i ymbriodi â Ruth; ac oddi ar y dyb hon y trefnodd ei holl gynlluniau. Ond yn yr ymddiddan fu rhwng Boaz a Ruth, ymddengys fod cyfathrachwr agosach i fab Elimelech a Naomi, nag efe; ac yn foreu wedi myned o hono i borth dinas Bethlehem, y lleoedd y trefnid braidd bob matterion gan yr Iuddewon, disgwyliodd am y cyfathrachwr, yr hwn a wrthododd gymmeryd y Foabëes yn wraig; o ganlyniad yng ngŵydd tystion Boaz a'i cymmerodd, a hi a fu yn wraig iddo. 2. Nad oes dim yn yr adroddiad a'r hanes am Boaz a Ruth yn ammhriodol yn y mesur lleiaf; oblegid y mae gan wahanol wledydd wahanol ddefodau; a chan un genedl wahanol arferion i genedl arall. I ni yn y deyrnas hon, nid ydyw yn rhyfeddach i Ruth yn ddiarwybod i Boaz fyned i orwedd wrth ei draed, nag i Boaz fyned i benderfynu y matter i borth y ddinas. Ei diben hi yn myned i orwedd wrth ei draed, ydoedd i arddel Boaz fel cyfathrachwr; ac yn y cymmeriad hwnnw, yr oedd yn rhwym i'w hymddiffyn a'i hymgeleddu; ac yr oedd hyn yn hollol yn ol defodau y wlad. Aeth yntau i borth ei ddinas er cwblhau y briodas yng ngŵydd y dinasyddion, y rhai oeddynt i fod yn dystion o honi; efe a arddelodd yr alldudes yn gyhoedd, gan ei chymmeryd yn wraig. Y mae yr amgylchiad hwn mewn modd anwrthwynebol yn dwyn i'n cof, fel yr arddelodd Iesu mawr ni yn ein gresynoldeb a'n trueni pan dramwyodd heibio i ferch yr Amoriad, yr hon a orweddai ar y maes, ac y dywedodd wrthi, "Yn dy waed bydd fyw." 3. Yr oedd llaw y goruchaf Arglwydd yn yr holl amgylchiadau hyn. Pan fyddo Duw yn gweithio, y mae yn gweithio yn rhyfedd; pob dolen yn addas i'w lle, a phob carreg yn llanw ei lle yn yr adeiladaeth. Arwydd amlwg nad ewyllys Duw ydyw i orchwylion fyned ym

mlaen, ydyw yr ymdrechiadau a wneir er cael dibenion oddi amgylch trwy dwyll a dichellion. Nid rhyfedd bod cymmaint o briodasau yn annedwydd, a chymmaint o eglwysi yn anghysurus yn eu gweinidogion, oblegid nad ymgynghorwyd â Duw, na rodiwyd yn ffordd cyfiawnder, ac na ddilynwyd yr amcan yn ddiddichell.

---

# DAU LYFR SAMUEL.

YN y Canon Ysgrythyrol Iuddewig, nid ydyw dau lyfr Samuel yn gwneuthur ond un llyfr, a thebygol iddynt gael yr enw Samuel oddiwrth yr ymadroddion hynny yn 1 Chron. 29. 29. lle y dywedir am helyntoedd teyrnasiad Dafydd " Wele y maent yn ysgrifenedig yng ngeiriau Samuel y gweledydd ;" yng nghyfieithad y Deg a Thrugain, gelwir hwynt y cyntaf a'r ail o'r Brenhinoedd, neu o'r Brenhiniaethau ; ac y mae Jerome yn eu galw llyfrau y Teyrnasoedd, am eu bod yn ddau o'r pedwar llyfr ym mha rai yr adroddir hanes Brenhinoedd Israel a Juda. Ac y mae un arall o dadau yr eglwys o'r farn i lyfrau Samuel a dau lyfr y Brenhinoedd gael eu hysgrifenu gan yr un person, a'u cyhoeddi tua'r bedwaredd flwyddyn a deugain o gaethiwed Babilon. Ond y farn fwyaf gyffredin a mwyaf tebygol ydyw eiddo y Talmudiaid, yr hon hefyd a gredid gan dadau boreuol yr eglwys Gristionogol ; sef bod y pedair pennod ar hugain o lyfr cyntaf Samuel wedi eu hysgrifenu gan Samuel ; a'r relyw o'r cyntaf, ynghyd â'r oll o'r ail, wedi eu hysgrifenu gan y prophwydi Gad a Nathan, yn gydunol âg arferiad y prophwydi, y rhai a ysgrifenent hanes ac helyntion eu hamserau. Bod y tri pherson a enwyd, yn ysgrifenwyr, sydd dra amlwg oddiwrth yr adnod a grybwyllwyd yn 1 Chron. 29. 29. yr hon sydd oll fel y canlyn, 'Wele, y maent yn ysgrifenedig yng ngeiriau Samuel y gweledydd, ac yng ngeiriau Nathan y prophwyd, ac yng ngeiriau Gad y gweledydd." Ond yr oedd yn gwbl naturiol i Ezra, gan yr hwn y diwygiwyd yr ysgrifeniadau ysprydoledig, i daflu cynnwysiad ysgrifau y prophwydi a grybwyllwyd i ddau lyfr Samuel, neu fel y mae gan yr Iuddewon i un llyfr. Y mae yn dra amlwg i lyfr cyntaf Samuel gael ei ysgrifenu cyn llyfr cyntaf y Brenhinoedd, oblegid cyfeirir at amgylchiad yn llyfr Samuel, yn llyfr y Brenhinoedd, 1 Sam. 2. 31. 1 Bren. 2. 27.

Gweithredoedd cyntaf Dafydd a grybwyllir yn 1 Chron. 29. 29. iddynt gael eu hysgrifenu gan Samuel, ydynt y rhai hynny a ddigwyddasant cyn marwolaeth Samuel, ac y mae y rhai hynny yn terfynu gyda'r bedwaredd bennod ar hugain o'r llyfr cyntaf ; ac i'w hanes gael ei ddilyn ar ol hynny gan Nathan a Gad. Y crybwylliad cyntaf a wneir am Nathan ydyw yn 2 Sam. 7. 2. ychydig amser wedi i Dafydd ymsefydlu yng Nghaersalem. Crybwyllir am dano yn fynych wedi hyn, ac yr oedd efe yn cynnorthwyo i enneinio

Solomon yn frenin. Ac megis ag i hyn gymmeryd lle o fewn ychydig i farwolaeth Dafydd, y mae yn dra thebygol i Nathan ei orfucheddu; ac yn gymmaint a'i fod yn hollol wybodus o amgylchiadau ei deyrnasiad, iddo ysgrifenu hanes y gyfran olaf o honi, yn neillduol am na chrybwyllir am Gad wedi y pla a anfonodd Duw yn achos cyfrifiad y bobl drwy orchymmyn Dafydd.

Llyfr cyntaf Samuel a gynnwysa hanes yr eglwys Iuddewig o enedigaeth Samuel, dan lywodraethiad Eli, hyd farwolaeth Saul, brenin cyntefig y llwythau etholedig, am agos i bedwar ugain mlynedd o amser, sef o'r flwyddyn o oed y byd 2869 i 2949. Amcan a diben y llyfr hwn yn bennaf ydyw, adrodd am sefyllfa wladol a chrefyddol Israel dan y diweddaf o'u barnwyr, sef Eli a Samuel, ynghyd â'u brenin cyntaf Saul, pryd y cyfnewidiwyd y llywodraeth o bendefigaeth i unbennaeth, yr hwn amgylchiad yn neillduol a gadarnha wiredd llyfrau Moses, am i'r prophwydi ragddywedyd y byddai i'r fath gyfnewidiad gymmeryd lle. Dangosa y llyfr hwn hefyd ddiogelwch yr eglwys yng nghanol cyfnewidiau a chynhyrfiadau, pryd y dangoswyd trugaredd Duw tuag at y rhai a'i hofnent, a'i farnedigaethau brawychus ar ei gaseion. Cynnwysa llyfr cyntaf Samuel dair rhan neillduol:—

Rhan I. Yr amgylchiadau dan frawdwriaeth Eli. Pen i—iv.

Dosp. 1. Genedigaeth Samuel. Pen i. Diolchgarwch a chân Hannah. Pen. ii.

2. Galwedigaeth Samuel, y bygythion yn erbyn Eli drwy orchymmyn Duw, a'i sefydliad yn y swydd brophwydol. Pen iii.

3. Marwolaeth Eli, ac arch Duw yn cael ei chymmeryd gan y Philistiaid. Pen. iv.

Rhan II. Hanes yr Israeliaid dan frawdwriaeth Samuel.

Dosp. 1. Dinystr Dagon, eilun y Philistiaid. Pen. v. Duw yn ceryddu y Philistiaid; dychweliad yr arch adref; a'r Beth-semesiaid yn cael eu taro â barn am eu cywreinrwydd cnawdol. Pen. vi.

2. Diwygio y gwasanaeth crefyddol, ac edifeirwch yr Israel ym Mispah,—gorchfygu y Philistiaid, y rhai ni wrthryfelasant dros weddill brawdwriaeth Samuel. Pen. vii.

3. Yr Israeliaid yn erfyn am lywodraeth frenhinol,—neillduad Saul er bod yn frenin, a'i fuddugoliaeth ar yr Ammoniaid. Pen. viii—xi.

4. Samuel yn rhoddi ei swyddogaeth heibio, cyn belled a bod yn uwch-farnydd yn Israel, er na pheidiodd a bod yn farnwr mewn ystyr wladol a chrefyddol hyd derfyn ei oes. Pen. xii.

Rhan III. Hanes Saul, ac amgylchiadau ei deyrnasiad.

Dosp. 1. Llwyddiant Saul yn nechreuad ei deyrnasiad, yn cynnwys ei ryfel â'r Philistiaid, a'i fuddugoliaeth arnynt. Pen. xiv.

2. Saul yn cael ei fwrw mewn ystyr o'r llywodraeth, mewn canlyniad i'w wrthryfel yn erbyn y gorchymmyn dwyfol, i arbed brenin Amalec, a'r rhan oreu o'r yspail. Pen. xv.

3. Neillduo Dafydd i fod yn frenin, a'r amgylchiadau a gymmerasant le cyn marwolaeth Saul. Pen xvi—xxviii. Yn cynnwys, 1. Enneiniad Dafydd i fod yn frenin ar Israel, a'i frwydr, ynghyd â'i orfodaeth ar Goliath. Pen. xvii. 2. Dafydd yn cael ei erlid gan Saul,—ei gyfammod â Jonathan,—ei ffoëdigaeth,—ei gyfeillgarwch â Jonathan,—ei fynediad i Nob,—ei ymweliad âg Achis, brenin Gath,—a'r offeiriaid yn cael eu lladd yn Nob. Pen xviii.—xxii. 3. Gwaredu Ceilah gan Dafydd,—ei ffoëdigaeth i anialwch Ziph a Maon,—bywyd Saul yn llaw Dafydd yn Engedi,—ymddygiad trahaus Nabal,—ac ail-ffoëdigaeth Dafydd at Achis i Gath. Pen. xxiii.—xxvii.

4. Gweithredoedd diweddaf Saul cyn ei farwolaeth: yn cynnwys, 1. Saul yn ymofyn â'r ddewines o Endor. Pen. xxviii. 2. Y Philistiaid yn gwersyllu yn Aphec, ac yn anfon Dafydd yn ol oddiwrth y fyddin. Pen. xxix. 3. Dafydd yn canlyn ac yn gorchfygu yr Amaleciaid, oddiwrth y rhai yr adferodd yr yspail. Pen. xxx. 4. Israel yn cael eu gorchfygu ar Gilboa, a Saul yn lladd ei hun. Pen. xxx.

Cynnwysa ail lyfr Samuel, hanes Dafydd, ail frenin Israel, dros yspaid agos i ddeugain mlynedd, sef o'r flwyddyn o oed y byd 2948 hyd 2988; a thrwy drosglwyddiad y deyrnas o lwyth Benjamin i lwyth Juda, yn adrodd mewn rhan gyflawniad o'r rhagddywediad yn Gen. 49. 10. Buddugoliaethau Dafydd,—ei weinyddiad doeth o'r llywodraeth wladol,—ei egnïadau er helaethu terfynau gwir grefydd, —ei bechodau gwarthus,—ei edifeirwch dwys, ynghyd â'r trallodion y dygwyd ef a'i bobl iddynt gan Dduw, a adroddir yn dra chyflawn. Y mae yn cynnwys tri o raniadau; sef,

Rhan I. Buddugoliaeth Dafydd. Pen. i—x.

Dosp 1. Ei alar-gân ar ol Saul a Jonathan. Pen. i.

2. Ei fuddugoliaeth ar dŷ Saul, a'i sefydliad yn y llywodraeth. Pen. ii.

3. Ei fuddugoliaeth ar y Jebusiaid a'r Philistiaid,—dygiad yr arch i Jerusalem,—gweddi Dafydd ar yr achlysur. Pen. v—vii.

4. Ei fuddugoliaethau ar y Philistiaid, yr Ammoniaid, a'r Cenhedloedd cymmydogaethol. Pen. viii—x.

Rhan II. Trallodion Dafydd a'r achosion o honynt, ynghyd â'i edifeirwch, ac adnewyddiad o ffafr Duw iddo. Pen. xi—xxiv.

Dosp. 1. Yr achosion o drallodion Dafydd,—ei bechod mawr cyntaf yn erbyn Duw,—ei bechod yn achos Urias, a'r barnedigaethau dwyfol a gyhoeddwyd arno o'i herwydd. Pen. xi—xii.

2. Y cospedigaethau mewn canlyniad i'w bechodau; yn gyntaf o drallodion teuluaidd ym mhechod Amnon; ac yn ail, trallodion cyffredinol yng ngwrthryfel Absalom,—marwolaeth Absalom, a galar Dafydd oblegid hynny. Pen. xiii—xix.

RHAN III. Adferiad Dafydd i'w orsedd, a'r helyntion canlynol. Pen. xxiv—xxiv.

Dosp. 1. Dychweliad Dafydd i Jerusalem, a gwrthryfel Sheba. Pen. xx.

2. Cospedigaeth meibion Saul, a rhyfeloedd llwyddiannus Dafydd yn erbyn y Philistiaid. Pen. xxi.

3. Ei Salm o fawl i Dduw am ei drugareddau. Pen. xxii.

4. Geiriau diweddaf Dafydd, a llechres o'i gedyrn. Pen.xxiii.

5. Pechod Dafydd yn cyfrif y bobl, ei gospedigaeth a'i edifeirwch. Pen. xxiv.

Y mae bod yn hyddysg yn llyfrau Samuel, yn neillduol yn hanes helyntion Dafydd, yn angenrheidiol anhebgorol er deall niferi lluosog o'r Salmau. A'r achos bod darllenwyr yr Ysgrythyrau Sanctaidd mor dywyll ac mewn cymmaint petrusder ydyw y diffyg hwn. Ac ond sylwi ar y daflen ganlynol, ceir llawer o oleuni ar y Salmau a nodir, trwy'r pennodau y cyfeirir attynt yn llyfrau Samuel

| | | |
|---|---|---|
| Salm | 3 ......... | 2 Sam. 15, 14, &c. |
| | 4 ......... | 1 Sam. 22, 23, 26. 2 Sam. 15, 14, &c. |
| | 24 ......... | 2 Sam. 6, 12, &c. |
| | 7 ......... | 2 Sam. 16, 2, 11. |
| | 30 ......... | 1 Sam. 5, 11. |
| | 32 ......... | 2 Sam. 12. |
| | 34 ......... | 2 Sam. 21, 10—15. |
| | 42, 43 ... | 2 Sam. 17, 22—24. |
| | 51 ......... | 2 Sam. 12. |
| | 52 ......... | 1 Sam. 22, 9. |
| | 54 ......... | 1 Sam. 23, 19. a 26, 1. |
| | 55 ......... | 2 Sam. 17, 21, 22. |
| | 56 ......... | 1 Sam. 21, 11—15. |
| | 57 ......... | 1 Sam. 22, 1. a 24, 3. |
| | 59 ...... .. | 1 Sam. 19. 11. |
| | 60 ......... | 2 Sam. 8, 3—13. a 10, 15—19. |
| | 63 ........ | 1 Sam. 22, 5. a 23, 14—16. |
| | 68 ......... | 2 Sam. 6, 3—12. |
| | 89 ......... | 2 Sam. 7, 12, &c. |
| | 142 ......... | 1 Sam. 22, 1. a 24, 1, &c. |

Yn llyfrau Samuel yr ydym yn gweled y genedl Iuddewig yn dyrchafu i anrhydedd a gogoniant mawr, drwy fod crefydd yn cael mwy o sylw nag yn y blynyddoedd cyn hynny, a gwasanaeth y Goruchaf wedi cael ei ddwyn i fwy o burdeb ym mhlith y genedl. Y mae hyn yn ddangosiad amlwg i ni yn yr oesau hyn, nad gweddus i genedl na gwlad ddisgwyl am lwyddiant na dedwyddwch, oni fydd yn parchu deddfau Duw ac yn rhodio yn ol ei orchymmynion ef. Yn neillduol os bydd y llywodraethwyr a'r mawrion yn ddiystyr o grefydd a duwioldeb, y mae y werin yn gyffredinol yn dilyn eu llwybrau, a'r wlad yn myned yn llawn o bechodau rhyfygus yn erbyn Arglwydd Dduw y lluoedd. O'r tu arall, os bydd y wlad neu y deyrnas yn ofni Duw ac yn ei wasanaethu mewn purdeb, y mae efe yn Noddwr ac yn Ymgeleddwr iddi, cadwa ei gelynion draw, dyrysa eu cynlluniau, ac a wna iddi flaguro mewn llwyddiant a heddwch. Yr ydym yn cael ein dysgu yn llyfrau Samuel,

1. Nad ydyw arwyddion allanol o grefydd, na rhyw fath o ffydd ac ymddiried coel-grefyddol i bethau darfodedig, yn ddigonol i effeithio achubiaeth yn nydd cyfyngder a chaledi. Yr oedd y Philistiaid yn gorchfygu Israel yn hollol mewn brwydrau; ac Israel yn eu mympwy goel-grefyddol a orchymmynasant ddwyn yr arch i'r gwersyll, gan feddwl y buasai honno yn gweithredu iachawdwriaeth iddynt. Ond pa beth ydoedd yr arch ond defnydd hollol farw? Duw yr arch yn unig a allasai weithredu gwaredigaeth iddynt hwy; a phwy bynnag a ymddiriedo i ffurfiau allanol crefydd, a boddloni ar rith duwioldeb, heb adnabod ei grym hi, a siommir yn dragywyddol yn nydd cyfyngder a chaledi. Na thwyller ni, nid bod enw o Gristionogion arnom, nid ein bod yn coffâu am farwolaeth yr Arglwydd yn fisol, nid ein bod yn weddïwyr dawnus, nid ein bod yn hyddysg ac yn wybodus yn yr Ysgrythyrau, ac nid ein bod yn dwyn perthynas â'r enwad hwn neu arall o grefyddwyr, a sicrha i ni ddedwyddwch a bywyd tragywyddol yn y nef; ond undeb gwirioneddol â Mab Duw—bod yng Nghrist Iesu—ei adnabod ef a grym ei adgyfodiad—a chael ein creu o'r newydd yng Nghrist Iesu yn unig a rydd i ni fywyd tragywyddol.

2. Bod anufudd-dod i orchymmynion y Goruchaf o'r pwys a'r canlyniadau mwyaf. Etholodd Duw Saul fab Cis er bod yn frenin ar Israel, gan ei ddyrchafu o sefyllfa isel er bod yn deyrn gorwych ar y llwythau etholedig; ond anghofiodd Saul fod yr hwn a'i dyrchafodd i'r orsedd yn alluog hefyd i'w ddadymchwelyd y pryd y mynnai, a thrwy y moddion y gwelai efe fod yn dda. Aeth Saul yn rhyfygus yn ei swydd frenhinol, ymruthrodd i'r offeiriadaeth, swydd na pherthynai iddo, ac anufuddhaodd i orchymmyn Duw mewn perthynas i Amalec; a'r canlyniad fu ei wrthod gan y nefoedd, a'i fwrw ef a'i deulu allan o'r frenhiniaeth. Sylwer, "Y mae gwrando yn well nag aberth, ac ufuddhau yn rhagorach na brasder hyrddod." Ni fu i Saul ond aflwydd a gofid er y troseddodd orchymmyn Duw, hyd oni threngodd ar fynydd Gilboa. Bydded i ninnau ddysgu ar draul ein cyd-greaduriaid, mai "Gwae yr anwir, ac mai drwg fydd iddo." Y mae gan Dduw barch i'w orchymmynion; a'r dynion hynny y rhai ni pharchant hwynt, a fwrir yn dragywydd oddi ger ei fron. Cofiwn yr ymadrodd, "Gwyn eu byd y rhai sydd yn gwneuthur ei orchymmynion ef; fel y byddo iddynt fraint ym mhren y bywyd, ac y gallont fyned i mewn drwy'r pyrth i'r ddinas."

3. Na cha ei blant ei hun bechu yn ei erbyn, heb i'w pechodau gael eu chwerwi iddynt. Nid diystyr gan Dduw y neb a becho yn rhyfygus i'w erbyn, ac ni ddatguddia ei faddeuant i'w rai anwylaf, heb eu dwyn i gyfyngder a gofid yn gyntaf. Rhyfedd mor bell yr aeth Dafydd dros y terfyn,—gorwedd gyda gwraig ei gymmydog, a llofruddio ei gwr â chleddyf meibion Ammon; ond dioddefodd gospedigaethau trymion oblegid hyn;—ni ymadawodd y cleddyf â'i dŷ, ond treuliodd ei oes gan mwyaf mewn rhyfeloedd. Gwelwyd ef yn ffoi yn droednoeth o Gaersalem, ac yn dringo ael mynydd yr olewydd mewn wylofain tost a chwerw, a'i fab yn hela am ei fywyd. Lliosog yr ocheneidiau a ddiangasant o'i fynwes, a llawer gwaith y gwnaeth ei wely yn foddfa o herwydd ei bechod gyda Bathsheba, gwraig Urïas yr Hethiad. Ac a ydym ni mor ffol a thybied yr

edrycha ein Duw heibio i'n pechodau yn ddisylw; na wna, oblegid os plant, yr ydym yn gyfrannogion o gerydd, oblegid y mae Duw yn ceryddu ac yn fflangellu pob mab y mae efe yn ei garu. Ac os heb gerydd yr ydym, o'r hon y mae pawb o'r plant yn gyfrannog, yna bastardiaid ydym ac nid meibion. Y mae yn rhaid i ni ddyfod i olwg ein llygredd, i deimlo ein llygredd, i ofidio oblegid ein llygredd, ac i gael cynnorthwyon i farweiddio ein llygredd, neu fyw a marw dan arglwyddiaeth ein llygredd. Ac y mae myned drwy y fuchedd hon, gan ddiengyd rhag ceryddon Duw, yn frawychus iawn; oblegid y mae ein pechodau bob dydd yn ymofyn am geryddon, a dedwydd yn wir ydyw y dyn a gerydder bob dydd. Y mae y dyn hwnnw sydd yn anamyneddgar dan geryddon yr Arglwydd, yn ddiystyr iawn o'r goruchwyliaethau hynny sydd yn angenrheidiol er puro a chymhwyso ei enaid i ogoniant; ac mewn effaith yn haeru ei ddiniweidrwydd, drwy ddywedyd fod yr Arglwydd yn gwneuthur cam â'i enaid, am ddwyn arno gyfyngderau a thymhestloedd diachos.

## HYNODION LLYFRAU SAMUEL.

### I. SAMUEL.

Samuel, mab Elcanah o'i wraig Hannah, ydoedd yr unfed ar bumtheg o Corah, y Lefiad gwrthryfelgar. Ganed ef yr un amser a Samson, a'i fam yn ol ei hadduned i Dduw, a'i cyssegrodd i'w wasanaeth fel Nazaread o'i febyd; ac wedi ei ddiddyfnu, hi a'i rhoes dan warcheidwadaeth Eli, yr hwn ydoedd yn Silo, yn archoffeiriad yn gweinyddu yng nghyssegr y Goruchaf. Er pan alwyd arno dair gwaith gan yr Arglwydd, ac y rhag-ddywedwyd wrtho y barnedigaethau a syrthient ar dŷ Eli, cymmerwyd ac ystyriwyd ef megis prophwyd o'r dydd hwnnw allan. Pan farw Eli, yr oedd Samuel tua deugain oed, ac a'i canlynodd fel barnwr Israel. Gorchymmynodd am gynnull y llwythau ynghyd, ef allai ar yr achlysur o symmudiad yr arch o Beth-semes i Ciriath-jearim; ac yno efe a'u cynghorodd yn ddwys i roddi eu heilunod heibio, ac ymroddi i wasanaethu yr Arglwydd mewn purdeb. Yr oedd Samuel yn wr enwog iawn, ac a berchid yn gyffredinol gan yr holl lwythau; a phan y mynnent gael brenin, nid oedd ganddynt ddim i'w ddywedyd yn erbyn gweinyddiad Samuel ei hun fel barnwr; ond nid oedd ei feibion mor gydwybodol a'u tad, oblegid gwyrent farn er gwobr. Cyfarwyddwyd ef ynghylch y flwyddyn o oed y byd 2909 i enneinio Saul er bod yn frenin ar Israel; ond ni chafodd amgen y gofid oddi wrtho, am na pherchai orchymmynion Duw; a Samuel a alarai yn fawr oblegid hyn. Ond Duw a'i cyfarwyddodd drachefn i enneinio un o feibion Jesse y Bethlehemiad er bod yn frenin, pan beidiai Saul a gwisgo y goron. Wedi ei ddychweliad yn ol o Bethlehem, trigodd yn ei ddinas ei hun Ramah, lle yr edrychai ac y gofalai am ddysg-

eidiaeth cyfeillach o ddynion ieuaingc, y rhai a ymgyflwynent i wasanaeth y Goruchaf. Ym mhen tuag un neu ddwy flynedd ar bumtheg wedi enneinio o hono Ddafydd yn frenin, bu farw tua'r flwyddyn o oed y byd 2947, a bu galaru ac wylofain mawr ar ei ol.

---

## II. ARCH DUW A DAGON.

Dagon ydoedd eilun-dduw, a berchid ac a addolid gan y Philistiaid: dywedir ei fod ar lun dyn yn ei rannau uchaf, a chanddo gynffon pysgodyn. Meddylir gan rai iddo gael ei fwriadu ar y cyntaf fel arddangosiad o Noah, yr hwn yn hir a fu yn nofio yn yr arch. Tybir hefyd i enw yr eilun hwn ddeilliaw oddiwrth y gair *dag*, pysgodyn; ac eraill oddiwrth *dagan*, ŷd. I deml yr eilun hwn, fel i'r lle sancteiddiolaf yn Philistia, y dygwyd yr arch pan gymmerwyd hi gan y Philistiaid; ond erbyn y bore yr oedd wedi syrthio, ac yn ei agweddiad yn cydnabod mawredd Arglwydd Dduw Israel. Y mae yr amgylchiad hwn yn dangos i ni, 1. Er bod y Philistiaid yn elynion Israel, yn anadnabyddus o Dduw Israel, ac wedi cymmeryd y trysor gwerthfawrocaf a berthynai i Israel oddi wrthynt, etto am ei bod yn ddodrefnyn perthynol i Dduw, er nad adwaenent ef, hwy a'i parchasant hi. Mor wahanol eu hymddygiadau hwy i lawer a arddelwant yr enw anrhydeddus o Gristionogion, y rhai wedi cael o honynt un a berthynai i deulu Duw yn gaeth i'w tir, ni bydd ganddynt ddigon o waradwyddiadau i'w taflu arno ef ac ar ei Dduw. 2. Gallwn gymmeryd yr amgylchiad hwn megis rhag-arwydd y bydd i holl eilunod y greadigaeth ddiflannu o flaen disgleirdeb efengyl ogoneddus ein Harglwydd Iesu Grist. Syrthiodd Dagon o flaen yr arch, ac aeth yn ddrylliau; ac y mae efengyl fawr y deyrnas yn ein byd ni megis surdoes mewn blawd,—hi fyn oruchafiaeth gyffredinol ar holl eilunod y Cenhedloedd, nes byddo yr wybodaeth am Fab Duw wedi llanw yr holl greadigaeth, a'r holl ieithoedd yn cyfaddef fod Iesu yn Arglwydd ac yn Grist er gogoniant Duw Dad.

---

## III. SAUL.

Saul fab Cis ydoedd o lwyth Benjamin, a thrwy gyfarwyddyd yr Hollalluog a enneiniwyd gan Samuel yn frenin ar Israel. Ar y cyntaf ymddygodd yn drefnus ac yn rheolaidd yn ei frenhiniaeth, ond dangosodd yn fuan nad ydoedd yn ei galon wir barch i Dduw, oblegid yr hyn y gadawyd ef gan Dduw yn gwbl i'w lywodraeth ei hun, a dewiswyd un arall o lwyth gwahanol er gwisgo y goron ar ei ol. Wedi i Dafydd orchfygu Goliath y cawr Philistiaidd, ac wedi i wragedd a gwyryfon Israel fawrygu mwy ar Ddafydd nag arno ef, ymgynddeiriogodd yn ei galon, ac a'i erlidodd o hynny allan hyd ddydd ei farwolaeth. Dywedir i yspryd drwg oddiwrth yr Arglwydd ddyfod ar Saul, wrth yr hyn y deallir yn gyffredinol iddo fyned yn wallgof, yn neillduol felly ar amserau, ac fel dyn gwallgof yn hollol yr ymddygodd drwy weddill ei oes. Yr oedd wedi ei wrthod gan

yr Arglwydd, a'r canlyniad fu i arwyddion o anfoddlonrwydd yr Arglwydd ei ddilyn o hynny allan hyd ei drangcedigaeth. Ymddengys ei fod yn ansefydlog iawn yn ei feddyliau, ac yn dra gwyllt ar amserau; ac er dofi ei gythreuldeb y dygwyd Dafydd gyntaf atto, yr hwn ydoedd yn llengcyn enwog i chwareu y delyn; ac y mae peroriaeth gyda y feddyginiaeth oreu i lonyddu ysprydoedd dynion gorphwyllog. Lladdodd Saul lawer o offeiriaid y Duw goruchaf yn ei gynddeiriogrwydd, ac ym mhob ystyr yr oedd yn ormeswr ar y wlad. Y frwydr ddiweddaf a ymladdodd Saul ydoedd â'r Philistiaid ar fynydd Gilboa, yr hon fydd yn nodedig drwy yr holl oesau, am i Israel Duw gael eu gorchfygu yno. Llywyddodd Saul y llwythau i'r frwydr, er y gwyddai na ddeuai o honi yn fyw; ac ar Gilboa yr ymladdodd y frwydr hygof. Ond er i Saul a'i feibion ymladd â'r gelyn gyda dewrder rhyfeddol, am nad ydoedd Duw gyda hwynt, cawsant eu gorchfygu: "Gwyr Israel a ffoisant rhag y Philistiaid, ac a syrthiasant yn archolledig ar fynydd Gilboa;" ac yno y syrthiodd Saul a'i feibion ym mysg y lladdedigion. Y mae'r gelyn gwannaf yn drech na ni, os ymladdwn âg ef amgen yn nerth y nef; am hynny cofiwn am ymnerthu ac ymgadarnhau yn y gras sydd yng Nghrist Iesu, onidê gweiniaid a fyddwn ar bob tir. Yr Arglwydd yn unig ydyw noddfa a nerth ei bobl; a thra byddont hwy yn rhodio yn ei ddeddfau a'i farnedigaethau, y mae efe yn eu pleidio hwythau, gan ymladd eu rhyfeloedd, gan effeithio ymwared iddynt, a chan agor drws o obaith iddynt yn eu gwasgfeuon trymaf: am hynny bydded i ni gofio bob amser, pan ymosodir arnom gan ein gelynion, mai at yr Arglwydd y mae i ni ffoi, oblegid Tŵr cadarn ydyw enw yr Arglwydd; atto ef y rhed y cyfiawn er bod yn ddiogel.

---

## IV. Y DDEWINES O ENDOR.

Nid oes un pwngc braidd y mae mwy o ddadleu yn ei gylch, na mwy o amrywiaeth barn yn ei herwydd, na'r pethau a ddywedir iddynt gymmeryd lle yn Endor. Barna rhai mai Samuel ei hun a ymddangosodd, am y dywed yr Ysgrythyr mai Samuel ydoedd, ac iddo ymddangos drwy swynion, dewiniaeth, a chonsuriaeth y ddewines: ond y mae'r dyb hon yn cael ei gwrthwynebu oddiar yr ystyriaeth, pe Samuel a ymddangosodd, mai dyfod i lawr o'r nefoedd a wnaethai, ac nid i fynu o'r ddaear. Eraill a farnant mai yr yspryd aflan, sef y diafol, a ymddangosodd yn rhith, agwedd, a llun Samuel: ond y mae hyn drachefn yn cael ei ddadymchwelyd, oblegid nad ydyw yr Yspryd aflan yn rhagwybod. Eraill drachefn a dybiant nad ydoedd y cwbl oll ond ffug a wnaed i fynu rhwng y ddewines gyfrwysgall a'i chyngreiriaid, er twyllo y brenin gwallgof ac annuwiol: ond y mae yn rhaid bod rhyw beth neillduol ac allan o'r ffordd gyffredin yn yr hanes hwn, amgen ni adroddesid ef gyda'r fath bwys a manyldra. Os ydoedd ysgrifenydd ysprydoledig yr hanes hwn yn credu mai ffug ydoedd y cwbl a wnaed yn Endor, y mae yn sicr yr awgrymasai at hynny, yn lle rhoddi hanes i arwain darllenwyr y Gyfrol Sanctaidd i gyfeiliornad: a phe credasai ysgrifenydd yr hanes

dan sylw mai diafol oedd yno yn rhith Samuel, braidd y mae yn gredadwy y galwasai ysgrifenydd ysprydoledig y diafol wrth enw Sant y Duw goruchaf. Mewn perthynas i'r ddewines o Endor, pa un a ydoedd mewn cymdeithas â'r diafol, neu mai twyllo dynion trwy ei hocced yr ydoedd, nid yw o gymmaint pwys yn bresennol; ond y mae yn ddiddadl bod Saul yn credu yn ei galluoedd goruwch naturiol, a hynny heb groeshoelio yr hanes ysgrythyrol. Cyrhaeddodd Saul annedd y ddewines mewn agweddiad er dieithrio ei hun; ac wedi adrodd o hono ei neges, cydsyniodd â'i ddeisyfiad, ond iddo ef sicrhau y byddai ei bywyd yn ddiogel. Wedi i Saul addunedu na niweidid hi, dechreuodd ar ei swynion, neu yr ystrangciau hynny drwy ba rai y byddai arferol o dwyllo y rhai hynny a ddeuent atti er ymofyn â'r meirwon: ond yn ddisymmwth safai o'u blaen hwynt fod ysprydol, oblegid ymddangosiad yr hwn y dychrynodd y ddewines yn gystal a Saul; o ganlyniad rhaid i'r yspryd ymddangos yn annisgwyliadwy i'r ddewines, yr hon pan ei gwelodd a waeddodd yn ddolefus. Trwy ganiattad a gorchymmyn y Goruchaf y cymmerodd hyn le, ac nid trwy swynion y ddewines,—nid oedd ganddi awdurdod ar yr yspryd aflan i beri iddo ymddangos, nac ar angylion nac eneidiau yr ymadawedigion. Yr oedd hwn naill ai yn angel, neu Samuel ei hun, wedi ei orchymmyn gan Dduw i ymddangos er cyhoeddi y ddedfryd ar Saul; a'r hwn a ddywedodd, mai y foru, neu yn dra buan, y cyfrifid ef gyda marwolion. Y mae yr amgylchiad yn ddyrus ac yn dywyll iawn, ond y mae yn amlwg bod llaw Duw ynddo, a bod yr ysgrifenydd sanctaidd yn adrodd yr hyn a gymmerodd le fel ffaith. Yr amgylchiadau yn Endor a ddangosant i ni, yn 1. Mor bell yr â dyn, ac mor rhyfedd yr ymddyrysa mewn rhwydau wedi iddo ymbellhau oddiwrth yr Arglwydd. Gwelodd a phrofodd Saul ewyllys da Duw, ond yn rhyfygus ymruthrodd dros derfynau ei orchymmynion; ac mor bell yr aeth oddiwrth Dduw yn y diwedd, fel yr ymofynodd â swynwyr ac a dewiniaid, y rhai a broffesent yng ngwasanaeth y cythraul, ac mewn cyngrair âg uffern. Y mae yn beryglus, ac yn beryglus iawn i rodio maesydd gwaharddedig, am hynny gwyliwn a gweddiwn fel nad elom i brofedigaeth. 2. Mai annichonadwy cael cysuron yn un man wedi ymadael â Duw, ffynnon y dyfroedd byw. Saul yn ei gyfyngder a gurodd wrth borth uffern, er edrych a oedd modd i'w gysuro yn ei adfyd; ond cennad gogoniant a'i cyfarfyddodd yno, gan ei daro megis i'r llawr â'i daranfollt. Bydded i ni gadw yn ein cof, os tywylla rhyngom ni a'r nefoedd, y bydd tywyllwch a llenni duon rhyngom â phob man arall; ac os bydd goleuni yn llewyrchu rhyngom â'r orsedd, y mae gwawr ym mhob man. 3. Nad oes yn canlyn bywyd annuwiol, ond marw yn annedwydd. Os am farw o farwolaeth yr uniawn ydym, cofiwn mai annichonadwy i hynny fod, heb fyw fel yr uniawn hefyd; ac os ydym yn chwennychu i'n diwedd fod fel yr eiddo yntau, rhodiwn yn ol ffydd yr efengyl.

---

## V. DAFYDD.

DAFYDD mab Jesse, bugail defaid ym Methlehem, ydoedd y gwr a ddetholwyd gan yr Arglwydd er canlyn Saul yn y frenhiniaeth.

Cafodd lawer o dywydd garw a thymhestlog cyn gwisgo'r goron ac eistedd ar orseddfaingc deuddeg llwyth Israel. Bu Saul yn erlid ar ei ol am flynyddoedd lawer, a'i fywyd mewn perygl droion; ond am iddo ymddiried yn yr Arglwydd, gwaredwyd ef yn ei holl orthrymderau, ac ni niweidiwyd ef gan ei elynion. Wedi brwydr Gilboa, lle y lladdwyd Saul a'i dri mab, gyda niferi lliosog o'r Israeliaid, cyfarwyddwyd ef gan Dduw i symmud i Hebron, lle y daeth tywysogion Juda atto, ac y gwnaethant ef yn frenin ar y llwyth crybwylledig. Teyrnasodd ar lwyth Juda yn Hebron saith mlynedd; ac wedi llofruddio Isboseth gan ei weision, daeth 339,822 o arfogion o holl lwythau Israel atto er ei wneuthur yn frenin ar y deuddeg llwyth. Symmudodd yn awr i Jerusalem. ac ennillodd yr amddiffynfa oddiar y Jebusiaid drwy ddewrder Joab a'r milwyr. Dechreuodd y Philistiaid yn awr ymgynhyrfu ac ymfyddino er ei ddadymchwelyd oddiar ei orsedd; ond er dyfod o honynt ddwy waith hyd yn agos i furiau Jerusalem, etto am fod Duw gydag ef, gorchfygodd hwynt â lladdfa fawr, a gwnaeth ei hun yn enwog fel rhyfelwr. Ynghylch y flwyddyn o oed y byd 2960, rhyfelodd yn erbyn y Philistiaid, ac a'u gorchfygodd i'r fath raddau, fel y dygodd hwynt yn hollol dan deyrnged. Wedi ei gyffroi gan y Moabiaid am lofruddio ei rieni, neu ryw achlysur arall, rhyfelodd yn eu herbyn a drylliodd eu teyrnas; gorchfygodd hefyd y cenhedloedd oddi amgylch ogylch, hyd onid oedd brenhinoedd lawer yn dwyn eu teyrnged iddo. Nid ydoedd heb ei feiau, a rhai o honynt yn dra gwaradwyddus; ond er ei holl golliadau, yr ydoedd yn grefyddwr tra gwresog, a charai yr Arglwydd yn fawr. Parottôdd ddefnyddiau yn aneirif er adeiladu teml i Arglwydd Dduw Israel; ond oblegid ei ryfeloedd, nid efe, ond ei fab Salomon, ydoedd wedi ei ddethol gan Dduw er dwyn hyn o orchwyl oddi amgylch. Cyfansoddodd lawer o emmynau melus i'w Dduw, a dywedodd yn ardderchog am ddaioni a thosturiaethau Duw Israel. Yr oedd y deyrnas yn flodeuog iawn dan ei deyrnasiad, oblegid gwenai Duw arni. Rhaid bod Dafydd yn fawr iawn, o herwydd gelwir Ceidwad pechaduriaid yn Fab Dafydd; a rhyfedd mor oleu y dywedodd Dafydd am dano yn llyfr y Salmau. Y mae hanes Dafydd yn brawf, 1. Bod Duw yn hoffi y rhai a'i carant,—y mae efe yn neillduo y duwiol iddo ei hun. 2. Bod llwyddiant a gwawr ar gynlluniau y rhai a barchant ddeddfau y nef:—yr oedd Duw yn llwyddo Dafydd yn ei holl amcanion. 3. Bod terfyniad dedwydd i'r oes a dreulir yng ngwasanaeth y Goruchaf.

---

## VI. Y CAWR GOLIATH.

Yr oedd y cawr Goliath yn anferth o faintioli, ac nid rhyfedd bod ar yr Israeliaid ei ofn, canys yr oedd yn chwech cufydd a rhychwant o uchder, sef tuag un droedfedd ar ddeg; ei helm yn bumtheg pwys; ei fottasau pres ynghylch deg pwys ar hugain; a'i darian bres yn ddeg ar hugain. Meddylir bod ei holl arfogaeth tua dau cant a thri ar ddeg a thrugain o bwysi, a'i waywffon tua chwech troedfedd ar hugain o hyd. Deuai yr anghenfil dynol hwn allan

bob dydd i herio yr Israeliaid i droi allan o'u byddinoedd un a fedrai ymladd âg ef, ac y byddai i genedl yr hwn a orchfygai gael llywodraethu y genedl arall. Hon oedd y beroriaeth a ganai efe bob dydd yng nghlustiau gwersyll Israel, nes yr oedd y fyddin wedi hollol lwfrhau, fel nad ydoedd calon yn y milwyr mwyach i ymladd. Yn y cyfwng hwn anfonodd Jesse ei fab Dafydd âg ymborth i'w frodyr, ac i edrych eu helynt; ac wedi gweled o hono y cawr, a chlywed ei ymadroddion trahaus, cynhyrfodd ei yspryd, a mynnai ymladd âg ef. Aeth i'w gyfarfod gyda'i ffon dafl ac ychydig gerrig a gyfododd efe ar y ffordd; a'r cawr pan ei gwelodd a ddechreuodd ei regu a bygwth ei drin yn enbyd am ei ryfyg: ond y bugail glandeg a gwridgoch a osododd garreg yn ei ffon dafl, ac â hi a darawodd y cawr, fel y suddodd yn ei dalcen, ac y bu farw. Rhedodd Dafydd ym mlaen, ac â chleddyf y cawr a dorrodd ei ben ymaith; a'r Philistiaid a ffoisant, ac Israel Duw a gawsant y fuddugoliaeth. Gallwn ddysgu oddiwrth amgylchiad y cawr, 1. Gan nad beth fyddo y grym a'r nerth a fyddo gan elynion Duw, na fydd iddynt lwyddo yn erbyn yr achos a bleidio efe. Yr oedd Goliath yn gryfach o lawer na Dafydd, ond methodd ei orchfygu, am i Dafydd ddyfod i'w gyfarfod yn enw yr Arglwydd. Yr oedd ymerodraeth Rhufain yn gryfach na'r pregethwyr cyntefig a anfonwyd allan er cyhoeddi yr efengyl; ond yr oedd Duw gyda'r Apostolion, ac nid oedd modd i orchfygu eu hathrawiaeth. Yr oedd y Pab hefyd yn alluoccach na Luther, ond yr oedd Duw gyda y diwygiwr, a chafodd fuddugoliaeth. 2. Mai trwy ddwylaw gweiniaid yn gyffredin y mae ymffrostwyr beilchion yn syrthio yn y diwedd. Pan elo Duw i ddarostwng beilchion, darostynga hwynt i'r eithaf; a pha farwolaeth a allasai fod yn fwy gwarthus a gwaradwyddus i gawr, rhwng un ar ddeg a deuddeg troedfedd o hyd, na threngu trwy i fugail gwael ei ymddangosiad ei daro yn ei dalcen â charreg? 3. Fod yn rhaid i ni edrych heibio i'r offerynau a ddefnyddia Duw yn aml atto ef ei hunan. Y mae y greadigaeth yn rhyfedd, ond y mae y Creawdwr yn rhyfeddach; y mae yn ddyledswydd arnom i barchu y moddion yn eu lle, ond y mae yr hwn a drefnodd y moddion yn haeddu anfeidrol mwy o barch.

---

## VII. JERUSALEM.

Jerusalem, Jebus, neu Salem, ydoedd ddinas enwog yng ngwlad Canaan, a'r bennaf mewn rhyw ystyriaethau a fu yn y byd erioed. Yr ydoedd ynghylch 25 milltir o'r tu gorllewinol i'r Iorddonen, ac ynghylch 45 i'r dwyrain o Fôr y Canoldir. Adeiladwyd hi ar fryniau, ac yr oedd bryniau lawer yn ei hamgylchynu. Meddylia amryw ddysgedigion ei bod nid yn unig mor hen a Melchisedec, ond mai hi ydoedd ei brif ddinas. Teyrnasai brenin yng Nghaersalem, yn nyddiau Joshua, o'r enw Adonisedec; ond nid ymddengys i'r ddinas gael ei chymmeryd a'i darostwng gan y buddugoliaethwr hwn, oblegid yr oedd ym meddiant y Jebusiaid hyd amser Dafydd. Rhoddwyd hi, yn rhaniad y wlad, rhwng llwyth Juda a llwyth Benjamin. Jos. 15. 63. a 18. 28. Llosgwyd hi gan lwyth Juda

wedi marwolaeth Joshua, Barn. 1. 8. ond ail-adeiladwyd hi gan y Jebusiaid wedi y digwyddiad hwn. Y fath ydoedd ei chadernid, yn neillduol yr ymddiffynfa a elwid Sïon, fel y tybiai y Jebusiaid bod y deillion a'r cloffion yn abl i'w chadw, gan nad pa mor gadarn a lliosog y gallasai yr ymosodwyr fod. Wedi i Dafydd ei chymeryd, drwy Joab, adeiladodd ddinas newydd o'r tu gogledd orllewin i'r hen, Acra o'r tu gogledd; ac ar gyfer y gogledd ddwyrain i i fynydd Sïon yr adeiladwyd y deml, ar fynydd Morïa. Helaethwyd hi gan Dafydd a Salomon. Ei mhuriau oeddynt o bump i chwech milltir o amgylchiad, ar y rhai yr oedd tyrau wedi eu hadeiladu, er cadernid i'r ddinas yn wyneb ymosodiadau gelynion arni. Nid oedd ond ychydig ddwfr ynddi, a hwnnw o natur hallt. Am mai yng Nghaersalem yr oedd y cyssegr sancteiddiolaf, ynghyd âg arwyddion o'r presennoldeb dwyfol, daeth Jerusalem i fod yn gyffredin rhwng yr holl lwythau, y rhai a gynniweirient yno o bob parthau o'r wlad, ar y gwyliau arbennig, er ymddangos ger bron Arglwydd Dduw y lluoedd. O dan deyrnasiad Rehoboam, cymmerwyd y ddinas hon ac yspeiliwyd hi gan Sisac, brenin yr Aipht; o dan deyrnasiad Amasiah, cymmerwyd hi gan Joas, brenin Israel; ac yn amser Manasseh, ymddengys iddi gael ei chymmeryd gan yr Assyriaid. Wedi hynny aeth Pharaoh Necho iddi, ond ni ddywedir iddo ei hyspeilio; ond cymmerwyd hi gan Nebuchodonosor, brenin Babilon, fwy nag unwaith; a'r tro diweddaf, wedi gwarchau arni ynghylch dwy flynedd, efe a'i dinystriodd agos oll, drwy fwrw ei mhuriau i lawr a rhoddi y tai ar dân. Wedi iddi fod am ynghylch 136 o flynyddoedd yn ddrylliedig, Nehemiah ac Eliasib yr archoffeiriad, gydag amrywiol eraill, a ymroddasant yn egniol at y gorchwyl o ail-adeiladu y muriau a'r tai; ac yn fuan daeth yn enwog ac yn lliosog iawn ei thrigolion. Ym mhen hir amser wedi hyn, cymmerwyd hi drwy ddichell gan Ptolemy, brenin yr Aipht, yr hwn a drosglwyddodd nifer liosog o'i thrigolion i'r Aipht. Cymmerwyd hi wedi hyn gan Antiochus Epiphanes, yr hwn a lofruddiodd tua deugain mil o'r trigolion, ac a werthodd ynghylch yr un nifer o honynt yn gaethion. Ym mhen y ddwy flynedd cymmerwyd hi drachefn gan Apollonius, yr hwn yntau a roddodd nifer liosog o'r trigolion i'r cleddyf. Gadawyd hi gan y rhan fwyaf o'r rhai a orfucheddasant yr alanas ym meddiant yr eilun-addolwyr, y rhai a halogasant y cyssegr drwy eu ffieidd-dra. Ail-gymmerwyd hi gan Judas Maccabeus, yr hwn a ymlidiodd y Paganiaid ymaith, ac a adferodd y gwasanaeth crefyddol i'w drefn gyntefig. Pompey y Rhufeinwr a'i cymmerodd, ynghylch trugain mlynedd cyn marwolaeth ein Iachawdwr; ac ym mhen pedair blynedd ar hugain, cymmerwyd hi drachefn gan Socius a Herod. Ynghylch y flwyddyn 70 o oed ein Harglwydd, llwyr ddinystriwyd y ddinas hon gan Titus a'r llengau Rhufeinig, pan y dywedir i un cant ar ddeg o filoedd o Iuddewon drengu drwy newyn, drwy y cleddyf, a thrwy wahanol arteithiau. Ynghylch deg a deugain neu drugain mlynedd wedi hyn, adeiladwyd dinas newydd ar fynydd Calfaria, lle y bu rhyw fath o eglwys Gristionogol yn hir; ond ni chaniatteid i un Iuddew ddyfod yn agos iddi. Yn y flwyddyn o oed ein Harglwydd 360, Julian y gwrthgiliwr, er gwneuthur ein Iachawdwr yn anwir-

eddus, a roes orchymmyn i adeiladu y ddinas a'r deml, ond daeargrynfaau a tharanau a rwystrasant y gweithwyr, ac a'u hattaliasant yn eu gorchwylion. Yn y flwyddyn 614 cymmerwyd hi gan y Persiaid, y rhai a aberthasant bedwar ugain mil a deg o Gristionogion i gynddaredd yr Iuddewon; ond ail-gymmerwyd hi yn fuan gan Heraclius, yr ymerawdwr Rhufeinig, yr hwn a roddes y cwppanaid chwerw yn ol i'r Iuddewon am eu malais. Yn y flwyddyn 637, cymmerwyd hi gan y Saraceniaid Arabaidd, ac yn y flwyddyn 1079 cymmerwyd hi oddi wrthynt gan y Tyrciaid Seljucianaidd. Yn y flwyddyn 1099, meddiannwyd hi gan Godfrey o Bulloin a'i Ewropiaid; ac yn 1187, Saladin, Sultan yr Aipht, a orchfygodd y Cristionogion; ond yn 1517, cymmerwyd hi oddiwrth yr Aiphtiaid gan y Tyrciaid Ottomanaidd, ym meddiant pa rai y mae yn aros hyd y dydd hwn. Y mae yn bresennol ynghylch tair milltir o amgylchiad, yn dra thlodaidd, ac yn anaml ei thrigolion. Y mae ar fynydd Morïa deml wedi ei hadeiladu, ac o'i hamgylch gynteдd, a'r lle yr oedd cyssegr sanctaidd y deml y mae teml Fahometanaidd yn awr; a'r Cristion hwnnw a ryfyga fyned dros y terfyn a roddir i farwolaeth yn ddiattreg. Y mae yno amryw o eglwysi, perthynol i'r Pabyddion, y Groegiaid, yr Armeniaid, &c. ac y mae yr holl enwadau Cristionogol yn Jerusalem yn llawn o goelgrefydd, fel nad oes fawr o arwyddion gwir grefydd ym mhlith neb o honynt.

Gelwir eglwys y Testament Newydd wrth yr enw Jerusalem; oblegid, 1. Mai yma y rhydd Duw arwyddion o'i bresennoldeb i'w bobl yn eu cynnulliadau, ac yn yr ymarferiad o'r moddion y mae efe wedi eu pennodi iddynt i ymwneuthur â hwynt. 2. Am ei fod wedi diosg ei fraich, ac wedi gweithredu yn rhyfedd er daioni yr eglwys, yr hon a bwrcasodd efe â'i briod waed. 3. Y mae yr eglwys ar sail gadarn, nid amgen na Mab Duw, ar yr hwn y mae wedi ei hadeiladu fel na all pyrth uffern yn dragywydd ei gorchfygu. 4. Y mae yr eglwys yn dra ardderchog yn ei Phen, yn ei deddfau, ac yn yr hyn oll a berthyna iddi, fel y gellir yn briodol ei galw yn berffeithrwydd tegwch.

---

## VIII. GODINEB DAFYDD.

Nid yw pechodau y duwiolion neu anwyliaid pennaf yr Arglwydd wedi eu celu, ond i'r gwrthwyneb wedi eu hysbysu i ni. Pan oedd Dafydd yn rhodio ar nen ei dŷ, fel yr oedd ac y mae yn bresennol yn arferiad yn y dwyrain, er mwynhau yr awelon hwyrol ar ol gwres y dydd, gwelai wraig ei gymmydog, Urias yr Hethiad, a swyddog yn y fyddin, yn ymolchi: ymollyngodd gyda nwydau a thueddiadau ei galon lygredig, fel yr anfonodd am y wraig, a'r canlyniad fu iddo ymhalogi gyda hi. Wedi beichiogi o honi, anfonodd at y brenin er hysbysu ei chyflwr; ac yntau yn annuwiol a dynnodd gynllun er ei ddinystrio, drwy ei ladd â chleddyf meibion Ammon. Priododd Dafydd Bathsheba ar ol hyn, ac a'i dygodd i'w dŷ ei hun; ond cysgodd ei gydwybod yn rhyfedd yn ac wedi ei bechod hwn,—nid oes son am ei edifeirwch na'i ddagrau; ac er i Nathan dynnu ei arlun yn nammeg yr oenig mor debyg iddo ei hun ag oedd yn ddi-

chonadwy, etto methodd adnabod ei hun, er mor oleu y drych ac mor debyg y ddau wyneb i'w gilydd. 'Fel mae byw yr Arglwydd,' eb efe, 'euog o farwolaeth yw y gwr a wnaeth hyn.' Ychydig a dybiai Dafydd mai arno ei hun y cyhoeddi y ddedfryd; ond ebai Nathan, 'Ti yw'r gwr.' Cyrhaeddodd y gair ei galon, ac fel cleddyf a drywanodd drwy ei enaid—edifarhaodd ger bron yr Arglwydd, ac a erfyniodd ei faddeuant am y pechod mawr ac ysgeler hwn. Gwelwn, 1. Mai dyn yw pob dyn ar y goreu. Yr oedd Dafydd yn enwog iawn; ond collodd ei draed, a drylliodd ei hun yn y creigiau yn dost. Nid oes neb etto o'r duwiolion wedi diengyd i'r nefoedd heb iddynt gael gwybodaeth a phrofiad yn gyntaf iddynt fod yn y byd hwn,—y mae y rhai enwoccaf wedi myned dan eu creithiau i'r byd arall, ond heb wellhau. 2. Er i'r saint lithro, ni âd eu Tad hwynt yn y pydewau: 'Ni'th roddaf di i fynu, ac ni'th lwyr adawaf chwaith." Y fath ydyw gofal y Bugail da am ei ddefaid, fel na chyfrgollant byth, ac ni ddwg neb hwynt allan o'i law ef; oblegid y mae yn rhoddi iddynt fywyd tragywyddol. 3. Nid i'w dilyn y coffheir gwendidau'r saint, ond i'w gochelyd. Yr ydym ni i ofalu rhag y pyllau y syrthiasant hwy iddynt; a chyn cael enghraifft berffaith, rhaid edrych ar Iesu.

---

## IX. ABSALOM.

Absalom ydoedd trydydd mab Dafydd o Maacah, merch Talmai brenin Gesur. Efe ydoedd yr harddaf drwy holl lwythau Israel, a dywedir mai unwaith yn y flwyddyn y torrai efe ei wallt, a'i fod yn pwyso dau can sicl, neu tua chwech pwys o'n pwysau ni, rhwng y gwallt a'r perlau ynddo, y mae yn debygol: neu, yn ol y dyweda rhai, fod y gwallt yn cael ei brisio i ddau can sicl, yr hyn sydd gyfartal i dair punt ar hugain o'n harian ni. Pan dreisiwyd ei chwaer Tamar gan Amnon, llwyr ymddialodd Absalom arno, drwy orchymmyn i'w weision am ei ladd pan welent ef wedi myned dan lywodraeth gwin hyd i feddwdod. Dengys yr amgylchiad hwn ei fod yn greulon, yn anfaddeugar, ac yn dra dialgar, pan y gallai dan rith cyfeillgarwch drochi ei ddwylaw yng ngwaed ei frawd. Ffodd o herwydd hyn at ei daid, lle y bu am dair blynedd mewn alltudiaeth; ond a ddychwelwyd yn ol drwy offeryngarwch Joab, ac a adferwyd i ffafr ei dad fel cynt: ond ym mhen y deugain mlynedd, fel y dywed yr Ysgrythyrau, sef deugain mlynedd wedi i Samuel enneinio Dafydd, ac ym mhen y pedair wedi dychweliad Absalom adref o Syria, cyfododd wrthryfel yn erbyn ei dad, ac ymdrechodd ei ddiorseddu a dwyn y goron; ond yr oedd wedi gwneuthur rhag-barottoadau, ac wedi parottoi y bobl gyferbyn â'r cyfnewidiad a fwriedid ei ddwyn oddi amgylch. Ymddengys nad ydoedd cyfiawnder a barn yn cael eu gweinyddu i'r bobl, a chymmerodd Absalom fantais oddiar hyn i ddieithrio meddyliau y bobl oddiwrth y llywodraeth, ac i ddymuno am gyfnewidiad. Wedi cyrhaeddyd o hono hyd Hebron, agorodd ei fynwes i'r bobl, a hwy yn uniongyrchol a'i cyhoeddasant yn frenin; a phe y dilynasai gynghor Ahitophel, buasai yn llwyddo yn ol pob tebygolrwydd; ond er iddo lwyddo ar y cyntaf, nid ydoedd rhag-

lluniaeth y Goruchaf yn ffafriol i'w weithrediadau; o ganlyniad, pan ymgydiodd mewn brwydr â lluoedd ei dad, collodd y dydd a'i fywyd, ac adferwyd yr hen deyrn i'r orsedd. Dengys amgylchiadau y gwrthryfel, 1. Fod perygl o'r mwyaf i uchel swyddwyr unrhyw lywodraeth i wyro barn, neu ddangos difatterwch tuag at y deiliaid. Y mae ymddygiadau o'r fath hyn yn suro eu meddyliau o ychydig i ychydig; ac os cânt ryw un i'w harwain, cyhoeddant drosto, er ymddial ar y rhai ni wrandawent ar eu cwynion. 2. Fod cymmeryd arfau er dymchwelyd unrhyw lywodraeth yn bechadurus, oni fydd pob moddion eraill wedi aflwyddo. Dylasai y llwythau yn gyntaf osod eu hachos ger bron y brenin, a'i hyspysu o ymddygiadau ei swyddwyr; ac os na buasai efe yn eu gwrando ac yn mynnu gweled cyfiawnder yn cael ei weinyddu iddynt, buasai eu hymddygiad yn gyfreithlon i fynnu eu hiawnderau, oblegid nid oes hawl gan neb i attal dynion oddiwrth eu breiniau. 3. Fod dyn wedi myned i ddyfnderau pydewau llygredigaeth, cyn y gallasai mab wisgo ei arfogaeth a hela am fywyd ei dad, fel y gwnaeth Absalom tuag at Dafydd ei dad. Yr oedd rhyw beth yn annaturiol ac yn ddieflig yn yr amgylchiad hwn, oblegid nid ydoedd Absalom yn gweithredu oddiar un egwyddor amgen na bod balchder ei galon yn ei wthio ym mlaen er cyrhaeddyd i fri ac anrhydedd, yr hyn yn unig a ymgyrchai atto er seilio ei orsedd ar waed yr hwn a'i cenhedlodd. 4. Fod pwy bynnag a ymddiriedo i ddyn yn debyg iawn o gael siommedigaeth yn y pen draw. Gallasid meddwl y buasai holl feibion yn barod i ymddiffyn gorsedd eu tad ac i golli eu bywydau yn yr ymdrech, ond yn lle hynny, wele ei fab ei hun yn llywyddu byddin yn ei erbyn! Dyn ydyw dyn, a chwbl wagedd ydyw pob dyn pan fo ar y goreu; ond y mae Duw yn gymhorth i bawb yn eu cyfyngder.

---

## X. DAFYDD YN RHIFO'R BOBL.

YMDDENGYS bod Dafydd ac Israel wedi pechu yn erbyn yr Arglwydd, o ganlyniad yn galw am gospedigaeth yr Hollalluog; oblegid dywedir i "Ddigllonedd yr Arglwydd ennynu yn erbyn Israel," ac y mae yn hyspys nad ydyw ei ddigllonedd ef yn cyffroi yn erbyn ei bobl ond pan bechont yn ei erbyn. Dywedir yn 2 Sam. 24. 1. I Dduw annog Dafydd yn erbyn Israel; ac yn 1 Chron. 21. 1. "A Satan a safodd i fynu yn erbyn Israel, ac a annogodd Ddafydd i gyfrif Israel." Gollyngodd yr Arglwydd y gwrthwynebwr yn rhydd, er ymosod ar Dafydd; ond pa un ai yr yspryd drwg ydoedd y gwrthwynebwr, neu ddyn, y mae yn anhawdd penderfynu. Mewn perthynas i gyfrif Israel, yr oedd hyn yn gyfreithlon ar achlysuron, ac wedi cael ei wneuthur droion; ond cymmerodd Dafydd y gorchwyl mewn llaw er mwyn boddloni ei gywreinrwydd a'i falchder, ac er dangos ei gadernid mewn ymffrost i'r cenhedloedd. Aeth at y gorchwyl hwn yn groes i'r ddeddf a'r rheol orchymmynedig yn Ecs. 30. 12, 14. "Pan rifech feibion Israel, dan eu rhifedi; yna rhoddant bob un iawn am ei einioes i'r Arglwydd, pan rifer hwynt: fel na byddo pla yn eu plith pan rifer hwynt. Hyn a ddyry pob un pan

elo dan rif: hanner sicl, yn ol sicl y cyssegr; ugain gerah yw y sicl: hanner sicl fydd yn offrwm i'r Arglwydd. Pob un a elo dan rif, o fab ugain mlwydd ac uchod, a rydd offrwm i'r Arglwydd." Yn gymmaint ag i Dafydd gymmeryd y gorchwyl mewn llaw er mwyn porthi ei falchder, ac yn groes i reol y Goruchaf, y canlyniad fu dinystr ofnadwy drwy y pla. Dywedir yn 2 Sam. 24. bod Israel yn wyth can' mil o wyr grymmus yn tynnu cleddyf; a gwyr Juda yn bum' can' mil o wyr: ac yn 1 Chron. 21. bod Israel yn fil o filoedd, a Juda yn bedwar can' mil a deng mil a thrugain o wyr yn tynnu cleddyf. Y mae yr amrywiaeth yn y ddau gyfrif hwn wedi peri i rai o honynt ammeu bod un o honynt yn wallus; ond er eu bod yn anghysson â'u gilydd mewn ymddangosiad, etto y mae yn amlwg fod pob un o'r cyfrifon yn wirionedd, ond bod y Chronicl yn cyflawni yr hyn sydd yn ddiffygiol yn 2 Samuel. Yn ol 1 Chronicl 27, yr oedd deuddeg o gadfridogion wedi eu gosod, a lluoedd wedi eu pennodi, er bod yn warchawdlu ar y brenin bob yn ail fis. Yr oedd byddin pob un o'r cadfridogion hyn yn bedair mil ar hugain, yr hyn a wnai i fynu lu o ddau can' mil, a phedwar ugain mil ac wyth. Yr oedd hefyd dywysogion ar y llwythau, am y rhai y crybwyllir yn 1 Chron. 27; a chan ei fod yn gwbl naturiol bod byddin o ddeuddeg mil yn gwasanaethu i bob un o'r rhai hyn, gwnelai hyn y lluoedd yn dri chan' mil, yr hyn a wna i fynu y gwahaniaeth rhwng y ddau gyfrif. Mewn perthynas i rifedi Israel, ymddengys na chymmerodd awdwr llyfr Samuel sylw o'r tri chan' mil, am eu bod mewn gwasanaeth gweithredol yn amser y cyfrifiad, fel byddin sefydlog y deyrnas, yr hon nid oedd angenrheidrwydd ei chyfrif. Ond awdwr y Chronicl a ddywed yn amlwg, "A *holl* Israel;" eithr awdwr llyfr Samuel ni ddywed ond, "Israel ydoedd wyth can' mil," &c. Y mae yn angenrheidiol sylwi hefyd, fod byddin ar derfynau tir y Philistiaid, er gwarchod y wlad ac er sylwi ar ysgogiadau y gelyn, yn ol yr ymddengys oddiwrth 2 Sam. 6. 1. yr hon y mae yn debyg a gynnwysid yng nghyfrif Juda gan awdwr llyfr Samuel. Ond awdwr llyfr y Chronicl, yr hwn a ddywed am Juda, mai ei rifedi ydoedd pedwar can' mil, a thrugain mil a deg, ni chyfrifodd gyda Juda y fyddin o ddeng mil ar hugain ydoedd ar y terfynau, oblegid nad oeddynt oll o lwyth Juda ef allai; o ganlyniad ni ddywed, "A holl Juda," fel y gwnaeth, "A holl Israel," ond "A Juda." Felly gellir cyssoni y gwahanol gyfrifon hyn, drwy ymgynghori â rhannau eraill o'r Ysgrythyrau Sanctaidd. Oddiwrth yr amgylchiad hwn o eiddo Dafydd yn rhifo y bobl, dangosir, 1. Bod dyn yn cael ei adael iddo ei hun pan becho yn erbyn Duw. Diau bod Dafydd wedi digio ei Arglwydd, o ganlyniad rhoddwyd ef i fynu iddo ei hun, fel yr oedd yn agored i bob cyfeiliorni. 2. Bod Duw yn attal ei ras oddiwrth y dyn hwnnw a fyddo ar gyfeiliorn, fel y bydd yn agored i fod yn ysglyfaeth i bob profedigaeth. Nid yw dyn yn rymmus, ac ni chynnorthwyir ef gan ras y nefoedd ond pan fyddo ar lwybr ei ddyledswydd. 3. Mai chwerw ydyw y cwppanaid hwnnw o gymmysgfa yr Arglwydd i ddynion pan bechont yn ei erbyn. Braw, dychrynfeydd, a marwolaeth a ddigwyddodd i Israel oblegid hyn; a gwaeau tragywyddol a fydd i ran y rhai hynny a barhant yn eu cyfeiliorni hyd derfyn eu hoes.

### XI. ADOLYGIAD AR GYMMERIAD DAFYDD.

Er bod Dafydd wedi cyfeiliorni ym mhell mewn rhai pethau oddiar lwybr rhinwedd, etto yr oedd efe mewn cydmariaeth i Saul yn dra anrhydeddus, ac yn fil teilyngach o wisgo y goron frenhinol. Yr oedd ei ymddygiadau ym mhell o fod yn berffaith, megis ei wendid yn ei ymddygiad at Joab wedi iddo lofruddio Abner, ei greulondeb at yr Ammoniaid, ei fradwriaeth at Urias, a'i dynerwch at ei blant. Ond y mae yn angenrheidiol cymmeryd sylw ehang ar bethau ac amgylchiadau, cyn rhoddi barn fyrbwyll; yr oedd Joab yn ben cadfridog, ac yn cael ei garu yn fawr gan y byddinoedd; a thebygol iawn y buasai coron Dafydd yn cael ei pheryglu drwy ymhyraeth gormod âg ef,—yr oedd meibion Serfia yn drech nâg ef. Mewn perthynas i'w ymddygiad at yr Ammoniaid, yr oedd yr oes neu yr oesau hynny yn farbaraidd, ac ni ellir disgwyl bod Dafydd yn rhydd oddiwrth yr arferiadau cyffredin o greulondeb; ac heblaw hynny, nid oes i ni dybied i'r holl genedl gael ei gosod dan lifiau a than ogau heiyrn, ond i'r swyddogion yn unig, mewn ffordd o addaliad efallai, am eu hymddygiadau hwythau at yr Hebreaid a gymmerwyd ganddynt mewn rhyfel. Am ei ymddygiad at Urias yr Hethiad, yr ydoedd o'r fath natur fel nad oes un esgus i'w roddi drosto,—y mae godineb a llofruddiaeth braidd yn enwau rhy dirion i'w rhoddi am ei bechodau. Bathsheba ydoedd wraig Proselyt i'r grefydd Iuddewig, ac er mwyn anrhydedd crefydd ni ddylasai roddi y fath dramgwydd o'i flaen. Yr oedd hefyd yn filwr dewr a grymmus; ac wedi methu o hono daflu plentyn o'i genhedliad ei hun i'w deulu, cynlluniodd i'w roddi i farwolaeth. Ac am ei ymddygiadau tuag at ei blant, nid oes gennym ond tewi, oblegid yr ydym oll yn y gwendid hwn: etto yr oedd Dafydd ar y cwbl yn ddyn rhyfedd o grefyddol, yn fawr ei barch i Dduw, ac yn zelog iawn yn ei wasanaeth; a pha ddyn dan yr holl nefoedd a fu yn y fath alar ac wylofain oblegid ei bechodau a Dafydd? Llawer gwaith y bu cwsg yn ddieithr i'w lygaid, a gwnelai ei wely yn foddfa gan ei edifeirwch oblegid ei amryfuseddau; a bydd ei Salmau o oes i oes yn gysur a diddanwch i Sïon tra yn anialwch blin y fuchedd bresennol.

# DAU LYFR Y BRENHINOEDD.

Y mae dau Lyfr y Brenhinoedd mewn cyssylltiad agos â Llyfrau Samuel,—yn llyfrau Samuel crybwyllir am gyfodiad graddol teyrnas Israel; ac yn llyfrau y Brenhinoedd, am dani yn ei llwyddiant a'i gogoniant pennaf, dan deyrnasiad Salomon; ei rhaniad dan Rehoboam i deyrnas Israel a Juda; ynghyd â dymchweliad y deg llwyth gan Shalmanezer, a Juda a Benjamin gan Nebuchodonosor. Yn yr hen Fiblau Hebraeg cywiraf y mae dau lyfr y Brenhinoedd yn un, ond bod toriad bychan rhyngddynt; y cyntaf yn dechreu gyda

1 Sam. 22. 40. Rhai o'r tadau boreuol a ddechreuant y llyfr cyntaf gyda marwolaeth Dafydd; ond y mae yr un rhaniad yn y Biblau Hebraeg diweddar ag sydd yn ein Biblau ninnau.

Y mae enwau y llyfrau hyn wedi bod yn wahanol, er yr ymddengys oddiwrth Origen iddynt gael eu henwau oddiwrth y geiriau dechreuol, *Vamelech David*—A'r Brenin Dafydd; yr un modd a llyfr Genesis. Gelwir ef gan y deg a thrugain *Basileion*, am deyrnasoedd, o'r rhai y gelwir llyfrau Samuel, y cyntaf a'r ail, a llyfrau y Brenhinoedd, y trydydd a'r pedwerydd. Y Vulgate Latin a'i galwa *Liber Regium tertius; secundum Hebreos, Liber Malachim;* hynny yw, Trydydd Llyfr y Brenhinoedd; ond yn ol yr Hebreaid, Llyfr cyntaf Malachim.

Ynghylch awdwr neu awdwyr y Llyfrau hyn, y mae dysgedigion yn dra gwahanol yn eu barnau; rhai a dybiant i Dafydd, Salomon, a Hezeciah ysgrifenu hanes eu teyrnasiadau eu hunain; eraill, mai Nathan, Gad, Esay, Jeremi, a phrophwydi eraill a flagurasant yn nheyrnasiad Israel a Juda, a ysgrifenasant hanes yr oesau crybwylledig. Ac y mae yn dra amlwg i amryw o'r prophwydi ysgrifenu hanes y gwahanol frenhinoedd a deyrnasasant yn eu hamseroedd, oblegid enwir eu henwau a'u hysgrifeniadau, mewn gwahanol fannau, yn Llyfrau y Brenhinoedd a'r Chroniclau; (1 Bren. 11. 41. 2 Chron. 9. 29. a 12. 15.) ym mha leoedd y crybwyllir am lyfr Nathan y prophwyd, prophwydoliaeth Ahiah y Siloniad, a gweledigaethau Gad y gweledydd. Darllenwn hefyd am lyfr Jehu y prophwyd, mewn perthynas i helyntion Jehosaphat, yn 2 Chron. 30. 34. a 1 Bren. 16. 1. Ysgrifenodd Esay y prophwyd weithredoedd y brenhinoedd Uzziah a Hezeciah; (2 Chron. 26. 22. a 32. 32.) ac y mae yn dra thebygol i Esay hefyd ysgrifenu hanes Jotham ac Ahaz, dan deyrnasiad y rhai y bu efe byw.

Y mae yn amlwg gan hynny fod dau fath o ysgrifenwyr wedi bod ynghylch Llyfrau y Brenhinoedd: yn flaenaf, yr awdwyr cyntefig hynny a ysgrifenent helyntion, amgylchiadau, a digwyddiadau eu hamserau eu hunain, o'r rhai y cafodd awduron yr hanesyddiaeth sanctaidd eu defnyddiau. Nid ydyw yr hen ysgrifeniadau wedi eu trosglwyddo i ni; ond diammeu eu bod gyda y rhai hynny a wnaethant yr hanes i fynu, fel y mae yn ein Biblau ni yn bresennol. Yr ail ddosparth o ysgrifenwyr, oeddynt y rhai hynny gan y rhai y ffurfiwyd Llyfrau y Brenhinoedd, fel y mae yr hanes yn bresennol. Yr Iuddewon a'u priodolant i Jeremiah, ac o'r un farn y mae Grotius ac eraill o esponwyr dysgedig; eraill drachefn a'u priodolant i Esay: ond y farn debycaf ydyw, mai Ezra a wnaeth hanes y ddau Lyfr dan sylw, fel y maent gyda ni yn bresennol. Er cadarnhau y dyb hon, cynnygir y rhesymau canlynol:—1. Bod unffurfiad y dull yn brawf iddynt gael eu hysgrifenu gan yr un awdwr. 2. Bod yn dra amlwg mai wedi y caethiwed ym Mabilon y blagurodd ysgrifenydd y Llyfrau dan sylw, oblegid ei fod yn crybwyll am y dychweliad o'r caethiwed. 2 Bren. 25. 22, &c. Dyweda bod y deg llwyth yn y caethiwed yng ngwlad Assyria, i ba le y trosglwyddwyd hwynt yn gospedigaeth am eu pechodau. 4. Yn yr ail bennod ar bumtheg o ail Lyfr y Brenhinoedd, y mae yr awdwr yn gwneuthur sylwadau ar adfyd Israel a Juda, yr hyn a brawf mai wedi i'r tymhesloedd eu

goddiweddyd yr ysgrifenodd efe. 5. Bod yr awdwr yn fynych yn crybwyll am hen ysgrifeniadau a ddefnyddiai efe yn y gorchwyl hwn. 6. Bod pob tebygolrwydd fod yr ysgrifenydd yn brophwyd ac yn offeiriad. Yn awr, y mae yr holl nodau hyn yn cydweddu âg Ezra, yr offeiriad dysgedig, yr hwn a fu byw yn ac wedi amser y caethiwed. Ond etto y mae rhai pethau megis yn milwrio yn erbyn y dyb hon; megis yn 1 Bren. 8. 8. lle y dywedir bod arch y cyfammod yn y deml hyd y dydd hwnnw; 1 Bren. 12. 19. lle y crybwyllir bod teyrnas Israel yn aros yn barhaus; ac yn 1 Bren. 6. 1, 37. sonia yr awdwr am Zif a Bul, enwau na ddefnyddid wedi y caethiwed. Ond gyda golwg ar y pethau yna, gellir sylwi bod Ezra yn ysgrifenu air am air fel yr oedd yn cael yr ysgrifau o'i flaen, yr hyn a brawf ei ffyddlondeb a'i gymhwysder i'r gwaith o gasglu ynghyd yr hanesion ysprydoledig.

Cadarnheir dwyfoldeb y Llyfrau dan sylw, drwy yr amrywiol rag-ddywediadau a grybwyllant: coffeir am danynt fel Llyfrau o awdurdod gan yr Arglwydd Iesu Grist ei hunan, (Luc 4. 25—27.) gan yr Apostolion, (Act. 7. 47. Rhuf. 11. 2—4. Iago 5. 17. 18.) ac y maent yn barhaus wedi eu derbyn i'r canon sanctaidd gan Iuddewon a Christionogion.

Cynnwysa Llyfr cyntaf y Brenhinoedd hanes cant a chwech ar hugain o flynyddoedd; o enneiniad Salomon, yn y flwyddyn o oed y byd 2989, hyd farwolaeth Jehosaphat, yn y flwyddyn o oed y byd 3115. Adroddir hanes diweddaf bywyd Dafydd, ei farwolaeth, ac esgyniad Salomon i'r orsedd; cyfodiad a chyssegriad y deml; gwrthgiliad Salomon, ac adfeiliad y genedl Iuddewig wedi ei farwolaeth, pryd yr ymrannodd y llwythau yn ddwy deyrnas, dan ddau frenin. Juda a Benjamin a ymunasant dan Rehoboam; a'r deg llwyth a ddewisasant Jeroboam fab Nebat, ac a elwid yn deyrnas Israel. Llyfr cyntaf y Brenhinoedd a ellir ddosparthu yn ddwy ran; sef, 1. Hanes y deyrnas anrhannedig dan Salomon. 2. Hanes y deyrnas rannedig dan Rehoboam a'i ganlynwyr, ynghyd â Jeroboam a'i ganlynwyr.

RHAN I. Teyrnasiad Salomon, Pen. i—x. yn cynnwys,

Dosp. 1. Dyddiau diweddaf Dafydd; enneiniad Salomon er bod yn gyfrannog âg ef o'r orsedd, a'i neillduad i fod yn ganlynwr iddo. Pen. i. a ii.

2. Teyrnasiad Salomon o farwolaeth Dafydd hyd oni chymmerodd mewn llaw y gorchwyl o adeiladu y deml. Pen. ii—iv.

3. Y parottoadau tuag at adeiladu y deml. Pen. v.

4. Adeiladaeth y deml. Pen. vi. Adeiladu tŷ Salomon, ynghyd â pharottoi llestri er gwasanaeth y deml. Pen. vii.

5. Cyssegriad y deml, a'r weddi arbennig a wnaeth Salomon ar yr achlysur. Pen. viii.

6. Yr helyntion dan weddill teyrnasiad Salomon—ei fasnach—ymweliad brenhines Seba âg ef—gogoniant ei frenhiniaeth—ei ymollyngiad i eilun-addoliaeth—a'r gwrthwynebwyr a gyfodasant yn ei erbyn hyd ei farwolaeth. Pen. ix—xi.

RHAN II. Hanes y ddwy deyrnas, sef Israel a Juda. Pen. xii. xxii.

Dosp. 1. Esgyniad Rehoboam, a rhaniad y ddwy deyrnas. Pen. xii.

2. Teyrnasiad Rehoboam brenin Juda, a Jeroboam brenin Israel. Pen. xiii. a xiv.

3. Teyrnasiad Abïam ac Asa brenhinoedd Juda; a Nadab, Baasa, Elah, Zimri, Omri, a dechreuad teyrnasiad Ahab brenin Israel. Pen. xv. xvi.

4. Teyrnasiad Jehosaphat brenin Juda, a'i gyd-deyrnaswyr, Ahab ac Ahaziah brenhinoedd Israel; ynghyd â hanes gweithredoedd a gwyrthiau y prophwyd Elias. Pen. xvi—xxii.

Ail Lyfr y Brenhinoedd a gynnwys hanes teyrnasoedd Israel a Juda o farwolaeth Jehosaphat, yn y flwyddyn o oed y byd 3115, hyd ddinystr y ddinas a'r deml gan Nebuchodonosor brenin Babilon, yn y flwyddyn o oed y byd 3416, ysbaid o dri chan' mlynedd. Perthyna y tair adnod ddiweddaf o'r llyfr cyntaf i'r ail. Y mae hanes y ddwy deyrnas wedi ei chyd-wau yn y llyfr hwn, ac yn rhoddi llechres o frenhinoedd drygionus Israel, o Ahaziah hyd Hosea, dan deyrnasiad yr hwn y cymmerwyd Samaria gan Salmaneser, pryd y caethgludwyd y deg llwyth. Yn nheyrnasiad Juda crybwyllir am rai brenhinoedd duwiol, ym mhlith amryw eraill oeddynt dra llygredig. Un ar bumtheg o frenhinoedd a fuant ar yr orsedd Iuddewig o Jehoram hyd Sedeciah, dan deyrnasiad yr hwn y caethgludwyd Juda i Babilon. Yn yr yspaid hon, amryw brophwydi a flagurasant, megis Elias, Eliseus, Jonah, Joel, Amos, Hosea, Esay, Micah, Nahum, Jeremiah, Habacuc, Daniel, Ezeciel, &c. Cynnwysa ail Lyfr y Brenhinoedd bump ar hugain o bennodau, y rhai a ellir gyfleu i ddwy ran. 1. Hanes y ddwy frenhiniaeth, hyd derfyn brenhiniaeth Israel. 2. Hanes Juda hyd ei gaethgludiad.

RHAN I. Hanes teyrnasoedd Israel a Juda, hyd ddadymchweliad y flaenaf.

Dosp. 1. Cyd-deyrnasiad Jehosaphat a'i gydymaith Jehoram, brenhinoedd Juda; a Ahaziah a Joram, brenhinoedd Israel—Trosglwyddiad Elias i'r nefoedd—Gosodiad Eliseus i fod yn ganlynwr iddo yn y swydd brophwydol, ynghyd â hanes o'r amrywiol wyrthiau a gyflawnwyd ganddo. Pen. i—viii.

2. Cyd-deyrnasiad Jehoram brenin Juda a'i ganlyniedydd Ahaziah, a Jehoram brenin Israel. Pen. viii.

3. Jehu yn cael ei bennodi yn frenin Israel—Jehoram yn cael ei roddi i farwolaeth ganddo—Teyrnasiad Jehu—Marwolaeth Ahaziah brenin Juda—Athalia yn trawsfeddiannu yr orsedd. Pen. ix—xi.

4. Teyrnasiad Joas brenin Juda, a chyd-deyrnasiad Joahaz a'i fab Joas, brenhinoedd Israel. Marwolaeth y prophwyd Eliseus, a'r wyrth a wnaed wrth ei fedd. Pen. xi—xiii.

5. Teyrnasiad Amasïah Azarïah, neu Uzzïah, a Jotham, brenhinoedd Juda; a chyd-deyrnasiad Joas, Jeroboam yr ail, Zacharïah, Sàlum, Menahem, Pecahïah, a Pecah. Pen. xiv. a xv.

Dosp. 6. Teyrnasiad Ahaz, brenin Juda. Hanes Israel o farwolaeth Pecah hyd amser Hosea, y brenin diweddaf, yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad yr hwn cymmerwyd Samaria, y brif-ddidas, gan frenin Assyria, i ba wlad y trosglwyddwyd y deg llwyth i gaethiwed. Dymchweliad brenhiniaeth Israel, a'r grefydd gymmysglyd a ddygwyd i'r wlad gan y Cuthiaid. Pen. xvi. a xvii.

Y mae dau Lyfr y Brenhinoedd yn cynnwys adroddiadau bywiog, yn neillduol yr ail, ac y mae yr hanesion yn cael eu rhoddi gyda'r ammhleidgarwch mwyaf: ac oblegid y crybwyllir adroddiadau gwarthus am y genedl Iuddewig, y mae hynny yn brawf o eirwiredd yr hanesyddiaeth ynghyd â ffyddlondeb yr haneswyr. Dangosant hir amynedd Duw tuag at ei bobl, a'r cospedigaethau trymion a roed arnynt am eu troseddau, ac am y camddefnydd a wnaent o'i drugareddau; ar yr un pryd dangosant wiredd geiriau Duw, yn ei addewidion yn gystal ag yn ei fygythion, er dangos ofered yw ymddiried mewn braich o gnawd, ynghyd âg anwadalrwydd gorseddau y ddaear pan beidiant â chyfiawnder a gwirionedd.

Dangosir yn Llyfrau y Brenhinoedd:—1. Bod y canlyniadau o bwys, pan roddir heibio wasanaethu y Duw Goruchaf. Yr oedd Salomon yn llwyddiannus ac yn anrhydeddus iawn, tra yr anrhydeddai efe Arglwydd Dduw y lluoedd; ond pan wrthgiliodd, ni chafodd ond y gofidiau dros y gweddill o'i oes. "Pan lefarodd Ephraim â dychryn, ymddyrchafodd efe yn Israel; ond pan bechodd gyda Baal y bu farw." Dyn gyda ei ddyledswydd sydd fel pren ar lan afonydd dyfroedd; ond pan yr ymddieithra oddiwrth Dduw, penwynna heb wybod iddo ei hun.

2. Bod tosturiaethau yr Arglwydd o'r fath, fel y mae yn defnyddio pob moddion er dwyn y rhai sydd wedi cyfeiliorni yn ol. Anfonodd brophwydi lawer at Israel a Juda, ond yn ofer, oblegid dirmygent gennadau y nef a anfonid attynt. Yr un fath y mae gyda dynion hyd yn bresennol; er eu rhybuddio mewn perthynas i'r llid a fydd,—"Pwy a gredodd i'n hymadrodd, ac i bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd?"

3. Y daw yr ergyd yn sicr, er ei hir oedi. Dywedai prophwydi Duw am y canlyniadau, ond ni chredid hwynt;—o'r diwedd gwelwyd Jerusalem ar dân, tŷ yr Arglwydd yn bentwr, a hwythau yn cael eu cludo ymaith o'r wlad.

## HYNODION LLYFRAU Y BRENHINOEDD.

### I. SALOMON.

Canlynodd Salomon ei dad Dyfydd yn y llywodraeth pan ydoedd o ddeutu ugain oed; ac ar ei esgyniad, yr oedd ei orsedd yn cael ei hamgylchynu gan ddynion hyf, bradwrus, a pheryglus. Adonïah yn honni ei hawl i'r orsedd, a chanddo blaid liosog yn ei gyn-

northrwyo; Abiathar yn llywodraethu yr offeiriadaeth, a Joab yn ben y fyddin; a chan nad ydoedd ei orsedd yn safadwy oblegid y rhai hyn, gorchymmynodd ladd Adoniah a Joab, a diswyddodd Abiathar o'r offeiriadaeth. Wedi iddo gael ei waredu yn y wedd hon rhag ei elynion cartrefol, dechreuodd deyrnasu mewn heddwch a llwyddiant, ac Israel a Juda a breswylient mewn diogelwch. Rhoddes yr Arglwydd iddo ddoethineb, fel y rhagorai ar holl feibion dynion, a'i glod a gyrhaeddodd hyd i derfynau pellaf y greadigaeth. Ymgyfathrachodd â brenin yr Aipht, a phriododd ei ferch; ac adeiladodd deml orwych i Arglwydd Dduw y lluoedd, yn Jerusalem, ynghyd â phalas mawr iddo ei hun. Yr oedd hwn wedi ei adeiladu yng Nghaersalem, a buwyd dair blynedd ar ddeg wrtho. Yn y palas hwn yr oedd neuadd fawr, er ymdrin â matterion y deyrnas; ac oddiwrth y colofnau cedrwydd mawrion ynddi, gelwid y palas yn "Dŷ coedwig Libanus." Yr ydoedd y neuadd yn 175 o droedfeddi o hyd, yn hanner cymmaint a hynny o led, ac yn ddeg troedfedd a deugain o uchder. Yr *Harem*, neu ystafelloedd ei wragedd, oedd yn gyssylltedig â'r palas hwn; a'r holl adeilad yn cael ei amgylchynu gan y gerddi glwysaf a welid drwy holl Balestina. Palas arall a adeiladodd efe hefyd i ferch Pharaoh, ac at yr ardd hyfryd a berthynai iddo, y meddylia rhai fod cyfeiriadau aml yng Nghân y Caniadau. Diau fod golwg ogoneddus arno yn ei wisgoedd brenhinol, y goron ar ei ben, ac yn eistedd ar orsedd ifori orchuddiedig âg aur, yn derbyn ymostyngiad tywysogion y taleithiau pellennig. Holl lestri ei dŷ oeddynt aur pur, a phob peth yn dangos ei gyfoeth diderfyn. Ennillodd Dafydd ei gyfoeth drwy ei fuddugoliaethau, ond Salomon drwy fasnach. Yr oedd cynghrair cyfeillgar rhyngddo â Hiram, brenin Tyrus, yr hwn a roddai i Salomon seiri llongau a llongwyr; a Salomon yntau a roddai i Hiram ŷd, a gwin, ac olew. Y gangen gyntaf o fasnach y gadawyd i'r Iuddewon gael cyfran o honi, gan gynghreirwyr Salomon, ydoedd masnach Môr y Canoldir. I bob rhan o'r môr hwn, yr oedd y Phœniciaid wedi hwylio, wedi plannu trefedigaethau, ac yn gweithio y mwyngloddiau ar ei lannau. Dyma fasnach Tarsis, yr hon ydoedd mor enwog, fel y gelwid llongau Tarsis yn gyffredin ar longau mawrion masnachwyr. Fe allai bod Tarsis yn enw mor helaeth, yn y dyddiau gynt, ag ydyw yr India Orllewinol yn ein hamser ni. Yn briodol, Tarsis yr henafiaid ydoedd deheu yr Yspaen, y pryd hwnnw yn gyfoethog mewn mwyngloddiau aur ac arian. Y Phœniciaid a estynasant eu masnach ym mhellach na cholofnau Hercules, ac a sefydlasant Cadiz yn yr Yspaen. O'r tu gogleddol hwyliasant gyda goror Ffraingc, hyd yr ynysoedd Prydeinaidd. Yr ail gangen o'u masnach ydoedd dros y tir o'r Aipht. Dygid y fasnach hon ym mlaen gan yr Iuddewon yn unig. Masnachent â'r Aipht mewn ceffylau a llin, yr hwn a dyfai yn doreithiog ar lennydd ffrwythlon yr afon Nilus; a'r llin hwn, yn ol y darluniad a rydd Salomon o wraig dda, a nyddid gan ferched Palestina. Y drydedd cangen o'r fasnach, a'r fwyaf efallai hefyd, ydoedd honno a ddygid ym mlaen ar y Môr Coch. Yr oedd Dafydd wedi estyn ei derfynau hyd y gangen ddwyreiniol o hono; a Salomon a adeiladodd ac a wellhaodd drefydd a phorthladdoedd Elath ac Eziongaber. Oddi yma yr

anfonid llynges i Ophir, yr hon ydoedd yn India ddwyreiniol iddynt, yr un modd ag yr oedd Tarsis yn India orllewinol iddynt. Hwylient gyda goror ddwyreiniol Affrica, a thebygol mai yn rhyw le yma yr oedd Ophir. Yr oedd masnach arall hefyd yn cael ei dwyn ym mlaen ar hyd y tir, a'r llwythau Arabaidd a drosglwyddent i Palestina eu per-lysieuau ar gamelod, &c. Trwy bob cyfleusderau, yr oedd Salomon wedi myned mor gyfoethog, fel yr oedd yr aur mor aml a'r cerrig yn Jerusalem. Yr oedd Salomon hefyd, fel y crybwyllwyd, yn rhagori mewn doethineb; yr oedd yn ben bardd yr oes a'r oesau, yn naturiaethwr ac yn philosophydd enwog. Cynnwysai ei farddoniaeth 1005 o ganiadau, heblaw Cân yr holl Ganiadau; ond y mae y rhai hynny wedi myned ar ddifancoll. Gwnaeth sylwadau ar y llysieuau hefyd, ond y mae hwnnw wedi myned ar gyfrgoll; eithr y mae y rhan fwyaf o'i Ddiarhebion wedi cael eu cadw ac ar gael heddyw. Ond ymdaenodd cwmmwl du dros ei ddyddiau diweddaf, a chafodd arwyddion o anfoddlonrwydd yr Hollalluog. Ymgyfathrachodd yn ormodol â'r Aipht, masnachodd mewn meirch, trysorodd fwy na mwy o aur ac arian, a phriododd amryw wragedd dieithr; llywodraethwyd ef gan ei fenywaid i'r fath raddau, fel pan yr heneiddiodd, aeth ei galon tua'r uchelfeydd, a chefnogodd eilun-addoliaeth. Adeiladodd demlau, cyssegrodd allorau, a dilynodd ffieidd-dra y cenhedloedd; ond tybir ei fod wedi marw yn dduwiol, ac mai wedi ei adferiad y dywedodd, "Gwagedd o wagedd, gwagedd yw y cwbl."

Y mae hanes Salomon yn ein dysgu ni, 1. Mai yr hwn a anrhydeddo yr Arglwydd, a anrhydeddir gan yr Arglwydd. Pa beth bynnag a dybir gan ddynion, y mae yn annichonadwy cael arwyddion o wenau yr Arglwydd, tra fyddont o'r tu allan i derfynau ei ddeddfau; ond am y gwr sydd â'i ewyllys yng nghyfraith yr Arglwydd, pa beth bynnag a wna, bydd llwyddiant yn dilyn ei holl orchwylion. 2. Mai lle peryglus iawn i fod ynddo yw tŵr anrhydedd. Yn wyneb llwyddiant, dyrchafiad, anrhydedd, a bri, y mae niferi lliosog wedi myned mor benysgafn, fel y syrthiasant ac y cawsant esgyrn briw. Pa uchaf y byddo'r dyn, mwyaf ei berygl a dyfnaf ei gwymp. Ac os pendronodd Salomon, y doethaf o ddynion, ar ben colofn anrhydedd, pa ryfedd ydyw bod ffyliaid yn myned yn ffolach, ond cael yr awelon lleiaf yn eu hesgyll. 3. Bod eisiau gwyliadwriaeth dda, ym mha sefyllfa bynnag y mae rhagluniaeth y goruchaf Arglwydd wedi ein cyfleu; a pha uwchaf y byddo sefyllfa dyn, mwy fwy o angenrheidrwydd sydd arno i fod yn wyliadwrus. Y mae gwrthgiliad Salomon yn dduwch ar ei enw hyd y dydd hwn, a diau y buasai ei goffadwriaeth yn fwy peraidd, pe y disgynasai i'r bedd heb fod yn arogl-darthu o flaen eilunod. 4. Pan elo dyn allan o lwybr ei ddyledswydd unwaith, y mae yn debygol o ymddyrysu mewn llawer o ofidiau. Yr oedd Salomon yn blodeuo mewn llwyddiant, yn ddedwydd yn ei ddeiliaid, ac mewn heddwch â'i holl gymmydogion, cyhyd ag y parchai yr Arglwydd Dduw; ond wedi iddo gyfeiliorni, yr oedd rhagluniaeth yn ei holl weinyddiadau yn gwgu arno,—ei ddeiliaid yn anesmwyth, ei gymmydogion yn cyfodi yn ei erbyn, a hadau gwrthryfel yn gwreiddio yn ei deyrnas.

## II. Y DEML.

Wedi i Salomon sefydlu ei hun yn y frenhiniaeth, ymosododd yn egniol at y gorchwyl o adeiladu tŷ i Arglwydd y lluoedd yn Jerusalem, a gwnaeth y parottoadau mwyaf at y gorchwyl. Ni ellid cael y cedrwydd ond o goedwigoedd Libanus; a chyttunodd â'r Tyriaid am y coed hyn, drwy roddi ŷd iddynt am danynt; a hwy a drosglwyddid ar hyd y môr i Joppa, a chyda hwynt niferi lliosog o seiri coed. Y coed a gymmynid gan ei ddeiliaid ei hun, ac yr oedd ganddo ddeng mil ar hugain wrth y gorchwyl, y rhai a rennid yn dair rhan,—deng mil yn gweithio un mis, a deng mil y mis arall; ac felly am un mis o weithio yr oeddynt yn cael dau fis o orphwysdra. Yr oedd ganddo ddeng mil a thrugain yn dwyn beichiau, a phedwar ugain mil yn naddu cerrig; a'r gweithwyr hyn gan mwyaf, os nid i gyd, oeddynt y Canaaneaid a breswylient yn y wlad. Bryn Moriah, sef mynydd y weledigaeth, a ddewiswyd i osod sail y deml arno,— y lle y bu Abraham â'r gyllell yn ei law i ladd ei fab, a'r lle hefyd yr oedd llawr dyrnu Ornan y Jebusiad; lle yr adeiladodd Dafydd allor, ac yr attaliwyd y pla; gwastattäwyd ei ben trwy lawer o drafferth, er dechreu yr adeiladaeth. Yr oedd Dafydd wedi gadael golud anghredadwy ar ei ol tuag at y gwaith hwn, sef 108,000 o dalentau o aur, a 1,017,000 o dalentau o arian, sef ynghylch 942,719,750 o bunnoedd o'n harian ni—Naw can' miliwn, dwy filiwn a deugain, saith can' mil, pedair mil ar bumtheg, saith cant, a deg punt a deugain!! Yr holl ddefnyddiau a wneid yn barod cyn eu dyfod i Jerusalem, fel na wnelai y gweithwyr yno ond eu gosod yn eu lle yn unig; a buwyd saith mlynedd wrth hyn o orchwyl. Rhagorai yr adeiladaeth hon ar holl adeiladau y greadigaeth cyn ac wedi hynny; nid yn gymmaint mewn maintioli, ond mewn harddwch a chyfoeth, wedi ei gorchuddio agos oll âg aur. Yng nghyssegriad y deml, aberthwyd ugain mil o ychain a chwech ugain mil o ddefaid, pryd y daeth y tân sanctaidd yn adnewyddol o'r nef, ac y disgynnodd ar yr allor. Dealla rhai bod y deml yn gysgod neillduol o Grist yn pabellu mewn cnawd ac yn ymddangos ym mhlith dynion; hefyd, ei bod yn cysgodi yr eglwys efangylaidd, yr hon yn bennigol a elwir yn deml yr Yspryd Glân. Eph. 2. 20—22. A'i bod yn gysgod o'r nefoedd, preswylfod y Duw mawr, a chartrefle y saint yn oes oesoedd. Salm 11. 4. Dat. 7. 15. 1 Cor. 3. 6. a. 6. 19. 2 Cor. 6. 16.

Ni arosodd y deml ond tua 34 o flynyddoedd yn ei gogoniant a'i harddwch, pryd y dygodd Sisac brenin yr Aipht ei thrysorau ymaith. 1 Bren. 14. 25. Adfeiliodd dan deyrnasiad Jehoram, Ahaziah, ac Athaliah; ond Jehoiada a Joas a'i hadgyweiriasant. Yn fuan wedi hyn yspeiliodd Joas hi o'i thrysorau, er eu rhoddi i Hazael brenin Syria. 2 Bren. 12. 2 Cron. 24. Ac er cael cynnorthwyon Tiglath-pileser yr Assyriad, rhoddes Asa iddo drysorau y deml; symmudodd yr allor bres, ac a roes un eilun-addolgar yn ei le; symmudodd y môr tawdd oddiar yr ychain, torrodd amrywiol o'r llestri sanctaidd, ac a gauodd i fynu y deml. Adgyweiriwyd hi gan Hezeciah, yr hwn hefyd a wnaeth lestri newyddion i'w gwasanaeth; ond yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg o'i deyrnasiad, yntau a'i hyspeiliodd er mwyn boddloni Sennacherib. 2 Bren. 17. Cyfododd

Manasseh allorau ynddi i lu y nefoedd, ond wedi hynny adferodd wasanaeth y Duw goruchaf ynddi. Josiah a lanhaodd ac a burodd y deml, ac a adferodd arch Duw iddi. 2 Bren. xxi. a xxii. Ond ynghylch y flwyddyn o oed y byd 3398, cludwyd y rhan fwyaf o'i llestri i Babilon, drwy orchymmyn Nebuchodonosor; ac yn ddiweddaf efe a'i llosgodd hyd i lawr. Ynghylch y flwyddyn o oed y byd 3469, yng nghanol llawenydd rhai ac wylofain eraill, drwy orchymmyn Cyrus, gosodwyd i lawr sail yr ail deml gan blant y gaethglud; ac wedi llawer o wrthwynebiadau, gorphenwyd hi ym mhen ugain mlynedd. Adeiladwyd yr ail deml dan gyfarwyddiadau Zorobabel fab Salathiel, a Joshua fab Josedec yr archoffeiriad. Yr oedd hon yn wag o'r arch a'r drugareddfa, y Shecinah, y tân sanctaidd, yr Urim a'r Thummim, &c. Yn y flwyddyn o oed y byd 3837, halogwyd hon gan Antiochus, yr hwn a rwystrodd yr aberth dyddiol, ac a osododd i fynu ddelw Jupiter ar allor y poeth offrwm—parhaodd yr halogiad am yspaid tair blynedd. Judas Maccabeus a'i purodd, a'i hadgyweiriodd, ac a adferodd addoliad Duw ynddi. Er ennill serchiadau yr Iuddewon, ynghyd â phorthi ei falchder ei hun, dechreuodd Herod ynghylch y flwyddyn o oed y byd 3987 ei hadeiladu o'r newydd, ac a orphennodd y rhan fwyaf o honi mewn naw mlynedd; ond ym mhen y chwech mlynedd a deugain, yn amser ein Hiachawdwr, nid oedd wedi ei chyflawn orphen. Arosodd am ynghylch deng mlynedd a thrugain, pryd y gwnaeth yr Iuddewon amddiffynfa o honi er gwrthsefyll y Rhufeiniaid; ond wedi ei halogi â gwaed dynol, cymmerwyd hi gan y gelyn; ac er gofid dwys i Titus, llosgwyd hi hyd y llawr, a llwyr ddrylliwyd yr Iuddewon fel gwladwriaeth hyd y dydd hwn.

---

## III. CEDRWYDD LIBANUS.

Libanus sydd gadwyn o fynyddoedd yn cyrhaeddyd o gymmydogaeth Sidon hyd yn gyfagos i Damascus, ac yn derfyn pellaf o'r tu gogledd i Palestina. Rhennir y mynydd hwn yn ddau,—yr un gorllewinol a elwir Libanus, a'r un dwyreiniol Anti-Libanus; ond ni wnai yr Hebreaid y gwahaniaeth hwn, oblegid galwent y ddau drum wrth yr enw cyffredin Libanus. Gwelir y mynyddoedd hyn o bell iawn, a gorchuddir rhai mannau o honynt trwy y flwyddyn gan eira. Nid yw y mynyddoedd hyn yn anffrwythlon, ond yn dir da, ac amlder mawr o drigolion yn eu preswylio; hauir ynddynt ŷd, a chynnyrchant wahanol ffrwythau. Y ffynnonau a'r ffrydiau dwfr ar y mynyddoedd hyn ydynt liosog, ac amryw winllanoedd a welir ar hyd eu llechweddi. Yn yr hen oesoedd yr oedd Libanus yn enwog am ei gedrwydd mawrion, y rhai oeddynt yn syndod i'r holl bobloedd; ond y maent yn bresennol yn anamlach o lawer nag yn yr oesau gynt. Tyfant yn yr eira, ar drumau uchaf y mynydd, ac yn hynod yn eu maintioli a'u parhad, yn gystal ag am y cyfeiriadau aml a wneir attynt yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Safant yn bresennol ar dir anwastad, ac nid ydynt ond coedwig fechan, ac y mae nifer y cedrwydd mawrion yn amrywio ar wahanol amserau. Yn ol Belloni, yr

hwn a ymwelodd â hwynt yn 1550, yr oedd yno y pryd hwnnw wyth ar hugain; Ranwolf yn y flwyddyn 1575 a'u cyfrifai yn bedair ar hugain; a Thevenot, ym mhen hanner can' mlynedd wedi hynny, yn dair ar hugain. Y Parch. Henry Maundrell, yr hwn a deithiodd y ffordd hon yn 1696, a rifodd un ar bumtheg o gedrwydd mawrion, un o ba rai a fesurwyd ganddo, yr hon ydoedd yn ddeuddeg llath a chwech modfedd o amgylchiad, ac yn bren cadarn heb waethygu: yr oedd y gedrwydden hon hefyd yn ddwy lath ar bumtheg ar hugain yn amgylchiad ei changhenau. Mr. Burckhardt, yr hwn a ymwelodd â mynydd Libanus yn 1810, a gyfrifodd un ar ddeg o'r cedrwydd hynaf a mwyaf, pump ar hugain o rai tra uchel, ynghylch deg a deugain o rai canolig, a thros dri chant o rai bychain ieuaingc. Dywed Dr. Richardson, yr hwn a fu ar Libanus yn 1818, nad yw yr hen gedrwydd ond saith mewn nifer. Yr eryrod a nythent ar ganghenau uchaf y cedrwydd, ac ar nennau y mynyddoedd y llechai llewod ac anifeiliaid ysglyfaethus eraill. Ezec. 17. 3. Can. 4. 8. Dywedir nad oes unrhyw goed o gyffelyb barhad a'r cedrwydd; a defnyddiwyd hwynt mewn amlder mawr at y deml.

---

## IV. BRENHINES SEBA.

Amryw a gwahanol ydyw barnau y dysgedigion mewn perthynas i'r wlad a elwir Seba, lle y teyrnasai y frenhines a ymwelodd â Salomon: gelwir hi yn yr Ysgrythyrau, Brenhines y dehau; a dywedir iddi ddyfod o eithafoedd y ddaear er boddloni ei hun gyda golwg ar ddoethineb Salomon. Rhai a ddywedant mai o Arabia Ddedwydd y daeth, ac eraill mai o Abyssinia. Gorwedda y ddwy wlad o'r tu dehau i Ganaan; a chan mai y môr oedd tu draw i Arabia, ac mai Abyssinia ydoedd y wlad bellaf adnabyddus yn y dehau, gellid yn briodol galw y ddwy yn "eithafoedd y ddaear." Peraroglau, perlysiau, ac aur oeddynt mewn cyflawnder mawr yn y ddwy wlad. Ond tebygol iawn mai o Abyssinia y daeth y frenhines hon, ac iddi ddwyn gyda hi yn ol i'w gwlad lawer iawn o'r defodau Iuddewig; ac y mae crefydd yr Abyssiniaid hyd heddyw yn debyg iawn mewn llawer o bethau i'r grefydd Iuddewig. O'r farn hon y mae Ludolph, a Bruce y teithiwr nodedig. Dyweda Bruce mai un o'r Abyssiniaid ydoedd, ac i Salomon genhedlu plentyn o honi; ac mai o hwnnw yr hana y teulu brenhinol sydd ar orsedd Abyssinia yn bresennol. Clywodd am ddoethineb Salomon, a chychwynodd o'i gwlad er ei weled, er ei glywed, ac er ei brofi â gofyniadau caled. Cafodd ei chyflawn foddloni ynddo, a dywedodd iddi glywed llawer am dano yn ei gwlad, ond na fynegwyd iddi mo'r hanner am dano. Coffheir am y frenhines hon yn y Testament Newydd; a dywedir yr adgyfyd hi yn y farn, gyda'r genhedlaeth o Iuddewon a wrthodasant ac a groeshoeliasant Fab Duw, ac y bydd iddi eu condemnio hwynt, am iddi gychwyn o eithafoedd y ddaear er clywed doethineb Salomon, ac iddynt hwy wrthod gwrando ar un mwy na Salomon. Os oedd Salomon yn werth i frenhines gychwyn o'i gwlad er ei fwyn, yn ddios y mae Mab Duw yn deilwng i ni ei ddilyn, a chymmeryd y groes i fynu er ei ganlyn drwy bob gwaradwyddiadau.

V. Y LLOI AUR.

Yr eilun cyntaf a osodwyd i fynu gan y genedl Iuddewig ydoedd y Llo Aur, am yr hwn y crybwyllir yn Ecsod. 32. 1—6. pan ddaeth y bobl at Aaron, er ymofyn am dduwiau, yn wyneb bod Moses yn hir yn dyfod attynt o'r mynydd. Y defnyddiau o ba rai y gwnaed yr eilun hwn oeddynt y clust-dlysau a wisgid gan y bobl; toddwyd hwynt gan Aaron, a gweithiwyd ef â chŷn i lun llo, tebygol i'r un a addolid yn yr Aipht, ac a addolir etto ym Mynydd Libanus gan y Druses, i'r hwn y rhoddant addoliad dwyfol. Tebyg i hwn ydoedd y Lloi Aur a wnaed gan Jeroboam, brenin cyntaf Israel, wedi iddo esgyn i'r orsedd i deyrnasu ar y deg llwyth. Yr oedd gan yr Aiphtiaid ddau lo, y rhai a addolent, un o'r enw Apis, ym Memphis, prifddinas yr Aipht Uchaf; a'r llall a elwid Mnevis, yn Hierapolis, prifddinas yr Aipht Isaf. Mewn cyffelyb fodd, gosododd Jeroboam un o'i loi yn Bethel, a'r llall yn Dan. 1 Bren. 12. 28—32. Unwedd a'r eilunaddolwyr yn yr anialwch, cyhoeddodd Jeroboam yr eilunod hyn yn dduwiau, gan ddywedyd, "Wele dy dduwiau di, O Israel, y rhai a'th ddug di i fynu o wlad yr Aipht;" megis pe dywedasai, "Y mae Duw ym mhob man yn ei hanfod, ac ni ellir ei gynnwys mewn un lle: y mae efe yn preswylio yn eich plith chwi yma yn gystal ac yn Jerusalem; ac od oes arnoch eisiau arwyddion o'i bresennoldeb, wele hwynt yma yn y lloi hyn a osodais i fynu." Y mae yn angrhedadwy bod Jeroboam na'r bobl mor ynfyd a chredu, mai yr eilunod oeddynt newydd ddyfod allan o'r ffwrnes ydoedd wedi gwaredu Israel flynyddoedd cyn hynny. Ac y mae yn amlwg hefyd nad ystyriai ysgrifenwyr yr Ysgrythyrau sanctaidd, yr addoliad a roddid i'r lloi aur hyn yn hollol baganiaeth, ond yn hytrach yn rhwygiad oddiwrth yr hwn a sefydlwyd gan y Jehofah ei hun. Darbwyllwyd hwynt gan Jeroboam, i gredu nad gwaeth ym mha le yr addolid Duw, ac y cymmeradwyai efe yr addoliadau a roddid iddo yn Dan ac yn Bethel, yr un wedd a'r addoliad a roddid iddo yn Jerusalem. Yr addoliad a roddid i'r eilunod hyn, y mae yn debygol, oedd yn gyffelyb i'r hwn o orchymmynwyd gan gyfraith Moses, ond gyda rhai cyfnewidiadau, megis symmud gwyl y Pebyll o'r pumthegfed dydd o'r seithfed mis, i'r pumthegfed dydd o'r mis canlynol. 1 Bren. 12. 33. Ond y ddadl bennaf, er profi na wnaeth efe un cyfnewidiad yn y dull o addoliad, ydyw yr un ganlynol. Wedi i Salmaneser Brenin Assyria gaethgludo y deg llwyth, anfonodd ddieithriaid i'w gwlad er ei phoblogi, y rhai a ddygasant eu heilunod gyda hwynt, i'r rhai y rhoddasant yr un fath wasanaeth ag yn eu gwlad eu hunain. Y Brenin, wedi clywed eu bod yn cael eu dinystro gan lewod, am na addolent Dduw y wlad, a orchymmynodd i un o'r offeiriaid a gaethgludasai efe, i ddychwelyd yn ei ol at y dieithriaid a anfonasai efe i Samaria, yr hwn a'i dysgodd yn ofn yr Arglwydd. Ond yr oedd pechod Jeroboam yn ddirfawr yn erbyn Duw, am iddo wneuthur lluniau, a waherddid gan y ddeddf, am iddo gyfnewid y dull, ac am y rhyfygai addoli y Goruchaf yn ei ddull a'i fympwy ei hun, ac nid yn ol y drefn orchymmynedig. Yr achos iddo ef gyfeiliorni mewn perthynas i addoliad Duw, ydoedd ei ofnau, rhag i'r bobl wrth fyned tua Jerusalem ymuno drachefn â Juda a Benjamin,

a'i adael ef. Bydd ei enw yn drewi tra y darllenir yr Ysgrythyrau sanctaidd, oblegid y mae yn cael ei alw "Jeroboam fab Nebat, yr hwn a wnaeth i Israel bechu."

---

### VI. BRENHINOEDD JUDA AC ISRAEL.

| *Brenhinoedd Juda.* | | CYN CRIST. | *Brenhinoedd Israel.* | |
|---|---|---|---|---|
| Rehoboam, teyrnasodd | 17 ml. | 979. | Jeroboam, teyrnasodd | 22 ml. |
| Abïah | 3 | 962. | | |
| Asa | 41 | 959. | | |
| | | 957. | Nadab | 2 |
| | | 955. | Baasa | 23 |
| | | 932. | Elah | 2 |
| | | 930. | Zimri, Omri | 11 |
| | | 919. | Ahab | 22 |
| Jehosaphat | 25 | 918. | | |
| | | 897. | Ahaziah | 2 |
| | | 895. | Jehoram | 12 |
| Jehoram | 8 | 893. | | |
| Ahaziah | 1 | 885. | | |
| Athaliah | 6 | 884—3. | Jehu | 28 |
| Joas | 40 | 878. | | |
| | | 855. | Joahaz | 17 |
| Amasiah | 29 | 838. | Joas | 16 |
| | | 822. | Jeroboam yr ail | 42 |
| Uzziah neu Azariah | 51 | 809. | | |
| | | 781. | Heb frenin | 11 |
| | | 770. | Zachariah a Sàlum | 1 |
| | | 769. | Menahem | 10 |
| | | 759. | Pecahiah | 2 |
| Jotham | 16 | 758. | Pecah | 20 |
| Ahaz | 16 | 742. | | |
| | | 737. | Heb frenin | 9 |
| | | 728. | Hosea | 9 |
| Hezeciah | 29 | 726. | | |
| | | 719. | Cymmeryd Samaria. | |
| Manasseh | 55 | 697. | | |
| Amon | 2 | 642. | | |
| Josiah | 31 | 642. | | |
| Joahaz | 3 mis | 609. | | |
| Jehoiachim | 11 | | | |
| Jehoiachin neu Coniah | 3 mis | 598. | | |
| Sedeciah | 11 | | | |
| Cymmeryd Jerusalem. | | | | |

Tynnwyd y daflen uchod o waith Gleig, yr hon a ystyrir yn dra chywir, er yn gwahaniaethu oddiwrth Usher, Calmet, &c. Y mae ychydig ddyryswch, oblegid bod rhai o'r brenhinoedd wedi cyd-deyrnasu am ryw yspaid. Yr un uchod ydyw yr oreu a'r gywiraf a fedrwyd gael; ac y mae yn lled agos i Amseryddiaeth y Parch. Simon Lloyd.

## VII. MOLOCH.

Moloch, yr hwn a elwir hefyd Milcom, ydoedd un o dduwiau pennaf yr Ammoniaid, ond a wasanaethid hefyd gan y cenhedloedd cymmydogol. Dywedir bod gan ei lun wyneb ych, a'i fod yn estyn allan ei ddwy law, megis pe buasai yn barod i dderbyn rhodd. Yr oedd yn wag o'r tu fewn, ac yno y gosodid y tân er ei boethi. Y rhai a aberthent eu plant iddo, a'u rhoddent rhwng ei freichiau tanllyd, lle y trengent mewn poenau ac arteithiau mawr; pryd y gwneid swn dirfawr rhag clywed eu llefau. Ymdrecha rhai ddeongli yr ymadroddion, "Tynnu drwy tân i Moloch," megis yn cynnwys rhyw fath o seremoni, lle ni pheryglid bywyd y plentyn. Ac er mwyn dynoliaeth ac anrhydedd yr Iuddewon, buasai yn ddymunol pe gallesid eu deongli felly; ond ymddengys eu bod yn llosgi eu plant i farwolaeth mewn anrhydedd i'r eilun hwn. Salm 106. 37. "Aberthasant hefyd eu meibion a'u merched i gythreuliaid." Ezec. 16. 20, 21. a 23, 37, 39. Dywedir yr aberthid y plentyn er mwyn teilyngu bendith ar y lleill o'r teulu. Deilliodd yr eilun Moloch oddiwrth yr Aiphtiaid, a'r un ydyw a Rephan, Remphan, Chïwn, neu Serapis, ac addolid ef a'r lun tarw. Addolid ef er yn foreu iawn gan yr Ammoniaid, ac ef allai mai coron Moloch, yn hytrach na choron Brenin Ammon, a bwysai un dalent. 2 Sam. 12. 30. Gwaharddodd Duw i'w bobl addoli Moloch. Lef. 18. 21. Ond mynych y syrthiasant i'w fagl. Adeiladodd Salomon deml i'r eilun hwn ar fynydd yr Olewydd. 1 Bren. 11. 7. Ahaz, Manasseh, ac eraill a aberthasant eu plant iddo, yn Nhophet. 2 Bren. 16. 3. a 21. 3, 4. Dyffryn Tophet neu Hinnom, o'r tu dwyrain i Jerusalem, oedd y lle y cyflawnid yr addoliad dieflig hwn.

## VIII. YMERODRAETH ASSYRIA.

Assyria sydd wlad yn Asia, terfynau yr hon yn bresennol, sydd anhawdd i ddywedyd ond ychydig mewn perthynas iddynt. Ymddengys ei bod yn gorwedd rhwng yr afon Tigris a'r afon Euphrates. Sefydlwyd yr ymerodraeth hon gan Ninus mab Belus, a safodd, yn ol Herodotus, bum' cant ac ugain mlynedd. Teyrnasodd Ninus, yn ol rhai haneswyr, gant a dwy flynedd a'r hugain. Helaethodd ac addurnodd hen ddinas Ninefeh, yr hon a adeiladwyd gan Nimrod oesau cyn ei amser ef. Dechreuodd deyrnasu, yn ol Archesgob Usher, yn y flwyddyn o oed y byd 2737, cyn Crist 1267; yn yr amser yr oedd Deborah a Barach yn barnu Israel. Canlynwyd Ninus yn yr ymerodraeth gan Semiramis ei frenhines, yr hon a deyrnasodd ddwy flynedd a deugain. Helaethodd hon derfynau yr ymerodraeth, ac a'i gadawodd yn llewyrchus i'w mab Ninyas, yn y flwyddyn o oed y byd 2831, a chyn Crist 1173. Y mae yr Ysgrythyrau yn ddistaw am yr ymerodraeth hon, hyd amser y prophwyd Jonah, yr hwn a flagurodd yn y flwyddyn o oed y byd 3180, a chyn Crist 824. Ond ymddengys bod Ninefeh yn ei amser ef yn ddinas ehang a phoblog. Ynghylch dwy flynedd a deugain wedi amser Jonah, crybwylla yr Ysgrythyrau am frenin yn Assyria o'r enw Pul, yr hwn a oresgynodd deyrnas Israel yn amser Menahem; 2 Bren. 15. 16.

Meddylir mai Pul ydoedd Tad Sardanapalus, brenin olaf Assyria, yn amser yr hwn yr oedd pechodau y Ninefeaid yn gwaeddi yn uchel am ddialedd oddiwrth Dduw. Arbaces y Mediad a ddigiodd oblegid gwastraff a menyweidd-dra Sardanapalus, ac a frad-fwriadodd yn ei erbyn gyda Belesis llywydd Babilon. Wedi iddynt ymladd amryw frwydrau, gorfu ar Sardanapalus encilio i Ninefeh, yr hon ydoedd yn gadarn iawn; ond wedi i'w wrthwynebwyr warchae arno am dair blynedd, gorlifodd yr afon Tigris dros gyfran o'r ddinas, ac a fwriodd lawer o'r mur i lawr, yn ol prophwydoliaeth Nahum, pen. 1. 8—10. Sardanapalus, yn gweled nad galluadwy ymddiffyn y ddinas yn hwy, ac er peidio cael ei gymmeryd yn fyw gan ei elynion, a losgodd ei hun yn ei balas, gyda'i wragedd a'i holl drysorau. Arbaces a Belesis a rannasant yr ymerodraeth rhyngddynt; cafodd Arbaces Media, yr hon wlad a adferodd efe i'w rhyddid; a Belesis a gafodd Babilon, yn yr hon y teyrnasodd efe bedair blynedd ar ddeg. Ninefeh a adawsant i Ninus yr ieuangaf, yr hwn oedd yn etifedd i hen frenhinoedd Assyria, ac a sefydlodd yr ail ymerodraeth Assyriaidd gyda gorwychedd mawr. Y Ninus hwn ydyw y Tiglath-pileser y sonir am dano yn yr Ysgrythyrau. 2 Bren. 15. 29. a 16. 7, 10. Ei ymerodraeth ydoedd y fwyaf yn y dwyrain, mewn bri ac anrhydedd. Daeth i fynu i wlad Canaan er cynnorthwyo Ahaz brenin Juda, pan yr ymosodwyd arno gan Resin brenin Damascus, a Phecah brenin Israel. Gorchfygodd brenin Assyria frenin Israel, ac a osododd derfyn ar frenhiniaeth y Syriaid yn Damascus. Gorchfygodd Pecah brenin Israel, ac a drosglwyddodd nifer liosog o'r deg llwyth i gaethiwed o'r tu hwnt i'r afon Euphrates. Cafodd Ahaz achos i edifarhau am y cyngrair a wnaeth efe â Thiglath-pileser, oblegid bu dan yr angenrheidrwydd o roddi symiau mawrion o arian iddo, ac yspeilio y deml o'i thrysorau er boddloni ei wange. Dilynwyd Tiglath-pileser yn y frenhiniaeth gan Salmaneser, yr hwn a ddaeth i Syria yn y flwyddyn o oed y byd 3280, a chyn Crist 724, ac a wnaeth wlad y Moabiaid yn anghyfannedd. Esgynodd Sennacherib orsedd Assyria yn y flwyddyn o oed y byd 3287, a chyn Crist 717. Ymosododd â byddin gadarn yn erbyn Hezeciah brenin Juda, ond dinystriwyd hi yn wyrthiol gan yr Hollalluog, a gwnaed ymwared mawr. Lladdwyd Sennacherib yn Ninefeh, yn nheml Nisroch ei dduw, gan ei feibion; ac Esar-hàdon ei fab a deyrnasodd yn ei le ef. Gelwir hwn Sargon yn Esay 20. 1. Yr oedd hwn yn rhyfelwr mawr; gorchfygodd Manasseh brenin Juda, cyssylltodd Babilon at Ninefeh, ac a adferodd yr ymerodraeth i anrhydedd a gogoniant mawr. Y nesaf ar ei ol oedd Saosduchin neu Nebuchodonosor y 1af, yr hwn a deyrnasodd ugain mlynedd. Gorchfygodd Arphacsad brenin y Mediaid; ac efe yw yr hwn a grybwyllir yn llyfr Judith iddo anfon ei luoedd dan Olophernes i Palestina, ac iddynt gael eu dryllio ger Bethulia. Yn y flwyddyn o oed y byd 3356, a chyn Crist 648, Sarcus, yr hwn hefyd a elwid Chinaldon, neu Chyna-Ludanus, a esgynodd i'r orsedd. Gwnaeth hwn ei hun yn ammhloblogaidd gan ei ddeiliaid; a Nabopolasar, llywodraethwr Babilon, a Cyacseres mab Astyages brenin Media a gyfodasant yn ei erbyn, ac a'i gorchfygasant. Cafodd Nabopolasar Ninefeh a Babilon, ac Astyages Media a'r taleithiau cymmydogaethol iddi.

## IX. BABILON.

**Babilon** ydoedd brif ddinas ymerodraeth Caldea, yr hon a sylfaenwyd gan Nimrod, yn ol y crybwyllir yn Gen. 10. 10. a 11. 4. Nid ydoedd ar y cyntaf ond bechan, a chan Nebuchodonosor y dygwyd hi i'w gogoniant pennaf. Yn ol yr hanesydd Herodotus, yr oedd y ddinas hon yn bedair ongl, a phob ochr yn 120 o *stadia*, a'i hamgylchiad mewn canlyniad yn 428. Ei muriau oeddynt ddau can cyfudd o uwchder, ac yn ddeg cyfudd a deugain o led. Ar y muriau yr oedd tyrau yma ac accw, ac yr oedd ynddynt gant o byrth pres mawrion; a rhoddi wyth o *stadia* mewn milldir, yr oedd amgylchiad y muriau yn drugain milldir. Ym mhlith rhyfeddodau pennaf Babilon, yr oedd, 1. Tŵr Belus, yr hwn ydoedd yn uwch, ond nid mor drwchus a phyramidiau yr Aipht. Yr oedd y tŵr hwn yn wyth llofft, ac ar ei ben ddelw Belus, yn ddeugain troedfedd o uwchder. Yr oedd yn agos i'r palas brenhinol erddi mawrion crogedig, y rhai a gynnelid gan fwäau mawrion o gerrig, ac a adeiladwyd gan Nebuchodonosor er difyru ei wraig Amyte, merch brenin Persia. Yn y gerddi uchel hyn rhoed pob coedydd a llysieuau, a dywedir gan Curtius, fod rhai o honynt yn wyth cyfudd o amgylchiad. Yr oedd yr Euphrates yn myned drwy y dref, ac â pheiriannau cywraint codid ei dyfroedd er dyfrhau y gerddi. Meddylir mai yn un o'r rhai hyn yr oedd Nebuchodonosor, pan yn ei ymffrost y tarawyd ef gan y Goruchaf â gwallgofrwydd. Wedi i Nabopolasar feddiannu Babilon, gwnaeth ei fab Nebuchodonosor yn gyd-deyrnaswr âg ef ei hun, ac a'i danfonodd i daleithiau Syria a Phalestina, y rhai a fwriasant ei iau ymaith. Yn ei ffordd yno, y tywysog ieuangc a orchfygodd fyddin Pharao-Necho, ac a ail gymmerodd Carchemis. Cymmerodd Jerusalem, ac a aeth â brenin Juda mewn cadwynau i Babilon, ond adferodd ef drachefn i'w deyrnas. Cludwyd niferi lliosog o Iuddewon i Caldea, ac yn eu plith rai o'r teulu brenhinol. Y pryd hwn, sef y bedwaredd flwyddyn i Jehoiachim brenin Juda, y mae'r deng mlynedd a thrugain yn dechreu. Yn y flwyddyn o oed y byd 3399, a chyn Crist 605, bu i Nabopolasar farw, a Nebuchodonosor ei fab a ddechreuodd deyrnasu ei hun; ac oblegid i Sedeciah brenin Juda wrthryfela yn ei erbyn, arweiniodd ei luoedd yr ail waith at Jerusalem; ac wedi cymmeryd y ddinas a gwneuthur difrodiadau mawrion, aeth â'r genedl i gaethiwed, ac ni adawodd ar ei ol ond ychydig nifer o'r rhai tlottaf. Bu Nebuchodonosor farw yn y flwyddyn o oed y byd 3442, a chyn Crist 563, wedi teyrnasu dwy flynedd a deugain; a chanlynwyd ef yn yr ymerodraeth gan Efil-Merodach, yr hwn wedi iddo deyrnasu dwy flynedd, a roddwyd i farwolaeth gan ei ddeiliaid a'i berthynasau. Y nesaf a ddaeth i'r orsedd oedd Neriglissar, gwr chwaer Efil-Merodach, yr hwn wedi iddo deyrnasu pedair blynedd, a laddwyd mewn brwydr, a Laborosoarchod a etifeddodd y goron ar ei ol ef. Yr oedd hwn yn dywysog annuwiol a drygionus iawn, ac a roddwyd i farwolaeth am ei gamweddau, a Belsassar a deyrnasodd yn ei le ef. Pan ddaeth Belsassar i'r orsedd, yr oedd y Caldeaid mewn rhyfel poeth â'r Persiaid a'r Mediaid. Gwarchaewyd ar Babilon gan luoedd Cyaxeres, mab Astyages brenin Media, yr hwn a elwir gan Daniel wrth yr enw Darius y Mediad; a'r fyddin hon a

reolid gan Cyrus. Cymmerwyd y ddinas yn ol fel y crybwyllir yn llyfr y prophwyd Daniel, a Belsassar a roddwyd i farwolaeth; a chydag ef y darfu ymerodraeth y Caldeaid, oblegid hi a ddarostyngwyd yn awr i allu estronol. Symmudwyd y llys brenhinol i Susan yn Persia: gwrthryfelodd y Babiloniaid oblegid hyn, ond lluoedd Darius Hystaspes a'i cymmerasant drwy ddichell un o'i swyddogion. Ym mhen y deugain mlynedd wedi hyn, yspeiliodd Xercses demlau Babilon,—Seleucus Nicator a gymmerodd ymaith bum' can' mil o'i thrigolion, er poblogi tref newydd a adeiladodd, o'r enw Seleucia. Ynghylch y flwyddyn o oed y byd 3870, dinystriwyd llawer o'r ddinas gan un o frenhinoedd Parthia; ac yn amser marwolaeth ein Hiachawdwr yr oedd yn gwbl anghyfanneddol; ac y mae yn awr yn anghyfannedd-dra diffaith, fel na ellir myned yn agos iddi gan fwystfilod gwenwynig a rheibus. Fel hyn, wedi i'r Arglwydd ddangos ei hir amynedd i Babilon, efe a'i dadymchwelodd hi, gan ei llwyr ddinystrio yn hollol yn ol y prophwydoliaethau a ragddywedodd ei brophwydi sanctaidd.

---

# DAU LYFR Y CHRONICL.

CYNNWYSA yr Iuddewon ddau lyfr y Chronicl yn un, yr hwn a alwant *Dibrey Hajamim*, hynny yw, Geiriau y dyddiau; am efallai iddynt gael eu cyfansoddi allan o ddydd-lyfrau, yn y rhai y cofrestrir y digwyddiadau yn y llyfrau dan sylw. Yn y Septuagint gelwir hwynt *Paraleipomenon*, hynny yw, Am bethau a adawyd, oblegid adroddir yn y llyfrau hyn lawer o bethau ac amgylchiadau na chrybwyllwyd am danynt mewn llyfrau eraill. Tebygol yr ystyriai y cyfieithwyr Groegaidd y llyfrau hyn fel yn ychwanegiad at Samuel, y Brenhinoedd, neu yr holl Fibl; oblegid y maent hyd heddyw yn yr argraffiadau cywiraf o'r Biblau Hebraeg yn terfynu y Canon Sanctaidd. Yr enw Chroniclau a roddwyd i'r llyfrau hyn gan Jerome, am y cynnwysant yn fyr yr holl hanesyddiaeth sanctaidd hyd yr amser yr ysgrifenwyd hwynt. Dios iddynt gael eu cyfansoddi o lyfrau eraill, y rhai a ysgrifenwyd ar wahanol amserau,—rhai cyn ac eraill wedi y caethiwed Babilonaidd. Mewn perthynas i awdwr y llyfrau hyn, nid oes gennym wybodaeth sicr: meddylia rhai mai yr un ydoedd ag awdwr llyfrau y Brenhinoedd; ond Calmet a ddywed, Y mae y gwahaniaeth yn yr amserau, yr adroddiadau, y llinachau a'r enwau, ynghyd â phethau eraill, yn milwrio yn erbyn y dyb hon. Yr Iuddewon a'u priodolant i Ezra, yr hwn, meddant, a'u cyfansoddodd wedi y dychweliad yn ol o Babilon; ac iddo gael ei gynnorthwyo yn y gorchwyl gan y prophwydi Zechariah a Haggai, y rhai eill deuoedd oeddynt yn fyw y pryd hwn. Ond dymchwelir y dyb hon etto, oblegid y mae yr awdwr yn dilyn llinach Zorobabel i'r ddeuddegfed genhedlaeth; ond nid ydoedd Ezra yn fyw y pryd hwnnw, o ganlyniad ni allasai efe ysgrifenu y llechres ddywededig.

Pwy a'u hysgrifenodd y mae yn anhawdd dywedyd, ond ysgrifenwyd hwynt gan ryw un wedi y gaethglud. Mewn perthynas i'w dwyfol awdurdod, cynnwysant dystiolaeth o hyn ynddynt eu hunain, a chyfeirir attynt, er nid yn uniongyrchol, gan ein Harglwydd a'i Apostolion. Cydmarer 1 Chron. 24. 10. a Luc 1. 5. 2 Chron. 9. 1. a Mat. 12. 42. a Luc 11. 31. 2 Chron. 24. 20, 21. a Mat. 23. 35. a Luc 11. 51.

Diben y Chroniclau yn bennaf ydyw dangos cywirdeb y llinachau, sefyllfa, swyddau, a threfniadau yr Offeiriaid a'r Lefiaid, fel wedi y caethiwed y gallent gymmeryd eu swyddau i fynu yn eu lleoedd priodol, ac ail ymaflyd yn eu gweinidogaeth. Yr oedd gan yr awdwr hefyd mewn golwg, raniad y wlad rhwng y teuluoedd cyn y caethiwed, fel y gallent wedi eu dychweliad, ei mheddiannu heb ymrysonau ac ymrafaelion. Coffâ yr awdwr am hen ysgrifau, wrth yr enw hen bethau. 1 Chron. 4. 22. "Ac y mae'r pethau hyn yn hen." Crybwylla am bedwar cyfrifiad o'r bobl, un yn amser Dafydd, yr ail yn amser Jeroboam, y trydydd yn amser Jotham, a'r pedwerydd yn amser caethiwed y deg llwyth. Cynnwysa y llyfrau hyn yspaid o 3468 o flynyddoedd, a gellir eu rhannu i bedwar dosparth, 1. Llinachau y personau hynny, o'r rhai y deilliodd y Messia, o Adda hyd y caethiwed, ac o'r caethiwed hyd amser Ezra. 2. Hanes Saul a Dafydd. 3. Hanes teyrnasoedd cyfunol Israel a Juda dan Salomon. 4. Hanes teyrnas Juda wedi yr ymraniad, hyd ei dadymchweliad gan Nebuchodonosor.

RHAN I. Y llinachau o Adda hyd amser Ezra 1 Chron. i—ix.

Dosp. 1. Llinachau y Patrieirch o Adda hyd Jacob, ac o hanedigion Juda hyd Dafydd, a'i hiliogaeth hyd Zorobabel, o'r hwn yr oedd y Messia i ddeillio. 1 Chron. i—iii.

2. Llinachau hanedigion eraill Juda drwy Phares, ynghyd âg un mab ar ddeg eraill Jacob. Pen. iv—ix

3. Llinachau preswylwyr cyntaf Jerusalem, wedi y dychweliad o gaethiwed Babilon. Pen. ix.

Y llinachau hyn ydynt dystiolaeth gadarn o darddiad a diogelwch yr eglwys Iuddewig ym mhlith yr hiliogaeth ddynol, ynghyd â chyflawniad o'r addewidion i Abraham, y byddai i'w hiliogaeth gael eu hamlhau fel y tywod ar fin y môr: ac y mae y llinachau hyn hefyd yn dra angenrheidiol er profi mai y Crist ydyw y Messia addawedig, a'i fod wedi hanu o Abraham, o Juda, ac o Dafydd, yn ol y prophwydoliaethau.

RHAN II. Hanes Saul a Dafydd. 1 Chron. ix—xxix.

Dosp. 1. Achau Saul, a'i farwolaeth. Pen. ix. x.

2. Hanes helyntion teyrnasiad Dafydd, yn cynnwys, 1. Ei sefydliad yn y frenhiniaeth, llechres o'i gedyrn, ynghyd â chyfrif o'i luoedd. 2. Dygiad yr arch i fynu o Ciriath-jearim, yn gyntaf i dŷ Obed-edom, ac oddi yno i Jerusalem; y gwasanaeth crefyddol ar yr achlysur; bwriad Dafydd i adeiladu teml i'r Arglwydd. Pen. xiii, xvi, xvii. 3. Buddugoliaeth Dafydd ar y Philistiaid, y Moabiaid, y Syriaid, a'r Edomiaid. Ei fuddugoliaeth ar yr Ammoniaid, y Syriaid, a'r Philistiaid. Pen. xvii.—xx. 4. Dafydd yn gorchymmyn cyfrif y bobl; Duw yn anfon pla, yr hwn a attaliwyd drwy eiriolaeth

Dafydd. Pen. xxi. 5. Rheolau Dafydd gyda golwg ar wasanaeth parhaus y deml,—ei barottoadau a'i gyfarwyddiadau er ei hadeiladu,—ei reolau ynghylch y Lefiaid, yr offeiriaid, y cantorion, a'r porthorion. Pen. xxi—xxvi. 6. Rheolau er gweinyddiad y deyrnas, a llechres o'r swyddogion milwraidd a gwladol. Pen. xxii. 7. Cyfarchiad Dafydd i Salomon a'i dywysogion mewn perthynas i adeiladu y deml. Cyfraniad helaeth Dafydd a'i ddeiliaid at y gorchwyl hwn, a'i ddiolchgarwch am danynt. Pen. xix.

RHAN III. Hanes teyrnas gyfunol Israel a Juda dan Salomon. 1 Chron. xixx. 2 Chron. i—ix.

Dosp. 1. Ail sefydliad Salomon yn y frenhiniaeth,—marwolaeth Dafydd,—doethineb ac ardderchawgrwydd Salomon. Pen. xxix. 2 Chron. i.

2. Hanes adeiladaeth y deml a'i chyssegriad. 2 Chron. ii—viii.

3. Y gweddill o deyrnasiad Salomon hyd ei farwolaeth. Pen. viii, ix.

RHAN IV. Hanes teyrnas Juda er ymadawiad y deg llwyth, hyd ei therfyniad gan Nebuchodonosor. 2 Chron. x—xxxvi.

Dosp. 1. Esgyniad Rehoboam i'r orsedd pan oedd y llwythau gyda'u gilydd; rhaniad y deyrnas; ac yspeilio Jerusalem gan Sisac. Pen. x—xii.

2. Teyrnasiad Abïah ac Asa brenhinoedd Juda. Pen. xiii—xvi.

3. Teyrnasiad Jehosaphat. Pen. xvii—xx.

4. Teyrnasiad Jehoram ac Ahaziah, a thraws-lywodraeth Athaliah. Pen. xxi, xxii.

5. Teyrnasiad Joas. Pen. xxiii, xxiv.

6. Teyrnasiad Amaziah, Uziah, a Jotham. Pen. xxv—xxvii.

7. Teyrnasiad Ahaz. Pen. xxviii.

8. Teyrnasiad Hezeciah Pen. xxix—xxxii.

9. Teyrnasiad Manasseh ac Amon. Pen. xxxii.

10. Teyrnasiad Josiah. Pen. xxxiv, xxxv.

11. Teyrnasiad Joahaz, Joacim, Joachin, a Sedeciah, a hanes dinystr Jerusalem a'r deml. Pen. xxxvi.

Y mae yn amlwg bod y ddwy adnod ddiweddaf yn ail lyfr y Chronicl yn ddechreuad llyfr Ezra, ac i ryw ysgrifenydd mewn camsynied eu gosod ar ddiwedd llyfr y Chronicl, ac felly y maent wedi aros hyd heddyw ym mhob copiau; dengys hyn gyda y fath fanyldra y mae dynion drwy yr oesau wedi ymdrin â'r Ysgrythyrau sanctaidd. Ac megis y crybwyllwyd yn barod, y mae y ddau lyfr dan sylw yn drysorau ammhrisiadwy, oblegid yr achau, y rhai a'n cynnorthwyant er deall a phrofi amrywiol bethau y buasem yn hollol yn y tywyllwch hebddynt.

# HYNODION LLYFRAU Y CHRONICL.

## I. HANES YR AIPHT.

Y MAE yn dra amlwg pan yr aeth meibion Noah i ymofyn am daleithiau er preswylio ynddynt, i'r Aipht yn dra buan dynnu eu sylw: ac oddiwrth yr enw boreuol ar y wlad hon, ynghyd â hen draddodiadau, ymddengys mai Misraim, ail fab Ham, a osododd sail yr ymerodraeth. Ymddengys mai yn Thebais, yn yr Aipht-Uchaf y sefydlasant gyntaf, ac fel yr oeddynt yn lliosogi, estynasant eu terfynau hyd yr Aipht-Isaf. Eu dull cyntaf o lywodraeth ydoedd yr un Batriarchaidd, yr hon a arosodd dros ddau can' mlynedd. Un o'r enw Menes ydoedd y cyntaf a sefydlodd y ffurf-lywodraeth frenhinol: hwn a adeiladodd Memphis. Bu teulu hwn yn teyrnasu am ddau cant a thair blynedd ar ddeg a deugain, pryd y darfu ei dras ym mherson Timaus, neu Coucharis, ynghylch 2195 o flynyddoedd cyn Crist. Yn amser Timaus y goresgynodd yr Hyskos, neu y bugeiliaid, yr Aipht, a bu y llywodraeth ym meddiant y rhai hyn am ddau cant a thrugain mlynedd. Wedi bod yn hir dan iau y bugeiliaid, yr hen Aiphtiaid a'i torrasant, ac a'u hymlidiasant allan o'r wlad, o dan Asis y chweched brenin o'r teulu bugeilaidd, a thair blynedd ar ddeg ar hugain cyn i Joseph fyned i'r wlad, a 1899 cyn Crist. Brenin o'r teulu bugeilaidd ydoedd ar orsedd yr Aipht, o'r enw Apachnes, pan ymwelodd Abraham â'r wlad yn y flwyddyn cyn Crist 2077. Y llwyth a droed allan o'r Aipht, a grybwyllir yn aml yn yr Ysgrythyrau wedi y digwyddiad hwn, wrth yr enw Philistiaid. Dechreuodd llin frenhinol newydd yn awr yn yr Aipht ym mherson Alisphragmuthosis, yn y flwyddyn cyn Crist 1899, yr hwn a wnaeth Joseph yn rhaglaw, ac a roes Goshen i'w berthynasau er preswylio ynddi. Arosodd y llywodraeth yn nheulu hwn am ddau cant a deng mlynedd a deugain, ac a ddaeth i'w therfyn yn y brenin a ymlidiodd ar ol Israel i'r Môr Coch, lle y boddwyd ef. Cyfododd llinach frenhinol newydd drachefn yn Amosis, neu Thumosis, yr hon a barhaodd am dri chant a deugain mlynedd; y diweddaf o'r teulu hwn ydoedd Moeris. Dilynwyd ef yn y frenhiniaeth gan ei fab Sesostris, neu Sisac, yr hwn, oblegid ei fri, a ystyrir fel wedi gosod i lawr y bummed linach frenhinol yn yr Aipht. Gorchfygodd hwn agos yr holl deyrnasoedd oddi amgylch iddo, pell ac agos, a phennau coronog lawer a ymostyngent iddo, gan dalu teyrnged. Canlynwyd ef yn yr orsedd gan ei fab Rampses, neu Pheron, tywysog gwan a diog, yr hwn, wedi teyrnasu am un mlynedd a thrugain, a roddodd y goron heibio i Cetes, Proteus, neu Ramases. Y diweddaf o hiliogaeth hwn oedd Mycerinus, yr hwn hefyd a elwid Cherinus; daeth i'r orsedd yn y flwyddyn cyn Crist 976, a bu farw yn y flwyddyn cyn Crist 966. Y mae bwlch yn awr yn hanes yr Aipht, am gant a hanner o flynyddoedd, ac ni ellir dywedyd ond ychydig am ei brenhinoedd hyd y flwyddyn cyn Crist 815, pan ydoedd un o'r enw Bocchoris neu Asychis ar yr orsedd. Canlynwyd hwn gan Anysis, yr hwn, ym mhen y ddwy flynedd, a yrrwyd o'r orsedd gan Sabacon, Soa, neu So, Ethiopiad; meddiannodd hwn yr orsedd am ddeng mlynedd a

deugain, pan y rhoes y goron heibio o'i ewyllys ei hun, gan fyned yn ei ol i'r wlad o'r hon y daeth o honi gyntaf. Ar ol hyn daeth Anysis drachefn i'r orsedd, ac a deyrnasodd chwech mlynedd. Ar ei ol daeth Sebecon, neu Sethos, i'r orsedd, yn amser yr hwn y goresgynodd Sennacherib yr Aipht. Teyrnasodd Sebecon ddeugain mlynedd, a bu farw yn y flwyddyn cyn Crist 673. Yn fuan wedi hyn dioddefodd yr Aipht yn dost gan yr Assyriaid, a bu deuddeg o Arglwyddi yn ei llywodraethu, ond pa un ai o bennodiad yr Assyriaid ai nad ê, y mae yn anhawdd penderfynu. Wedi ynghylch pumtheg mlynedd o ryfel gwladol, un o'r Arglwyddi hyn a orchfygodd y lleill, ac a gymmerodd feddiant o'r llywodraeth; ei enw ydoedd Psammitichus. Yn amser y brenin hwn y sefydlodd y Groegiaid gyntaf yn yr Aipht. Oblegid rhyw dramgwydd, enciliodd dau can' mil o'i filwyr oddi wrtho, ac a aethant i Ethiopia. Bu y brenin hwn yn gwarchae naw mlynedd ar hugain ar Asdod; a'i fab Pharoah-Necho, wedi bod yn llwyddiannus yn erbyn Juda, a orchfygwyd yntau wrth yr afon Euphrates. Yn y flwyddyn o oed y byd 3430, yr oedd yr Aipht mewn cyflwr tlawd oblegid y rhyfeloedd rhwng Pharaoh Hophra a'r gwrthryfelwr Amasis, yr hwn a ennillodd y goron. Yn nadymchweliad ymerodraeth Caldea, ailfwynhaodd yr Aiphtiaid eu rhyddid, ond yn fuan darostyngwyd hwynt gan Cyrus, a'u gwlad a ddifrodwyd yn echryslon gan Cambyses ei fab, a throsglwyddwyd miloedd o'u heilunod i Persia. Yn y flwyddyn o oed y byd 3672, darostyngwyd hwynt gan Alecsander Fawr, a llywodraethwyd hwynt gan frenhinoedd Groegaidd, gan mwyaf o'r enwau Ptolemy am 320 mlynedd. Yn y flwyddyn o oed y byd 3995, darostyngwyd yr Aipht gan y Rhufeiniaid, a bu yn dalaith berthynol i'r ymerodraeth hon hyd y flwyddyn o oedran ein Harglwydd 640, pryd y cymmerwyd hi gan yr Arabiaid, y rhai a ddinystrasant bob dysgeidiaeth a gynnwysai, ac a sefydlasant Fahometaniaeth. Yn y flwyddyn 970, cymmerwyd yr Aipht gan Caliph Cyrene, oddiwrth Caliph Bagdad, ac efe a'i ganlynwyr a'i llywodraethasant am 200 mlynedd. Yn y flwyddyn 1171, Saladin a'i gorchfygodd, a bu ym meddiant hwn a'i deulu, y rhai a elwid y Jobitiaid, hyd y flwyddyn 1250. Rhwng hynny a'r flwyddyn 1527, llywodraethid hi gan frenhinoedd o ddewisiad y Mameluciaid, pedwar ar hugain o'r rhai oeddynt Dyrciaid, a thri ar hugain yn Gircasiaid. Er hynny y mae yn cael ei llywodraethu gan swyddogion o bennodiad Sultan Caercystenyn.

---

## II. Y SYRIAID.

Syria neu Aram y gelwid y wlad a breswylid gan y Syriaid neu yr Aramiaid, a hanasant o Aram, ac a feddiannasant Mesopotamia, Caldea, a rhan o Armenia; ac o honynt hwy y deilliodd teulu Abraham. Ond Syria, a elwid felly yn briodol, ydoedd y wlad honno a derfynid gan fôr y Canoldir o'r tu deheuol a gorllewinol, gan Cilicia o'r tu gogleddol, a Chanaan a pharth o Arabia ar y tu deheuol. Yr oedd hon yn wlad dda odiaeth, ar lan yr afonydd Euphrates, Orontes,

&c. y rhai a'i dyfrhaent ac a'i gwnaent yn wlad dra hyfryd. Gorchfygodd Dafydd brenin Israel y wlad hon ac a'i dygodd dan dernged, 2 Sam. 8. a 10. Ym mhen y trugain mlynedd, Rezon, yr hwn a ffodd oddiwrth ei feistr Hadadezer, a sefydlodd deyrnas yn Damascus; ac efe a'i ganlynwyr, Benhadad a Hazael, a wnaethant niweidiau mawrion i Israel; 1 Bren. 15. a 20. a 22. 2 Bren. 6. a 8. a 10. Darostyngwyd y Syriaid gan Joas a Jeroboam, brenhinoedd Israel; ond ymgryfhasant dan Resin, ac a wnaethant niwed mawr i Ahaz brenin Juda a'i ddeiliaid. Tiglath-pileser, ar annogaeth Ahaz, a arweiniodd ei fyddinoedd i wlad y Syriaid, gan ddinystrio ei dinasoedd ac arwain ei phreswylwyr i Media i gaethiwed. Yn amser gwanychiad ymerodraeth Assyria, dychwelodd y Syriaid, gan ymgadarnhau yn eu hen wlad; ond Nebuchodonosor a'u darostyngodd, gan eu gosod dan deyrnged iddo, 2 Bren. 16. Cymmerwyd hi gan y Persiaid ar ol hyn; ac wedi marwolaeth Alecsander fawr, daeth Syria i fod yn un o'r pedair brenhiniaeth Roegaidd. Ynghylch y flwyddyn o oed y byd 3939, gwnaed hi yn dalaith Rufeinig; ac ym mhen 696, cymmerwyd hi gan y Saraceniaid; ond ar derfyn yr unfed canrif ar ddeg, cymmerwyd hi gan y Tyrciaid Seljucianaidd; bu ar ol hyn ym meddiant Rhyfelwyr y groes am o ddeutu can' mlynedd; ond Saladin, Sultan yr Aipht, a'u hymlidiodd o'r wlad ac a'i meddiannodd. Yn yr unfed canrif ar bumtheg, cymmerwyd Syria gan y Tyrciaid Ottomanaidd, y rhai ydynt mewn meddiant o honi hyd heddyw. Y lleoedd nodedig yn Syria yn bresennol ydynt Aleppo a Damascus, ynghyd âg adfeiliadau lleoedd enwog yr oesoedd gynt, megis Baalbec a Thadmor. Y mae rhyw fath o Gristionogaeth yn Syria yn bresennol, ond y Cristionogion ydynt dra llygredig mewn barn a moes.

---

## III. Y MOABIAID.

Moab mab Lot, o'i ferch henaf, a aned ynghylch yr un amser ag Isaac, tua'r flwyddyn 2108 o oed y byd. Efe a'i hiliogaeth a breswyliasant yn y wlad a alwyd ar ei enw, o'r tu dwyreiniol i'r Mor Marw, ac o ddeutu yr afon Arnon: gorchfygasant yr Emimiaid, ac a gymmerasant eu gwlad. Nid hir y buont yn genedl cyn iddynt syrthio i eilun-addoliaeth, ac a addolent Cemos a Baal-peor. Num. 21. 29. a 25. 1, 3. Cymmerodd Sehon brenin yr Amoriaid eu holl diriogaethau o'r tu gogledd i'r afon Arnon; ac yn fuan ar ol hyn yr oedd Balac mab Sippor yn frenin ym Moab. Yn ofer y cyflogodd efe Balaam i regu Israel; ac er ymddial am hyn, ni chaniatteid i Foabiad nac Ammoniad ddyfod i gynnulleidfa yr Arglwydd hyd y ddegfed genhedlaeth. Deut. 32. 3—6. Yn y flwyddyn o oed y byd 2661, gosododd y Moabiaid, dan Eglon eu brenin, yr Israeliaid dan dreth, ac a'u gorthrymasant yn dost am 18 mlynedd; ond ymryddhasant oddi tan yr iau hon drwy Ehwd eu barnwr. Bu y brenin Saul yn llwyddiannus yn ei ryfeloedd yn erbyn y Moabiaid, 1 Sam. 14. 47. Dafydd, wedi ei gyffroi yn erbyn y Moabiaid, tebygol am iddynt lofruddio ei rieni, a anrheithiodd eu gwlad yn ofnadwy, gan eu darostwng i'r gwasanaeth iselaf. Mesurai hwynt â llinyn i fywyd a

marwolaeth, ac a laddodd eu hanner. Priododd Salomon amryw Foabesau, ac a sefydlodd addoliad yr eilun Cemos, yn Jerusalem. Buont yn hir dan deyrnged i frenhinoedd Israel, ond Mesa eu brenin a wrthododd dalu y deyrnged wedi marwolaeth Ahab, yr hyn a achosodd i Joram brenin Israel a'i gyngreiriaid ymosod arnynt a'u dryllio yn ofnadwy. Ryw bryd cyn neu wedi hyn, gwnaeth y Moabiaid, yr Edomiaid, yr Amaleciaid, yr Ismaeliaid, y Philistiaid, yr Ammoniaid, yr Hagareniaid, ac eraill, gyngrair â'u gilydd er dinystrio cenedl Israel oddiar y ddaear; ond dinystriwyd hwynt yn wyrthiol yn amser Jehosaphat, 2 Chron. 20. ac ar yr achlysur hwn y cyfansoddwyd Salm 83. Ymddengys iddynt oresgyn tir Edom, a llosgi esgyrn eu brenin yn galch. Amos 2. 1. Wedi caethgludiad y deg llwyth, meddiannodd y Moabiaid y rhan fwyaf o diriogaeth y Reubeniaid; ond yr Assyriaid, dan Salmaneser, a wnaethant eu gwlad agos yn anghyfannedd. Ymuniawnasant wedi hyn, a daethant yn genedl flodeuog; ond am iddynt ymuno âg Israel yn erbyn Nebuchodonosor, efe a lwyr ddinystriodd eu gwlad, ac a gludodd luoedd aneirif o honynt i gaethiwed. 2 Bren. 24. 2. Jer. 18. 9, 26. Nid oes dystiolaeth iddynt enwogi eu hunain fel cenedl ar ol hyn. Yr oedd rhai Moabesau wedi priodi âg Iuddewon yn amser Nehemia, a gorfu ar eu gwyr eu rhoddi ymaith. Y maent er ys oesau wedi darfod fel cenedl, a'u gwlad ym mron yn anghyfanneddol, ac ym meddiant yr Arabiaid gwylltion o Hejas.

---

## IV. YR AMMONIAID.

Ammon, neu Ben-ammi, ydoedd y mab a genhedlodd Lot o'i ferch ieuangaf; efe ydoedd tad yr Ammoniaid, y rhai a breswylient i'r gogledd-ddwyrain i Gilead, ac ar y tu gogledd i wlad Moab. Dinystriasant hen genedl y cewri a elwid y Zamzummiaid, ac a berchennogasant eu gwlad. Yr oeddynt yn hynod o eilun-addolgar, a'u heilun pennaf ydoedd Moloch,—efallai ar un a Baal, Milcom, Adramelech, Anamelech, a Chemos. Difeddiannwyd hwynt o gyfran o'u tir gan Sehon brenin yr Amoriaid. Ymgyssylltasant â'r Moabiaid i gyflogi Balaam i regu Israel; ac yr oeddynt bob amser yn elynion anghymmodlon i Israel. Bu Saul yn rhyfela â'r Ammoniaid, ac a orchfygodd Nahas eu brenin; ac ar ei ol ef ymosododd Dafydd arnynt hwy a'u cyngreiriaid, ac a lwyr ddinystriodd eu byddinoedd. Buont dan deyrnged i Dafydd, Salomon, ac efallai i frenhinoedd Israel, hyd farwolaeth Ahab. Pan oedd y Syriaid yn gorthrymmu y deg llwyth, gwnaeth yr Ammoniaid ddifrodiadau ysgeler yng ngwlad Gilead, gan rwygo y gwragedd beichiogion yn y wedd greulonaf. Amos 1. 13. Pan y trosglwyddwyd y rhan fwyaf o'r Reubeniaid a'r Gadiaid i gaethiwed gan Tiglath-pileser yr Assyriad, y mae yn debygol i'r Ammoniaid, mewn cyssylltiad â'r Moabiaid, feddiannu eu tir. Y brenin diweddaf o eiddo yr Ammoniaid, am yr hwn y crybwyllir yn yr Ysgrythyrau, ydoedd Baalis, yr hwn a aeth i gyngrair â Sedeciah yn erbyn brenin Babilon; ond pan ddinystriwyd Jerusalem, yr oeddynt hwy ac eraill yn llawenhau yn ei

chwymp hi. Ym mhen y pum' mlynedd wedi dinystrio Jerusalem, byddinoedd Nebuchodonosor a anrheithiasant wlad Ammon, ac a drosglwyddasant ei phreswylwyr i gaethiwed. Ymddengys i Cyrus ganiattau iddynt ddychwelyd yn ol, er ail gyfanneddu yn eu gwlad eu hunain. Yn amser Nehemiah, un Tobiah ydoedd eu pennaeth; ar ol hyn yr oeddynt naill ai yn ddarostyngedig i frenhines yr Aipht neu Syria. Ymosododd Judas Maccabeus arnynt, a gorchfygodd eu byddinoedd, llosgodd eu dinasoedd, ac a ddygodd eu gwragedd a'u meibion i gaethiwed. Ymgymmysgasant yn y diwedd â'r Arabiaid, ac y mae eu coffadwriaeth fel cenedl wedi darfod, am nad ydynt i'w cael heddyw.

---

## V. YR AMALECIAID.

Yr oedd gan Eliphaz mab Esau fab o'r enw Amalec, o'i ordderch Timna, yr hwn a ganlynodd Gatam yn llywodraeth yr Edomiaid. 1 Chron. 1. 36. Gen. 36. 16. Meddylir mai efe ydyw tad yr Amaleciaid, cenedl alluog a breswylient yn Arabia garregog, rhwng Hafilah a Sur, sef rhwng y Môr Coch a'r Môr Marw. Tybir i'w cynddaredd at Israel gael ei achosi am i Jacob ddwyn yr enedigaeth fraint a'r fendith oddiar Esau. Ond pan y dyweda Moses bod yr Amaleciaid yn hanfodi yn nyddiau Cedorlaomer, yr hyn ydoedd fe allai ddau can' mlynedd cyn geni yr Amalec crybwylledig, a bod Balaam yn crybwyll am danynt fel dechreu'r cenhedloedd, y mae yn hollol annhebygol iddynt ddeilliaw o Amalec mab Esau, ond yn hytrach eu bod yn hen genedl, ac wedi hanu oddiwrth Ham, fel y tybia yr Haneswyr Arabaeg. Anrheithiodd Cedorlaomer wlad yr Amaleciaid, fel yr ymddengys oddiwrth Gen. 14. 7; a meddylia rhai haneswyr iddynt y pryd hwn yn dyrfaoedd ymadael â'u gwlad, a myned i'r Aipht. Yn fuan wedi gwaredigaeth Israel o'r Aipht, pan oeddynt yn yr anialwch, ymosododd yr Amaleciaid arnynt mewn lle a elwid Rephidim, ac a darawsant rai o honynt; ond drwy weddi Moses a dewrder Joshua, hwy a orchfygwyd. Yr ymosodiad maleisus hwn a gyffrodd yr Hollalluog, fel y tyngodd y dinystriai efe Amalec yn raddol oddiar wyneb y ddaear, ac a orchymmynodd yr Hebreaid yn gaeth i lwyr ymddial arnynt. Deut. 9. 14. a 25. 19. Ym mhen dwy flynedd wedi hyn, cynnorthwyasant y Canaaneaid yn eu hymosodiad ar yr Israeliaid gwrthryfelgar yn Hormah; ac yr oeddynt braidd bob amser yn estyn eu cynnnorthwyon i elynion Israel. Ynghylch y flwyddyn o oed y byd 2930, yr oeddynt wedi dyfod yn addfed i ddinystr oblegid eu hanwireddau, a rhoes Duw orchymmyn i Saul brenin Israel am ymosod arnynt, a pheidio eu harbed hwynt. Anrheithiodd Saul eu gwlad, gan wneuthur difrodiadau brawychus ynddi; ond yn groes i orchymmyn yr Arglwydd, a arbedodd Agag eu brenin, yr hwn a laddwyd gan Samuel y prophwyd. Ni ymddyrchafasant yn uchel ar ol y dadymchweliad hwn; ond ryw dro cynnorthwyasant yn y cyngrair yn erbyn Jehosaphat, eithr trodd yn chwerw iddynt, fel y gwelir yn Salm 83. 10. "Yn Endor y difethwyd hwynt: aethant yn dail i'r ddaear." Ha-

man yr Amaleciad a dynnodd gynllun er dinystrio yr holl Iuddewon yn ymerodraeth Ahasferus, ond troes yn angeuol iddo ef a'i gyfeillion. Er y pryd hwn ni chrybwyllir am danynt mewn hanesyddiaeth, ond y maent wedi diflannu yn dragywydd.

---

## VI. Y PHILISTIAID.

Philistia, neu Palestina, sydd enw a roddir gan rai ysgrifenwyr i holl wlad Canaan; ond yn yr Ysgrythyrau meddylia lain o dir gyda glàn y môr, o'r tu de-orllewinol i Ganaan, ynghylch deugain milldir o hyd, ac yn brin pumtheg o led. Ei dinasoedd oeddynt Gerar, Gaza, Majuma, Ascelon, Ecron, Asdod, a Gath. Y Philistim a'r Caphtorim a hanasant o Casluhim, mab Misraim, y rhai a boblogasant yr Aipht; a'u gwlad hwy ef allai a feddylir wrth wlad Caphtor yn Jer. 47. 4. Pa bryd y dychwelasant o'r Aipht ni ellir penderfynu yn hollol; y farn debycaf yw, mai yn yr amser y torrodd yr Aiphtiaid eu hiau, ac yr esgynodd Alisphragmuthosis yr orsedd, ynghylch y flwyddyn 1899 cyn Crist. Buont yn elynion chwerw i Israel, ac a'u gorthrymmasant yn dost lawer gwaith. Tua diwedd teyrnasiad Saul, daethant yn fyddinoedd lliosog i ganol y wlad, ac ar fynydd Gilboa rhifasant yr Hebreaid wrth y miloedd i'r cleddyf, ac ym mhlith y lladdedigion yr oedd Saul a'i feibion. Pan esgynodd Dafydd i'r orsedd, rhyfelent beunydd âg ef, ond o'r diwedd efe a'u darostyngodd ac a'u gosododd dan deyrnged. Buont yn ddarostyngedig i'r Iuddewon am ynghylch cant a hanner o flynyddoedd. Gwrthryfelasant, ac ni ddarostyngwyd hwy drachefn hyd deyrnasiad y brenin Uzziah. Gwrthryfelasant drachefn yn nyddiau Ahaz, ac a gymmerasant amryw o ddinasoedd Judah, ac a werthasant yr Iuddewon i'r Syriaid yn gaethion. Darostyngwyd hwynt gan Hezeciah, yr hwn a ddinystriodd niferi lliosog o honynt. Cymmerwyd eu gwlad gan yr Assyriaid, oblegid yr hyn y tywysodd Psammeticus brenin yr Aipht ei luoedd iddi. Esay 20. Cymmerwyd hi wedi hyn gan y Caldeaid, y Persiaid, a'r Groegiaid. Alexander Jannëus yr Iuddew a'i llwyr oresgynodd yn y diwedd, ac a wnaeth i'r trigolion ymostwng i gael eu henwaedu. Y mae fel cenedl wedi darfod.

---

## VII. CAETHIWED BABILON.

Trosglwyddwyd yr Iuddewon, fel y crybwyllwyd yn barod, gan Nebuchodonosor i Babilon; ond er eu bod mewn caethiwed, etto ymddengys iddo ymddwyn yn dra hynaws tuag attynt. Caniattaodd iddynt gael trigfannu gyda'u gilydd, a chaent ddilyn eu deddfau a'u defodau eu hunain; etto rhaid bod eu teimladau yn dra dieithriol, ym mhell o'u gwlad, ac yng nghanol paganiaid eilun-addolgar. Yr oeddynt wedi eu cyfleu yma ac accw ar hyd y wlad, a rhai o honynt wedi myned yn dra chyfoethog, ac yn berchen meddiannau lawer. Rhai mewn swyddau uchel yn y wladwriaeth, ac nid oes gennym hanes bod neb o honynt wedi eu gwerthu megis caethion; ond yr

oeddynt yn hiraethlon iawn am eu gwlad, ac meddynt, "Wrth afonydd Babilon yr eisteddasom; wylasom pan feddyliasom am Sïon:" ac oddiwrth y Salm a gyfansoddwyd ar yr achlysur o'u caethiwed, ymddengys bod gan y Babiloniaid archwaeth ddigonol i brisio eu doniau prydyddol a'u llafar i ganu; a thebygol yr anfonent am danynt i'w gwleddoedd, er cael eu difyrru gan eu caniadau; ond yn erbyn eu hewyllys y canent ganiadau Sïon, "Oblegid pa fodd y canwn, a ninnau mewn gwlad ddieithr?" Effeithiodd y caethiwed hwn yn y fath fodd arnynt, fel nad ymollyngasant byth mwyach i eilun-addoliaeth; a thra ym Mabilon, disgwylient beunydd am eu hymwared, yn neillduol fel yr oedd yr amser a ragddywedwyd gan eu prophwydi yn agoshau. Diau y llawenychent wrth weled gwastadedd Sinar yn disgleirio gan arfau y Mediaid a'r Persiaid dan orchymmyn Cyrus Fawr, yr hwn oedd i fod yn waredwr iddynt; ac yng nghanol banllefau a bloeddiadau y milwyr, ynghyd â thrwst y peiriannau rhyfel, yr Iuddewon yn ddistaw a ganent eu cerddi o ymwared, gan ddarlunio cwymp y seren foreuol, y peidiai y gorthrymder, ac y darfyddai gogoniant y ddinas aur, yn ol rhagddywediadau Esay. Babilon a gymmerwyd, a'r ymerodraeth gadarn a ddinystriwyd, yr hon unwaith a fu yn frenhines y taleithiau, a rhag ei gwg y crynai yr holl ddaear. Gwawriodd dydd o ymwared i etholedigion Duw, cyhwfanwyd y faniar, ymgasglodd had Abraham ynghyd, ac yn llawen cychwynasant yn ol tua'u gwlad eu hunain, er gwasanaethu yr Arglwydd y Brenin yn Jerusalem.

# LLYFR EZRA.

Yr oedd llyfrau Ezra a Nehemiah gynt gan yr Iuddewon yn un llyfr, ac a rennid ganddynt hwy i gyntaf ac ail lyfr Ezra. Yr un rhaniad sydd gan yr eglwysi Groegaidd a Lladinaidd. Y mae yn dra amlwg bod awdwr llyfr Ezra yn dyst personol o'r helyntion a adroddir ynddo, oblegid y mae yr hanes yn cael ei thraethu yn y person cyntaf. Ac y mae yn dra amlwg bod y pedair pennod olaf wedi cael eu hysgrifenu gan Ezra ei hun; ac y mae yr Iuddewon yn priodoli yr holl lyfr i Ezra, a'r rhan amlaf o esbonwyr Cristionogol ydynt o'r un farn a hwy am hyn. Ond yn gymmaint a bod ysgrifenydd y chwech pennod gyntaf yn ymddangos megis pe buasai yn Jerusalem, yn nheyrnasiad Darius Hystaspes, ac megis y mae yn amlwg oddiwrth ddechreu y seithfed bennod nad aeth Ezra i Jerusalem hyd deyrnasiad Artacsercses Longimanus (pellder o drugain mlynedd) y mae rhai wedi barnu mai awdwr henach nag Ezra a ysgrifenodd y chwech pennod gyntaf. Etto, tebygol mai Ezra a gasglodd yr holl lyfr, y pennodau cyntaf, a'r hanesion awdurdodol a gafodd efe yn Jerusalem pan ddaeth i fynu, a'r relyw o'r hyn yr oedd efe yn dyst.

Y mae llyfr Ezra, o pen. 4. 8. hyd pen. 7. 27. wedi ei ysgrifenu yn y Galdeaeg; ac oblegid bod y dosparth hwn o'r llyfr yn cynnwys llythyrau, ymddiddanion, a deddfau, ffyddlondeb yr hanesydd ydoedd y fath, fel yr ystyriodd mai iawn iddo eu cyfleu yn y iaith a'r geiriau a ddefnyddiwyd. Yr oedd y bobl hefyd wedi bod yn hir yng ngwlad Caldea, ac yn fwy cynnefin â'r Galdeaeg na'r Hebraeg; oblegid ymddengys oddiwrth Nehemiah, na ddeallai y bobl y gyfraith yn yr iaith Hebraeg. Cyttuna llyfr Ezra yn hollol â phrophwydoliaethau Haggai a Zecharia, ac y mae yn esponiad helaeth arnynt, ond ei ddarllen a'i gydmaru â hwynt. Gweler Ezra 5. a Haggai 1. 12. a Zech. 3. 4. Dangosa ymddygiad tadol y Jehofah at ei bobl, hanes y rhai a geir yma o amser cyhoeddiad Cyrus hyd yr ugeinfed flwyddyn o deyrnasiad Artacsercses Longimanus, yspaid o bedair blynedd ar bumtheg a thrugain, neu yn ol rhai, can' mlynedd. Y mae y llyfr hwn yn ddau ddosparth neillduol; yn gyntaf, hanes dychweliad yr Iuddewon o Babilon dan Zorobabel; ac yn ail, y diwygiad crefyddol dan Ezra.

RHAN I. O ddychweliad yr Iuddewon o Babilon dan Zorobabel, hyd ail adeiladaeth y deml. Pen. i—iv.

Dosp. 1. Cyhoeddiad Cyrus, yn caniattau i'r Iuddewon ddychwelyd i Judea ac i ail adeiladu y deml: cyfrif o'r bobl a ddychwelasant gyda Zorobabel, a'u hoffrymmau er adeiladu y deml. Ar yr achlysur gorfoleddus y mae yn debygol i'r chweched Salm ar hugain yn ol y cant gael ei chyfansoddi. Pen. i. a ii.

2. Adeiladaeth y deml yn dechreu, ond yn cael ei gwrthwynebu gan y Samariaid. Pen. iii. a iv.

3. Y deml wedi ei gorphen yn y chweched flwyddyn i Darius Hystaspes, drwy y cyhoeddiad a roddwyd allan yn yr ail flwyddyn o'i deyrnasiad. Pen. v. a vi.

RHAN II. Dyfodiad Ezra i Jerusalem, a'r diwygiad a wnaethpwyd drwyddo. Pen. vii—x.

Dosp. 1. Ymadawiad Ezra â Babilon gyda'r commisiwn oddiwrth Artacsercses Longimanus. Pen. vii.

2. Cyfrif o'r rhai oedd gydag ef, a'i ddyfodiad i Jerusalem. Pen. viii.

3. Hanes y diwygiad a effeithiwyd drwyddo. Pen. ix. a x.

Y mae llyfr Ezra mor deilwng o sylw ag un o lyfrau yr Hen Destament, ac yn llawn o athrawiaethau ac addysgiadau i'r eglwys hyd derfyn amser, yn fwy felly braidd nag un o lyfrau yr Hen Destament, ond y Salmau a'r Prophwydi. Dangosir yma,

1. Bod goruchaf Lywiawdwr pob peth yn parottoi ei offerynau er dwyn ei orchwylion oddi amgylch. Bob amser pan fyddo hi yn adeg i'r Arglwydd weithio, y mae'r gadwyn yn hollol gyfan ganddo. Pan ddaeth y deng mlynedd a thrugain oddi amgylch, yr oedd Cyrus ar yr orsedd, yn barod ac yn ewyllysgar i arloesi y ffordd, modd yr elai anwyliaid y nef adref tua'u hen anneddau. Y mae fel hyn o'r dechreu:—Pan aeth Ior i ffurfio eglwys wedi y diluw, yr oedd Abraham ganddo er bod yn gyff i'r genedl etholedig; pan ddaeth amser gwaredigaeth y llwythau o'r Aipht i ben, yr oedd Moses yn barod ganddo yn nhir Midian; pan aeth Duw i roddi brenin i

Israel o'i wir ewyllys, yr oedd Dafydd yn barod ganddo yn bugeilio praidd Jesse ei dad yn yr anialwch; a phan oedd eisiau dyn addas i adgyweirio yr Ysgrythyr Lân, ac i ddiwygio yr addoliad crefyddol wedi dyddiau hir y caethiwed, yr oedd Ezra yr offeiriad ganddo yn barod wrth law. Ac felly ni arosodd, ac ni erys gwaith yr Arglwydd o ddiffyg offerynau, oblegid y mae pob peth yn cydweithio er daioni i'r rhai sydd yn caru Duw, sef y rhai sydd wedi eu galw yn ol ei arfaeth ef.

2. Nad ydyw cynllwynion uffern nac ystrywiau dynion, er ymgyngreirio o honynt ynghyd, yn ddigonol i luddias gwaith Duw i fyned ym mlaen yn llwyddiannus, pan fyddo ei law ef yn y gorchwyl. Cadwodd lwythau Israel yn fyw, er gwaethaf brenhinoedd Syria, Assyria, Media, a Phersia, ac er yr holl erledigaethau brawychus a fu arnynt drwy holl oesau Cristionogaeth hyd yn awr; er eu lladd wrth y miloedd yng ngwahanol deyrnasoedd Ewrop, eu hyspeilio o'u meddiannau, a'u hymlid allan o'r naill wlad i'r llall, y maent yn fyw hyd heddyw, ac yn genedl liosog trwy y gwahanol daleithiau; a dios bod gan yr Arglwydd ryw ddiben i wneuthur â hwynt etto. Ac er holl gynddaredd y paganiaid, erledigaethau Pabyddion, a digasedd holl gaseion Duw yn erbyn yr eglwys Gristionogol, y mae baniar y groes yn ymgyhwfannu yn uchel yn yr awelon, a'r teulu megis llu bannerog yn myned yn hardd tua thir eu gwlad. Ië, y mae'r anian a blennir gan Dduw yn enaid y credadyn, yn dal ei thywydd yn wyneb pob tymhestloedd a thywydd garw, o herwydd y mae y breichiau tragywyddol oddi tano; ac y mae y duwiolion yn gadwedig trwy allu Duw i iachawdwriaeth.

3. Bod yr Arglwydd mewn modd neillduol yn gofalu am bersonau addas i ddiwygio crefydd pan fyddo wedi myned yn llygredig. Peth rhyfedd ydyw, er bod athrawiaethau a rheolau crefydd yn amlwg yn y Testament Newydd, y mae yn agored i ddirywiad ym mhlith pob enwad o Gristionogion; a phan fyddo crefydd wedi dirywio mewn un o'i dosparthion, anhawdd iawn cael neb i gynnyg diwygiad, er bod llawer yn gweled angenrheidrwydd am dano. Y mae pob diwygiwr yn gosod ei hun yn nod i saethau; ac ym mhlith ei gaseion, odid na chenfydd rai o'r personau hynny a broffesent eu hunain yn gyfeillion iddo. Ond er pob peth, y mae yr Arglwydd yn ei ewyllys da yn cyfodi, yn donio, yn addasu, ac yn cynnorthwyo rhai er bod yn ddiwygwyr, y rhai a wnaent ddaioni yn eu hoes ac i'r oesau dyfodol, a'r rhai y bydd eu coffadwriaeth byth yn barchus yn yr eglwys. Daeth Ezra i fynu o'r caethiwed yn nerth a than gyfarwyddyd y nef, a thrwy ei ymdrechion a adferodd grefydd i'w phurdeb yng Nghaersalem, fel y daeth y gân a'r gwasanaeth drachefn yn gymmeradwy gyda Duw. Ac yn wyneb dirywiadau crefyddol mewn athrawiaethau ac ymarferion yn yr oes hon, nid oes gennym i'w wneuthur ond cyfodi ein heirchion tua'r nef, ac erfyn ar Ben yr eglwys i anfon gwr o gymhwysderau Ezra i'n plith, modd y rhodder y gwair, y gwellt, a'r sofl ar dân.

4. Nad oes dim mor angenrheidiol a gwroldeb i bwy bynnag a gymmero orchwyl o bwys mewn llaw. Y mae'r digalon a'r ofnus fynychaf yn dinystrio pob mesurau, ond y mae gwroldeb meddwl gyda chydwybod dda yn torri dros ben rhwystrau; ac oni bydd dyn

yn feddiannol ar hyn, gwell iddo beidio ymaflyd yn unrhyw orchwyl. Dyn gwrol ydoedd Moses, a gwnaeth orchwylion mawrion; dyn o feddwl cadarn ydoedd Dafydd, a gorchfygodd ei holl elynion; dyn grymmus oedd Ezra, a llwyddodd yn ei amcan; a dyn ni throi yn ei ol ydoedd Luther, a bwriodd ddegfed ran y ddinas i lawr. Mae ffydd yn gwneuthur y gweiniaid yn gadarn, fel y gyrrant fyddinoedd yr estroniaid i ffoi.

---

## HYNODION LLYFR EZRA.

### I. PERSIA.

Persia, neu Elam, hen deyrnas yn Asia Ganol, o'r tu dehau i Media, a'r de-ddwyrain i Assyria a Chaldea. Y Persiaid a elwid gynt yn Elamiaid, am eu deilliaw o Elam mab henaf Sem; a Chedorlaomer, un o'u brenhinoedd cyntaf, ydoedd gongcwerwr neillduol. Gen. 14. Buddugoliaethodd yr Assyriaid ar y Persiaid, ond ymryddhasant odditan yr iau hon yr un amser a'r Mediaid. Yr oedd y llywodraeth o'r pryd hwn yn parhau yn nheulu un Achœmenides, hyd pan ddarostyngwyd hwynt gan y Caldeaid. Wedi hyn yr oedd y wlad hon yn parhau mewn cyflwr o resynoldeb hyd amser Cyrus, yr hwn a'i cyssylltodd â Media, ac a ddarostyngodd deyrnasoedd Assyria a Lybia, ac a sefydlodd yr ymerodraeth ar y fath seiliau trwy ei ddoethineb, fel y safodd am 208 o flynyddoedd. Ei fab Cambyses, yr hwn a deyrnasodd am saith mlynedd, ydoedd nodedig am ei lofruddiaethau a'i greulonderau yn yr Aipht. Darius Hystaspes, wedi iddo ladd y ffug Smerdis, a deyrnasodd 36 o flynyddoedd. Cymmerodd hwn Babilon, a dinystriodd lawer ar ei muriau; ond rhoddodd 50000 o fenywaid, er llanw lleoedd y rhai a ddifethwyd yn amser y gwarchae. Ar ei ol ef daeth Xercses ei fab i'r orsedd, yr hwn gyda byddin o dros bum' miliwn a ymosododd ar dir Groeg, yr hon a lwyr ddifethwyd gan y Groegiaid. Y nesaf a deyrnasodd ar ol Xercses oedd ei fab, yr hwn a elwid Artacsercses Longimanus, yr hwn a yrrodd Ezra a Nehemiah er dwyn ym mlaen ddaioni yr Iuddewon. Wedi iddo deyrnasu 41 o flynyddoedd, efe a fu farw, a Xercses ei fab a'i dilynodd yn yr orsedd. Hwn, wedi iddo deyrnasu am un flwyddyn, a lofruddiwyd gan ei frawd bastarddaidd Sogdianus; ac yntau, ym mhen chwech neu saith mis, gan frawd bastarddaidd arall o'r enw Darius Nothus, neu Ochus, a lofruddiwyd yn yr un modd. Wedi i hwn deyrnasu deunaw mlynedd, bu farw, a'i fab Artacsercses Mnemon a ddaeth i'r goron, ac a deyrnasodd 45 o flynyddoedd. Artacsercses Ochus ei fab, wedi iddo lofruddio ei ddau frawd henaf, a esgynodd i'r orsedd, ac a lywodraethodd mewn creulondeb digyffelyb am 23 o flynyddau. Y brenin hwn a lofruddiwyd gan eunuch o'r enw Bagoas, a'i fab Arses yn fuan ar ei ol a ddygwyd i'r un dihenydd; a Darius Codomannus,

perthynas bell i'r teulu brenhinol, a osodwyd ar yr orsedd; hwn a orchfygwyd gan Alecsander Fawr, a'r llywodraeth Bersiaidd mewn canlyniad a lwyr ddinystriwyd. O'r flwyddyn o oed y byd 3675 i 3754, bu Persia yn hollol dan lywodraeth y Groegiaid; ond yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd 232, Artacsercses, un o'r tywysogion Persiaidd, a feddiannodd y deyrnas, ac wyth ar hugain o frenhinoedd deilliedig oddiwrtho a lywodraethasant am 400 mlynedd. Yr oedd rhai o honynt yn elynion mawrion i Gristionogaeth, a bu rhyfeloedd caled rhyngddynt â'r Rhufeiniaid. Hyd y pryd hwn math o ddeistiaeth ydoedd crefydd Persia. Nid oedd ganddynt na themlau na delwau, ac ni feddylient bod angenrheidrwydd am danynt, oblegid, meddynt, bod Duw ym mhob man. Dysgasant ryw gymmaint o eilun-addoliaeth gan yr Assyriaid a'r Caldeaid, ond dyn cyfrwys o'r enw Zoroaster, neu Zerdash, disgybl gwrthgiliedig (yn ol tyb rhai) i'r prophwyd Ezeciel, a ddiwygiodd eu cyfundraeth grefyddol yn amser Darius Hystaspes; a'i gynllun ef a safodd tra safodd y deyrnas. Yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd 634, ymwasgarodd y Saraceniaid drwy Bersia, ac a sefydlasant eu twyll Mahometaidd. Llywodraethwyd Persia gan y Saraceniaid am 420 o flynyddoedd; ond yn y flwyddyn 1055, y Tyrciaid a gymmerasant feddiant o'r frenhiniaeth; a Thangrolipics a'i ganlynwyr a'i llywodraethasant hyd y flwyddyn 1260, pryd y darfu i Tralon, mab Jenghiz-kan y Tartar, ei chymmeryd oddi wrthynt. Wedi iddo ef ac wyth o'i ganlynwyr fod yn y llywodraeth, Tamerlane, tywysog Tartaraidd, a'i mheddiannodd yn y flwyddyn 1400, ac a'i gadawodd i Mirza ei fab. Cyfododd ymryson yn y teulu hwn, fel y gyrrwyd hwynt oll o'r orsedd, ac Usamcassan, brenin Armenia, a'i trawsfeddiannodd yn y flwyddyn 1472. Methodd llinach wrrywaidd hwn yn dra buan, ond Ismael ei ŵyr a'i meddiannodd, a bu y goron yn ei deulu am un genhedlaeth ar ddeg: rhai o'i ganlynwyr oeddynt y dynion creulonaf a fu yn y byd erioed. Diorseddwyd y diweddaf gan Myr-weis, yr hwn hefyd a'i llofruddiodd. Ond nid hir y bu cyn i'r enwog Thomas Kuli-kan esgyn yr orsedd, yr hwn a orchfygodd y Moguliaid, ac a fflangellodd y Tyrciaid yn llym; ond am iddo ymdrechu cyfnewid y grefydd Fahometaidd yn Persia yn gwbl i ffurf Mahometiaid eraill, efe a lofruddiwyd. Wedi hir ymdrech cafodd Kerim-kan yr orsedd yn 1763, wedi i'r deyrnas fod am ddeugain mlynedd yn faes celanedd a gwaed, ym mha yspaid y lladdwyd miliynau.

## II. MEDIA.

Media sydd enw tarddedig neu yn hytrach yn gyfystyr â Madai, yr hwn ydoedd drydydd mab Japheth. Media, yn bresennol Aiderbeitzan, sydd wlad fynyddig ar y de-orllewin i'r Môr Casiaidd, y dwyrain i Armenia, ac o'r tu gogleddol i Persia. Ei phrif ddinasoedd yn yr oesau gynt oeddynt Ecbatan, Rages, &c. Gorchfygwyd y Mediaid gan Pul, neu Tiglath-pileser brenin Assyria; ac i Media y trosglwyddodd Salmaneser ei gaethion Iuddewig a Syriaidd. Wedi i fyddin Sennacherib gael ei dinystrio ger Caersalem, bwriodd y

Mediaid y iau Assyriaidd ymaith. Ynghylch yr ugeinfed flwyddyn i Hezeciah brenin Judah, Degores, neu Arphacsad, drwy ffordd deg a esgynodd i'r orsedd; ac wedi iddo adeiladu Ecbatan, arweiniodd ei luoedd i Assyria, ond cafodd Esarhadon fuddugoliaeth gyflawn arno yng ngwastadedd Ragan. Dilynwyd ef yn y frenhiniaeth gan ei fab Phraortes, yr hwn a ddarostyngodd y Cenhedloedd cymmydogaethol; ond yn ei ymgyrch yn erbyn Ninefeh, a laddwyd wrth warchae arni. Esgynodd Cyacseres ei fab i'r orsedd yn y flwyddyn o oed y byd 3348. Gorchfygodd hwn Persia; ac er dial marwolaeth ei dad, ynghyd â rhyw bethau eraill, arweiniodd ei luoedd i Assyria, ac a warchaeodd ar y brif ddinas Ninefeh. Ond y Tartariaid dan Madyes, yr hwn hefyd a elwir Ogus-kan, a ymosododd yn erbyn Media, ac a arosasant yn y wlad am 28 o flynyddoedd. Llofruddiwyd hwynt gan y Mediaid, a Cyacseres a gyssylltodd ei fyddinoedd gydag eiddo Nebuchodonosor, ac a gydymosodasant ar Ninefeh, yr hon a gymmerasant ac a ddinystriasant yn y flwyddyn o oed y byd 3403. Efe hefyd a Nebuchodonosor a orchfygasant Persia, gan lwyddo yn eu holl ryfeloedd. Yn y flwyddyn o oed y byd 3409, Astyages, neu fel y tybia rhai, Ahasferus ei fab a esgynodd i'r orsedd; chwaer hwn, a elwid Amyte, ydoedd gwraig Nebuchodonosor; ei ferch Nicotris ydoedd gwraig Efil-merodach mab Nebuchodonosor, a merch arall iddo o'r enw Mandane ydoedd gwraig Cambyses tad Cyrus. Mab Astyages, o'r enw Cyacseres neu Darius, a ddilynodd ei dad yn y llywodraeth yn y flwyddyn o oed y byd 3444. Wedi ugain mlynedd o ryfel a'r llofruddiaethau mwyaf echrydus, Cyacseres, trwy gynnorthwy ei nai, a'i fab-yng-nghyfraith Cyrus, a gymmerasant Babilon a holl ymerodraeth Caldea. A Cyrus, drwy ei briodas, a ddaeth yn etifedd i deyrnas Media, ac a'i cyssylltodd â Phersia yn y flwyddyn o oed y byd 3470 neu 3468.

---

## III. CYRUS.

Cyrus ydoedd fab Cambyses, brenin Persia, o Mandane merch Ahasferus, brenin Media. Ymddengys i'w rieni gymmeryd gofal neillduol am ei ddysgeidiaeth a'i ddygiad i fynu; a phan yn blentyn, dangosodd ryw bethau uwchlaw plentyneiddiwch. Pan ydoedd o ddeutu deuddeg oed, dygwyd ef gan ei fam i lys y brenin Cambyses ei dad, a'i ymddygiad hynaws, gostyngedig, a boneddigaidd, a ennillodd serchiadau y Mediaid yn fawr atto. Wedi pum' mlynedd, efe a ddychwelodd yn ol i Persia. Ynghylch y ddeugeinfed flwyddyn o'i oedran, cynnorthwyodd ei ewythr, Darius y Mediad, yn ei ryfeloedd, gyda deng mil ar hugain o Bersiaid. Ymosododd Neriglissar brenin Babilon, gyda lluoedd aneirif o wyr, ar Media, er dinystrio y deyrnas; ond Cyrus a'i ewythr a'u gorchfygasant, ac a'u lladdasant. Yn fuan ar ol hyn, cefnogwyd Cyrus gan Gabrias a Gadates, dau o arglwyddi enciliedig o Babilon, i ymosod ar y frenhiniaeth grybwylledig, ac a lanwodd yr holl deyrnas â chelanedd, â thân, ac â gwaed. Er ei wrthwynebu, gwnaeth Belsassar gyngrair â brenin yr Aipht, â'r Thrasiaid, ac â nifer liosog o genhedloedd Asia leiaf, ac a gyfod-

odd fyddin o bedwar cant ac ugain mil, yr hon a ymddiriedodd i reolaeth Crœsus brenin Lydia. Gorchfygodd Cyrus hwynt â hanner y nifer, ac a'i hymlidiodd o faes y rhyfel, ac a gymmerodd Crœsus yn Sardis, ei brif ddinas. Dilynodd Cyrus ei fuddugoliaeth yn Asia leiaf, yn Syria, a chymmerodd Babilon, gan roddi ergyd angeuol i ymerodraeth Caldea, fel na ddyrchafodd byth 'mo'i phen i fri ac anrhydedd wedi hyn. Wedi trefnu y ffurf-lywodraeth, a rhannu yr ymerodraeth i gant ac ugain o daleithiau, gadawodd Cyrus Darius ei dad-yng-nghyfraith i reoli yr ymerodraeth, ac yntau à aeth i ryfela â'r Aiphtiaid. Ym mhen dwy flynedd wedi cymmeryd Babilon, bu Darius farw; a chan fod Cyrus yn briod â'i unig ferch, etifeddodd y goron, ac a esgynodd i'r orsedd ar ei ol. Wedi darllen efallai brophwydoliaethau Esay mewn perthynas iddo ei hun, neu yn cael ei gynhyrfu gan y Goruchaf, efe a udganodd yr udgorn mawr, fel y clywodd plant y gaethglud ym mhellderau tir Assyria; rhoddodd y gorchymmyn i'r caethion Hebreaidd ddychwelyd yn ol i'w gwlad, ac i adeiladu teml i'w Duw. Ym mhen saith mlynedd wedi hyn efe a fu farw, sef yn y ddegfed flwyddyn a thrugain o'i oedran.

---

## IV. EZRA.

Ezra mab Seraiah ydoedd enwog yn ei oes, yn offeiriad, ac yn un o blant y gaethglud. Cafodd gommissiwn gan y brenin Artacsercses neu Ahasferus, ynghyd â'i saith brif gynghorwyr, i ddychwelyd i Jerusalem, a chymmaint o'i gydgenedl oeddynt yn ewyllysgar i ddychwelyd. Tebygol yn ol rhai dysgedigion i'r ffafr hon gael ei dangos drwy offerynoliaeth Esther, yr hon bryd hyn ydoedd un o'i wragedd anwylaf; oblegid yr oedd yn arferol, meddai Herodotus, i frenhinoedd Persia ar ddiwrnodiau neillduol ganiattau eu deisyfiadau i'w wragedd. Dywedir mai mab Seraiah ydoedd Ezra, yr hwn Seraiah ydoedd yr archoffeiriad pan gymmerwyd Jerusalem gan Nebuchodonosor, ac a laddwyd drwy ei orchymmyn: ond y mae yn fwy tebygol bod un neu ddau rhwng Seraiah ac Ezra; oblegid pe buasai ond un flwydd oed pan gymmerwyd Jerusalem, yr oedd yn gant a deuddeg ar hugain pan ddaeth i fynu o'r caethiwed. Ond yn ol iaith yr Ysgrythyrau, dywedir yn aml am un yn fab i'r llall, pan mai ei ŵyr, neu ei orŵyr fydd; megis bod Azariah yn fab Merioth, er bod chwech rhyngddynt. 2 Chron. 6. 7—9. Yr oedd Ezra yn ddyn duwiol iawn, yn neillduol yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, o'r hyn y mae Artacsercses yn ei gyhoeddiad wedi cymmeryd sylw. Wedi dyfod i Jerusalem, agorodd ei gommissiwn er sefydlu crefydd â'r wladwriaeth, a chyflawnodd ei swydd am dair blynedd ar ddeg, sef hyd pan ddaeth Nehemiah a chommissiwn newydd o lys Persia. Pan ddaeth Ezra i fynu, yr oedd yr Ysgrythyrau agos a myned ar gyfrgoll, a'r bobl mewn anwybodaeth mawr o'r gyfraith ac addoliad yr Arglwydd. Ond efe a adferodd iddynt yr Ysgrythyrau, ac a ymegniodd i'r eithaf i'w dysgu yn ffyrdd yr Arglwydd, cyhyd y parhaes ei gommissiwn, ac wedi i amser hwnnw ddyfod i ben, yr oedd efe yn parhau yn zelog gyda y gwaith o

ddysgu y bobl, ac yn llywyddu y Sanhedrim. Ond gorchwyl pennaf Ezra ydoedd casglu yr Ysgrythyrau ynghyd a'u hadolygu, a'u puro o'r gwallau hynny oedd wedi diengyd iddynt drwy ddiofalwch y tranysgrifwyr. Yr oedd esgeulusdra cywilyddus wedi bod gyda golwg ar lyfr y gyfraith, oblegid collwyd ef yn hollol unwaith am hir amser, a thebygol nad ydoedd un i'w gael ond yr hwn a gafodd Hilciah yn ddigwyddiadol yn y deml, yn amser Josiah brenin Judah. Ond tebygol i amrywiol o honynt bryd hyn gael eu gwasgaru, ac i ymchwiliad manol gael ei wneuthur am y rhannau eraill o'r Gyfrol sanctaidd. Ac felly pan losgwyd y deml a'r copi awdurdodedig oedd ger bron yr Arglwydd ynddi, yr oedd lliosogrwydd o rai eraill, y rhai a gladdwyd gan y rhai a'u mheddiannent pan aethant i gaethiwed. Ymddengys i Ezra gasglu ynghyd gymmaint o gopiau ag a allasai, ac wrth eu cydmaru â'u gilydd, iddo ddiwygio pob cyfnewidiadau oeddynt wedi diengyd i mewn drwy esgeulusdod yr ysgrifenwyr. Casglodd ynghyd yr holl lyfrau a gynnwysent yr Ysgrythyr Lân, a'r llyfrau hyn a rannodd efe yn dri dosparth; 1. Y Gyfraith; 2. Y Prophwydi; 3. Y Cetubim, neu yr *Hagiographa*, hynny ydyw, yr Ysgrifeniadau Sanctaidd; ac at y dosparthiadau hyn y cyfeiria ein Harglwydd yn Luc 24. 44. Y dosparth gyntaf a gynnwysent bum' llyfr Moses; yr ail ddosparth Cyfran y Barnwyr, y Brenhinoedd, y Chroniclau, Esay, Jeremiah a'i Alarnad, Ezeciel, Daniel, y Deuddeg Prophwydi lleiaf, Job, Ezra, Nehemiah, ac Esther; yr *Hagiographa* a gynnwysent y Salmau, y Diarhebion, y Pregethwr, a Chân y Caniadau. Ymddengys hefyd i Ezra ychwanegu mewn amryw fannau at yr Ysgrythyrau a gwneuthur cyfnewidiadau angenrheidiol eraill er eu hegluro a'u dwyn yn fwy dealladwy. Er gwneuthur hyn yn eglur, sylwer ar Gen. 12. 6. lle y sylwir ar ddyfodiad Abraham i wlad Canaan, bod y Canaaneaid pryd hynny yn y wlad; nid ydyw yn debygol i hynny gael ei ysgrifenu gan Moses, ond wedi marwolaeth Moses, pan ydoedd y Canaaneaid wedi eu dinystrio o'r wlad. Ac yn Ecsod. 16. 35. "A meibion Israel a fwyttasant y manna ddeugain mlynedd, nes eu dyfod i dir cyfanneddol:" ond yr oedd Moses wedi marw cyn i'r manna ddarfod, o ganlyniad ysgrifenwyd yr ymadroddion crybwylledig wedi Moses, a hynny yn ddiau gan Ezra. Gweler hefyd Gen. 22. 14. Deut. 2. 12. a 3. 11, 14. Ond yr oedd Ezra yn addas i'r gorchwyl, oblegid yr oedd yn ddyn ysprydoledig. Cyfnewidiodd hefyd yr hen enwau oeddynt wedi myned yn anadnabyddus, ac a roddes y rhai adnabyddus yn eu lle, modd y deallai y bobl yn well yr hyn a ddarllenent. Dywedir yn Gen. 14. 14. i Abraham ddilyn y brenhinoedd hyd Dan, er mai enw y lle ydoedd Laish cyn i'r Daniaid feddiannu'r ddinas wedi marwolaeth Moses, ac a'i galwasant Dan, yn ol enw eu tad; ac amrywiol fannau eraill nid rhaid eu crybwyll ar hyn o bryd. Ysgrifenodd y cwbl allan yn y llythyrenau Caldeaidd. Y llythyrenau hyn wedi y caethiwed a ddaeth i ddefnydd cyffredinol ym mhlith y bobl, a'r hen lythyrenau Hebraeg a aethant agos yn anadnabyddus. Nid oeddynt mewn defnydd ond gan y Samariaid, ym mhlith y rhai y cedwir hwynt hyd heddyw. Yn yr hen lythyrenau Phœniciaidd yr ysgrifenodd Moses y gyfraith, a'r Prophwydi eu prophwydoliaethau. Ac er profi hyn

nid rhaid ond crybwyll, bod amryw ddarnau o aur wedi eu cael yng ngwlad Judah a'r geiriau canlynol arnynt yn y llythyrenau Phœniciaidd, *Jerusalem Kedoshah*—Jerusalem y Sanctaidd, yr hyn ni roddasai y Samariaid ar eu harian, oblegid eu digasedd at Jerusalem. O'r dyb hon y mae y rhai dysgediccaf ym mhlith y Rabbiniaid, ynghyd âg amrywiol o dadau boreuol yr Eglwys Gristionogol. Wedi i Ezra fyned drwy y gorchwyl pwysig o adgyweirio yr Ysgrythyrau, efe a'u darllenodd yn gyhoedd i'r bobl ar ŵyl yr udgyrn, fel y gwelir yn Nehemiah 8. Yr oedd gydag ef dri ar ddeg o Lefiaid, y rhai a gyfeithent y cwbl air yng air o'r Hebraeg i'r Galdeaeg, fel y deallai y bobl; ac felly efe a ymroddes i'r gwaith, a choronwyd ei ymdrechiadau â llwyddiant. Bernir mai efe a ddechreuodd sefydlu y synagogau, a darllen y gyfraith a'r prophwydi ynddynt.

---

## V. ZOROBABEL.

Zorobabel mab Salathiel ydoedd o waed brenhinol Judah, yn ŵyr i Jehoiacin y brenin, ac a wnaed yn llywodraethwr gwlad Judah drwy gommissiwn Cyrus, wrth yr enw Tirsatha; ei enw Babilonaidd ydoedd Sesbassar. Cychwynodd Zorobabel o Babilon ar rym cyhoeddiad Cyrus nid yn unig Judah a Benjamin, ond amrywiol o'r llwythau a ymgynnullasant dan faniar y llywydd er dychwelyd yn ol i wlad eu hynafiaid. Yr oedd cyhoeddiad Cyrus a chyhoeddiad Artacsercses Law-hir, neu yn fwy ysgolheigaidd, Longimanus, yn cynnwys holl bobl Israel. Yr oedd un i holl bobl Israel, a'r llall i holl bobl Duw Israel, hynny yw i bawb a addolent yr Arglwydd yn y deml yn Jerusalem; ac yr oedd y deml yn Jerusalem i Israel yn gystal a Judah. Darllenir am rai o feibion Ephraim a Manasseh yn cyfanneddu yn Jerusalem wedi y caethiwed, yn hanes yr Iuddewon gan Josephus. Ar ol i Zorobabel ddyfod i fynu gyda phlant y gaethglud, ymwasgarasant yn ol eu llwythau ar hyd y wlad i'w gwahanol ddinasoedd a'u hetifeddiaethau, er adeiladu eu tai a thrin eu maesydd; oblegid yr oedd y wlad wedi bod yn anghyfannedd am ddeuddeg mlynedd a deugain, sef o ffoedigaeth Gedaliah, a'r rhai a adawyd gan Nebuchodonosor er trin y tir, i'r Aipht. Ymddengys bod yr Iuddewon wedi esgeuluso cadw deuddeg a deugain o flynyddau Sabbathaidd, oblegid yr oedd pob seithfed flwyddyn i fod yn Sabbathaidd. Peidiasant a chadw y blynyddoedd Sabbathol hyd onid aethant fel y crybwyllwyd yn ddeuddeg a deugain, yr hyn a gynnwysai dri chant a thrugain mlynedd a phedair, yr hwn esgeulusdra a ddechreuodd yng nghychwyniad teyrnasiad Asa; oblegid hyn, Duw a fynnodd orphwysfa i'r wlad am yr yspaid dywededig. Gosododd Zorobabel sail yr ail deml i lawr, ac a adferodd addoliad Duw trwy aberth. Yr oedd ef a Joshua mab Josedech yr archoffeiriad yn dra gwangalon, a'r bobl hefyd oeddynt dra llwfr; ond Zechariah a Haggai y prophwydi a'u cefnogent, gan adrodd eu gweledigaethau, sef bod Joshua wedi ei weled yn cael ei bleidio gan y nef, ac y byddai i Zorobabel orphen y gwaith er pob rhwystrau,

ac y byddai gogoniant y tŷ diweddaf hwn yn fwy nâ'r cyntaf. Gorphenodd adeiladu y deml ym mhen ugain mlynedd wedi ei dechreu. Gadawodd ar ei ol saith o feibion. Yr oedd yn gysgod neillduol o'r Arglwydd Iesu Grist, yr hwn sydd yn cynnull gwasgaredigion y ddaear ynghyd, ac yn adeiladu teml fawr ysprydol, yr hon fydd mewn gogoniant byth yn y nef.

---

# LLYFR NEHEMIAH.

GELWIR Llyfr Nehemiah mewn rhai cyfieithiadau o'r Ysgrythyrau yn ail lyfr Ezra neu Esdras, a hynny oddiar y dyb a gofleidiwyd gan Athanasius, Epiphanes, Chrysostom, ac eraill, mai Ezra oedd ei awdwr. Yn y Biblau Hebraeg diweddar y mae enw Nehemiah wedi ei osod wrtho, yr hwn enw sydd hefyd yn ein Biblau ninnau. Nid y Nehemiah a ddaeth i fynu gyda Zorobabel ydoedd awdwr y llyfr hwn, ond un arall o'r enw, yr hwn ydoedd drulliad i'r brenin Artacsercses Longimanus. Yn ol rhai ysgrifenwyr, yr oedd y Nehemiah hwn o lwyth Lefi; ond yn ol eraill, o deulu brenhinol Judah; ac y mae yn debygol iawn ei fod o deulu tra anrhydeddus, oblegid yr oedd ei swydd fel trulliad o fri ac anrhydedd mawr yn y llys. Daeth i fynu i Jerusalem ym mhen tair blynedd ar ol Ezra, yn y swydd o lywodraethwr y dalaith dros frenin Persia; a rhoddid iddo gyflawn allu ac awdurdod i adeiladu muriau y ddinas, ac i ddwyn ym mlaen ddaioni a llwyddiant ei genedl hyd yr oedd ynddo. Wedi i Nehemiah lywodraethu y wlad am ddeuddeg mlynedd, (Neh. 13. 6.) dychwelodd yn ei ol at y brenin; ac wedi ychydig amser, cafodd ganiattad i ail ymweled â Chaersalem, lle mae yn debygol y gorphenodd ei ddyddiau, ac y casglwyd ef at ei dadau. Gellir rhannu ei lyfr yn bedair rhan.

RHAN I. Ymadawiad Nehemiah â Susan gyda'r commissiwn brenhinol i ail adeiladu muriau Jerusalem, a'i ddyfodiad cyntaf yno. Pen. i. a ii.

II. Hanes adeiladaeth y muriau, er holl wrthwynebiadau Sanbalat i rwystro y gwaith. Pen. ii—iv.

III. Y diwygiad cyntaf a ddygwyd oddi amgylch gan Nehemiah, yn cynnwys,

Dosp. 1. Cofres o'r personau a ddychwelasant gyntaf o Babilon, ynghyd â chyfrif o'r rhoddion at wasanaeth y deml. Pen. vii.

2. Hanes darlleniad y gyfraith a chadw gŵyl y pebyll. Pen. viii.

3. Ympryd difrifol ac ymddarostyngiad cyffredinol, ynghyd âg adnewyddiad y cyfammod rhwng yr Iuddewon a Jehofah. Pen. ix. a x.

Dosp. 4. Cyfrifiad o breswylwyr Jerusalem a'r dinasoedd eraill a berchennogid gan yr Iuddewon a ddychwelasant; ynghyd â chofres o'r archoffeiriaid a'r Lefiaid pennaf, a'r cantorion. Gorpheniad a chyssegriad y mur. Pen. xi. a xii.

Rhan IV. Yr ail ddiwygiad a ddygwyd oddi amgylch gan Nehemiah wedi ei ddychweliad yr ail waith i Jerusalem. Pen. xiii.

## HYNODION LLYFR NEHEMIAH.

### 1. NEHEMIAH.

Er i Ahasferus, sef Artacsercses Longimanus, ganiattau i Ezra ddychwelyd i fynu tua Jerusalem, ac er iddo ganiattau amryw ddiwygiadau yng ngweinyddiad y gyfraith a chrefydd, etto gwaharddodd i furiau Jerusalem gael eu hail adeiladu ac i'r ddinas gael ei hadferu i'w sefyllfa gyntefig; ond yn fuan wedi i Haman gael ei ddwyn i'w gospedigaeth, trodd pethau allan yn wahanol ac yn fwy ffafriol i'r Iuddewon. Yr oedd un o'r erthyglau yn yr heddwch a wnaeth Artacsercses â'r dinasoedd Groegaidd yn Asia, yn ei rwymo y byddent oll yn rhyddion ac i gael eu llywodraethu gan eu cyfreithiau eu hunain; na byddai i un llywodraethwr Persiaidd ddyfod â byddin o fewn i ymdeithiad tri diwrnod i lan y môr, ac nad oedd i un llong Bersiaidd hwylio o ben gogleddol Asia leiaf hyd derfynau Palestina. Wrth gael eu cau allan fel hyn, daeth o bwys i'r Persiaid wneuthur pob cyfeillgarwch â'r Iuddewon; oblegid gan fod Jerusalem o fewn ymdeithiad tri diwrnod i lan y môr, ac yn sefyll rhwng Persia a'r Aipht, yr oedd yn gyfleus neillduol er bod yn gadernid i'r ymerodraeth Bersiaidd; oblegid hyn, daeth Ahasferus yn yr ugeinfed flwyddyn o'i deyrnasiad i benderfyniad o ail adeiladu muriau Caersalem, a'u gwneuthur mor gadarn ag ydoedd alluadwy. A chan fod Zorobabel yn awr wedi marw, penderfynodd gael llywodraethwr y gallai ymddiried y byddai yn ffyddlon iddo. Y person a etholodd y brenin i'r swydd hon ydoedd Nehemiah, yr hwn ydoedd o dduwioldeb mawr ac o deulu anrhydeddus. Daeth Nehemiah i fynu i Jerusalem, ac a ymosododd yn egniol at y gorchwyl, gan gael ei gynnorthwyo gan Ezra ac eraill. Ond yn fuan wedi ymaflyd yn y gorchwyl, cyfododd gwrthwynebwyr lawer i Nehemiah; y Moabiaid a'r Ammoniaid dan Sanbalat a Tobiah a'u gwrthwynebasant; ac ym mhlith pethau eraill cynllwynasant am ei ladd, a chyflogasant Semaiah, offeiriad drygionus, i gyflawni y gorchwyl, yr hwn a addawodd ei lofruddio yng nghyssegr sancteiddiolaf y deml. Ond yr oedd Duw y nefoedd gyda Nehemiah, a'r bobl a lwyddasant yn eu hamcanion, fel y gwelwyd y muriau megis wedi adgyfodi o'r llwch, a Jerusalem o ran ei hymddangosiad allanol yn dra ardderchog. Gwnaed diwyg-

iadau lliosog, a chaed gan y bobl gyfaddef eu pechodau ger bron yr Arglwydd, a myned i gyfammod âg ef y byddai iddynt rhagllaw ufuddhau ym mhob dim i'r gyfraith. Ond cyn gynted ag yr aeth Nehemiah yn ei ol tua Babilon, er adnewyddu ei gommissiwn, yr Iuddewon yn uniongyrchol a ymlygrasant, gan rodio yn ol oferedd eu calonnau. Y Sabboth etto a halogwyd, a phriodasau anghyfreithlon a wnaed, yn yr hyn y rhoddes Eliasib yr archoffeiriad enghraifft iddynt; a thŷ yr Arglwydd a halogwyd drwy i Tobiah yr Ammoniad, y gelyn chwerwaf i'r Iuddewon, gael ei dderbyn iddo, ac anneddu dan ei gronglwyd. Y fath ydoedd sefyllfa pethau pan gafodd Nehemiah gommissiwn newydd oddiwrth y brenin, ag y dychwelodd yn ei ol yn llywodraethwr dros ei fywyd i wlad ei dadau. Blinwyd ef yn fawr wrth y golygfeydd a ganfyddai; ond yn cael ei gynnorthwyo gan y prophwyd Malachi, dechreuodd drachefn i ddiwygio pethau. Y mesur cyntaf a ddetholodd ydoedd darllen y gyfraith i'r bobl; a phan glywsant yn y gyfraith nad ydoedd Moabiad nac Ammoniad i gael ei dderbyn i gynnulleidfa yr Arglwydd hyd y ddegfed genhedlaeth, rhoddasant eu cynnorthwy yn ewyllysgar i fwrw Tobiah a'i gyfeillion allan o'r deml. Ei waith nesaf fu adferu y gwasanaeth dwyfol, ac i roddi y gyfraith mewn grym yn erbyn y priodasau estronol. Digwyddodd i Eliasib yr archoffeiriad farw yn y cyfwng hwn, a chanlynwyd ef yn yr archoffeiriadaeth gan Joiada neu Judas, mab i'r hwn o'r enw Manasseh a briododd ferch i Sanbalat y Cusiad, llywodraethwr Samaria; a chan na wnai Manasseh roddi heibio ei wraig, Nehemiah a'i bwriodd yntau allan o'r ddinas. Manasseh ar hyn a ffodd at Sanbalat ei dad-yng-nghyfraith i Samaria; ac ym mhen blynyddau wedi hyn, daeth i fod yn archoffeiriad teml a adeiladwyd iddo ar fynydd Gerizzim, yn debyg i deml Jerusalem. Yn y wedd hon yr aeth Nehemiah ym mlaen gydag egni a zêl am flynyddoedd lawer; ond dros ba hyd y bu fyw y mae yn anhawdd dywedyd. Yr oedd yn llywodraethwr yn Judea yn y bumthegfed flwyddyn o deyrnasiad Darius Nothus; ond nid oes amlygiad pa un o honynt a fu farw gyntaf. Yr oedd yn cydoesi a Nehemiah, heblaw Ezra yr ysgrifenydd, y prophwydi Haggai, Zechariah, a Malachi, y rhai a'i cynnorthwyent yn ei holl orchwylion.

---

## II. Y SYNAGOGAU.

Mewn perthynas i'r Synagogau, diau iddynt gael eu sefydlu gan Ezra, ond i'r cynllun gael ei berffeithio wedi ei amser ef yn raddol. Wedi i Ezra sefydlu Canon yr Ysgrythyrau, ei ofal nesaf ydoedd pennodi personau addas, sef y rhai mwyaf dysgedig o'r Lefiaid, i ddarllen a dehongli y gyfraith a'r prophwydi iddynt. Gwnaed hyn ar y cyntaf yn ol y dull y cyflawnai Ezra ei hun y gorchwyl, sef trwy gasglu y bobl ynghyd mewn rhyw heol fawr a llydan; ond yn nhymmor y gauaf ac ar dywydd gwlyb yr oedd hyn yn dra anghyfleus, ac felly mewn amser aed at y gorchwyl o adeiladu tai er ymgynnull i'r perwyl o wrando darlleniad y gyfraith a'r prophwydi, ynghyd â dehongliadau arnynt. Adeiledid y Synagogau yn neu

allan o'r ddinas, a hynny yn gyffredin ar le uchel. Yng nghanol y Synagog y mae math o areithfa, ac o'r lle hyn y darllenir y gyfraith yn ddifrifol, ei dehonglir, ac y pregethir i'r gynnulleidfa. Ar gyfer y drws, yr hwn bob amser sydd tua'r gorllewin, y mae coffr, yn yr hwn y cedwir y gyfraith, yr hwn lyfr sydd oblygedig mewn brethyn brodiedig. Y benywaid ydynt ar wahan oddiwrth y gwrrywaid, mewn oriel amgylchynedig gan ddellt. Ym mhob tref lle y byddai deg o ddynion o gyflawn oedran ac mewn sefyllfa rydd, bob amser mewn cyfleusdra ar ddyddiau yr wythnos yn gystal ag ar y Sabbathau, i fyned i'r gwasanaeth, ystyrid y nifer hyn yn ddigonol er adeiladu Synagog; ac oni fyddai y nifer hyn, ni chaniatteid ei hadeiladu. Nid oeddynt ond anaml ar y cyntaf, ond lliosogwyd hwynt i raddau anghyffredin, fel yn nyddiau ein Hiachawdwr nad ydoedd tref drwy holl Judea heb un neu ychwaneg o Synagogau ynddynt; a dywedir bod yn Jerusalem ei hun bedwar cant ac wyth o honynt. Uwch ben y drws y mae yn ysgrifenedig, "Dyma borth yr Arglwydd! y cyfiawn a ga fyned i mewn iddo:" ac ar y muriau y mae y darnau ymadroddion canlynol, neu rai tebyg iddynt yn ysgrifenedig—"Cofia dy Greawdwr—Cadw dy droed pan elych i dŷ yr Arglwydd—Distawrwydd sydd ganmoladwy yn amser gweddi." Yng ngwasanaeth y Synagog, y peth cyntaf a wneid fyddai gweddio; a'u gweddiau ar y cyntaf nid oeddynt ond ychydig, eithr ychwanegwyd attynt, fel y maent yn bresennol yn dra lliosog. Y dosparth difrifolaf o wasanaeth y Synagog a elwir gan yr Iuddewon *Shemoneh Eshreth;* hynny ydyw, y deunaw gweddi, y rhai yn ol eu barn hwy a gyfansoddwyd gan Ezra; ac y mae yr holl Iuddewon yn rhwym o adrodd y gweddiau crybwylledig dair gwaith yn y dydd. Ni adroddir y rhai hyn y naill ar ol y llall yn nesaf i'w gilydd, ond yng nghanol gweddiau eraill, yr hyn sydd yn gwneuthur y gwasanaeth yn faith iawn. Y mae tri darlleniad yn perthyn i wasanaeth y Synagog, sef y *Shema,* y Gyfraith, a'r Prophwydi: cynnwysa y *Shema* dri dosparth o'r Ysgrythyrau; y cyntaf sydd yn dechreu yn y bedweredd adnod o'r chweched bennod o Deuteronomium, hyd ddiwedd y nawfed adnod; yr ail a ddechreua yn y drydedd adnod ar ddeg o'r nawfed bennod o'r unrhyw lyfr, hyd ddiwedd yr unfed adnod ar hugain; a'r trydydd dosparth a ddechreua yn yr ail adnod ar bumtheg ar hugain o'r bumthegfed bennod o Numeri, ac yn parhau hyd ddiwedd y bennod. Gelwir y darlleniad hwn *Shema,* hynny yw, Gwrandewch, am mai hwn yw y gair cyntaf yn y dosparth cyntaf. Y mae pum' llyfr y gyfraith hefyd wedi eu rhannu yn bedwar dosparth ar ddeg a deugain, a darllenir y rhai hyn unwaith drosodd bob blwyddyn. Yn yr erledigaeth dan Antiochus Epiphanes, pan y gwaharddwyd darllen y gyfraith, darllenwyd yn eu lle y prophwydi, y rhai gyda y gyfraith a ddarllenir yng ngwasanaeth y Synagog hyd heddyw. Pan ddarllenid y gyfraith a'r prophwydi, yr oedd y dehongliad hefyd yn cael ei roddi arnynt; oblegid darllenid hwynt yn yr iaith Hebraeg, ac yna yn cael eu cyfieithu i'r Galdaeg, yr hon iaith a ddeallid gan y werin wedi y caethiwed. Wedi y darlleniad a'r dehongliad, gallai unrhyw berson gwyddfodol o ddysg a gwybodaeth annerch y gynnulleidfa ar unrhyw bwngc crefyddol; ac yn neillduol erfynid ar, a disgwylid i ddieithriaid wneuthur hyn, megis pan ddaeth yr Apostol

Paul a'i gymdeithion i Antioch yn Pisidia, pan wedi darllen y gyfraith a'r prophwydi, yr anfonodd llywodraethwyr y Synagog attynt i ddeisyfu arnynt roddi cynghor i'r gynnulleidfa; oblegid nid ydoedd gwasanaeth y Synagog yn perthynu i'r offeiriadaeth fel gwasanaeth y deml, canys gallai pawb, fel y crybwyllwyd, gymmeryd eu rhan ynddo. Y rhai blaenaf perthynol i'r Synagog oedd yr *Archisynagogi*, sef llywodraethwyr y Synagog; ond pa nifer o honynt a berthynent i bob un y mae yn anhawdd gwybod. Y nesaf attynt ydoedd Gweinidog y Synagog, gwaith yr hwn ydoedd darllen y gweddiau, a gelwid ef oblegid ei swydd *Shalliach Zibba*, hynny yw, Angel yr eglwys neu y gynnulleidfa; oddiwrth yr hwn enw y gelwir esgobion neu weinidogion eglwysi Asia yn angylion y saith eglwys. Yn nesaf at yr angel oedd y diaconiaid neu îs-weinidogion y Synagog, a elwid yn Hebraeg *Chazanim*, y rhai oeddynt i edrych ar ol pob peth a berthynai i'r Synagog. Ac yn nesaf at y golygwyr hyn oedd y cyfieithwr, swydd yr hwn ydoedd adrodd yn y Galdaeg y llithiau a ddarllenid yn Hebraeg, a rhoddid cyflog iddo gan y llywodraethwyr am ei wasanaeth. Bu sefydliad y Synagogau o wasanaeth mawr i'r genedl Iuddewig er eu cadw rhag eilun-addoliaeth, ac er eu hegwyddori yn y gyfraith a phethau crefyddol; a dios bod llawer o drefniadau y Synagogau yn yr eglwysi Cristionogol cyntefig, oblegid ym moreuddydd Cristionogaeth yr oedd mwy o'r Ysgrythyrau yn cael eu darllen, mwy o wybodaeth grefyddol yn cael ei dysgu, a manylach egwyddori nag a wneir yn bresennol.

---

### III. TEML GERIZZIM.

Crybwyllwyd yn barod am waith Manasseh, mab Joiada yr archoffeiriad, yn cael ei ymlid o Jerusalem am ei briodas a merch Sanbalat, llywodraethwr Samaria, ac iddo yntau ffoi at ei dad-yngnghyfraith i Samaria ar yr achlysur. Yn yr amser hwn digwyddodd bod Darius Nothus brenin Persia mewn rhyfel â'r Aipht, a thebygol iawn i Darius yn bresennol ddyfod i Phœnicia ar yr achlysur hwn, ac i Sanbalat llywodraethwr Samaria fyned i'w gyfarfod, a thrwy ei weniaeth ennill ei ffafr a'i ewyllys da i'r fath raddau, fel y cafodd ganiattad i adeiladu teml ar fynydd Gerizzim yn gyffelyb i deml Jerusalem, ac i'w fab-yng-nghyfraith Manasseh gael gweinyddu ynddi fel archoffeiriad. Adeiladwyd y deml yn dra buan; ac wedi gwneuthur Manasseh yn archoffeiriad, daeth Samaria i fod megis noddfa i'r holl Iuddewon gwrthnysig, y rhai a halogent y gyfraith, ac a wrthodent fyw yn ol ei rheolau yn Jerusalem. A thrwy fod y fath nifer o Iuddewon yn ffoi yno, daeth y Samariaid a hwythau yn un bobl, yr hyn a achosodd gyfnewidiad mawr ar grefydd yn Samaria; oblegid cyn hyn ni addolai y Samariaid Dduw Israel ond mewn cyssylltiad â duwiau eraill; ond wedi adeiladaeth y deml newydd, yn yr hon y cyflawnid y gwasanaeth yn ddyddiol megis ag y gwneid yn Jerusalem, a llyfr y gyfraith a ddygwyd i Samaria, ac a ddarllenid i'r bobl, y rhai yn fuan a adawsant wasanaeth y mân dduwiau, ac a gyd-ymffurfiasant yn hollol â gwasanaeth ac âg addol-

iad y gwir Dduw; a chyfaddefa rhai o'r doctoriaid Iuddewig eu bod yn fwy manwl gyda eu gwasanaeth nâ'r Iuddewon eu hunain. Yr oedd digasedd yr Iuddewon at y Samariaid yn fawr iawn, yr hwn a ddechreuodd oblegid y gwrthwynebiad a gafodd yr Iuddewon oddiwrth y Samariaid, pan ddychwelasant yn ol o gaethiwed Babilon; a'r digasedd hwn a gynnyddodd oblegid gwrthgiliad Manasseh ac eraill gydag ef, ynghyd â'u gwaith yn adeiladu teml ac yn cyfodi allor er gwrthwynebu Jerusalem. Cynnyddodd y chwerwder i'r fath raddau, fel y cyhoeddodd yr Iuddewon felldith arnynt, gan eu rhoddi dan Anathema, y fwyaf ddychrynllyd a gyhoeddwyd yn erbyn unrhyw bobl erioed. Oblegid y felldith hon, nid ydoedd y gyfeillach leiaf i fod rhyngddynt â'r Samariaid, a holl gynnyrch gwlad Samaria a gyhoeddwyd yn ffieidd-dra, unwedd a chig moch, ac nad ydoedd neb o'r genedl i gael eu derbyn byth megis proselytiaid at eu crefydd hwynt; ac aethant mor bell a gwarafun iddynt ran yn adgyfodiad y rhai cyfiawn yn y dydd diweddaf. Yr oedd y melldithion hyn yn ychwanegu yn feunyddiol, oblegid rhoddid rhai newyddion attynt; a'r fath ydoedd casineb yr Iuddewon tuag attynt, fel na wnaent siarad nac ymddiddan â neb o honynt: ac oblegid hyn synnai y wraig o Samaria bod ein Hiachawdwr yn gofyn dwfr ganddi i'w yfed. Yr enw wrth ba un y gelwid y Samariaid gan yr Iuddewon ydoedd y Cutheaid; ac er dangos eu casineb at yr Iachawdwr, dywedai yr Iuddewon mai Samariad ydoedd, a bod ganddo gythraul. Ond y Samariaid a wadent eu tarddiad oddiwrth y genedl a roddwyd yn lle y deg llwyth gan Eserhadon, ond honnent iddynt ddeilliaw oddiwrth blant Joseph, gan arddel Jacob fel eu tad. Gwahaniaethai yr Iuddewon a'r Samariaid yn eu crefydd yn y pethau canlynol:

1. Ni dderbyniai y Samariaid yr Ysgrythyrau, ond pum' llyfr Moses yn unig, gan wrthod pob llyfrau eraill yn y Canon Iuddewig. Y mae y pum' llyfr ganddynt hyd heddyw, yn ysgrifenedig yn yr hen lythyrenau Hebraeg neu Phœniciaidd, y rhai a arferid gan yr Iuddewon cyn caethiwed Babilon, ond a gyfnewidiwyd gan Ezra, yr hwn a ysgrifennodd y llyfrau sanctaidd yn y llythyrenau Caldeaidd; ac o ysgrif Ezra y cymmerwyd y copi Samaritanaidd, ond yn unig iddynt ei ddodi yn ol yn yr hen lythyrenau. Ond y mae yn amlwg i'r Samariaid wneuthur cyfnewidiadau bwriadol a gwirfoddol yn eu hysgrif, er ymddiffyn eu hachos yn erbyn yr Iuddewon.

2. Gwahaniaeth arall rhwng crefydd yr Iuddewon ac eiddo y Samariaid ydoedd, bod y Samariaid yn gwrthod pob traddodiadau, ac yn glynu wrth y gair ysgrifenedig yn unig. Yn hyn rhagorent ym mhell ar yr Iuddewon, canys yr oeddynt hwy wedi cryglwytho pob traddodiadau i'w crefydd, ac wedi dirymu y gyfraith â'u sothach.

3. Y trydydd gwahaniaeth rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid ydoedd, ynghylch y lle o addoliad; y mae hyn yn amlwg oddiwrth yr ymddiddan a fu rhwng ein Iachawdwr a'r wraig o Samaria. Yn ol y gyfraith a roddwyd drwy Moses, yr oedd y gwasanaeth crefyddol i gael ei weinyddu yn y lle a ddewisai yr Arglwydd i osod ei enw ynddo, a'r lle hwnnw ydoedd Jerusalem. Deut. 12. 5, 11, 14, 18, 26. a 15. 26. a 16. 2, 6, 7, 15, &c. Adeiladwyd y deml yn Jerusalem wrth gyfarwyddyd yr Arglwydd, yr hon hefyd a gys-

segrodd efe drwy ei bresennoldeb, ac yno yr oedd holl lwythau Israel i addoli: ond wedi adeiladu teml newydd ar fynydd Gerizzim, dadleuai y Samariaid mai mynydd crybwylledig ydoedd y lle yn yr hwn yr oedd Duw y nefoedd i gael ei addoli; oblegid, meddynt, yno yr addolodd ac yr aberthodd Abraham a Jacob, a thrwy hynny iddynt gyssegru y lle i'r Arglwydd. Gen. 12. 6, 7. a 13. 4. a 33. 20. Ac oblegid hyn mai Gerizzim ydoedd mynydd y fendith, ar ddyfodiad plant Israel o wlad yr Aipht; ac i Joshua, wedi dyfod drwy yr Iorddonen, adeiladu allor ar y mynydd hwn o'r cerrig a gyfodwyd o'r Iorddonen, yn ol y gorchymmynodd Duw i Moses. Deut. 27. 2—7. Ond er gwneuthur eu dadl yn dda ar y pen hwn, bu y Samariaid yn euog o halogi yr Ysgrythyrau yn bechadurus; oblegid gorchymmyn Duw i Moses yn Deut. 27. 4. ydoedd gosod i fynu allor ar fynydd *Ebal*, ond yn lle Ebal, rhoddasant hwy *Gerizzim* i mewn, a hynny o ddiben i wasanaethu eu hachos eu hunain. Llefarai yr Iuddewon yn uchel yn eu herbyn am hyn, a'r Samariaid hwythau a ddywedent mai yr Iuddewon a wnaethant y cyfnewidiad, trwy roddi Ebal yn lle Gerizzim; ond gwnaeth y Samariaid yr un peth hefyd yn yr ugeinfed bennod o Ecsodus, lle yr ychwanegasant ar ol y degfed gorchymmyn, bod i'r cerrig a gyfodid o'r Iorddonen gael eu gosod i fynu yn allor ar fynydd Gerizzim. Yr oedd y ddau fynydd, a elwid Gerizzim ac Ebal, yn llwyth Ephraim, yn agos i Samaria; ac yn y dyffryn rhwng y ddau y mae Sichem, a elwir yn bresennol Naplous, lle y mae gweddillion y sect Samaritanaidd er yr amser yr ymlidiwyd hwynt o Samaria gan Alecsander, oblegid marwolaeth Andromachus. Gelwid y lle hwn mewn ffordd o wawd gan yr Iuddewon yn nyddiau ein Hiachawdwr yn Sichar, wrth ba enw ei gelwir yn efengyl Ioan, pen. 4. 5. Arwydda yr enw Dinas feddw; a chan i'r prophwyd Esay alw yr Ephraimiaid, y rhai a gyfanneddent yn y parthau hyn, wrth yr enw Sichorim, sef meddwon, yr oedd ganddynt ryw fath o hawl i'r enw. Yn agos i'r lle hwn yr oedd y maes a brynodd Jacob gan feibion Hamor, a'r hwn a roddes efe ychydig cyn ei farwolaeth i'w fab Joseph. Yn hwn y claddwyd esgyrn Joseph, ac o fewn i'r un maes yr oedd ffynnon Jacob, wrth yr hon yr eisteddodd ein Hiachawdwr pan fu yn ymddiddan â'r wraig o Samaria. Ond wedi yr holl ymddadleu rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid ynghylch y ddau fynydd dan sylw, yr oedd Jerome yn gwbl o'r farn nad y mynyddoedd hyn yw y Gerizzim a'r Ebal a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau, a bod y rhai hynny yn agos i Jericho. Dywedai yr Iuddewon bod y Samariaid yn euog o eilun-addoliaeth ddyblyg yn y lle hwn; yn gyntaf, eu bod yn addoli delw colommen; yn ail, eu bod yn rhoddi parch dwyfol i ryw deraphim, neu eilun-dduwiau wedi eu cuddio dan y mynydd. Ond nid oedd ganddynt ond y seiliau gwannaf i'r haeriadau hyn; oblegid wedi i Manasseh ddyfod i'w plith, efe a'u dysgodd yng nghyfraith Moses, a hwy a ddaethant yn addolwyr gwresog o'r gwir Dduw. Wedi i'r ddadl hon barhau am oesau rhwng y ddwy genedl ynghylch y lle o addoli, y mae yn awr wedi darfod; oblegid gan nad beth a fu ewyllys yr Arglwydd yn y dyddiau gynt, dan weinyddiad goruchwyliaeth Moses, y mae efe yn awr yn edrych yn rasol ar ei holl wir addolwyr, gan dderbyn eu gwasanaeth, a chan eu bendithio.

# LLYFR ESTHER.

Y LLYFR hwn a ddeillia ei enw oddiwrth y person, hanes yr hon yn fwyaf neillduol a adroddir ynddo, ac a elwir gan yr Iuddewon *Megilloth Esther*, neu Rol Esther. Y mae yr hanes a gynnwysa yn dyfod i mewn rhwng y chweched a'r seithfed bennod o Ezra. Gwadwyd awdurdod ddwyfol y llyfr hwn gan rai o'r tadau, am nad ydyw enw yr Arglwydd i'w gael ynddo; ond os ydyw yn fyr o *enw* yr Arglwydd, nid ydyw yn fyr o ol ei enw. Y mae y llyfr hwn bob amser mewn parch a bri mawr gan yr Iuddewon, ac yn cael ei ystyried yn gyfartal â llyfrau Moses; a chredant pa ddinystr bynnag a ddelo i'r Ysgrythyrau eraill, y diogelir pump llyfr Moses a llyfr Esther gan ragluniaeth y Goruchaf. Mewn perthynas i'w awdwr, y mae beirniaid ysgrythyrol yn dra gwahanol yn eu barnau, mor wahanol, fel y mae yn dra anhawdd i benderfynu dim ar y matter. Rhai a farnant iddo gael ei ysgrifenu gan wyr mawr y synagog, y rhai o amser Ezra hyd Simon y cyfiawn a olygent yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Philo yr Iuddew ydoedd o'r farn iddo gael ei ysgrifenu gan Joiachin mab Joshua yr archoffeiriad, yr hwn a ddychwelodd o Babilon gyda Zorobabel; eraill mai gan Mordecai ac Esther, oblegid y dywedir yn pen. 9. 20, 23. "A Mordecai a ysgrifenodd y geiriau hyn, ac a anfonodd lythyrau at yr holl Iuddewon oedd trwy holl daleithiau'r brenin Ahasferus, yn agos ac ym mhell. A'r Iuddewon a gymmerasant arnynt wneuthur fel y dechreuasent, ac fel yr ysgrifenasai Mordecai attynt." Ond y mae cyssylltiad yr ymadroddion crybwylledig yn profi yn eglur mai nid y llyfr a feddylir, ond y llythyrau a anfonid at yr Iuddewon drwy holl ymerodraeth Persia, yn mynegi y waredigaeth fawr oddiwrth eu holl gaseion, a sefydliad y gylchwyl flynyddol er cadw hynny mewn coffadwriaeth.

Yr helyntion a adroddir yn y llyfr hwn a gymmerasant le dan deyrnasiad y brenin Artacsercses Longimanus; er a ddywedir gan rai dysgedigion yn erbyn hyn. Y mae Scaliger a John yn barnu mai nid Longimanus ydoedd yr Ahasferus hwn, ond yn hytrach mai Darius mab Hystaspes ydoedd. Eithr y mae Dr. Prideaux, wedi yr ymchwiliad manylaf, o'r farn mai Artacsercses Longimanus ydoedd Ahasferus Esther: o'r un farn y mae Josephus yr hanesydd Iuddewig, y deg a thrugain. ac awdwr yr hyn a elwir y relyw o lyfr Esther yn yr Apocrypha. Yr Artacsercses Longimanus hwn a deyrnasai yn amser Ezra a Nehemiah, o herwydd hyn barnai Augustine mai Ezra oedd ysgrifenydd llyfr Esther, a'r hyn sydd dra thebygol. Cychwyna yr hanes a adroddir yn y llyfr hwn ynghylch y flwyddyn o oed y byd 3544, ac yn parhau am o ddeutu deunaw neu ugain mlynedd. Adrodda am ddyrchafiad caethes Iuddewig i orsedd Persia, a'i gwaredigaeth rhagluniaethol hi a'i chenedl rhag ystrywiau bradwrus Haman. Cynnwysa y llyfr hwn ddwy ran:

RHAN I. Dyrchafiad Esther; a'r gwasanaeth mawr a wnaeth Mordecai i'r brenin, drwy ddatguddio y fradwriaeth a gynlluniwyd yn erbyn ei fywyd. Pen. i. a ii.

RHAN II. Dyrchafiad Haman, a'i amcan yn erbyn y genedl Iuddewig yn cael ei rwystro.

Dosp. 1. Dyrchafiad Haman, a'r achos oblegid pa un y cynllluniodd ei fradwriaeth yn erbyn yr Iuddewon. Pen. iii.

2. Blinder mawr yr Iuddewon mewn canlyniad, a'r mesurau a ddetholasant. Pen. iv.

3. Haman yn cael ei rwystro yn ei amcan yn erbyn bywyd Mordecai. Pen. v—vii.

4. Bradwriaeth gyffredinol Haman yn erbyn yr Iuddewon yn cael ei rhwystro. Pen. viii. a ix.

5. Sefydliad gŵyl y Pwrim er coffâu am waredigaeth yr Iuddewon a dyrchafiad Mordecai. Pen. ix. a x.

Yn ein Biblau ni y mae llyfr Esther yn terfynu yn y drydedd adnod o'r ddegfed bennod; ond yn y Biblau Groeg a Vulgate y mae deg o adnodau wedi eu hychwanegu attynt, ynghyd â chwech o bennodau gan yr Eglwysi Groegaidd a Rhufeinaidd, y rhai a gyfrifir ganddynt hwy yn ganonaidd. Eithr am nad ydynt yn yr Hebraeg, bwriwyd hwynt allan o'r Canon Sanctaidd gan y Protestaniaid; a'r farn gyffredinol ydyw, iddynt gael eu cyfansoddi a'u hysgrifenu ar y cyntaf gan ryw Iuddewon Hellenisticaidd er atteb rhyw ddibenion ydoedd ganddynt hwy mewn golwg.

## HYNODION LLYFR ESTHER.

WEDI i Artacsercses Longimanus, neu fel y gelwir ef yn llyfr Esther, Ahasferus, fuddugoliaethu ar ei elynion, cyhoeddodd wledd fawr i'w dywysogion a'i fawrion, yr hon a barhaodd gant a phedwar ugain o ddyddiau. Ac ar derfyn y wledd pan ydoedd yn llawn o win, anfonodd am y frenhines Fasti, yr hon ydoedd dra phrydweddol, i ddyfod atto yn ei gogoniant mwyaf, fel y gwelai y tywysogion, y pendefigion, a'i holl gymdeithion ei thegwch hi. Ond yn gymmaint a bod hyn yn groes i'r defodau cyffredinol yn gystal a gweddeidd-dra, gwrthododd y frenhines gydsynio â'i gais, oblegid yr hyn collodd ei choron, ac y rhoed hi heibio drwy gynghor cynghorwyr y brenin. Rhoed gorchymmyn allan am gynnull ynghyd ryw nifer o forwynion, er dewis brenhines o'u plith, a'r fwyaf glandeg a phrydweddol yn eu plith ydoedd Hadassah, nith Mordecai y Benjaminiad, yr hwn a gaethgludwyd. Y fenyw hon, i'r hon y rhoddes y Persiaid yr enw Esther, sef seren, a ennillodd serchiadau Ahasferus, fel y dewisodd hi o flaen yr holl forwynion eraill er bod yn wraig iddo. Ond am ryw amser dirgelwyd ei chenedl oddiwrth y brenin, yr hyn a gelodd hi drwy gyfarwyddyd Mordecai; oblegid yr oedd yr Iuddewon yn dra isel eu sefyllfa,—yn gaethion, ac felly yn ddirmygus gan y brenin. Yn y cyfwng daeth Haman yr Amaleciad yn wr o gyfrinach y brenin; a chan ei urddas yn y llys, rhoddid iddo bob parch ac anrhydedd gan y rhai

oeddynt islaw iddo, fel y gwneir hyd heddyw yn y llysoedd dwyreiniol. Ond oblegid yr hen chwerwder rhwng yr Iuddewon a'r Amaleciaid, ni ymgrymmai Mardocheus iddo (mwy na chwaer) ac ni chymmerai y sylw lleiaf o hono. Ennynodd digllonedd Haman yn ofnadwy yn erbyn Mordecai; a phan ddeallodd i bwy genedl y perthynai, tynnodd gynllun er eu dinystrio oll drwy yr holl ymerodraeth mewn un diwrnod. Yn unol â choelgrefydd ei deulu, efe, wedi tynnu ei gynllun yn y mis cyntaf, a wnaeth i'w fradwyr fwrw pwr, sef coelbren, o ddydd i ddydd, er cael y dydd dedwyddol i lofruddio yr holl Iuddewon; a chan i'r coelbren syrthio ar y mis diweddaf, cafodd Mordecai gryn amser er rhwystro y gelanedd. Yn y gwledydd dwyreiniol, ni feiddia gwraig anwylaf y brenin agoshau atto na dyfod i'w wyddfod, dan berygl marwolaeth, oni erchir iddi. Ond Esther, er y perygl, ac am fod ei chenedl yn yr enbydrwydd mwyaf, a ddaeth un diwrnod i neuadd fawr y brenin, lle yr oedd efe yn eistedd ar ei orsedd, ac yn cael ei amgylchynu gan swyddogion pennaf ei lys; syrthiodd wrth ei draed, gan erfyn arno roddi ei chais iddi. Y brenin a'i cyfododd, a chan faddeu iddi ei throsedd, a addawodd gydsynio â'i deisyfiad; ac o ychydig i ychydig hi a ddatguddiodd Haman, fel y gorchymmynodd ei grogi ar y pren a barottodd efe i Mordecai. Ond yr oedd y gorchymmyn o hyd mewn grym yn erbyn yr Iuddewon, ac ni allid galw yn ol y cyhoeddiad a ysgrifenwyd yn enw y brenin ac a seliwyd â'i sêl, yn ol deddf y Mediaid a'r Persiaid; a'r unig beth a allasai y brenin ei wneuthur ydoedd, rhoddi gorchymmyn newydd allan yn erchi i'r Iuddewon sefyll ar eu hymddiffyniad yn wyneb ymosodiad eu caseion arnynt. A phan ddaeth y trydydd dydd ar ddeg o fis Adar, yr Iuddewon drwy yr holl ymerodraeth oeddynt dan arfau; safasant ar eu hymddiffyniad, ac a laddasant lawer o'u gelynion, gan gael ymwared mawr. Cafodd yr Iuddewon nodded mawr gan y brenin Ahasferus, drwy Esther, Mordecai, ynghyd â bod pob peth yn cyd-weithredu er adferu y genedl, a'u cadw yn fyw er gwaethaf eu holl elynion. Cadwyd y waredigaeth hon mewn coffadwriaeth gan yr Iuddewon drwy yr oesau hyd y dydd hwn, nid amgen nâ thrwy ympryd a gwledd. Yr ympryd a alwant yn ympryd Esther, a'r wledd yn wledd y Pwrim, sef y coelbrennau, y rhai a fwriodd Haman er eu dinystrio. Cedwir y wledd yn annuwiol gan yr Iuddewon, oblegid rhoddant eu hunain i fynu i loddest, digrifwch, a llawenydd, gan yfed gwin i feddwdod; a'r esgus dros hyn ganddynt ydyw, mai trwy wledd o win y dygodd Esther y brenin i dymmer o arbed y genedl rhag a fwriedid iddi. Ar yr ŵyl hon y darllenir Esther yn eu holl synagogau, o'i ddechreu i'w ddiwedd, pryd yr ymgynnullant oll, yn wyr, yn wragedd, yn blant, ac yn wasanaeth-ddynion, oblegid iddynt fod oll yn y perygl; a phob tro y darllenir enw Haman, curant eu dwylaw ynghyd, a'u traed yn erbyn y ddaear; a gwaeddant yn uchel, "Bydded i'w goffadwriaeth ddarfod." Hon ydyw yr ŵyl ddiweddaf a gedwir ganddynt yn y flwyddyn, oblegid y nesaf ydyw y Pasg, yr hwn bob amser sydd yn digwyddo yng nghanol y mis a ddechreua y flwyddyn Iuddewig.

## PENNOD III.

# Y LLYFRAU BARDDONAWL.

Er bod rhai o'r Llyfrau Barddonawl wedi eu cyfansoddi yn gynt ac o flaen amryw o'r rhai hanesiol, etto y maent wedi eu cyfleu gyda eu gilydd, am eu bod oll agos wedi eu cyfansoddi ar fesur cerdd Hebraeg. Y mae yr enwad Llyfrau Barddonawl, wrth yr hwn eu gelwir, yn hen iawn. Gregori Nazianzen a'u geilw, Y Pump Llyfr Mesur Cerdd: Amphilochius, Epiphanes, a Cyril o Gaersalem a'u geilw wrth yr unrhyw enwad. Y Llyfrau Barddonawl ydynt bump mewn nifer; sef Job, y Salmau, y Diarhebion, y Pregethwr, a'r Caniadau, neu Ganiad Salomon. Yn y Canon Iuddewig o'r Ysgrythyrau y maent wedi eu cyfleu ym mhlith yr Hagiographa, neu yr Ysgrifeniadau Sanctaidd; ac yn ein Biblau ni, y maent wedi eu gosod rhwng y llyfrau hanesiol a phrophwydoliaethol.

# LLYFR JOB.

Gelwir hwn yn llyfr Job oddiwrth enw y patriarch anrhydeddus y rhoddir ei hanes ynddo; ac nid oes un llyfr yn y Gyfrol Sanctaidd y mae dysgedigion wedi ac yn amrywio cymmaint yn eu barnau yn eu herwydd a hwn. Er ei fod yn adrodd hanes person neillduol, etto gwedir hanfodaeth Job, a haerir mai dammeg ydyw yr holl lyfr. Y farn hon a fabwysiadwyd ac a draddodwyd gyntaf gan y Rabbi Iuddewig Maimonides; ac wedi hynny cofleidiwyd yr un dyb gan Leclerck, Michaelis, Sembler, yr Esgob Stock, ac eraill; ond y mae yr eglwys Iuddewig a'r un Gristionogol o'r farn o hanfodaeth Job, ac mai ei hanes ef fel person a adroddir yn y llyfr. Y dadleuon mwyaf yn erbyn sylweddolrwydd llyfr Job a ffurfir oddiwrth natur ei ragymadrodd, lle yr ymddengys satan megis cyhuddwr Job, ac yn adrodd ei newyddion yn y gororau nefol; ond nid oes dim yn anhygoel yn hyn, oblegid gelwir satan yn gyhuddwr y brodyr, a'i fod yn eu cyhuddo hwy yn wastad ddydd a nos; ac nid oes angenrheidrwydd am ddammeg er gosod allan adfyd, helyntion, a gorthrymderau dynion da, oblegid y mae hyn yn digwyddo iddynt ym mhob oes. Bod y fath ddyn a Job wedi hanfodi, a ellir gasglu oddi wrth amrywiol rannau o'r Ysgrythyr ym mha rai ei crybwyllir. Llefara y prophwyd Ezeciel am dano wrth ei enw, gan ei gyssylltu â Noe ac â Daniel, pen. 14. 14. Yr Apostol Iago hefyd yn pen. 5. 11. a sonia am amynedd Job, gan ei enwi megis dyn wedi ymdawelu dan ei holl gystuddiau. Ac heblaw bod crybwylliad am ei enw yn yr Ysgrythyrau, y mae tystiolaeth traddodiadau y dwyrain o blaid

bod un o'r fath wedi hanfodi: crybwyllir ei enw yn llyfr Tobit, a chan Mohammed, ac amryw eraill, fel dyn wedi dioddef llawer o gystuddiau; ac nid oes dim yn anghredadwy yn yr holl hanes.

Mewn perthynas i'r oes yr oedd Job yn byw ynddi, y mae rhai wedi barnu ei fod yn gydoeswr a Moses, am y tybient eu bod yn gweled rhyw debygoliaeth yn ymddiddanion Moses a Job: eraill a feddyliant ei fod yn byw yn amser y Barnwyr, ac eraill mewn gwahanol oesau. Ond y mae Grotius yn barnu nad ydoedd digwyddiadau llyfr Job yn ddiweddarach nag ymdeithiad yr Israeliaid yn yr anialwch; Esgob Warburton a ganiatta fod y llyfr yn dwyn nodau hynafiaeth; a Michaelis, bod ei ddull yn hollol Abrahamaidd, hynny ydyw, y fath a berthynai i hiliogaeth Abraham, yn Israeliaid, yn Ismaeliaid, ac Idumeaid. Y rhai canlynol ydynt yr amgylchiadau pennaf, oddiwrth ba rai y gellir casglu oes Job.

1. Y mae yr Amseryddiaeth Ysgrythyrol yn pennodi prawf Job yn y flwyddyn 1520 cyn Crist, naw mlynedd ar hugain cyn dyfodiad plant Israel o'r Aipht. Bod y llyfr hwn wedi ei gyfansoddi cyn y waredigaeth o'r Aipht sydd dra thebygol, oblegid ei ddistawrwydd am wyrthiau a rhyfeddodau y Goruchaf yn iechydwriaeth ei etholedigion, pan ddygodd hwy gyda y fath nerth allan o dir Ham. Yr oedd yr holl bethau hyn wedi digwyddo yng nghymmydogaeth Job; ac y mae yn fwy nâ thebygol mai cyn i hynny gymmeryd lle y bu efe byw, amgen crybwyllasai am danynt.

2. Iddo gael ei gyfansoddi cyn symmudiad Abraham i wlad Canaan sydd amlwg, oblegid ni sonir ynddo am ddinystr Sodom a Gomorrah, ynghyd â dinasoedd y dyffryn, y rhai oeddynt ar derfyn Idumea.

3. Y mae oedran Job yn ei gyfleu yn yr oes batriarchaidd. Bu fyw wedi ei brawf gant a deugain mlynedd. Dyweda Job am bechodau ei ieuengctid, a llwyddiant ei ieuengctid; etto annerchir ef gan Eliphaz fel un ieuangc ei hun. Pen. 15. 10. "Y mae yn ein mysg ni y penllwyd, a'r oedrannus hefyd; hŷn o oedran nâ'th dad di."

4. Nad ydoedd Job yn oesi yn foreuach nâ hyn sydd amlwg oddiwrth y sylw a wneir gan Bildad, yr hwn a gyfeiria Job at y teidiau am addysg a doethineb, pen. 8. 8, 9.

"Oblegid gofyn, attolwg, i'r oes gynt,
Ac ymbarottoa i chwilio eu hynafiaid hwynt."

Dwg ym mlaen ei reswm dros hyn, oblegid bod yr oes wedi byrhau; ac o ganlyniad bod y genhedlaeth honno yn fwy anwybodus:

"Canys er doe yr ydym ni, ac ni wyddom ddim,
O herwydd cysgod yw ein dyddiau ni ar y ddaear."

Tadau yr oes flaenorol oeddynt gydoeswyr a Peleg a Joctan, yn y bummed genhedlaeth wedi y diluw; ond yn y seithfed genhedlaeth yr oedd yr oes wedi byrhau i ddau can' mlynedd, yr hyn nid ydoedd amgen nâ chysgod mewn cydmariaeth i oes Noe a'i blant.

5. Y mae argraff o hynafiaeth drwy yr holl lyfr. Llefara Job am yr hen ddull o ysgrifenu, yr hyn ydoedd drwy naddiad: ei gyfoeth a gyfrifir wrth ei anifeiliaid; ac yr oedd Job yn archoffeiriad yn ei deulu, yn ol y dull patriarchaidd. Melchisedec ydoedd offeiriad o'r hen ddull; Jethro hefyd yr un modd; ac yr oedd Job yn gwein-

yddu yn y swydd hon, yn ol yr hen ddefod forenol. Mewn gair, y mae cyd-darawiad pob tystiolaethau yn profi hynafiaeth y llyfr dan sylw.

Dywedir am y wlad yn yr hon y preswyliai Job, mai ei henw ydoedd Uz, Job 1. 1; yr hon y mae rhai daearyddion wedi ei chyfleu yn Arabia dywodlyd, ac eraill yn Arabia garregog. Ond wedi yr holl ddadleu a'r amrywiaeth barn ynghylch y wlad hon, tra thebygol mai yr un ydoedd gwlad Uz neu Gnutz a gwlad Idumea, Gal. 4. 21. Uz ydoedd ŵyr i Seir yr Horiad, Gen. 36. 20, 21, 28. 1 Cron. 1. 38, 42. Cyfanneddai Seir y mynydd-dir a elwid ar ei enw cyn amser Abraham; ond ei hiliogaeth a ymlidiwyd ymaith, a meddiannwyd ei wlad gan yr Idumeaid. Yr oedd Idumea yn ddosparth o Arabia garregog, ar derfyn deheuol llwyth Juda; ac felly yr oedd gwlad Uz â'i sefyllfa rhwng yr Aipht a Phalestina, Jer. 25. 20. Meibion y dwyrain, neu bobl y dwyrain, y gelwid yr holl bobl gymmysgedig hynny, am y rhai y crybwyllir yn Jer. 25. 30. a breswylient y wlad rhwng yr Aipht a'r Euphrates. Yr holl bersonau am y rhai y crybwyllir yn y llyfr hwn, oeddynt Idumeaid, neu Arabiaid Edomaidd. Y rhai hyn ydynt, Job ei hun, o wlad Uz; Eliphas o Teman, dosparth o gymmaint cyfrifiad ag Uz, yn ol tystiolaeth yr Ysgrythyrau; Bildad o Shuah, yr hon fynychaf a gyssylltir â Sheba a Dedan; Zophar o Naama, yr hwn ydoedd yn Idumea, Jos. 15. 21, 41; ac Elihu o Bus, yr hwn fel enw lle ni chrybwyllir ond unwaith yn yr Ysgrythyrau, Jer. 25. 23.

Y mae yn dra amlwg i'r llyfr hwn gael ei gyfansoddi gan un person; ond pwy oedd y cyfansoddydd, y mae dysgedigion yn dra gwahanol yn eu barnau. Rhoddwyd yr anrhydedd o'i gyfansoddiad i Elihu, Job, Moses, Salomon, Esay, Ezeciel, ac Ezra. Y farn gyffredinol ydyw, mai Moses ydoedd y cyfansoddydd o hono; ond y mae hyn yn amheus, oblegid ei fod cyn amser Moses, ïe, gannoedd o flynyddoedd, ac heb unrhyw grybwylliad drwy gorph y llyfr am arferion, defodau, ynghyd â hanes yr Israeliaid. Ac heblaw hynny, fel y mae yr Esgob Lowth wedi sylwi, y mae gwahaniaeth mawr rhwng y dull o ymadroddi yn llyfr Job a'r dull yn llyfrau Moses. Amlwg ydyw bod ei gyfansoddiad yn foreuach o lawer nag amser Moses; ac y mae yr Esgob Lowth yn dra ffafriol i dyb Schultens, Peters, ac eraill; yr hon dyb a fabwysiadwyd hefyd gan yr Esgob Tomline a Dr. Hales, mai Job ei hun, neu gydoeswr iddo, a gyfansoddodd y llyfr hwn; a pha resymau a all neb eu dwyn ym mlaen yn erbyn y dyb mai Job ei hun a'i hysgrifenodd? Yr oedd Job yn ddiau dan ysprydoliaeth, pen. 42. 5. ac felly yn llefaru megis ei cynhyrfwyd gan yr Yspryd Glân. A phe Moses a'i hysgrifenodd yn nhir Midian, fel y tybia rhai, ni dderbyniasid ef i'r Canon: oblegid nid ydoedd Moses dan ysprydoliaeth y pryd hynny. Efallai bod yr hyn a ganlyn yn agos i'r gwirionedd gyda golwg ar y llyfr hwn:—I'r cyfansoddiad yn wreiddiol gael ei ysgrifenu gan Job, neu ryw gydoeswr iddo, ac iddo syrthio i ddwylaw Moses pan yn nhir Midian, yn gyfagos i Idumea; ac y mae yn naturiol iddo wneuthur defnydd mawr o hono, er dwyn llwythau Israel i ymdawelu dan gystuddiau yr anialwch, drwy ystyried Job yn ei adfyd a'i gyfyngderau mawrion.

Y mae y llyfr hwn er yn foreu wedi ei gyfleu ym mhlith y llyfrau ysprydoledig; a chrybwyllir am Job, megis y sylwyd yn barod, gan amryw o ysgrifenwyr yr Ysgrythyrau Sanctaidd, yn yr Hen Destament a'r Newydd; ac yn ddiau y mae wedi bod ac yn parhau i fod yn drysor gwerthfawr i'r eglwys drwy yr holl oesau; a phwy bynnag a ddymuna leshad iddo ei hun wrth ddarllen llyfr Job, angenrhaid sylwi ar y pethau canlynol:—Pwy bynnag a fynno ddeall y llyfr hwn, rhaid iddo, cyn belled ag y gallo, ddychymmygu ei hun yn yr un amgylchiad gofidus a Job. Na ddylid amddiffyn dim sydd allan o le yn ymadroddion Job; etto dylid rhoddi rhyw ganiattad iddo gyda golwg ar ei iaith, am ei fod yn ddyn mawr ac yn dywysog. Angenrhaid hefyd cadw mewn golwg yr amseroedd boreuol yr ymddangosodd Job a'i gyfeillion; ac ond yn eu ceryddon diachos ar Job, y mae ei gyfeillion yn llefaru yn hollol grefyddol.

Nid oes dim wedi bod yn fwy o achos i lyfr Job fod mor dywyll i'r darllenydd, na'i raniad cyffredin yn bennodau ac adnodau, fel y mae gyda ni; oblegid y mae hyn yn dryllio y pwngc, fel y mae yn gadael y darllenydd mewn niwl a thywyllwch. Dr. Good a'i rhanna i chwech llyfr neu rannau; Dr. Hales i bump, &c. Yn ol ei raniad yn ein Biblau ni, y mae yn ddwy a deugain o bennodau, cynnwysiad y rhai sydd fel y canlyn:—

RHAN I. Y rhagymadrodd, yn cynnwys hanes amgylchiadau Job a'i brofedigaethau.

Dosp. 1. Sefyllfa Job a'i amgylchiadau. Pen. i. 1—6.

2. Y brofedigaeth gyntaf, drwy golli ei feddiannau a'i blant; a pherffeithrwydd Job yn cael ei gyhoeddi. Pen. i. 7—22.

3. Ail brofedigaeth Job drwy gystudd corphorol, a'i gyfeillion yn ymweled âg ef. Pen. ii.

RHAN II. Yr ymddiddan neu y ddadl gyntaf rhwng Job a'i gyfeillion. Pen. iii—xiv.

Dosp. 1. Achwyniad Job yn ei amgylchiad adfydus, yr hyn yw sail yr ymddiddanion canlynol. Pen. iii.

2. Araeth Eliphaz, yn yr hon y mae efe yn ceryddu grwgnachrwydd Job, ac yn lled grybwyll bod ei ddioddefiadau yn gospedigaeth arno am ryw bechodau dirgelaidd. Pen. iv. a v.

3. Atteb Job, yn yr hwn yr esgusoda efe anghymmedroldeb ei alar oblegid mawredd ei ofidiau—y gweddia am angeu diattreg—yr achwyna ar ei gyfeillion oblegid eu creulondeb—ac a ymresyma â Duw, gan erfyn ei drugaredd. Pen. vi. a vii.

4. Dadl Eliphaz yn cael ei chymmeryd i fynu gan Bildad, yr hwn a gerydda Job yn chwerw, gan ei gyhuddo o anghrefydd ac annuwioldeb. Pen. viii.

5. Gwrthatteb Job, yn yr hwn y cydnabydda efe benarglwyddiaeth Duw, ac a ddadleua nad ydyw ei ofidiau yn brofion o'i ddrygioni, ac mewn amheuaeth etto yn dymuno marw. Pen. ix. a x.

6. Sophar yn dilyn yr un ddadl ag Eliphaz a Bildad, ond yn llymach yn erbyn Job; yn ei gynghori i edifarhau,

fel yr unig lwybr i fwynhau ei lwyddiant gynt. Pen. xi.

Dosp. 7. Attebiad Job, yn yr hwn y cerydda ei gyfeillion am eu honiadau i uwch gwybodaeth na dynion eraill, gan appelio at Dduw, a phroffesu ei obaith mewn adgyfodiad dyfodol. Pen. xii—xiv.

RHAN III. Yr ail ymddiddan neu ddadl, pen. xv—xxi. yn yr hwn yr ydym yn cael,

Dosp. 1. Y ddadl yn cael ei hadnewyddu agos yn yr un ddull ag y cychwynwyd hi gan Eliphaz, yr hwn a gyhudda Job o annuwioldeb yn ei waith yn cyfiawnhau ei hun. Pen. xv.

2. Attebiad Job, yr hwn a achwyna oblegid angharedigrwydd ei gyfeillion; a dystia ei ddiniweidrwydd, gan edrych ar angeu fel ei noddfa olaf. Pen. xvi. a xvii.

3. Bildad yn ail adrodd ei ddadl, gan haeru bod ei ofidiau wedi eu rhoddi arno yn hollol gyfiawn. Pen. xviii.

4. Job yn appelio at deimladau ei gyfeillion, ac oddiwrthynt hwy at Dduw—yn proffesu ei ffydd yn yr adgyfodiad, ac yn rhybuddio ei gyfeillion i fod yn ochelgar, rhag i Dduw eu ceryddu. Pen. xix.

5. Appêl Job yn cael ei droi yn ei erbyn ei hun gan Sophar, yr hwn a attebir ganddo yntau, gan ddangos ymddygiad rhagluniaeth ddwyfol, er dangos twyllddadl Sophar mewn perthynas i fyrdra llwyddiant yr annuwiol. Pen. xxi.

RHAN IV. Y trydydd ymddiddan neu ddadl. Pen. xxii—xxxi. yn yr hwn,

Dosp. 1. Y mae Eliphaz yn arddangos bod ymddiffyniad ac appêl Job at Dduw yn anghymmeradwy ganddo, ac yn ei gynghori i edifeirwch a gweddi. Pen. xxi.

2. Job yn atteb, ac yn haeru bod ei ofidiau a'i ddioddefiadau wedi eu hamcanu, er profi ei ffydd a'i uniondeb; a bod yr annuwiol yn aml yn diengyd rhag cosp yn y byd hwn. Pen. xxiii—xxiv.

3. Gwrthatteb Bildad, yn yr hwn y dangosa, yn gymmaint ag nad oes un dyn heb bechod, o ganlyniad nad allai Job gael ei gyfiawnhau ger bron Duw. Pen. xxv.

4. Attebiad Job, yn yr hwn, er mwyn dadymchwelyd haeriadau ei wrthwynebwyr, dengys ei ddymuniad am iddo ef a'i gyhuddwr gael eu profi yn uniongyrchol ger bron gorseddfaingc Duw. Pen. xxvi—xxxi.

RHAN V. A gynnwysa swm yr holl ddadl gan Elihu, yr hwn, wedi condemnio ymddygiadau yr holl ddadleuwyr, am nad oedd eu rhesymau yn tueddu i argyhoeddi, a â rhagddo i ddadleu amryw o osodiadau Job, gan ddangos bod Duw yn fynych yn dwyn meibion dynion i amryw gyfyngderau er eu daioni, ac mai dyledswydd dyn yw ymostwng i ewyllys ei Grëwr. Y mae yn terfynu gyda darluniad o hollalluawgrwydd Duw. Pen. xxxiii—xxxvii.

RHAN VI. Terfyniad y ddadl, ac adferiad Job i'w lwyddiant cyntefig. Pen. xxxvii—xlii.

Dosp. 1. Ymddangosiad Jehofah er cyhoeddi barn; yn cyfarch Job allan o'r corwynt, ac yn dangos bychandra a thywyllwch dyn. Pen. xxxvii—xli.

2. Ymddarostyngiad Job, yr hwn a dderbyniwyd—ei adferiad i'w lwyddiant blaenorol, ac ychwanegiad deublyg at ei gyfoeth. Pen. xlii.

3. Hanes mwy neillduol am adferiad Job. Pen. xlii. 11—17.

Heblaw y ddysgeidiaeth bwysig sydd yn llyfr Job, y mae yn dra gwerthfawr, am y dengys yr athrawiaethau crefyddol a broffesid ac a gredid gan y patrieirch boreuol, y rhai, yn ol Heb. 11. 6. oeddynt, 1. Bod Duw; 2. Ei fod yn Wobrwywr i'r rhai a'i dyfal geisient. Ond heblaw y rhai crybwylledig, y mae y rhai canlynol hefyd yn cael eu profi yn y llyfr dan sylw:—

1. Creadigaeth y byd gan un Duw mawr a thragywyddol. Y mae yr egwyddor fawr hon yn rhedeg drwy holl gorph y llyfr; ond yn neillduol darlunir hyn yn pen. xxxviii—xli.

2. Llywodraeth y byd drwy ragluniaeth fawr a pharhaus Duw. Yr erthygl hon o'r ffydd batriarchaidd a nodir yn neillduol yn pen. 1. 9, 21. a 2. 10. a 5. 8—27. a 9. 4—13. Ac agos yn yr holl lyfr y mae y gwirionedd mawr ac amlwg hwn yn cael ei gydnabod.

3. Bod gweinyddiadau rhagluniaeth y Goruchaf tuag at y byd yn cael eu dwyn ym mlaen drwy weinidogaeth y llywodraeth nefol. Pen. 1. 6, 7. a 4. 18, 19. a 5. 1. a 33. 22, 23.

4. Pechod gwreiddiol, neu lygredigaeth natur dyn, yr hon sydd wedi ymdaenu drwy holl hiliogaeth Adda. Y mae hon yn athrawiaeth a brofir yn yr holl Ysgrythyrau, ac yn neillduol felly yn llyfr Job. Pen. 14. 4. a 15. 14—16. a 35. 5.

5. Aberthu i'r Arglwydd fel gwasanaeth crefyddol. Arwydda hyn yr ystyrid er bore y byd, gan y rhai a wasanaethent yr Arglwydd mewn purdeb, bod angenrhaid cael iawn er dwyn dyn i gymmod â Duw. Pen. 1. 5. a 13. 8. a 42. 8, 9.

6. Bod dydd y farn i ddyfod, yn yr hwn yr adgyfodid y meirw. Pen. 14. 7—15. a 19. 25—29.

Y testun yn yr hwn y dengys Job rym ei ffydd yn y Gwaredwr, sydd wedi bod yn sail dadl fawr rhwng dysgedigion. Dyweda rhai nad ydyw yn cynnwys dim ym mhellach na chrediniaeth Job y gwaredid ef allan o'i drallod tymhorol; ond eraill, gyda mwy o gyssondeb, a ystyriant y testun yn brawf o ffydd Job yn ei Waredwr. O'r farn hon y mae Schultens yr hynaf, Michaelis, y Doctoriaid Good, Hales, a J. P. Smith; a hon yw y dyb a dderbynir yn gyffredinol. Cyfieithir Job 19. 25—27. yn y wedd ganlynol gan Dr. Hales.

"Gwn fod fy MHRYNWR *(yn)* fyw,
Ac yn y diwedd
Y bydd iddo sefyll *(mewn barn)* ar lwch *(dynolryw,)*
Ac wedi i'm croen fel hyn gael ei ddryllio,
Etto byth o'm cnawd y gwelaf Dduw;
Yr hwn a welaf fi drosof fy hun *(wrth fy ochr,)*
A'm llygaid a'i gwelant nid yn ddieithr;
*(Er)* bod fy arenau *(yn awr)* wedi darfod ynof."

Pwy wrth ddarllen llyfr Job a all beidio synnu a rhyfeddu oblegid gwahanol weinyddiadau rhagluniaethau yr Arglwydd tuag at y rhai a'i carant ac a rodiant yn ol ei ddeddfau. Yr oedd Job heb ei gyffelyb ar y ddaear; ond wele ef yn y dymhestl yn cael ei nithio—taflwyd ef i'r ffwrnais boethaf, a daeth allan fel aur. Er iddo fod yn y gwaelodion ac allan yn y tywydd garw, etto cafodd wres yr haf wedi hyn, a llewyrchodd ei lwybr yn oleu yn y byd. Collodd Job bob peth ond ei grefydd, ac felly nid dywediad ammhriodol debygid ydyw hwn, sef bod dyn mewn sefyllfa o ras ar dir cadarnach na dyn yn ei ddiniweidrwydd cyntaf; oblegid medrodd satan a'r wraig gael pen Adda i lawr, ond methodd satan a'r wraig a chael pen Job i lawr. Mor gadarn ydyw y breichiau tragywyddol, ac mor sicr ydyw yr addewidion, fel y daliant er holl gynhyrfiadau yr eigionau mwyaf eu tymhestloedd.

Oddiwrth hanes Job a'i amgylchiadau, gallwn ddysgu, 1. Bod dyn yn agored i ofidiau tra yn y fuchedd hon. Gelwir y wlad lle y mae dynion yn byw yn "Gystudd mawr." 2. Mai hyfrydwch y gelyn ydyw gofidiau y saint, ac mai ei gas-beth ydyw eu llwyddiant—y mae yn rhodio oddi amgylch, gan geisio y neb a allo ei lyngcu. 3. Y gall ein cyfeillion pennaf lawer tro gamsynied gyda golwg ar ein sefyllfaoedd, drwy fethu canfod dibenion Duw yn ei orchwylion. 4. Mai un o brif nodweddiadau y duwiolion ydyw, eu bod yn ymddarostwng dan alluog law Duw yn wyneb yr hyn oll a'u cyfarfyddant. 5. Y gwna Duw yn amlwg yn ei amser da ei hun, mai ei eiddo ef ydyw ei bobl.

## HYNODION LLYFR JOB.

### I. YMDDIDDAN YR ARGLWYDD A JOB.

Rhai a ystyriant yr ymddiddan rhwng yr Arglwydd a Satan yn Alegori, neu yn fath o ddammeg, ond na chymmerodd le yn weithredol megis ag yr adroddir yn y bennod gyntaf o lyfr Job; ond y mae hon yn dyb niweidiol, am ei bod yn taflu amheuaeth gyda golwg ar yr holl lyfr. Yn awr, wedi ystyried bod satan a'i brofedigaethau yn y byd, ei fod yn gyhuddwr y brodyr ddydd a nos ger bron Duw, ac na all ddim heb ganiattad y Goruchaf, pa beth sydd yn ammhriodol yn yr hanes dan sylw? Gwir bod y peth uwchlaw ein hamgyffrediadau ni; ond os gwrthodwn yr hanes fel ffaith, y mae creadigaeth, llywodraeth, a phob peth sydd yn perthynu i Dduw yn amheus, am eu bod oll uwchlaw ein cyrhaeddiadau ni. Ni all neb wadu nad allasai hyn fod yn hollol fel y mae yr hanes yn adrodd; a'r unig bethau a ellir eu dwyn ym mlaen yn erbyn yr amgylchiad, ydyw ei annhebygolrwydd neu ei ammhriodoldeb. Mewn perthynas i annhebygolrwydd y peth, gellir dywedyd bod byd yr ysprydoedd mor ddieithr i ni, ac mor bell uwchlaw ein dealldwriaethau ni, fel

mai yr ynfydrwydd mwyaf ydyw i ni siarad ynghylch pa beth sydd debygol neu annhebygol o fod yn cymmeryd lle yno. Nid â llinyn amser y mae mesur pethau byd tragywyddol. Ac mewn perthynas i ammhriodoldeb y peth, nid ydyw dywedyd hynny nemmawr llai peth na chabledd, oblegid y mae Ior y nefoedd yn un o'r pleidiau. Credid gan ysgrifenydd llyfr Job bod hyn yn ffaith, amgen yr oedd yn dra thwyllodrus i arwain darllenwyr yr oesau i gamgymmeriadau. Yr wrthddadl o fod yr Arglwydd yn holi satan, o ba le y daeth, &c. fel pe na buasai yn gwybod, ac yn ymholi am newyddion, nid ydyw ond dadl orwag; oblegid gwna y tro er gwadu na bu Duw yn ymddiddan âg Adda, am ddywedyd o hono, "Pa le yr wyt ti?" Ac felly, y peth goreu i ni wrth ymdrin â'r Ysgrythyrau, ydyw eu derbyn yn eu hyspryd eu hunain, a'u dilyn yn eu rhediad eu hunain; oblegid wrth groesi y rheol er ysprydoli, cnawdoli, a chymmysgu gair Duw, yr ydym yn y perygl mwyaf o gyfeiliorni, ac i lyngcu tybiadau anaddas am Dduw.

---

## II. PROFEDIGAETH GYNTAF JOB.

Tybia rhai mai nid gwirionedd ydoedd yr holl gennadwriaethau a draddodwyd i Job y naill ar ol y llall: ond ymddengys mai camgymmeriad ydyw hynny, oblegid gweision Job a'u dygasant; a pha ham y dywedent gelwydd wrth eu meistr? Yr oedd Job yn dra chyfoethog, yn fwyaf o holl feibion y dwyrain; a'r fath ydoedd helaethrwydd ei ddaoedd, fel yr oedd yn rhaid bod ganddo gannoedd lawer o weision a morwynion, a gwlad o dir er cynnal cymmaint golud. Ymosododd y Sabeaid ar yr arddwyr, gan eu rhoddi i farwolaeth, a dygasant yr ychain a'r asynod ymaith; ac ni ddiangodd neb o'r gelanedd ond un yn unig. Mewn perthynas i'r bugeiliaid a'u diadelloedd, y rhai yn debygol oeddynt bell oddiwrth yr arddwyr, 'tân Duw,' hynny yw 'tân mawr,'—mellt wybrenawl a ddigynasant arnynt hwy a'u defaid, gan eu hysu oll i farwolaeth ond un. Y rhai a edrychent ar ol y camelod a farwolaethwyd gan y Caldeaid, a'r eiddo a yspeiliwyd; ac ni ddiangodd ond un o'r lladdfa hon. Ac mewn perthynas i feibion a merched Job, yr oedd y rhai hyn yn nhŷ eu brawd hynaf yn gwledda, a'u gweision gyda hwynt; ond y gwynt mawr—y gwynt troellog—math o gorwynt dychrynllyd, a darawodd wrth bedair congl y tŷ, fel y syrthiodd, ac y buont oll feirw ond un. Yn y wedd hon fe gafodd y ddyrnod ar yr un waith, ac a fuasai yn ei suddo byth ond fel mai plentyn Duw ydoedd. Gellir sylwi yma, 1. I'r brofedigaeth ddala Job pan ar lwybr ei ddyledswydd. Gwel pen. 1. 5. Beth bynnag a ddelo i'n cyffwrdd, os o fewn y rheol, y mae yn dawel yn y fynwes; amgen, dychrynllyd ydyw cnofeydd y gydwybod. 2. Yr oedd Job ar y graig, am hynny cynnaliwyd ef gan y graig. Y mae llawer o bryd i bryd wedi llithro, ond nid pan oedd eu traed ar y sylfaen—"Tra fyddoch yn gwneuthur y pethau hyn, ni lithrwch chwi ddim byth." 3. Gwelodd Job law Duw yn y pethau hyn, am hynny efe a dawodd. Pan y mae dynion yn rhoddi

rhyddid i'w tafodau yn eu profedigaethau, y mae yn amlwg nad ydynt yn gweled Duw—"Aethum yn fud, ac ni agorais fy ngenau," meddai un, "canys ti a wnaethost hyn."

---

### III. YMADRODDION LLYFR JOB.

Y MAE darllenwyr llyfr Job yn gyffredin yn dyrysu oblegid dieithrwch yr ymadroddion a ddefnyddir ynddo. Y maent felly, o herwydd mewn hyfdra ac ardderchawgrwydd, y maent yn rhagori ar ddim yng nghorph yr Ysgrythyrau Sanctaidd; canys ni chrybwyllir am ddim ac ni ddarlunir dim braidd ond yn iaith hedegog barddoniaeth. Pan osodir allan gyflawnder o ddanteithion, sonir am "Aberoedd o fêl ac ymenyn:" pan grybwyllir am beth brawychus, sonir am "Gyntaf-anedig angeu:" pan gyfeirir am sicrwydd ergyd, dywedir am y "Bwa dur:" a phan ddarlunir gwaith y mwynwr, dywedir am "Feini tywyllwch a chysgod angeu." Ac yn neillduol gyda golwg ar y llyfr hwn, dylid chwilio allan a gwneuthur pob ymdrechiadau er cael yr ystyr yn gyntaf, ac nid priodoldeb yr ymadroddion; ac wedi cael allan yr ystyr, ymddengys yr ymadroddion yn eu priodoldeb mwyaf, yn neillduol mewn cyfansoddiad barddonawl. Ni all dynion wneuthur mwy o ffolineb, na myned at y gorchwyl o ddeongli ymadroddion y llyfr dan sylw allan o'u cyssylltiad a'u priodol ystyr; ac er eu deongli mewn cyssylltiad â'u hystyron, rhaid cofio bod yr awen farddonawl yn ei gwres mwyaf yn ei gyfansoddiad, o ganlyniad y mae y llyfr hwn yn llawn o ormodiaith, (*hyperboles.*) Er profi hyn, nid rhaid ond sylwi ar y darluniad a roir o'r march rhyfel: "Dychryn ydyw ardderchawgrwydd ei ffroen ef." Y mae yr olwg arno yn ffroeni yn frawychus. "Ei draed ef a gloddiant y dyffryn." Y mae yn siengyd gyda'r fath nerth, fel y gwelir ei ol ar y ddaear. "Efe a ddiystyra arswyd, ac ni ddychryna efe." Ymddengys yn dawel cyn y frwydr, yn wyneb lluoedd o elynion. "Efe a lwngc y ddaear gan greulondeb a chynddaredd." Ymruthra i'r frwydr, pe byddai arfau y byd yn ei erbyn. "Ni chred mai llais yr udgorn yw." Pan seinir i'r gâd, ymddengys y march mor ddidaro a phe na byddai y perygl lleiaf o'i flaen. Felly gyda llyfr Job, rhaid cadw yr ystyr mewn golwg, a rhyfeddu wrth ardderchawgrwydd yr iaith, yr hon a dra ragora mewn uchafiaeth ar holl gyfansoddiadau y byd, ond llyfr y Salmau yn unig.

---

## LLYFR Y SALMAU.

GELWIR y llyfr hwn yn Hebraeg, *Sepher Tehilim*, hynny ydyw, *Llyfr yr Hymnau* neu *foliant;* oblegid mai mawl i Dduw ydyw prif bwngc y llyfr. Ac yn gymmaint a'u bod wedi eu cyfleu, nid yn

unig i'w canu â'r llafar, ond ar offerynau cerdd hefyd, galwyd y llyfr hwn gan y deg a thrugain *Biblos Psalmon*—Llyfr y Salmau, wrth ba enw y crybwyllir am dano yn Luc 20. 42; a'r enw hwn sydd wedi ei gadw yn ein Biblau ninnau. Cynnwysa llyfr y Salmau bob amrywiaeth o farddoniaeth Hebraeg, ac mewn perthynas i'w ysprydoliaeth, ni wadwyd hyn erioed; oblegid y mae yn cael ei gadarnhau drwy yr holl Destament Newydd. Gelwir y Salmau yn gyffredin yn Salmau Dafydd, am mai efe ydoedd eu prif awdwr; ond y mae awduron eraill wedi cyfansoddi amryw o honynt ar wahanol amserau ac mewn gwhanol oesau. Y cyfansoddydd cyntaf o hymnau sanctaidd yn ddiau ydoedd Moses, fel y prawf Ecsod. 15; a'r nesaf a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau ydyw Deborah, Barn. 15; ac wedi hynny Hannah, 1 Sam. 2. Ond Dafydd a ddygodd y farddoniaeth Hebraeg i berffeithrwydd, ac a drefnodd gantorion Sïon mewn rheol; a gelwir ef yn bennigol yn bêr ganiedydd Israel. 2 Sam. 32. 1. Efe a sefydlodd ganu Salmau gan bersonau neillduol yn addoliad yr Hollalluog; 1 Chron. 6. 31. a 16. 4—8. Ail sefydlwyd y cantorion gan Ezra, cyn gynted y gosodwyd sail yr ail deml, Ezra 3. 10, 11; a chadwyd hyn yn eglwys yr Hen Destament, ac y mae wedi ei sefydlu yn eglwys y Testament Newydd, ac yn gwneuthur i fynu ran o'r addoliad dwyfol ynddi. Mat. 26. 30. Marc 14. 26. Eph. 5. 19. Col. 3. 16.

Priodola yr Ysgrifenwyr Iuddewig gyfansoddiad Llyfr y Salmau i ddeg o wahanol awduron, megis Adda, Melchizedec, Abraham, ac eraill; ond yn hyn, fel mewn pethau eraill, dangosant eu hynfydrwydd i raddau mawr. Amryw o'r beirniaid a chwiliasant i'r peth hwn, a ddeallant mai cyfansoddwyr y Salmau ydynt Moses, Dafydd, Salomon, Asaph, Heman, Ethan, Jeduthun, a thri mab Corah. Priodolir i Moses ddeg o Salmau, sef 90—99; ond am Salm 90, wrth yr hon y mae enw Moses, nid ydyw yn debygol mai efe oedd ei chyfansoddydd; oblegid yr oedd oes dyn yn nyddiau Moses uwch law deng mlynedd a thrugain. Ac y mae yn amlwg hefyd nad Moses ydoedd cyfansoddydd y 99 o'r Salmau; oblegid crybwyllir ynddi am Samuel, o ganlyniad rhaid mai rhyw un a wyddai am Samuel ydoedd ei hawdwr. Felly y mae yn ammheus iawn, a gafodd cymmaint âg un o'r Salmau eu cyfansoddi gan Moses. Y mae enw Dafydd wrth un ar ddeg a thrugain o'r Salmau yn Hebraeg, ac y mae ei enw wedi ei osod wrth un ar ddeg eraill gan y Deg a thrugain. Ond gyda golwg ar amryw o'r Salmau a briodolir gan y Deg a thrugain i Dafydd, ni all efe fod yn gyfansoddydd o honynt, oblegid crybwyllant am bethau a ddigwyddasant wedi ei amser ef, megis dinystr Jerusalem, &c. Y mae enw Asaph, Lefiad a phen-cerddor, wrth ddeuddeg o Salmau, sef y 50. a 73 hyd 83; ond ni allai efe gyfansoddi y 74, oblegid cwyna am ddadymchweliad Jerusalem, a llosgiad y deml, mewn iaith tebyg i Alarnad Jeremiah. Mewn perthynas i'r un Salm ar ddeg, wrth y rhai y mae ysgrifen, "I feibion Corah," nid yw yn debygol mai hwy oedd y cyfansoddwyr, ond mai attynt y cyfeiriwyd hwynt; ac y mae eu cyfansoddwyr yn anhyspys. Priodolir yr 88 i Heman yr Ezrahiad, a'r un ganlynol i Ethan; a meddylir iddynt flodeuo yn amser y caethiwed Babilonaidd. Ac y mae yn debygol iawn i amryw o'r Salmau gael eu cyfansoddi gan

Salomon, yr hwn a ysgrifenodd fil a phump o ganiadau. 1 Bren. 4. 32.

Y drefn ganlynol a fabwysiadwyd gan Calmet gyda golwg ar y Salmau,—Amser eu cyfansoddiad, ynghyd â'r achlysuron o hynny.

I. Y Salmau y mae amser eu cyfansoddiad yn anhyspys. Y maent yn wyth mewn nifer.

Salm 1. Y mae hon yn rhagymadrodd i'r holl lyfr; ei chyfansoddydd sydd anhyspys. Salm 4. sydd ymadroddion gwr crefyddol mewn oes lygredig: y mae hon yn weddi brydnawnol. Salm 8. a gynnwysa freintiau dyn, a gogoniant Iesu Grist. Salm 19 sydd ganmoliaeth i gyfraith Dduw, ynghyd â mawl i'r Creawdwr oblegid ei weithredoedd. Salm 81. a gyfrifir gan rai i Asaph, ac a genid yn y deml ar wledd yr udgyrn. Salm 91. a ddengys ddedwyddwch y rhai a ymddiriedant yn yr Arglwydd. Salm 110. sydd brophwydoliaeth am ddyfodiad a theyrnas y Messiah, ac a gyfansoddwyd gan Dafydd. Salm 113. sydd fawl i Dduw am ei ragluniaeth a'i ddoethineb.

II. Y Salmau a gyfansoddwyd gan Dafydd pan dan erledigaethau gan Saul. Y mae y rhai hyn yn ddwy ar bumtheg.

Salm 11. a gyfansoddwyd gan Dafydd pan ddymunwyd arno gilio oddiwrth Saul. Salm 31. gan Dafydd pan ymlidiwyd ef allan o'r llys gan Saul. Salm 34. gan Dafydd pan yn Gath gydag Achis. Salm 56. a gyfansoddwyd yn ogof Adulam. Salm 16. pan ydoedd gyda'r Moabiaid a'r Philistiaid. Salm 54. am ei waredigaeth pan yn anialwch Ziph. Salm 52. oblegid y galanas a wnaeth Saul yn Nob. Salm 109. am Doeg yr Edomiad. Salm 17. gweddi Dafydd pan dan erledigaeth. Salm 22. Dafydd yn personoli Crist, yr hwn a erlidiwyd gan yr Iuddewon. Salm 35. a gyfansoddwyd ar yr un achlysur. Salm 57. yn ogof Engedi. Salm 58. ar yr un achos. Salm 140. a 141. pan ydoedd Dafydd dan erledigaeth. Salm 7. ar yr un achos.

III. Y Salmau a gyfansoddwyd gan Dafydd yn nechreuad ei deyrnasiad, wedi marwolaeth Saul. Y maent yn un ar bumtheg.

Salm 2. pan sefydlodd Dafydd orsedd ei frenhiniaeth yn Jerusalem. Salm 68. ar yr achlysur o ddwyn yr arch o Ciriath-jearim i Jerusalem. Salm 9. a 24. ar yr achlysur o symmudiad yr arch o dŷ Obededom i fynydd Sïon. Salm 101. am y modd yr oedd Dafydd yn dysgu ei bobl mewn uniondeb. Salm 29. yn cynnwys diolchgarwch am y gwlaw a syrthiodd wedi i Dafydd ymddial o achos y Gibeoniaid. Salm 30. pan ydoedd yn wynebu yr Ammoniad a'r Syriaid mewn rhyfel. Salm 21. diolchgarwch Dafydd am ei fuddugoliaeth arnynt. Salm 6, 38, a 39. a gyfansoddwyd gan Dafydd yn ei glefyd. Salm 40. diolchgarwch am ei wellhad. Salm 31, 32, a 33. gan Dafydd, wedi i'w odineb ddyfod i'r amlwg.

IV. Y Salmau a gyfansoddwyd yn amser gwrthryfel Absalom. Y mae y rhai hyn yn wyth o Salmau.

Salm 3, 4, a 55. pan orfu ar Dafydd gilio o Jerusalem oblegid ei fab Absalom. Salm 62. a ddengys hyder Dafydd yn Nuw, yn wyneb bod ei fab yn ei erlid. Salm 70. a 71. gweddi Dafydd pan erlidid ar ei ol. Salm 143. a ysgrifenwyd yn amser y rhyfel âg Absalom. Salm 144. diolchgarwch am fuddugoliaeth ar y gwrthryfelwyr.

V. Y Salmau a ysgrifenwyd rhwng marwolaeth Absalom a'r caethiwed. Y maent yn ddeg o nifer.

Salm 18. Diolchgarwch Dafydd am bob bendithion. Salm 30. Ar gyssegriad yr allor ar lawr dyrnu Arafnah. Salm 45. Ar briodas Salomon â merch brenin yr Aipht. Salm 78. Ar fuddugoliaeth Asa ar fyddinoedd Israel. Salm 82. sydd gyfarwyddiadau i'r barnwyr dan deyrnasiad Jehosaphat brenin Juda. Salm 73. sydd gân orfoleddus ar yr achlysur o fuddugoliaeth Jehosaphat ar ei elynion. Salm 76. a gyfansoddwyd ar yr achlysur o ddadymchweliad byddin Sennacherib. Salm 74. a 79. sydd alarnad oblegid anghyfannedddra y deml yn Jerusalem.

VI. Y Salmau a gyfansoddwyd yn amser y caethiwed; ond y mae y cyfansoddwyr yn anhyspys. Y maent yn ddeugain mewn nifer; sef y 10, 12, 14, 15, 25, 26, 27, 28, 36, 37, 42, 43, 44, 49, 50, 53, 60, 64, 67, 69, 73, 75, 77, 80, 84, 86, 88, 89, 90, 92, 93, 94, 95, 99, 120, 121, 123, 130, 131, 132.

VII. Y Salmau a gyfansoddwyd wedi cyhoeddiad Cyrus, yn caniattau i'r Iuddewon ddychwelyd i Jerusalem. Cynnwysa y rhai hyn ddiolchgarwch am wahanol bethau. Y maent yn un ar ddeg a deugain mewn nifer; sef 122, 61, 63, 124, 23, 87, 85, 46, 47, 48, 96—117, 126, 133—137, 149, 150, 146, 147, 148, 59, 65, 66, 67, 118, 125, 127, 128, 129, 138.

Yn ol y rhaniad hwn o eiddo Calmet, ni chyfansoddwyd ond pump a deugain o'r Salmau gan Dafydd.

Y mae enwau neu deitlau y Salmau yn deilwng o sylw. Y mae chwech Salm yn dwyn yr enw *Michtam*, neu auraidd, am, yn ol rhai, iddynt gael eu hysgrifenu mewn llythyrenau aur, a'u dodi yn y cyssegr. Yr enw *Maschil* a roddir o flaen amrywiol Salmau; gair a ddeillia o *Shakal*, bod yn ddoeth, neu ymddwyn yn ddoeth, neu yn gall. Y mae y Salmau a ddygant yr enw hwn, yn neillduol yn trosglwyddo addysg. Ond y mae amrywiol enwau hefyd ar y Salmau, y rhai ydynt naill ai enwau yr offerynau cerdd, neu enwau y tonau; megis yn 1. *Neginoth;* arwydda offerynau a thannau, i'w chwarae â'r bysedd. 2. *Nehiloth;* meddylir mai offeryn ydoedd hwn i chwythu ynddo, ond o ba natur, y mae yn anhawdd penderfynu. 3. *Sheminith;* offeryn wyth tant; ac am ei fod yn cael ei enwi gyda *Neginoth* yn Salm 6, meddylir bod y ddau yn cael eu cyd-chwarae. 4. *Shiggaion;* enw cân grwydrol, o'r fath a genid gan Ddafydd yn ei ffoedigaethau. 5. *Gittith;* offeryn, yn ol Rabbi Jarchi, a ddygwyd o Gath; ond arwydda y gair, meddai Calmet, Gwin-wryf; a thybia mai cân ydoedd hon, a genid yng nghynhauaf y gwin. 6. *Muth-labben*, neu, yn ol Dr. Kennicott a De Rossi, *almuth*, yr hwn air a arwydda, Gwyryfon, am ei cenid yn neillduol gan wyryfon. 7. *Mahalath*, yr hyn a arwydda, Dawns, fel yr arferid ar ryw wleddoedd neillduol; a *Mahalath-lennoth*, gân attebol o'r un fath.

Mewn perthynas i'r gair Selah, yr hwn a goffeir uwchlaw deg a thrugain o weithiau yn llyfr y Salmau, a thair gwaith ym mhrophwydoliaeth Habbacuc, y mae yn anhawdd iawn penderfynu gyda golwg ar ei ystyr. Y mae y Deg a Thrugain, yn eu cyfieithad, wedi ei roddi mewn amryw fannau lle nad ydyw yn yr Hebraeg, ac wedi ei gyfieithu yn *Diapsalma*, yr hyn a arwydda, Gorphwysiad. Barna

rhai ei fod yn cyfarwyddo y dôn, ac yn gyfystyr â'r gair araf. Dr. Wall a dybia, mai nôd ydoedd yn y beroriaeth Iuddewig, er dyblu y breichiau rhag-flaenorol. Parkhurst sydd o'r farn, mai diben y gair ydyw tynnu sylw neillduol y darllenydd at yr ymadrodd. Aquilla, Symmachus, Geier, Forster, Buxtorf, ac eraill, oeddynt o'r farn nad oedd un arwyddoccad i'r gair Selah, ond mai nôd yn hen beroriaeth yr Iuddewon ydoedd, defnydd yr hwn sydd yn awr wedi ei golli. Aben Ezra a ddywed ei fod megis terfyniad gweddi, ac yn cyfatteb i'r gair Amen. Ond tyb Calmet ydyw yr oreu o'r rhai a goffawyd, ef allai, sef bod yr Hebreaid yn rhoddi y gair Selah ar ymyl dalennau eu Sallwyr, lle yr oedd arosiad i gael ei wneuthur, neu y dôn yn diweddu ; ac iddo o ychydig i ychydig gael ei roddi ar derfyn y braich, neu ar ddiwedd cywyddau Sïon. O leiaf, yr holl ddysgawdwyr o fri a gyttunant, mai rhyw arwydd berthynol i'r gerddoriaeth ydoedd y gair hwn. Y mae ei darddiad o Salal—Efe a ddyrchafodd.

Gan fod llyfr y Salmau wedi ei gyfansoddi mewn barddoniaeth Hebraeg, rhaid ei fyfyrio mewn cyssylltiad â natur y gyfryw farddoniaeth. Ond gyda'r sylwadau a wnaed yn barod mewn perthynas i'r llyfr hwn, gwneir ychydig o nodiadau ym mhellach, er estyn cynnorthwyon i'r darllenydd i'w ddeall. 1. Rhaid ymdrechu chwilio i brif fatter y Salm. Arwyddir hyn weithiau yn y teitl ; ond gan nad ydyw y rhai hyn bob amser i ymddiried iddynt, gwell i'r darllenydd ymdrechu cael hyn allan ei hun, drwy y darlleniad mwyaf astud a diwyd o'r Salm.

2. Er mwyn cael rhyw hyspysrwydd mewn perthynas i hyn, rhaid chwilio i'r achlysur hanesiol o gyfansoddiad y Salm, neu yr amgylchiadau o herwydd pa rai y tueddwyd y bardd i'w chyfansoddi : er mwyn hyn, rhaid cydmaru y Salmau â hanesyddiaeth yr Hen Destament ; ac ond unwaith cael hanes yr amgylchiadau, bydd y Salm yn ddealladwy.

3. Ymdrechu cael allan awdwr y Salm. Mynegir hyn yn fynych yn y titlau, ond nid ydyw y rhai hynny bob amser i ymddiried iddynt. Sylw manwl ar bethau, ymadroddion, ac amgylchiadau a'n galluoga i hyn.

Y Salmau wedi eu rhestru yn ol y matterion, a gynnwysant,—

### I. *Gweddïau.*

1. Gweddiau am faddeuant pechodau. Salm 6, 25, 38, 51, 130. Y Salmau a elwir yn edifeiriol. 6, 22, 38, 51, 102, 130, 143.

2. Gweddiau a gyfansoddwyd pan nad ydoedd cyfleusdra gan y Salmydd i wasanaethu Duw yn ei gyssegr. Salm 42, 43, 63, 84.

3. Gweddiau pan ydoedd y Salmydd yn isel o ran ei brofiad, er nid yn amddifad o gyssur. Salm 13, 22, 69, 77, 88, 143.

4. Gweddiau yn gofyn cynnorthwyon gan Dduw. Salm 7, 17, 26, 35.

5. Gweddiau yn dangos yr ymddiried mwyaf yn Nuw yn wyneb cyfyngderau. Salm 3, 16, 27, 31, 54, 56, 57, 61—62, 71, 86.

6. Gweddiau a gyfansoddwyd pan ydoedd pobl Dduw mewn gofidiau a than erledigaethau. Salm 44, 60, 74, 79, 80, 83, 89, 94, 102, 123, 137.

7. Gweddiau yn amser trallod. Salm 4, 5, 11, 28, 41, 55, 59, 64, 70, 109, 140, 141, 143.

8. Gweddiau am gyfryngiad. Salm 20, 67, 122, 132, 144.

II. *Salmau o Ddiolchgarwch.*

1. Diolchgarwch am drugareddau addawedig i bersonau neillduol. Salm 9, 18, 20, 30, 34, 40, 75, 103, 108, 116, 118, 138, 144.

2. Diolchgarwch am drugareddau addawedig i Israel yn gyffredinol. Salm. 46, 48, 65, 66, 68, 76, 81, 84, 98, 105, 124, 126, 129, 135, 136, 149.

III. *Salmau o Foliant.*

1. Cyfaddefiad cyffredinol o ddaioni a thrugaredd Duw, ac yn neillduol ei ofal am ddynion da. Salm 23, 34, 36, 91, 100, 103, 107, 117, 121, 145, 146.

2. Salmau yn dangos gallu, mawredd, gogoniant, a pherffeithiau eraill Duw. Salm 8, 9, 24, 29, 33, 47, 50, 65, 66, 76, 77, 93, 95, 96, 97, 99, 104, 111, 113, 114, 115, 134, 139, 147, 148, 150.

IV. *Salmau Addysgiadol.*

1. Gwahanol gymmeriadau dynion da a drwg; dedwyddwch y naill, a thrueni y llall. Salm 1, 5, 7, 9, 10, 11, 12, 14, 15, 17, 24, 25, 32, 34, 36, 37, 50, 52, 53, 58, 72, 75, 84, 91, 92, 94, 112, 119, 121, 125, 127, 128, 133.

2. Ardderchogrwydd deddfau Duw. Salm 19, 119.

3. Gwagedd bywyd dyn. Salm 39, 49, 90.

4. Cynghor i swyddogion. Salm 82, 101.

5. Rhinwedd gostyngeiddrwydd. Salm 131.

V. *Salmau Prophwydoliaethol.*

Salm 2, 16, 22, 40, 55, 68, 72, 87, 110, 118.

VI. *Salmau Hanesiol.*

Salm 78, 105, 106.

---

# LLYFR Y DIARHEBION.

PRIODOLIR llyfr y Diarhebion agos gan bawb i Salomon, enw yr hwn sydd wrtho; ond oblegid bod yr un ymadroddion yn cael eu hail-adrodd mor fynych, a'r dull yn amrywio, y mae rhai wedi ammeu mai Salomon ydoedd yr awdwr o'r holl lyfr. Diarhebion y ddegfed bennod ar hugain a briodolir yn bennigol i Agur, mab Jaceh, a'r unfed bennod ar ddeg ar hugain a briodolir i'r brenin Lemuel. Dywedir bod Salomon wedi llefaru dros dair mil o ddiarhebion, ond ni chrybwyllir iddo ef wneuthur casgliad o'i ddiarhebion, ac y mae yn debygol iddynt gael eu casglu at eu gilydd gan

wahanol bersonau, ac mai hynny ydyw yr achos bod yr un pethau yn cael eu hail-adrodd mor aml. Dyweda yr Iuddewon i Salomon ysgrifenu y Caniadau yn ei ieuengctyd, y Diarhebion pan tua chanol oed, a'r Pregethwr yn ei hen ddyddiau. Y mae Michaelis wedi sylwi bod y Diarhebion wedi cael eu difynu gan yr Apostolion, y rhai a'u hystyrient yn drysor o foesoldeb ddatguddiedig, a bod eu hysprydolrwydd yn brofadwy drwy y difyniadau lliosog a wneir o honynt.

Amcan y llyfr hwn ydyw dysgu dynion yn nirgeloedd dyfnaf gwir ddoethineb a dealldwriaeth: y mae yn llawn o ddysgeidiaeth, athrawiaethau, dyledswyddau, a duwioldeb, i bob graddau, amgylchiadau, a sefyllfaoedd o ddynion. Nid oes unrhyw bwngc na chyffyrddir âg ef yma, ac ond dilyn ei reolau a'i gyfarwyddiadau, llanwa dyn y cylch y mae rhagluniaeth wedi ei gyfleu ynddo yn dra rhagorol. Gellir rhannu y llyfr hwn yn y wedd ganlynol:—

RHAN I. Yn yr arweiniad i mewn, neu y rhagymadrodd, yr hwn a gynnwysa naw pennod, y mae y dysgawdwr yn rhoddi i'w ysgolhaig res o gynghorion, cyfarwyddiadau, gocheliadau, ynghyd âg annogaethau i fyfyrio doethineb. Y mae y dosparth hwn, medd yr Esgob Lowth, yn amrywiol, yn ardderchog, ac yn wir farddonol; y mae wedi ei harddu âg amrywiol ddarluniadau prydferth, fel nad yw yn ol mewn ardderchogrwydd i unrhyw gyfran o'r Ysgrythyr Lân.

II. Sydd o bennod x. hyd xxii. 6. ac a gynnwysa yn briodol yr hyn a elwir Diarhebion, yn ymadroddion anghyssylltedig, etto yn cynnwys gwirionedd ac athrawiaeth gyflawn ynddynt eu hunain.

III. Sydd gynnwysedig o pen. xxii. 17. hyd pen. xxiv. ym mha un y mae y dysgawdwr yn myned rhagddo yn ei gynghorion a'i addysgiadau i'r ysgolhaig. Y Diarhebion a gynnwysir yn

IV. A dybir iddynt gael eu dethol o gasgliad helaethach o eiddo Salomon, gan wyr Hezeciah, hynny ydyw, gan y prophwydi a bennododd efe i adferyd gwasanaeth ac ysgrifeniadau yr eglwys Iuddewig. 2 Chron. 31. 20, 21. Y mae hwn yn gyffelyb i'r ail ran, ac yn cyrhaeddyd o pen. xxv. hyd pen. xxix. Y mae rhai o ddiarhebion Salomon yma yn cael eu hail-adrodd.

V. Sydd o pen. xxx. hyd xxxi. Yn y gyntaf y mae sylwadau doeth ac addysgiadol buddiol Agur, mab Jaceh, i'w ysgolheigion, Ithiel ac Ucal. Yr unfed bennod ar ddeg ar hugain a gynnwysa y rheolau a rodded i Lemuel gan ei fam, yr hon a dybir gan rai, mai benyw Iuddewig ydoedd, wedi priodi â thywysog cymmydogaethol, ac yn dra awyddus am gadw ei mhab rhag drygau, a'i dywys ar hyd ffordd cyfiawnder. Am Agur ni ellir dywedyd dim; meddylia rhai mai enwau gwahanol ar Salomon ydoedd Agur a Lemuel, ond y mae hyn yn dra annhebygol.

Ymgais rhai ydyw ysprydoli llyfr y Diarhebion, ac adeiladant gestyll o faintioli anferthol weithiau ar ddihareb, gan adael ei gwir a'i phriodol ystyr allan o'r golwg; ond moesau ac addysgiadau yn bennaf sydd i'w dysgu yma, ac nid oes dyn ar y ddaear, o'r brenin hyd y cardottyn, na wna loffa tywysenau ond troi i'r maes hwn. Dywed rhai dysgedigion bod mwy o eisiau diwygio cyfieithad llyfr y Diarhebion nag un o'r llyfrau ysprydoledig eraill, er mwyn ei ddeall a'i ddirnad yn well. Y mae amryw o honynt yn dywyll ac yn ddyryslyd iawn, ac ychydig gynnorthwyon hyd yn hyn y mae esponwyr wedi roddi er eu deall.

## LLYFR Y PREGETHWR.

Enw y llyfr hwn yn ein Biblau ni a ddeillia oddiwrth gyfieithad y Deg a Thrugain, Ecclesiastes—Pregethwr, neu un a annercha gynnulleidfa gyhoedd. Gelwir ef yn Hebraeg, *Dibrey Koheleth*—Geiriau y Pregethwr; wrth yr hwn y meddylir, naill ai y person a gynnulla y bobl, neu efe yr hwn a'u hannercha wedi yr ymgynnullont ynghyd. Er nad ydyw enw Salomon wrth y llyfr hwn, y mae yn amlwg oddi wrth amrywiol ymadroddion ynddo mai efe ydoedd ei awdwr. Cydmarer pen. 1. 12, 16. a 2. 4—9. a 12. 9, 12. Rabbi Kimchi a'i priodola i Esay, a'r Talmudiaid i Hezeciah. Grotius, oddiwrth ryw ymadroddion ynddo, a farna iddo gael ei gyfansoddi drwy orchymmyn Zorobabel, er mwyn ei fab Abihud. Ond gwaith ofer ydyw crybwyll y gwahanol dybiadau am ysgrifenwr y llyfr, oblegid y rhai mwyaf uniawn-gred a pharchus ym mhlith Iuddewon a Christionogion a'i priodolant i Salomon. Y mae cyfansoddiad y llyfr hwn yn brawf amlwg bod ei awdwr yn philosophydd enwog, ac wedi cyrhaeddyd gwybodaeth helaeth gyda golwg ar natur cyfansoddiad y corph dynol. Meddylir yn gyffredin i lyfr y Pregethwr gael ei gyfansoddi gan Salomon yn ei henaint, wedi iddo edifarhau am ei ymarferiadau pechadurus, ac wedi iddo weled a chael ei argyhoeddi o wagedd pob gwrthddrychau gweledig. Y mae athrawiaeth y llyfr hwn yn rhagorol, a gosodir allan wirioneddau perthynol i'r bywyd ac i'r farn a ddaw mewn goleu tra eglur.

Dywedir am ddiben cyfansoddiad y llyfr hwn yn amlwg yn pen. 1. 2. a 12. 13. sef i ddangos gwagedd y pethau a welir, ynghyd âg er tynnu meddyliau dynion oddi wrthynt, at ofn Duw, a chymmundeb âg ef; fel y daioni pennaf yn y bywyd hwn: ac felly gellir ystyried y llyfr yn yr ystyr o ofyniad, sef, Pa beth ydyw daioni pennaf dyn? Ac wedi crybwyll am wahanol bethau a gwrthddrychau, y mae y Pregethwr yn penderfynu gan atteb, ei fod yn gynnwysedig mewn gwir ddoethineb. Cedwir doethineb mewn golwg drwy yr holl lyfr; ac ond i'w ddarllenwyr gadw hyn mewn golwg, diflanna y tywyllwch â pha un y tybir bod amryw ymadroddion yn amdoedig, a symmudir llawer iawn o rwystrau i'w ddeall oddiar y ffordd. I'r

diben i ddyrchafu doethineb, cychwyna y Pregethwr ei draethawd drwy gyhoeddi bod pob peth yn wagedd, ond ni wna hyn gyda golwg i feio gweithredoedd Duw yng ngwaith y greadigaeth, oblegid ni wnaeth Duw ddim yn ofer, ac y mae pob peth yn gwasanaethu ei ddiben creadigol, ac yn amlwg yn dangos gallu, doethineb, a daioni y Creawdwr mawr. Etto pan y mae pethau y byd hwn yn cael eu cymhwyso i ddibenion ammhriodol; pan yr ystyrir hwynt yn bethau pennaf, ac nid fel moddion; a phan yr ymorphwysir arnynt fel seiliau dedwyddwch, ac nid fel canllawiau i gynnorthwyo y daith drwy y byd hwn, y maent yn hollol annigonol ac yn gwbl wagedd. Yng ngwaith Salomon yn myned ym mlaen yn ei ymofyniad gyda golwg ar y daioni pennaf, rhanna ei gyfansoddiad yn ddau ddosparth. Y cyntaf hyd y ddegfed adnod yn y chweched bennod; yn y dosparth hwn dangosa wagedd pob sefyllfaoedd a phleserau daearol; a'r ail ddosparth a gynnwysa ganmoliaeth i ddoethineb, darluniad o'i natur, ei hardderchawgrwydd, a'i heffeithiau dymunol.

RHAN I. Gwagedd pob sefyllfaoedd a phleserau daearol.

Dosp. 1. Gwagedd pob peth daearol. Pen. i. 2.
2. Anfuddioldeb gwaith dynol a chyfnewidioldeb y bywyd dynol. Pen. i. 3—11.
3. Gwagedd ymofyniadau i ffyrdd a gweithredoedd dyn. Pen. i. 12—18.
4. Gwagedd a gorthrymder pleserau a mwyniant. Pen. ii. 1—11.
5. Nad ydyw dysgeidiaeth ddynol ond gwagedd. Pen. ii. 12—17.
6. Gwagedd pob llafur dynol. Pen. ii. 18—23.
7. Gwagedd mwyniant cnawdol. Pen. ii. 24—26.
8. Dibenion dynol yn ofer, ond trefn Duw yn anghyfnewidiol. Pen. iii. 1—14.
9. Gwagedd ymgais dynol. Pen. iii. 15—17.
10. Gwahaniaeth dyn ac anifail yn y pen draw. Pen. iii. 18—22.
11. Gwagedd yn cael ei liosogi i ddynion drwy orthrymder. Pen. iv. 1—3.
12. Gwagedd llwyddiant. Pen. iv. 4.
13. Y gwagedd o ddewis y byd o flaen gwir ddoethineb. Pen. iv. 5, 6.
14. Gwagedd cybydd-dod. Pen. iv. 7, 8.
15. Gwagedd llywodraeth ac awdurdod. Pen. iv. 9—16.
16. Camsyniadau mewn addoli, yn gwneuthur yr addoliad yn ofer a gwag. Pen. v. 1—7.
17. Y gwagedd o rwgnach yng ngwyneb anghyfiawnder. Pen. v. 8, 9.
18. Gwagedd golud. Pen. v. 10—20.
19. Gwagedd awydd gormodol. Pen. 6. 1—9.

RHAN II. Natur, ardderchawgrwydd, ac effeithiau dymunol doethineb neu grefydd.

Dosp. 20. Yn gymmaint a bod pob amcanion, llafur, a mwyniant dynol, yn wagedd, y mae yn naturiol ymofyn, Pa beth sydd dda i ddyn? Pa beth ydyw y daioni pennaf

iddo? Y mae yr atteb i'w gael yn y rhan ddiweddaf o'r llyfr.

21. Canmoliaeth cymmeriad a chyfrifiad. Pen vii. 1.
22. Gofid yn gwellhau y galon, ac yn dyrchafu cymmeriad y doeth. Pen. vli. 2—10.
23. Ardderchawgrwydd doethineb. Pen. vii. 11—14.
24. Gwrth-ddadl ac atteb. Pen. vii. 15. a viii. 7.
25. Drwg pechod yn dangos gwerthfawrogrwydd gwir ddoethineb. Pen. viii. 8—13.
26. Gwrth-ddadl ac atteb. Pen. viii. 14. a ix. 1.
27. Gwrth-ddadl ac atteb. Pen. ix. 2. a xiv. 17.
28. Niwed diogi. Pen. ix. 18.
29. Gallu golud. Pen. x. 19.
30. Cynghor i beidio diystyru awdurdodau. Pen. x. 20.
31. Cynghor i garedigrwydd a chymmwynas. Pen. xi. 1—10.
32. Cynghor i ymarferiad boreuol o grefydd. Pen. xii. 1—7.
33. Y terfyniad. Pen. xii. 8—14.

Nid ydyw llyfr y Pregethwr wedi diengyd sylw yr ysprydolwyr, ond y mae wedi bod yn faes lle y mae eu myfyrdodau wedi casglu llawer o dywysenau; yn neillduol pen. ix. 14, 15. sydd wedi bod yn sail i gestyll hoyw, ac i lawer iawn o ynfydrwydd a ffolineb gan ddynion tywyll ac annysgedig. Dywedir am y ddinas fechan, mai yr eglwys ydyw; y brenin mawr, mai y diafol ydoedd, ac mai Iesu Grist ydoedd y gwr tlawd doeth. Trin gair Duw yn dwyllodrus ydyw pethau fel hyn, ac y mae yn sothach tra annheilwng; etto y fath ymborth a hwn a archwaethir gan nifer liosog o ddynion. Dangos y mae y Pregethwr yn y ddammeg hon werth doethineb, oblegid er bod y mawrion yn nerthol, etto y tlawd drwg ei ddoethineb a waredodd y ddinas. Gwna doethineb yr hyn ni all nerth ei wneuthur; etto yn fynych dibrisir doethineb, oblegid ni chofiodd neb y gwr tlawd doeth. Y fath ydyw balchder dynion, fel na ystyriant ddim yn deilwng o sylw oni fydd wedi deilliaw oddi wrthynt hwy. Y mae dynion yn cyssylltu golud a synwyr ynghyd, fel y gwelir rhai yn fynych yn gwrando yn astud ar ynfydrwydd dyn cyfoethog, tra y gadewir y tlawd doeth yn ddisylw o'r neilldu; ond gwell yw doethineb na golud. Gwaredodd menyw ddoeth ddinas yn Israel. 2 Sam. 20. 16—22.

## CANIAD SALOMON.

Nid oes un o'r llyfrau ysprydoledig ag y mae dysgedigion yn fwy amrywiol eu barnau yn ei gylch, na Chân y Caniadau o eiddo Salomon, ond y mae y nifer liosoccaf yn ei ystyried yn llyfr ysprydoledig, ac yn deilwng o fod yn y Canon sanctaidd. Gyda golwg ar

gyfansoddiadau Salomon, dywedir yn 1 Bren. 4. 32. bod ei ganiadau yn fil a phump, a thybir mai un o honynt ydyw y llyfr dan sylw. Yn yr adnod gyntaf, gelwir ef mewn ffordd o oruchafiaeth *Shir Hashirim*, hynny ydyw, Cân y Caniadau, neu Gân y Cariadau. Mewn perthynas i awdwr y gân hon, cyduna yr hen oesolion a'r oesolion diweddar yn unfryd mai Salomon ydoedd; ac yn wir y mae yr holl lyfr yn brawf o hyn. Ond er bod Caniad Salomon wedi dyfod i ni fel llyfr ysprydoledig, etto y mae ei ysprydolrwydd wedi ei ammeu yn ddiweddar, ac ymdrechiadau wedi eu gwneuthur er ei daflu allan o'r Canon. Gwadwyd ei ysprydolrwydd gan Simon, a Le Clerc, ac yn neillduol gan Whiston, yr hwn a ddywedai mai Cariad-gerdd halogedig ydyw; ond fel prawf o'i ysprydolrwydd, a'i fod yn cael ei ystyried yn gyfran o'r Ysgrythyrau sanctaidd, cyfieithwyd ef i'r Groeg gan y Deg a Thrugain, ac y mae i'w weled yn y cyfieithad Alecsandraidd. Cyfieithwyd ef hefyd i'r Groeg yn yr ail ganrif Gristionogol, gan Aquila, Symmachus, a Theodotian. Origen yn y trydydd canrif a'i cyfleodd yn ei Hexapla, ac a ysgrifenodd Homiliau arno; a rhai o honynt a gyfieithwyd i'r Lladin gan Jerome. Yr Iuddewon yn unfryd a'i derbyniasant fel llyfr ysprydoledig; ac y mae Josephus yn ei lythyrau yn erbyn Apion, yn crybwyll am lyfr y Caniadau ym mhlith y llyfrau canonaidd. O'r synagog Iuddewig, derbyniwyd ef i'r eglwys Gristionogol, heb un ammheuaeth ynghylch ei ysprydolrwydd. Y mae yn rhestr y llyfrau sanctaidd a wnaed gan Melito, Esgob Sardis, yn Lydia, yr hwn, yn ol Cave, a flodeuodd yn y flwyddyn 170, ac a deithiodd i Palestina er ymofyn ynghylch nifer y llyfrau canonaidd. Crybwyllir am dano gan Ignatius, a choffeir am dano yn yr '*Apostolical Constitutions,*' a'r canonau apostolaidd. Mewn gair, y mae y profion o'i fod drwy yr oesau yn cael ei ystyried yn ysprydoledig yn anwadadwy.

Mai cân farddonol ydyw y llyfr dan sylw, a gyfaddefir gan bob beirniaid a deonglwyr; ond y maent ym mhell o fod o'r un farn i ba rywogaeth o farddoniaeth Hebraeg y mae y gân yn perthynu. Michaelis ydoedd o'r farn mai diben y gân ydoedd gosod allan gymmeradwyaeth ddwyfol o briodas; ond y mae drych-feddyliau Mr. Harmer yn fwy rhesymol gyda golwg arni, yr hwn er ei fod yn anewyllysgar i'w galw yn ymddiddan priodasol, a'i hystyria yn gân briodasol, ac i'w deongli drwy gyfansoddiadau o gyffelyb natur yn y gwledydd dwyreiniol. Bossuet, Esgob Meaux, sydd o'r farn bod y gân hon yn chwarae *(Drama)* rheolaidd: a chan fod y briodas Iuddewig yn parhau saith niwrnod gyda defodau gwahanol, y mae wedi rhannu y gân yn y dull canlynol:—

| | | |
|---|---|---|
| Diwrnod 1. | | Pennod 1. 2, 6. |
| 2. | | 2. 7—17. |
| 3. | | 3. 5, 1. |
| 4. | | 6. 10—7, 11. |
| 5. | | 6. 10—7, 11. |
| 6. | | 7. 12—8, 3. |
| 7. | | 8. 4—14. |

Y mae Calmet a'r Esgob Percy o'r un farn a Bossuet, ac y mae yr Esgob Lowth yn lled ffafriol i'r un dyb. Dr. Good a ystyria Gân y Caniadau, nid megis un gân, ond amryw, a'r rhai hynny yn wahanol

oddiwrth eu gilydd. Efe a'i geilw yn fyr-gerddi sanctaidd, ac yn ddeuddeg mewn nifer.

| | |
|---|---|
| Y Gerdd 1. | Pennod 1. 1—8. |
| 2. | 1. 9, 2—7. |
| 3. | 2. 8—17. |
| 4. | 3. 1—5. |
| 5. | 3. 6, 4, 7. |
| 6. | 4. 8, 5, 1. |
| 7. | 5. 2, 6, 10. |
| 8. | 6. 11—13. |
| 9. | 7. 1—9. |
| 10. | 7. 10, 8, 4. |
| 11. | 8. 5, 7. |
| 12. | 8. 8—14. |

Y mae yn dra amlwg mai yr un ydyw testun y gân hon o'i dechreu i'w diwedd. Yr un ydyw y llafarwyr, ond y mae y llyfr yn amlwg yn cynnwys amrywiol o gerddi, ac nid un. Ynghylch y briodas-ferch yn y gân hon, cyduna y niferi amlaf o esbonwyr mai merch Pharaoh brenin yr Aipht ydoedd. Ond y mae Dr. Good o farn wahanol, ac yn dadleu ei bod yn enedigol o Palestina, ac i Salomon ei phriodi flynyddoedd ar ol ei briodas â merch brenin yr Aipht. Y mae yn debygol mai er mwyn cyngrair gwladol y priododd Salomon ferch brenin yr Aipht, pan ydoedd yn ieuangc, ac yn cael ei hamgylchynu gan wrthwynebwyr,—ni allasai fod y fath serch a chariad ag a ddangosir yn y gân gan Salomon at estron, lliw, crefydd, a defodau yr hon ydoedd wahanol oddiwrth yr eiddo ef. Ond yn lle bod yn enedigol o'r Aipht, dyweda y briodas-ferch ei hun ei bod yn enedigol o Saron, talaith yn Palestina. Can. 2. 1. Ac er nad ydoedd o'r gwaed brenhinol, ymddengys ei bod o deulu anrhydeddus. Can. 7. 1. Yr oedd ganddi etifeddiaeth yn Hamon. Can. 8. 12. Ymddengys i'w mham fod yn briod ddwy waith, ac i'w brodyr fod yn draws wrthi; ac y mae hi yn eu galw yn feibion ei mham, yn hytrach na meibion ei thad. Ymddengys bod ganddi frawd bychan ar y bronau, a chwaer lawer yn ieuengach na hi ei hun. Can. 1. 6. a 8. 1, 8.

Dyweda un ysgrifenydd gyda golwg ar lyfr y Caniadau, mai dammeg ydyw, mewn ffordd o *Ddrama,* (math o chwarae,) yn yr hwn yr arddangosir y briodas-ferch fel yn cynnrychioli gwir grefydd, y priod-fab yr Iuddewon, a'r chwaer ieuengaf oruchwyliaeth yr efengyl. Ei helaethiad o'i thywyniad cyntaf yn Eden hyd yn ei llewyrch pennaf drwy angeu ac adgyfodiad Crist, a dybir ei fod yn cael ei osod allan yn yr ymadrodd canlynol:—"Pwy yw hon a welir fel y wawr, yn deg fel y lleuad, yn bur fel yr haul, yn ofnadwy fel llu banerog." Barna hefyd fod y gân hon drwyddi yn cynnwys y gwirioneddau mwyaf am bethau ysprydol.

Y mae wedi bod yn ymofyniad ym mhob oes, ai ystyr lythyrenol Cân y Caniadau ydyw y cwbl a gynnwysa, neu ynte a ydyw yn cynnwys ac yn arwyddo yr undeb priodasol rhwng Crist a'i eglwys? Y mae Michaelis, ac amryw gydag ef, dros yr ystyr lythyrenog yn unig, ond y nifer liosoccaf ym mhlith yr ysgrifenwyr Iuddewig a Christionogol ydynt o'r farn ei fod yn cynnwys pethau ysprydol

mewn alegori. Yr oedd y dull cyffelybiaethol a chydmariaethol a ddefnyddir yng Nghân y Caniadau yn gyffredin gan ysgrifenwyr yr Ysgrythyrau sanctaidd. Pan y mae Esay yn llefaru am adferiad yr eglwys i gymmod â'r Arglwydd, dyweda fel y canlyn:

"Canys dy briod yw'th wneuthurwr;
Jehofah, Duw y lluoedd, yw ei enw;
A'th Waredydd yw Sanct Israel;
Duw yr holl ddaear y gelwir ef." Esay 54. 5.

Ac mewn lle arall dyweda,

"Canys fel y prioda gwr ieuangc forwyn,
Y prioda dy adferwr dydi;
Ac fel llawenydd priod-fab am briod-ferch,
Y llawenycha dy Dduw o'th blegid di." Esay 63. 5.

Rheda y ffigur hon drwy yr holl Ysgrythyrau, megis yn Jer. 2. 2. a 3. 1. &c. lle y cyhoedda yn erbyn gwrthgiliad yr Iuddewon oddiwrth wir addoliad yr Arglwydd. Ond nid oes un o'r prophwydi wedi defnyddio'r ffigur hon yn fwy hŷ ac eofn nag Ezeciel, fel y gellir gweled yn y ddwy ddammeg yn Pen. xvi. a xvii. Ac yn awr, yn gymmaint a bod Duw ei hunan a dynion sanctaidd ac ysprydoledig Duw yn llefaru yn ddamhegol, pa ham yr ymosoda neb er diosg Cân y Caniadau o alegori? Ac nid yn unig yn yr Hen Destament y defnyddir y dull hwn o lefaru, ond y mae y Testament Newydd yn llawn o hono, a Phen Athraw mawr yr Eglwys yn neillduol wedi ei arferyd. Darlunia Ioan Fedyddiwr Grist fel priod-fab; efe ei hun yn gyfaill y priod-fab; a'r eglwys yn briodas-ferch. Ioan 3. 28. Crist a arddelwa iddo ei hun yr enw priod-fab yn Mat. 9. 15. a 25. 1. Gwraig yr Oen, sef yr eglwys, a ddarlunir fel priod-ferch wedi ymdrwsio i'w gwr yn Dat. 21. 2—9.

Esgob Lowth a gyfynga yr alegori i'r eglwys gyffredinol, ac nad ydyw yn perthynu yn y mesur lleiaf i sefyllfa ysprydol personau; ond y mae y dyb hon o eiddo yr Esgob yn anghywir, ac yn anghysson â'r alegori ac âg ymarferiad cyffredinol y beirdd Hebreaidd. Gyda golwg ar y Salmau, y mae yr Esgob Horne wedi profi yn amlwg eu cymhwysiad ysprydol nid yn unig at yr eglwys yn gyffredinol, ond at gredinwyr hefyd yn bersonol; ac y mae y sylwadau canlynol yn ddigonol brofion y gellir cymhwyso Cân y Caniadau at sefyllfaoedd ysprydol dynion yn bersonol, fel aelodau o'r eglwys fawr. Y mae yr eglwys yn gynnwysedig o aelodau, ac yn ddios y mae cyssylltiad rhwng ymddygiad Duw at ei eglwys yn gyffredinol, ac at bersonau yn neillduol. Weithiau cydmerir holl gorph aelodau yr eglwys i deml, yn yr hon y maent yn gerrig bywiol; a phryd arall y mae personau neillduol yn cael eu cydmaru i demlau i'r Yspryd Glân. 1 Cor. 3. 16, 17. Eph. 2. 20—22. Felly hefyd y dywedant weithiau am yr eglwys megis un, a phryd arall, megis eglwysi gwahanol, wedi ymbriodi â'r Arglwydd. Dat. 21. 9. 2 Cor. 11. 2. Ac felly pa beth bynnag a ddywedir am yr eglwys, y mae yn sicr o fod yn perthynu i aelodau yr eglwys; a gall pob un o honynt yn gyfreithlon dynnu cymmaint ag a allont o ddwfr allan o ffynnonau yr iechydwriaeth.

Y gwir ydyw, bod llawer o iaith y llyfr hwn wedi ei cham-ddeall gan esbonwyr, rhai oblegid eu hanwybodaeth o natur y prydydd-

iaethau dwyreiniol, ydynt wedi ystyried rhai rhannau o hono yn anfoesgar, tra y maent yn hollol wrthwynebol yn yr iaith wreiddiol. Y mae eraill, fel y dysgedig Dr. Gill, wedi gwneuthur y fath gymmysgfa o'r ystyron llythyrenol ac alegoraidd, fel y mae y darllenydd wedi ei adael yn y tywyllwch rhwng y ddau. Cymhwysir y ffugurau gan Dr. Gill at y fath liosogrwydd o wrthddrychau, fel na ŵyr y darllenydd pa un ai un neu yr oll o honynt a ddeallir.

---

## PENNOD IV.

# Y PROPHWYDI.

### *Sylwadau cyffredinol ar y Prophwydi a'u Hysgrifeniadau.*

GELWIR y dosparth hwn o'r Ysgrythyrau sanctaidd yn brophwydoliaethol, am y cynnwysa yn bennaf rag-ddywediadau a digwyddiadau dyfodol, er bod amrywiol rannau o honynt yn hanesiol, ac yn athrawiaethol. Awdwyr y llyfrau hyn, mewn ffordd o uchafiaeth, a elwir yn Brophwydi, hynny ydyw, personau ysprydoledig, y rhai a gyfodid ym mhlith yr Hebreaid er bod yn weinidogion Duw. Cyfodwyd y rhai hyn yn oesau boreuaf y byd; yr oedd Enoch yn brophwyd cyn rhoddiad y ddeddf: ond a chyfrif o Moses hyd Malachi, yr hwn ydyw y cyfrifiad cywiraf, yr ydym yn cael rhes o brophwydi, y rhai a flagurasant y naill ar ol y llall dros fil o flynyddoedd. Gwneir cyfeiriadau aml at y cennadau hyn o eiddo y nefoedd yn yr ysgrifeniadau sanctaidd. Y mae yr enw Prophwyd o arwyddoccad cyffredinol: cymhwysid ef gan y paganiaid at bob personau a dybid eu bod yn hyddysg mewn pethau dwyfol, ac o herwydd hyn y geilw Paul ryw brydydd cenhedlig yn brophwyd. Tit. I. 12. Yn llyfrau hanesiol yr Hen Destament, gwneir crybwylliadau mynych am ysgolion ac ysgolheigion y prophwydi, y rhai a sefydlwyd er dysgu y gyfraith, ynghyd â gwirioneddau crefyddol. Nid oedd yr holl ysgolheigion yn y rhai hyn yn briodol yn brophwydi, er y cyfrannai Duw i rai o honynt ddawn prophwydoliaeth. Ym mhellach, llefarir am y prophwydi yn yr Hen Destament fel dynion sanctaidd Duw, gweledyddion, a phrophwydi, yn y dull mwyaf parchus. Y radd uchaf o brophwydi ydoedd y rhai hynny a rag-ddywedent bethau dyfodol, y rhai ni ellid eu mynegu heb gyfarwyddyd Yspryd Duw; megis Esay, Jeremiah, Ezeciel, a'r prophwydi lleiaf.

Y prophwydi, yn ol Augustine, oeddynt philosophyddion, duwinyddion, dysgawdwyr, ac arweinwyr yr Iuddewon i dduwioldeb. Hwynt-hwy oeddynt gaerau ymddiffynol crefydd yng ngwyneb annuwioldeb tywysogion, ac anfuchedd yr oes. Er bod gan y prophwydi awdurdod fawr yn Israel, ac er eu perchid gan y brenhinoedd duwiol, etto yr oedd eu ffordd o fyw yn dra llafurus, ac yn gyffredinol yr oeddynt yn dra thlawd, ac yn agored i amrywiol erledigaethau: yr oeddynt yn gyffredin yn byw o'r neilldu, hwy a'u hysgolheigion. Gwisgoedd y prophwydi oeddynt yn cydweddu hefyd â'u bywydau; Elias ydoedd â'i wisgoedd o grwyn, Esay a ymwisgai mewn sachliain, ac yr oedd eu tlodi yn hyspys drwy yr holl dir. Nid ymddengys bod y prophwydi i beidio priodi, oblegid adduned o ddiweirdeb a wneid ganddynt, ac yr oedd gan Samuel blant, a chrybwyllir am wragedd Esay a Hosea. Mewn perthynas i ysprydoliaeth, nid anfuddiol fyddai sylwi, bod tri dull o ddatguddio yr ewyllys ddwyfol wedi rhoddiad y ddeddf ar Sinai, ac wedi sefydliad yr offeiriadaeth. 1. Y Shecinah, sef gorphwysiad y presennoldeb dwyfol rhwng y Cherubim ar y drugareddfa. Salm 70. 1. a 99. 1. Oddiyma y llefarai Ior mewn geiriau amlwg. Ecsod. 25. 22. a 29. 42. a Num. 7. 89. 2. Yr Urim a'r Thummim, y rhai oeddynt ar ddwyfronneg yr Arch-offeiriad, â pha rai yr ymofynid mewn achosion o bwys. Num. 27. 21. 1 Sam. 28. 6. a 23. 9. a 30. 7. Ezra 2. 63. Rhoddid yr attebion drwy arwyddion amlwg o'r ewyllys ddwyfol. 3. Dull arall o ddatguddio yr ewyllys ddwyfol ydoedd drwy weledigaethau a breuddwydion. Breuddwyd o'r fath hyn ydoedd breuddwyd Abraham, pan ragddywedodd Jehofah am gaethiwed ei hiliogaeth yn yr Aipht, ynghyd â'u gwaredigaeth. Gen. 15. 12—15. Y fath ydoedd breuddwyd Jacob pan welodd yr ysgol ryfedd honno; breuddwydion Joseph; breuddwydion Pharaoh; a breuddwydion Nebuchodonosor. Yr oedd y breuddwydion hyn yn dwyn gyda hwynt dystiolaeth o'u tarddiad gwreiddiol, oblegid y datguddiedigaethau a roddent, a'r argraphiadau rhyfeddol a adawent ar y meddwl. Ond y datguddiedigaethau amlaf o ewyllys Duw a roddid drwy y prophwydi, y rhai a ysprydolid ganddo ef â'r wybodaeth honno ydoedd yn angenrheidiol er dysgu a cheryddu y bobl ym mhob oes; ond yn neillduol er diogelwch gwir grefydd ym mhlith y genedl Iuddewig. Rhoddid y datguddiedigaethau yn y modd amlyccaf i'r prophwydi, fel nad oedd ganddynt le i ammeu yn eu cylch: ac er y gwesgid ac y trallodid eu cyrph o herwydd mawredd y gweledigaethau, etto yr oeddynt mewn meddiant cyflawn o'u synwyrau a'u rhesymmau. Yspryd y brophwydoliaeth a ymsefydlai yn y galluoedd rhesymmol, fel ag yr oeddynt yn meddiannu eu hunain yn hollol; a phan na fyddent yn deall yr hyn a ddangosid iddynt, gofynent am esponiad, fel Daniel a Zechariah. Dan. 9. 18—23. Zech. 1. 9. a 4. 4. a 6. 4, 5.

Ni roddai y prophwydi boreuol ddim mewn ysgrifen, oblegid eu rhag-ddywediadau a berthynent i bethau yn eu hamser hwy, ac a ysgrifenwyd yn y llyfrau hanesiol gyda y cyflawniad o honynt. Fel hynny y bu gydag Elias, Eliseus, Micaiah, ac eraill; ond am y rhai a gawsant eu donio âg yspryd prophwydoliaeth yn yr ystyr helaeth-

af, gan fynegi am y pethau a ddigwyddent ym mhell ar ôl eu dyddiau hwynt, a orchymmynid i ysgrifenu eu prophwydoliaethau. Esay 8. 1. a 30. 8. Jer. 30. 2. a 36. 2, 21. Ezec. 43. 11. Hab. 2. 2. Y rhag-ddywediadau hyn, wedi eu hysgrifenu, a gedwid yn ofalus, am eu bod oll i gael eu cyflawni mewn amser priodol. Y dull ym mha un y traddodai y prophwydi eu prophwydoliaethau a amrywiai, yn ol amgylchiadau; weithiau hwy a'u cyhoeddent yn uchel mewn lle amlwg, ac at hyn y cyfeirir pan orchymmynir i Esay ddyrchafu ei lais fel udgorn; weithiau eu rhag-ddywediadau a osodid ar byrth y deml, lle gallai pawb eu darllen. Jer. 7. 2. Ond ar achosion pwysig, pan ydoedd angenrheidrwydd i gyffroi y bobl, a'u galw i edifeirwch union-gyrchol, ymddengys eu bod yn rhodio oddi amgylch yn gy-hoedd mewn sach-liain, gan alw ac annog y bobl i ymostyngiad ac edifeirwch. Gwnaeth Jeremiah gadwynau a ieuau i'w rhoddi am ei wddf, er dangos y sefyllfa y dygid y cenhedloedd iddi gan Nebu-codonosor. Jer. 27. Weithiau gorchymmynid i'r prophwydi selio a chau eu prophwydoliaethau, modd y gellid eu cyferbynu â'r cyf-lawniad o honynt. Esay 8. 16. Jer. 32. 14. Dan. 8. 26. a 12. 4. Sicr ydyw i ysgrifeniadau y prophwydi gael eu cadw yn ddiogel yn amser y caethiwed, a gwneid cyfeiriadau aml attynt gan y prophwydi diweddarach. Coffeir am brophwydoliaeth Micah yn Jer. 26. 18. a phrophwydoliaeth Jeremiah a goffeir gan Daniel yn pen. 12. 2.

Y llyfrau prophwydoliaethol ydynt un ar bumtheg, oblegid y mae Galarnad Jeremiah yn gyffredin yn cael ei ystyried mewn cyssylltiad â'i brophwydoliaeth. Rhennir hwynt yn ddau ddosparth, sef y prophwydi mwyaf, y rhai ydynt Esay, Jeremiah, Ezeciel, a Dan-iel; a'r rhai lleiaf ydynt Hosea, Joel, Amos, Obadiah, Jonah, Micah, Nahum, Habacuc, Sephaniah, Haggai, Zecariah, a Malachi. Gelwir hwynt yn fwyaf a lleiaf, nid am fod rhai o honynt yn uwch mewn anrhydedd na'r lleill, ond oblegid maintioli eu hysgrifeniadau. Nid ydynt wedi eu cyfleu gan y Deg a Thrugain yr un fath ag yn yr Hebraeg, ond nid ydyw hyn o bwys, am nad ydynt yn yr Hebraeg nac yn y Groeg wedi eu cyfleu yn hollol yn ol yr amser y blodeuasant. Llawer o'r tywyllwch a orphwysa ar y prophwydoliaethau, a ellir ei symmud ymaith drwy eu darllen yn ol trefn yr amser y traddodwyd hwynt; ac er bod hyn yn anhawdd gyda golwg ar rai o honynt, etto y mae y drefn ganlynol o'r prophwydi, ac fel y tybir, yn ol trefn yr amser, allan o waith Blair, Archesgob Newcome, ynghyd âg eraill, yn dra theilwng o sylw, o herwydd y cynnorthwyon a rydd i'r dar-llenydd.

Yn ol y llechres ganlynol, gellir nodi yr amseroedd ym mha rai y blodeuodd y prophwydi fel y canlyn:—1. Cyn y caethiwed ym Mabilon. 2. Yn agos i'r caethiwed, neu yn amser y caethiwed. 3. Wedi dychweliad yr Iuddewon yn ol o Fabilon. Ac yn awr trwy gyferbynu ysgrifeniadau y prophwydi â'r gwahanol amserau hyn, y mae yn hawddach eu deall, ac y mae priodoldeb eu hymad-roddion yn dyfod yn fwy eglur.

| | | | |
|---|---|---|---|
| Jonah, | Cyn Crist. Rhwng 856 a 784. | | Jehu a Joahaz, yn ol Esgob Lloyd; ond Joas a Jeroboam yr ail, yn ol Blair. |
| Amos, | Rhwng 810 a 785. | Uzziah. Pen. 1. 1. | Jeroboam yr ail, pen. 1. |
| Hosea, | Rhwng 810 a 725. | Uzziah, Jotham, Ahaz, y drydedd flw. o Hezeciah. | Jeroboam yr ail, pen. 1. 1. |
| Esay, | Rhwng 810 a 698. | Uzziah, Jotham, Ahaz, a Hezeciah, pen. 1. 1. ac efallai Manasseh. | |
| Joel, | Rhwng 810 a 660, neu yn ddiweddarach. | Uzziah, neu Manasseh. | |
| Micah, | Rhwng 758 a 699. | Jotham, Ahaz, a Hezeciah, pen. 1. 1. | Pecah a Hosea. |
| Nahum, | Rhwng 720 a 698. | Tua therfyn teyrnasiad Hezeciah mae'n debygol. | |
| Sephaniah | Rhwng 640 a 609. | Yn amser teyrnasiad Josiah, pen. 1. 1. | |
| Jeremiah, | Rhwng 628 a 586. | Yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o Josiah. | |
| Habacuc, | Rhwng 612 a 598. | Tebygol mai yn amser Jehoiacim. | |
| Daniel, | Rhwng 606 a 534. | Dros holl amser y caethiwed. | |
| Obadiah, | Rhwng 588 a 583. | Rhwng cymmeriad Jerusalem gan Nebuchodonosor a dinystr yr Edomiaid. | |
| Ezeciel, | Rhwng 595 a 536. | Dros gyfran o'r caethiwed | |
| Haggai, | Rhwng 520 a 518. | Wedi y dychweliad o Babilon. | |
| Zechariah, | Rhwng 520 a 518, neu fwy. | | |
| Malachi, | Rhwng 436 a 420. | | |

*Y Prophwydi a flagurasant cyn Caethiwed Babilon.*

# LLYFR Y PROPHWYD JONAH.

GELWIR y llyfr hwn gan yr Hebreaid *Sepher Jonah*, neu lyfr Jonah, oddiwrth enw ei awdwr, mab Amittai, yr hwn ydoedd enedigol o Gath-Hepher, yn Galilea. Tybir iddo brophwydo i'r deg llwyth, yn ol Esgob Lloyd, tua therfyniad teyrnasiad Jehu, neu ddechreu teyrnasiad Joahaz. Blair ac eraill a'i cyfleant yn nheyrnasiad Joas a Jeroboam yr ail, ynghylch deugain mlynedd yn ddiweddarach. Y mae yn dra thebygol, pan addawodd Jonah adferiad a helaethiad terfynau Israel yn amser Jeroboam yr ail, bod y brenin a'r bobl yn dra drygionus, ac iddo eu galw i edifeirwch a diwygiad. Ond o herwydd i'r Israeliaid barhau yn eu cyndynrwydd a'u hanedifeirwch, i Dduw gymmeryd achlysur i'w anfon i Ninifeh, prif ddinas ymerodraeth Assyria, i gyhoeddi barn Duw ar ei thrigolion. Ond yn lle myned ar orchymmyn Duw, anufuddhaodd Jonah; ond yn ei ffoedigaeth tua Tarsis, bwriwyd ef i'r môr, ac efe a lyngcwyd gan bysgodyn mawr. Bu ym mol y pysgodyn am ryw yspaid, ac yn hyn yr oedd yn gysgod o arosiad ein Harglwydd yn y bedd; ond bwriwyd ef i dir sych, ac ar ol hyn pregethodd i'r Ninifeaid. Cyrhaeddodd y wyrth o'i ddiogelwch ym mol y pysgodyn hyd ym mhell, a hyn ydoedd sail chwedl y Groegiaid, i Hercules ddiengyd allan o fol pysgodyn yn fyw.

Amcan y llyfr hwn ydyw dangos, drwy enghraifft y Ninifeaid, hir amynedd Duw, a'i barodrwydd i faddeu i bechaduriaid. Cymmer ein Harglwydd Iesu Grist achlysur oddiwrth ymddygiad y Ninifeaid i geryddu yr Iuddewon. Mat. 12. 41. Yr oedd pregeth Jonah yn ddigonol dystiolaeth i'r Ninifeaid, a'r canlyniad fu iddynt oll syrthio mewn edifeirwch, o'r mwyaf hyd y lleiaf o honynt. Ond yr Iuddewon yn wyneb amgen pregethwr, ac amgen gwyrthiau, a barhaent yn gyndyn ac yn anedifeiriol.

Y mae llyfr Jonah yn cynnwys y rhaniadau canlynol:—

RHAN I. Ei gennadwri gyntaf i Ninifeh, a'r cynnyg a wnaeth i ffoi i Tarsis. Ei waredigaeth o fol pysgodyn mawr, yr hwn a'i llyngcodd. Pen. i. ii.

RHAN II. Ei ail gennadwri, a'r effaith da a gafodd ar y Ninifeaid, y rhai, mewn canlyniad i bregeth Jonah, a ymostyngasant ger bron yr Arglwydd. Grwgnachrwydd Jonah, rhag, yn wyneb arbediad Ninifeh, iddo gael ei ystyried yn au-brophwyd. Pen. iii. iv.

# HYNODION LLYFR JONAH.

## I. CYMMERIAD JONAH.

Megis y crybwyllwyd yn barod, yr oedd brenhiniaeth Israel yn amser Jonah yn llawn o eilun-addoliaeth o'r fath waethaf, ac yr oedd Jonah ei hun yn enedigol o Gath-Hepher, yn y dalaith a alwyd wedi hynny Galilea y Cenhedloedd. Y bobl a gyfanneddent y lle hwn oeddynt gymmysg, ac i raddau mwy neu lai yn ymlynu gyda gwasanaeth y duwiau a addolid yn y gwledydd o ba rai y daethant allan. Ac y mae yn amlwg bod syniadau Jonah yn dra anghywir am Dduw ac am ei briodoliaethau, fel y mae ei ymddygiadau yn profi. Nid oedd ond ychydig sylw na darlleniad ar y gyfraith yn Israel y pryd hwn: a'r Israeliaid a ystyrient yr Arglwydd Dduw yn meddu ar allu mwy na duwiau y Cenhedloedd, a edrychent ar eu gwlad eu hunain fel yr unig gylch o fewn yr hwn y teyrnasai: ac y mae yn amlwg bod Jonah ei hun o'r dyb hon yn ei waith yn ffoi, gan ymdrechu myned dros y môr, er diengyd o bresennoldeb yr Arglwydd. Yr oedd Joppa, neu fel ei gelwir yn awr, Jaffa, yn hynod y pryd hwnnw am yr addoliad a roddai i eilun o'r enw *Venus-piscis*, yr hwn a elwid hefyd wrth yr enw *Atargates*, a *Derceto*, weithiau ar lun gwrryw, a phryd arall ar lun benyw. Wrth ffoi i'r lle hwn, bwriadai Jonah roddi ei hun dan nodded yr eilun dywededig, yr hwn ydoedd fath o anghenfil mawr ar lun pysgodyn, a phen dyn iddo, a thraed dynol dano. Aeth Jonah i'r llong yn llawn o dybiau anghywir am Dduw; ac yn wir y mae ei holl hanes yn ei ddangos yn ddyn lled ystyfnig ac ammhlygedig. Nid ydoedd wedi cyrhaedd yr wybodaeth honno am Ddnw ydoedd gan rai, a thyna paham y canfyddir cymmaint trwstaneiddiwch yn ei lwybrau. Ond yr oedd Jonah yn brophwyd i'r Arglwydd, ac attebodd ei weinidogaeth ddiben er cael y Ninifeaid i'r llwch.

---

## II. Y PYSGODYN MAWR.

Pan gyfododd y dymhestl ar y môr, y morwyr yn ol eu harfer a alwasant ar eu duw *Derceto* am gymhorth, a chan na roddid hwnnw iddynt, aethant at y gorchwyl o fwrw coelbren, i'r diben o gael gwybod pwy oedd wedi achosi yr aflwydd: syrthiodd y coelbren ar Jonah; ac wedi iddynt ei holi pwy ydoedd, a pha beth ydoedd natur ei addoliad, dywedodd mai Hebread, ac o ganlyniad yn addolwr yr Arglwydd Jehofah. Pan glywodd y llongwyr hyn, ofnasant yn ddirfawr, gan ddywedyd, "Paham y gwnaethost hyn? sef cynnyg ffoi oddiwrth bresennoldeb yr Arglwydd, a gosod dy hun dan ymgeledd Duw Joppa. Ac y mae yn amlwg mai Jehofah sydd wedi cyfodi y dymhestl hon, yr hon ni all ein Duw ni, *Derceto,* ei darostwng." Bwriwyd ef i'r môr, ac yng ngwydd y llongwyr a lyngcwyd gan bysgodyn mawr. Tebygol i'r llongwyr wedi i'r dymhestl fyned drosodd ddychwelyd yn ol i Joppa, ac y mae yn ddios

iddynt adrodd yr hyn oll a ddigwyddodd iddynt ym mhob man, gan synnu oblegid yr hyn a gymmerodd le. Jonah, wedi bod am ryw yspaid ym mol y pysgodyn, a ddygwyd i'r goleuni drachefn; ac er bod yr Ysgrythyrau yn ddistaw, y mae yn dra thebygol mai yn agos i Joppa y daeth y *Cetus*, sef y pysgodyn, i dir, ac iddo chwydu Jonah allan o'i fol yng ngolwg teml Derceto. Diau i'r wyrth hon gyrhaeddyd Ninefeh cyn i'r prophwyd fyned yno, ac i raddau helaeth barottoi'r Ninofeaid i dderbyn ei gennadwri. Mewn perthynas i'r pysgodyn a lyngcodd Jonah, y mae llawer wedi ei ysgrifenu a'i ddywedyd; ac ym mhlith amrywiol bethau a ddywedir, y mae rhai wedi crybwyll, mai i long o'r enw *Cetus* y bwriwyd ef, ond y mae y dyb hon yn rhoddi yr hanes ysgrythyrol yn hollol ar y groes. Dywedir nad y morfil ydoedd, oblegid na allai dyn fyned drwy ei wddf; ond efallai mai nid y morfil ydoedd, oblegid y mae y gair yn arwyddo y *Shark*, neu ryw bysgodyn mawr arall yn gystal a morfil. Gwyrth fawr a wnaed bryd hyn; a phan y mae y Creawdwr mawr yn myned i weithio ac i wneuthur rhyfeddodau ei allu i ymddangos, y mae ganddo ddigon o offerynau. Gwnaed Jonah yn dra gostyngedig ym mol y pysgodyn, ac oddi yno dyrchafodd lef, yr hon a gyrhaeddodd deml sanctaidd Duw: ac wedi i Jonah gael ei drin wrth odre y mynyddoedd ac yn nyfnderau y dyfroedd mawrion, aeth yn ddiddig tua Ninefeh: ond gwelwyd ei hen ddyn yn fyw wedi hynny yng nghymmydogaeth Ninefeh.

---

## III. CICAION JONAH.

Wedi i Jonah draddodi ei gennadwri i'r Ninefeaid, dywedir iddo fyned allan o'r ddinas, ac eistedd o'r tu dwyrain iddi, ac iddo wneuthur iddo ei hun gaban, ac eistedd dano yn y cysgod, hyd oni welai beth a fyddai yn y ddinas. Yr oedd Jonah wedi prophwydo dinystr i'r ddinas ym mhen y deugain niwrnod; ac efe a arosodd hyd yr amser hwn, a diwrnodiau neu wythnosau yn hwy, er boddloni ei gywreinrwydd ynghylch pa beth a ddeuai o'r ddinas. Ymddengys ei bod yn boeth iawn yng nghymydogaeth Ninefeh pryd hyn, ac am boethder y wlad honno dyweda y teithiwr enwog, y Milwriad Campbell, fel y canlyn: "Yr oedd yn gynnar yn y prydnawn, pan ddaeth blaenau tyrau dinas Mosul i'r golwg. Teimlais fy hun ar dir ysgrythyrol, pan syniais fy mod o fewn golwg i Ninefeh, am yr hon y crybwyllir yn yr Ysgrythyrau. Y mae y ddinas ar lan yr afon Tigris, ond er holl ardderchawgrwydd y lle, nid oes y fath beth a myned allan o'r tai ganol dydd oblegid y poethder, ac yn y nos y mae yn boeth iawn, oblegid bod y gwres yn aros ym muriau y tai. Pan gyrhaeddais Mosul, y fath ydoedd y poethder, fel yr oedd yr afon Tigris wedi sychu." Y mae yn debygol mai ar y poethder mawr y bu Jonah yn disgwyl dihenydd Ninefeh; ac er cysgodi ei hun rhag y gwres angherddol y gwnaeth efe iddo ei hun gaban. Dros y caban hwn y tyfodd y *Cicaion* yn rhagluniaethol, gan ymdaenu drosto, er ei harddu yn gystal ag er ei gysgodi.—Bu Jonah lawen oblegid y *Cicaion*.—Gyda golwg ar y *Cicaion*, gwahanol ac

amryw ydynt farnau y dysgedigion am dano; ond y maent gan mwyaf yn cyduno mai math o lysieuyn ydoedd; a'i fod yn tyfu yn nhywod tir Palestina. Dyweda rhai ei fod yn debyg i'r lili, ac eraill ei fod yn debyg i lysieuyn arall. Ymddengys ei fod yn lysieuyn anferth ei faintioli, ac yn tyfu mewn ychydig amser. Yr oedd hwn â'i ddail mawrion yn gysgod cysurus i Jonah rhag poethder yr haul. Bu hwn am amser, efallai am wythnosau, yn gysgod i'r prophwyd; ond pan ydoedd yn ei harddwch mwyaf, gwywodd yn ddisymmwth, ac erbyn y bore yr oedd wedi darfod. Yr oedd y planhigyn hwn yn arddangosiad neillduol o Ninefeh; bu amser yn dyfod i berffeithrwydd, ac arosodd am amser yn ei berffeithrwydd ac yn ddisymmwth bu farw. Felly Ninefeh, bu gryn amser cyn dyfod yn arglwyddes y gwledydd—arosodd felly am yspaid—ond yn ddisymmwth dymchwelwyd hi.

# LLYFR Y PROPHWYD AMOS.

Amos ydyw y trydydd o'r prophwydi lleiaf, yn ol y drefn a fabwysiadwyd yn y Biblau diweddar; tybir ei fod yn enedigol o Tecoah, tref fechan yn nheyrnas Judah, tua deuddeg milldir i'r deheu o Jerusalem. Ond nid oes prawf ei fod yn enedigol o'r lle hwn, ond iddo gilio yno, pan ymlidiwyd ef o Bethel gan Amaziah, archoffeiriad Bethel. Amos 7. 10, 13. Gyda golwg ar amgylchiadau a sefyllfa ei fywyd, dyweda efe ei hun nad prophwyd ydoedd, na mab i brophwyd; hynny ydyw, nad addysgwyd ef yn ysgolion y prophwydi, ond iddo gael ei alw i'r swydd brophwydol oddiwrth yr un fugeilaidd, a chasglydd ffrwyth y sycamorwydd. Prophwydodd yn nheyrnasiad Uzziah brenin Judah, a Jeroboam yr ail, mab Joas: y mae hyn yn amlwg oddiwrth ei brophwydoliaethau. Darlunia sefyllfa Israel yn gywir yn Pen. 6. 12—14. yr un fath ag a wneir yn 2 Bren. 14. 23. Yr ydym yn dysgu ym mhellach oddiwrth Amos 1. 1. iddo ddechreu prophwydo yn yr ail flwyddyn cyn y ddaeargryn, yn nheyrnasiad Uzziah; a thybir ei fod yn gydoeswr â Hosea, Jonah, a Joel. Yr achlysur o brophwydoliaethau Amos ydoedd gorthrymder yr Iuddewon a'r Israeliaid gan y Cenhedloedd cymmydogaethol, ynghyd â sefyllfa lwyddiannus y ddwy deyrnas dan Uzziah a Jeroboam yr ail. Cydmarer Amos 1. âg 2 Bren. 14. 25—27. âg 2 Cron. 26. 6—15. Ond yn gymmaint a bod trigolion y teyrnasoedd hyn wedi ymroddi i eilun-addoliaeth, cybydd-dod, a chreulondeb tuag at y tlodion, yn groes i'r gorchymmyn dwyfol, y mae y prophwyd yn eu ceryddu yn llym am eu hannuwioldeb.

Ym mhrophwydoliaethau Amos, sicrheir i'r deuddeg llwyth ddinystr y Cenhedloedd cymmydogaethol; y mae yn galw hefyd ar y rhai esmwyth arnynt yn Sion i ddeffroi ac edifarhau, rhag i farnedigaethau yr Hollalluog eu goddiweddyd. Cysura hefyd y rhai hynny

oeddynt wir edifeiriol âg addewidion o waredigaeth o gaethiwed dyfodol; a chrybwylla am lwyddiant teyrnas y Messiah, am yr hon y mae prophwydoliaeth neillduol yn pen. 9. 11. Cynnwysa llyfr Amos naw o bennodau neu ymddiddanion, o ba rai, meddylia Calmet mai y seithfed ydyw y gyntaf yn ol trefn amser. Gellir ei rannu yn dair rhan, megis,

RHAN I. Cyhoeddiad o farnedigaethau Duw ar y Cenhedloedd cymmydogol; megis y Syriaid, pen. 1. 1—5. yr hon a welir wedi ei chyflawnu yn 2 Bren. 16. 9; y Philistiaid, pen. 1. 6—8. ac a welir wedi ei chyflawnu yn 2 Bren. 17. 8. Jer. 47. 1, 5. a 2 Cron. 26. 6; y Tyriaid, pen. 1. 9, 10; yr Edomiaid, pen. 1. 11, 12; yr Ammoniaid, pen. 1. 13—15; a'r Moabiaid, pen. 2. 1—3.

II. Barnedigaethau dwyfol cyhoeddedig yn erbyn Judah ac Israel. Pen. 2. 4. a 9. 1—10.

Dosp. 1. Y barnedigaethau dwyfol yn erbyn Judah, y rhai a gyflawnwyd yn llythyrenol ym mhen y dau can' mlynedd wedi hynny. Pen. 2. 4, 5.

2. Yn erbyn Israel, y rhai ydynt bedair o bregethau gwahanol.

Pregeth 1. Cerydd cyffredinol am eu haml bechodau yn erbyn Duw. Pen. 2. 6—16.

2. Cyhoeddiad o farnedigaethau, ynghyd â'r achosion o honynt. Pen. 3.

3. Cerydd ar yr Israeliaid am eu gloddest a'u gormes. Pen. 4.

4. Galarnad dros dŷ Israel, ynghyd â chynghor difrifol i edifeirwch, ac i ymofyn yr Arglwydd; i ymadael â'u heilun-addoliaeth a'u cyngrair annuwiol â'u cymmydogion drygionus. Caethiwed Israel o'r tu hwnt i Damascus yn Assyria yn cael ei fynegu; yr hyn a gyflawnwyd yn 2 Bren. 15. 20. a 17. 5, 23. Sicrwydd y barnedigaethau hyn yn cael eu dangos drwy amryw weledigaethau. Pen. v, vi, vii, viii, a ix. 1—10.

RHAN III. Addewidion cysurus ac efangylaidd mewn perthynas i adferiad yr eglwys gan y Messiah; yn gyntaf dan y cysgod o adeiladu tabernacl Dafydd, yr hwn ydoedd wedi syrthio, pen. 9. 11, 12; ac yn ail trwy gyhoeddiad o addewidion mawrion, pen. 9. 13—15.

Dyweda Jerome am Amos, ei fod yn drwsgl yn ei ymadrodd, ond nid yn ei wybodaeth; ac y mae Calmet ac eraill yn ei ddilyn yn hyn, y rhai a ddywedant fod Amos yn ymddifad hollol o bob addurniadau yn ei gyfansoddiad; ond fel y sylwa yr Esgob Lowth, y mae y peth yn gwbl groes i hyn. Dywed Lowth nad ydyw Amos yn ol o'r prophwydi pennaf, a bod ei brophwŷdoliaeth mor gyflawn o addurniadau ag un o ddynion sanctaidd Duw, y rhai a lefarasant drwy ysprydoliaeth yr Hollalluog. Yr un yspryd a weithredai drwy Esay a Daniel yn y llys, a gyffyrddodd âg Amos ym mhlith y corlannau.

# LLYFR Y PROPHWYD HOSEA.

MEWN perthynas i deulu Hosea, ni chrybwyllir ond yn unig yr hyn a ddywedir yn yr adnod gyntaf, sef ei fod yn fab Beeri, yr hwn sydd yn cael ei ystyried gan rai o'r esponwyr Iuddewig yr un a Beerah, tywysog yn llwyth Reuben, ac a gludwyd i gaethiwed gan Tiglath-pileser brenin Assyria. Prophwydodd yn nheyrnasiad Uzziah, Jotham, ac Ahas, ac yn y drydedd flwyddyn i Hezeciah brenin Judah, a than deyrnasiad Jeroboam yr ail, brenin Israel. Tebygol mai Israeliad ydoedd, ac iddo fyw yn nheyrnas Samaria; oblegid y mae ei brophwydoliaeth gan mwyaf yn cael ei chyfeirio yn erbyn eilun-addoliaeth y deg llwyth. Ond yng nghanol y bygythiadau o lid, y mae addewidion o drugaredd yn cael eu rhoddi; ac y mae y cyfnewidiad o'r naill i'r llall o honynt weithiau yn dra disymmwth. Y deg llwyth, y rhai a elwir gan Hosea wrth yr enwau Ephraim, Israel, a Samaria, a wrthryfelasant yn erbyn Rehoboam mab Salomon, ac a wnaethant Jeroboam mab Nebat yn frenin arnynt. Gosododd hwn yr eilunod i fynu yn Dan ac yn Bethel, a rhoddwyd heibio addoli y Jehofah yn ol ei gynllun ei hun drwy yr holl deyrnas. Yr oedd Jeroboam yr ail, mab Joas, mor annuwiol a drygionus a'r cyntaf o'r enw hwn, ac yr oedd y llwythau yn barod iawn i ddilyn eu brenhinoedd yn eu drygioni. Yn amser teyrnasiad hwn y cyfododd yr Arglwydd Hosea i'r diben o argyhoeddi y bobl, ac i alw arnynt i edifeirwch. Y mae Hosea braidd yn hynottach nag un o'r prophwydi: nid yw yn gwneuthur un sylw o'r Cenhedloedd, na'r gwahanol gynhyrfiadau yn y teyrnasoedd cymmydogaethol; ei wlad ei hun yn unig ydoedd gwrthddrych ei sylw. Sylwa am alwad y Cenhedloedd a'u himpiad i eglwys Crist; ond sonia am hyn yn gyffredinol, ac nid yn neillduol fel Esay. Cyfeiria at alwad ein Harglwydd o'r Aipht, at ei adgyfodiad y trydydd dydd, a dadymchweliad byddin Anghrist yn Palestina drwy gyfryngwriaeth neillduol y Jehofa ei hunan. Dwrdia ei gydwladwyr am eu haml bechodau, edliwia iddynt eu beiau, ac a'u bygythia â chospedigaethau am eu gwrthgiliadau.

Amcan y prophwyd yn ei brophwydoliaethau ydyw, 1. Ceryddu ac argyhoeddi y genedl yn gyffredinol, a'r Israeliaid yn neillduol, am eu hamrywiol bechodau, yn neillduol eu heilun-addoliaeth; ac y mae yn crybwyll am sefyllfa lygredig y deyrnas. 2. Cyhoeddi eu gwrthodiad gan yr Arglwydd, eu caethiwed, ynghyd â dinystr yr Israeliaid gan yr Assyriaid, er eu bod hwy yn ymddiried am waredigaeth ar bwys yr Aiphtiaid. 3. Galw arnynt i edifarhau, ynghyd âg addewidion o drugaredd, a rhâg-ddywediadau o adferiad yr Iuddewon a'r Israeliaid i heddwch Duw ac at Gristionogaeth. Cynnwysa prophwydoliaeth Hosea bedair-ar-ddeg o bennodau, y rhai a ellir rannu i bump o ddosparthiadau neu ymadroddion.

Ymadrodd I. Trwy y gydmariaeth o anffyddlondeb tybiadol gwraig y prophwyd, yr arddangosir anffyddlondeb ysprydol yr Israeliaid, y gweddill o ba rai a addewir achub,

pen. 1. 2—11; a chynghorir hwynt i ymwrthod âg eilun-addoliaeth, pen. 2. 1—11. Yna cyhoeddir addewidion gyda golwg ar ddychweliad y deuddeg llwyth at Grist, neu deyrnas Israel yn neillduol, a ddangosir dan y gydmariaeth o fod y prophwyd yn cymmeryd ei wraig yn ol. Pen. 2. 11—23.

Ymadrodd 2. Y mae y prophwyd yma mewn ymadroddion amlwg ac uniongyrchol yn llefaru yn erbyn eilun-addoliaeth a llofruddiaethau yr Israeliaid, pen. 4. 1—14, 17—19. a gelwir ar breswylwyr Judah i gymmeryd rhybudd oddi wrthynt, yn pen. 5. 1—14. Cyhoeddir barnedigaethau y Goruchaf ar yr offeiriaid, y bobl, a thywysogion Israel; ond gyda hyn cynnygir maddeuant i'r edifeiriol. Y cydmariaethau a ddefnyddir gan y prophwyd ydynt fyrrion a heirdd.

3. Gan fod galwadau y prophwyd i edifeirwch yn aneffeithiol, y mae Duw yn achwyn oblegid eu cyndynrwydd a'u heilun-addoliaeth, pen. 6. 4—11. a 7. 1. 10. Prophwyda am drosglwyddiad Israel i gaethiwed gan Sennacherib, er yr ymddiriedent am nodded yn yr Aipht. Pen. 7. 11. 16.

4. Caethiwed a gwasgariad Israel a gyhoeddir etto. Pen. 9. 10. Ceryddir hwynt oblegid eu heilun-addoliaeth, etto dywedir na thorrid hwynt ymaith yn llwyr; a'u dychweliad yn ol i'w gwlad a grybwyllir. Pen. 11. Bygwthiadau adnewyddol a gyhoeddir oblegid eilunaddoliaeth. Pen. 12. a 13. 1. 8.

5. Wedi gwneuthur cyhoeddiad brawychus o gospedigaethau dwyfol, yn gymmysg âg addewidion o ddychweliad o gaethiwed, y mae y prophwyd yn galw i edifeirwch, ac yn rhoddi iddynt ffurf o weddi addas i'r gorchwyl. Rhagddyweda eu diwygiad oddiwrth eilun-addoliaeth, ac adferiad yr holl lwythau o'r tiroedd y gwasgerid hwynt iddynt, ac yr ymrestrent dan faniar yr efengyl. Pen. 13. 9—15. a 14. 1—9.

Sylwa yr Esgob Lowth, bod arwyddion o hynafiaeth yn ganfyddedig yn llyfr y prophwyd Hosea. Y mae yn dra byr gyda golwg ar bob pwngc a gymmerir ganddo mewn llaw; ond y mae rhai o'r ymadroddion yn dra thywyll ac annealladwy. Yr achos o hyn ydyw, bod ei brophwydoliaethau wedi eu cyssylltu megis un gadwyn; a ninnau yn anhyspys o amgylchiadau pethau a phersonau pan draddodid y prophwydoliaethau.

# LLYFR Y PROPHWYD ESAY.

Er mai y pummed mewn trefn ydyw y prophwyd Esay, etto y mae ei brophwydoliaethau wedi eu gosod y blaenaf yn llechres y prophwydi. Gosodwyd ef felly oblegid ardderchawgrwydd ei brophwydoliaethau, ynghyd â bod y llyfr sydd ar ei enw gymmaint a'r deuddeg prophwyd lleiaf wedi eu rhoddi ynghyd. Mewn perthynas i'w deulu a'i haniad, ni ellir dywedyd dim gyda sicrwydd, ond yr hyn a adrodda efe ei hun yn pen. 1. 1. hynny yw, ei fod yn fab Amos, ac iddo brophwydo yn nyddiau Uzziah, Jotham, Ahas, a Hezeciah, brenhinoedd Judah, y rhai a flodeuasant rhwng 3194 a 3305 o flynyddoedd o oed y byd. Y mae rhyw draddodiad fod y prophwyd hwn o'r gwaed brenhinol, ond nid oes sicrwydd yn hyn. Ymddengys ei fod yn y swydd brophwydol am flynyddoedd lawer, os bu efe byw dan deyrnasiad Manasseh. Y traddodiad Iuddewig am dano ydyw, yr hwn y mae rhai Cristionogion hefyd wedi ei dderbyn, iddo gael ei roddi i farwolaeth gan Manasseh; ond y mae Aben Ezra yn barnu iddo farw o flaen Hezeciah, yr hyn yn ol Esgob Lowth sydd dra thebygol. Y mae yr enw Esay, fel y sylwa Vitringa ac eraill, i raddau yn darlunio ei swydd uchel, yn gymmaint ag mai ei arwyddoccad ydyw Iechydwriaeth Jehofah. Yr oedd Esay yn gydoeswr â'r prophwydi Amos, Hosea, Joel, a Micah. Geilw yr Esgob Lowth ef yn dywysog yr holl brophwydi, a bod ei lyfr oll yn farddonawl hyd at ychydig ymadroddion. Y mae yn deilwng o sylw, bod ei wraig yn cael ei galw yn brophwydes, pen. 8. 3. ac o herwydd hyn meddyliodd rhai o'r Rabbiniaid ei bod yn feddiannol ar yspryd prophwydoliaeth; ond tebygol bod gwragedd y prophwydi yn cael eu galw yn brophwydesau oddiwrth eu gwyr. Er na ddywedir dim ym mhellach am wraig Esay, etto crybwyllir am ddau o'i feibion, y rhai oeddynt gysgodau a gwystlon o ymgeledd y Goruchaf. Sear-jasub, yn pen. 7. 3. a arwydda, Gweddill a ddychwelant, ac a arddangosai y byddai i'r gaethglud a drosglwyddid i Babilon ddychwelyd yn ol ym mhen yspaid o amser; a Maher-salal-hasbaz, yn pen. 8. 1, 3. yr hwn enw a arwydda, Gwna frys, neu Rhed yn fuan i'r anrhaith, a arddangosai y byddai i deyrnasoedd Israel a Syria yn fuan gael eu hanrheithio.

Heblaw y llyfr hwn o brophwydoliaethau, ymddengys oddiwrth 2 Cron. 26. 22. i Esay ysgrifenu gweithredoedd Uzziah brenin Judah. Collwyd hwy ryw fodd neu gilydd gydag eraill o ysgrifeniadau y prophwydi; ond efallai am nad ydoedd wedi ei ysgrifenu drwy ysprydoliaeth, iddo gael ei wrthod a'i gadw allan o'r canon. Priodolir dau lyfr Apocryphaidd iddo, un o'r enw Esgyniad Esay, a'r llall, Datguddiad Esay; ond nid ellir derbyn pethau fel hyn yn ein hoes ni.

Amcan y llyfr dan sylw ydyw, 1. Argyhoeddi, ceryddu, a chondemnio pechodau y genedl Iuddewig, yn neillduol pechodau deg llwyth Israel, ynghyd â ffieidd-dra y Cenhedloedd. Cyhoedda y barnedigaethau trymmaf ar bob pechaduriaid o bob graddau, Iudd-

ewon yn gystal a Chenhedloedd. 2. Galw yn ddifrifol ar bob graddau a sefyllfa, Iuddewon a Chenhedloedd, i edifeirwch a diwygiad, gydag addewidion lliosog o drugaredd a maddeuant. Y mae yn deilwng o sylw, nad oes y fath addewidion yn gymmysgedig â'r bygythion a gyhoeddir ar Babilon, er eu bod yn gyd-gymmysgedig â'r bygythion ar bawb cenhedloedd eraill. 3. I gysuro teulu Duw drwy addewidion a phrophwydoliaethau gorlawn o bob melusderau, yn neillduol addewidion am y Messiah, a phrophwydoliaethau mor oleu a phe buasai wedi gweled Crist yn ymddangos yn y cnawd. Y mae wedi dywedyd yn amlwg am gymmeriad dwyfol y Cyfryngwr; cydmarer Esay 7. 14. a Mat. 1. 18—23. a Luc. 1. 27—35. Pen. 6. a 9. 6. a 35. 4. a 40. 5. 9. 10. a 42. 6—8. a 61. 1. a Luc 4. 18. Ei wyrthiau. Pen. 35, 5—6. Ei rinweddau neillduol. Pen. 9. 2, 3. a 40. 11. a 43. 1. 3. Ei wrthodiad. Pen. 6. 9—12. a 8. 14, 15. a 53. 3. Ei ddioddefaint dros ein pechodau ni. Pen. 50. 6. a 53. 4—11. Ei farwolaeth, ei gladdedigaeth, ei fuddugoliaeth a'r angeu, ei ogoniant mawr, ynghyd â sefydliad, ymhelaethiad, a pherffeithrwydd ei deyrnas. Pen. 53. 8, 9. a 25. 8. a 53. 10—12. a 49. 7, 22, 23. a 52. 13—15. a 53. 4, 5. a 2. 2—4. a 9. 7. a 42. 4. a 46. 13. a 9. 2, 7. a 11. 4—10. a 16. 5. a 29. 18—24. a 32. 1. a 40. 4, 5. a 49. 9—13. a 51. 3—6. a 52. 6—10. a 55. 1—3. a 59. 16—21.

Cynnwysir prophwydoliaethau Esay mewn trugain a chwech o bennodau; o ba rai tybir bod y pump cyntaf wedi eu traddodi yn amser teyrnasiad Uzziah; y chweched dan deyrnasiad Jotham; o'r seithfed hyd y bumthegfed dan deyrnasiad Ahaz; a'r gweddill dan deyrnasiad Hezeciah. Y mae dull dysgedigion yn cyfleu prophwydoliaethau y llyfr hwn yn dra gwahanol. Rhai a'u rhanant yn y wedd ganlynol; 1. Efengyl a chyfraith, yr hwn a gynnwysa farnedigaethau'r nef mewn bygythion, yn gymmysgedig âg addewidion efangylaidd. 2. Hanesiol, yn cynnwys hanes gwahanol bethau. 3. Efangylaidd, yn cynnwys prophwydoliaethau ac addewidion mewn perthynas i waredigaeth yr Iuddewon o'r caethiwed, ynghyd â gwaredigaeth fwy o gaethiwed pechod a llygredigaeth i ryddid meibion Duw, drwy y Messiah mawr. Gellir rhannu prophwydoliaethau Esay i chwech o raniadau, y rhai a gynnwysant wahanol ymadroddion a draddodwyd gan y prophwyd mewn perthynas i wahanol genhedloedd a phobloedd gyda golwg ar y rhai y gorchymmynwyd iddo ef lefaru.

RHAN I. A gynnwysa ddarluniad cyffredinol o sefyllfa a chyflwr yr Iuddewon yng ngwahanol amserau eu hanes; cyhoeddiad a llwyddiant yr efengyl, ynghyd a dyfodiad y Messiah i farw. Pen. 1—5. Y prophwydoliaethau hyn a draddodwyd dan deyrnasiad Uzziah brenin Judah.

II. A gynnwysa y prophwydoliaethau a draddodwyd dan deyrnasiad Jotham ac Ahaz. Pen. 6—12.

III. A gynnwysa amryw brophwydoliaethau yn erbyn y Babiloniaid, yr Assyriaid, y Philistiaid, a chenhedloedd eraill â'r rhai yr oedd yr Iuddewon yn gydnabyddus. Pen. 13—24. Y prophwydoliaethau hyn ydynt naw o ymddiddanion barddonawl.

RHAN IV. A gynnwysa brophwydoliaeth am yr adfyd mawr a oddiweddai bobl yr Arglwydd. Diogelwch grasol gweddill o honynt, eu hadferiad i'w gwlad, eu dychweliad drwy yr efengyl, ynghyd â dinystr anghrist. Pen. 24—33.

V. A gynnwysa y dosparth hanesiol o brophwydoliaeth Esay. Pen. 36—39.

VI. A gynnwysa amrywiol brophwydoliaethau, a draddodwyd wrth bob tebygolrwydd tua therfyn teyrnasiad Hezeciah. Pen. 40—66.

Yn briodol y mae Esay wedi cael ei alw yn brophwyd efangylaidd, oblegid iddo draddodi cynnifer o brophwydoliaethau am ddyfodiad y Messiah, ei gymmeriad, ei weinidogaeth, ei ddioddefaint, ei farwolaeth, ynghyd â'i deyrnas. Mor oleu y llefarai am yr Arglwydd Iesu Grist, fel y rhydd yn hytrach hanes pethau wedi digwydd na phethau i ddyfod. Dyweda yr Esgob Lowth bod prophwydoliaethau Esay yn llawn o bob ardderchawgrwydd, a'i fod yn gynllun perffaith o farddoniaeth prophwydoliaethol. Ei holl feddyliau ydynt ddyrchafedig, a'i iaith yn llawn o bob mawredd a gogoniant. Y mae y bedwaredd bennod ar ddeg yn neillduol o ardderchog, ac yn cynnwys y personoliadau ardderchocaf a geir drwy holl gorph yr Ysgrythyrau sanctaidd. Yna, wedi i'r prophwyd ddarlunio gwaredigaeth yr Iuddewon o'u caethiwed, y mae yn eu gosod megis mewn cydgerdd, yn dangos eu syndod oblegid dymchweliad disymmwth Babilon, ynghyd â chwymp y gormeswr, yr hwn ydoedd wedi bod yn drahaus. Y teyrnasoedd a orthrymmid, neu eu llywodraeth, a ddarlunir dan y gydmariaeth o ffinydwydd a chedrwydd Libanus, megis yn gwawdio oblegid cwymp y gormeswr, rhag yr hwn y maent yn ddiogel mwyach. Canlynir gan bersonoliad o Hades, neu y fro anweledig, a gororau y meirwon. Y mae y fro hon megis yn gosod ei phreswylwyr mewn cyffro; a chysgodau tywysogion ac ysprydion brenhinoedd yn dyrchafu o'u gwelyau a'u gorphwys-leoedd, megis oddiar eu gorseddau, ac yn dyfod at ddrws yr ogof dywell i gyfarfod â brenin Babilon yn ei ddyfodiad, ac i'w wawdio yn ei ddynesiad at ororau y meirwon. Yr Iuddewon drachefn a gymmerant eu hymadroddion, gan ei gyfarch fel seren ddydd wedi syrthio o'r nefoedd, ond yn awr â'i ogoniant wedi diflannu, a'i falchder wedi ei daflu i'r llwch.

Ond y mae camsyniadau anghyffredin yn bod gyda golwg ar y prophwyd Esay; sef bod dynion yn ei ddarllen, ac yn penderfynu ar bethau, heb ystyried at ba beth y cyfeirir. Weithiau y mae dynion yn priodoli yr hyn a ddywedir am Cyrus i Grist yn uniongyrchol, ac felly yn myned i liosogrwydd o gam gymmeriadau. Ystyrir niferi lliosog o'r prophwydoliaethau am waredigaeth ac adferiad yr Iuddewon o Babilon, fel yn perthynu yn uniongyrchol i lwyddiant yr efengyl yn y dyddiau diweddaf. A thuag at ddeall y prophwyd hwn, rhaid cymmeryd poen a llafur er chwilio y personau, yr amgylchiadau, ynghyd â sefyllfaoedd y rhai y crybwyllir am danynt. Nid yn llythyrenol y golygir Crist fel y buddugoliaethwr a ddarlunir yn dyfod i fynu o Edom ac o Bozrah; ond Dafydd neu ryw ben coronog arall, a Christ fel y budugoliaethwr mawr a ddyr-

chafodd i'r uchelder, a gaethgludodd gaethiwed, gan lwyr orchfygu ein holl elynion ni. Mewn perthynas i'r udgorn mawr, nid yr efengyl yn flaenaf ac yn llythyrenol a ddeallir wrtho, ond cyhoeddiad Cyrus brenin Persia, ar fod i'r Iuddewon gychwyn i'w gwlad o bob gororau y trosglwyddwyd hwy iddynt. Ac felly yn aml y mae y prophwyd a'i brophwydoliaethau weithiau yn cael cam, trwy eu tynnu o'u cyssylltiadau a'u cymhwyso at bersonau, pethau, ac amgylchiadau na pherthynant iddynt. Ac ond i'r darllenydd fod yn ofalus i chwilio ol a blaen, y mae yn hawdd iddo ymgadw rhag y niweidiau hyn.

---

# LLYFR Y PROPHWYD JOEL.

AMRYW a gwahanol ydynt farnau a thybiadau dysgedigion am deulu, sefyllfa, amgylchiadau, a galwedigaeth y prophwyd Joel. Ni ellir casglu dim mewn perthynas iddo ond yr hyn a goffeir yn nechreuad ei brophwydoliaeth, sef ei fod yn fab Pethuel. Nid oes amlygiad dan deyrnasiad pa frenin y blodeuodd, na pha le y bu farw. Meddylia y Rabbi Kimchi iddo brophwydo dan deyrnasiad Joram, am iddo ragddywedyd am y saith mlynedd newyn a ddigwyddai yn amser y brenin hwnnw, ac am yr hon y crybwyllir yn 2 Bren. 8. 1—3. Ond y mae ei amser wedi ei guddio dan y llenni, fel na ellir dywedyd ond y nesaf peth i ddim yn ei gylch. Ni sonir ond am yr Aipht ac Edom fel gelynion Juda ganddo; ni chrybwyllir dim am yr Assyriaid a'r Babiloniaid. Cyhoedda yr un barnedigaethau ag Amos yn erbyn y Tyriaid, y Sidoniaid, a'r Idumeaid, y rhai a dorasant i mewn i deyrnas Judah, gan gaethgludo amryw o'r trigolion. Cynnwysa y brophwydoliaeth dair pennod, y rhai a ellir rannu yn dair rhan, neu i gynnifer a hynny o ymadroddion.

RHAN I. Sydd gynghor i'r offeiriaid yn gystal ag i'r bobl i edifarhau, oblegid y newyn a ddygwyd gan wahanol rywogaethau o bryfaid, y rhai a ddifasant gynnyrch y wlad. Canlynir hyn gan fygythiad trymmach o farnedigaeth, os byddai iddynt ymgyndynnu yn erbyn yr Arglwydd. Pen. i. 1—20. Yr ymadrodd hyn a gynnwysa brophwydoliaeth ddyblyg; ei hystyr flaenaf yn berthynol i bla y locustiaid, y rhai oeddynt i ddifrodi holl gynnyrch y wlad; ac yn gydfynedol â hyn, y fath sychdwr a newyn, yr hyn a achosai i'r gwasanaeth gael ei roddi heibio yn y deml. Ac yn ei hail ystyr, arwydda ddyfodiad y Babiloniaid i'r wlad, ac efallai hefyd y Persiaid, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid, gan y rhai y darostyngwyd yr Iuddewon olynol.

II. Cynghor i gadw ympryd difrifol, ynghyd âg addewid i symmud ymaith adfyd yr Iuddewon yn wyneb eu hedifeirwch. Pen. ii. 12—26. Oddiwrth ffrwythlondeb

a llwyddiant y wlad, yr hyn a ddarlunir yn yr adnodau hyn, y mae y prophwyd yn cymmeryd achlysur i ddywedyd am gyflawnder bendithion yr efengyl, yn neillduol tywalltiadau yr Yspryd Glân; mewn cyssylltiad â hyn rhagddyweda am ddinystr y genedl Iuddewig, mewn canlyniad i'w gwrthodiad o'r efengyl.

RHAN III. A gynnwysa ragddywediadau am ddychweliad yr Iuddewon, dinystr eu gelynion, ynghyd â sefyllfa ogoneddus yr eglwys, yr hyn a ganlynai hynny. Pen. iii.

Er bod dull y prophwyd Joel yn dra gwahanol i ddull Hosea, etto y mae yn dra uchel a barddonawl, ac yn neillduol fywiog. Crybwylla gyda bywiogrwydd mawr am yr oes Gristionogol, pryd y byddai i fendithion y cyfammod newydd gael eu tywallt mewn cyflawnder mawr, ac i effeithio yn neillduol ar yr holl genhedloedd.

---

# LLYFR Y PROPHWYD MICAH.

MICAH ydyw y trydydd o'r prophwydi lleiaf, yn ol y drefn Hebraeg yn y copiau diweddar, yn gystal ag yn ol y Deg a Thrugain. Yr oedd efe yn enedigol o Morasthi, tref fechan yn neheubarth Judah; ac megis yr ydym yn dysgu oddiwrth gychwyniad ei brophwydoliaeth, prophwydodd yn nheyrnasiad Jotham, Ahas, a Hezeciah, brenhinoedd Judah; o ganlyniad yr oedd efe yn gydoeswr âg Esay, Joel, Hosea, ac Amos. Yr oedd trigolion Judah ac Israel yn dra halogedig y pryd hwn; a chyfodwyd Micah i'r swydd brophwydol, er cydgynnorthwyo gydag Esay, ac er cadarnhau ei ragddywediadau mewn perthynas i'r Iuddewon a'r Israeliaid, y rhai a elwid ganddo i edifeirwch trwy fygythiadau barnedigaethol, yn gystal a thrwy addewidion o drugaredd. Cynnwysa y llyfr hwn un-ar-ddeg o bennodau, y rhai a ellir rannu yn dair rhan.

RHAN I. Prophwydoliaethau wedi eu traddodi yn nheyrnasiad Jotham brenin Judah, yn y rhai y cyhoeddir barnedigaethau dwyfol yn erbyn Judah ac Israel oblegid eu haml bechodau. Pen. i. 2—16.

II. A gynnwysa brophwydoliaethau a draddodwyd yn nheyrnasiad Ahas brenin Judah, gyda'r hwn y cyssylltwyd ei fab Hezeciah yn y llywodraeth. Pen. ii. 4—8. Yn yr ymadroddion prophwydoliaethol hyn, rhagddyweda Micah am gaethiwed Israel a Judah; ac y mae yn bygwth Israel yn neillduol am eu gelyniaeth yn erbyn Dafydd; a bygythia Judah am eu creulondeb at y rhai a ofnent yr Arglwydd: yna efe a ragddyweda am sefyllfa orfoleddus yr eglwys.

III. A gynnwysa y prophwydoliaethau a draddodwyd gan Micah yn nheyrnasiad Hezeciah brenin Judah. Pen.

4. 9—18. a phen. 5. 7. Yn y gyfran hon bygythir yr Iuddewon â'r caethiwed Babilonaidd; rhagddywedir am ddymchweliad hollol byddin Sennacherib; addewir diogelwch i Hezeciah, ac y byddai i'r Messiah hanu o'i lwynau ef; a chrybwyllir am drangcedigaeth Sennacherib. Rhagrybuddir y bobl o'r barnedigaethau a syrthient arnynt am eu pechodau dan deyrnasiad Manasseh, ynghyd â throsglwyddiad a dychweliad y pen coronog hwn o Babilon.

Y mae llyfr Micah, yr hwn, fel y crybwyllwyd, ydoedd gydoeswr âg Esay, yn cynnwys crynodeb o'r prophwydoliaethau a draddodwyd gan Esay mewn perthynas i Grist yr Arglwydd; ynghyd ag adferiad a dychweliad diweddaf yr Iuddewon. Yn y wedd ganlynol eu cyfieithir gan y Dr. Hales:—

PEN. V. 2. "A ydwyt ti, *Bethlehem Ephratah, yn fechan (i gael dy ystyried)*
Ym mhlith miloedd *Judah*?—
*Oddi wrthyt ti y deillia* (YR ARWEINYDD,)
*Yr hwn a lywodraetha fy mhobl, Israel* (Duw:)
II. (Ond *ei fynediadau* allan sydd er *cynt*,
O ddyddiau tragywyddoldeb.)
III. 3. Am hynny y rhydd efe hwynt (am dymhor)
Hyd yr amser y bydd iddi *hi yr hon a ymddyga*
*Ymddwyn*: yna *y dychwelir*
*Gweddill dy frodyr* (yr Iuddewon)
*Gyda rhai crwydredig Israel.*
IV. 4. Ac efe a *saif* ac a'u *harwain hwynt*
*Yn nerth* YR ARGLWYDD,
*Ym mawrhydi* ENW YR ARGLWYDD EI DDUW.
A *phan ddychwelant*, Efe a fawrheir
Hyd eithafoedd y ddaear,
*Ac* Efe a *fydd eu* HEDDWCH."

Sylwa Dr. Hales ar y brophwydoliaeth hon, ei bod yn gynnwysedig o bedair o rannau, sef, 1. Lle genedigaeth ein Harglwydd Iesu Grist. 2. Ei dragywyddol hanfodaeth. 3. Ei wrthodiad dros amser gan yr Iuddewon. 4. Ei lywodraeth ysprydol a chyffredinol. Y mae y brophwydoliaeth hon o eiddo Micah yn un o'r rhai mwyaf cynnwysfawr gyda golwg ar gymmeriad personol y Messiah; ac yn coroni yr holl brophwydoliaethau a ddarlunient Had y wraig fel i ddeilliaw o Sem, Abraham, Isaac, Jacob, llwyth Judah, a theulu brenhinol Dafydd; ac yn y diwedd yn dywedyd am Bethlehem, dinas Dafydd, fel lle ei enedigaeth. Mewn perthynas i'r brophwydoliaeth a goffawyd, y mae Matthew, pen. 2. 6. yn ei chrybwyll, ac wedi ei gwellhau yn rhagor na phob hen gyfieithiadau.

"A thithau *Bethlehem*, tir Judah,
*Nid lleiaf wyt* ym mhlith *tywysogion Judah*;
O honot ti y daw yr ARWEINYDD,
*Yr hwn a arweinia fy mhobl, Israel* (Duw.")

# LLYFR Y PROPHWYD NAHUM.

Nahum, y seithfed o'r prophwydi lleiaf, a dybir ei fod yn enedigol o Elcos neu Elcosa, pentref yn Galilea. Y mae ansicrwydd mawr mewn perthynas i'r amser y bu efe byw. Rhai a dybiant ei fod yn gydoeswr a Jotham, eraill â Manasseh, ac eraill â Josiah. Y dyb debyccaf ydyw honno a'i cyflea rhwng y caethiwed Assyriaidd a'r un Babilonaidd, ynghylch 715 o flynyddoedd cyn Crist; ac fel mai amcan y prophwyd ydyw cyhoeddi barnedigaethau a dinystr i Ninefeh a'r Assyriaid am eu creulondeb tuag at y deg llwyth, ac yn gymmaint ag i gaethiwed y deg llwyth gymmeryd lle yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad Hosea brenin Israel, y mae yn dra thebygol i Nahum brophwydo yn erbyn yr Assyriaid, er cyssuro pobl yr Arglwydd, tua therfyn teyrnasiad Hezeciah.

Yr oedd trigolion Ninefeh, unwedd a thrigolion dinasoedd mawrion eraill, yn byw yng nghanol golud a chyflawnder o bob trugareddau; ac wedi myned yn dra llygredig yn eu moesau, anfonodd Duw Jonah i bregethu edifeirwch iddynt. A'r fath a fu llwyddiant ei weinidogaeth, fel y darfu i'r brenin a'r bobl droi oddiwrth eu ffyrdd drygionus, ac felly trodd Duw ei farnedigaeth oddi wrthynt. Ond ymddengys mai edifeirwch byr ydoedd hwn, ac i'r Ninefeaid ddychwelyd yn fuan at eu drygioni, a'r canlyniad fu i'r Arglwydd ddigio wrthynt drachefn, a chyfarwyddo Nahum i gyhoeddi eu dymchweliad a'u dinystr anocheladwy gan y Caldeaid, ac i gysuro ei bobl ei hun yn wyneb hynny. Y mae ei brophwydoliaeth yn un cyfansoddiad barddonawl; yn cychwyn gyda darluniad o gyfiawnder a gallu Duw, yn gymmysgedig â'i ddioddefgarwch mawr. Pen. 1. 1—8. Rhagddyweda ddinystr lluoedd Sennacherib, a dadymchweliad yr ymerodraeth Assyriaidd. Pen. 1. 9—12. ynghyd â gwaredigaeth Hezeciah a marwolaeth Sennacherib. Pen. 1. 13—15. Dinystr Ninefeh a ddarlunir gyda manyldra neillduol. Pen. ii. a iii.

Mewn hyfdra, bywiogrwydd, ac ardderchawgrwydd, y mae Nahum yn rhagori ar yr holl brophwydi lleiaf. Ei iaith sydd bur, a'i holl ymadroddion yn dra detholedig. Y parottoadau er dymchwelyd Ninefeh, ynghyd â'r darluniad o'i chwymp a'i hanghyfannedd-dra a arlunir yn dra rhagorol, ac a brawf mai ysprydoliaeth y Goruchaf a'i cyfarwyddai.

# LLYFR Y PROPHWYD SEPHANIAH.

Y Prophwyd Sephaniah ydoedd fab Cusi, fab Gedaliah, fab Amariah, fab Hezeciah, ac fel y tybir, o lwyth Simeon; ond er ei fod wedi crybwyll ei hynafiaid am bedair cenhedlaeth, ni ellir

casglu dim oddiwrth hyn mewn perthynas i'w deulu. Yr ydym yn dysgu oddiwrth ei brophwydoliaethau, iddo eu traddodi dan deyrnasiad Josiah; o ganlyniad, yn yr amser y dechreuodd Jeremiah, ac y mae dull eu prophwydoliaethau yn o gyffelyb. Ymddengys i Sephaniah brophwydo o flaen Jeremiah, oblegid y mae y naill yn llefaru am ryw lygredigaethau wedi eu symmud ymaith, oblegid y rhai yr achwynid gan y llall. Jer. 2. 5, 20, 22. a Seph. 1. 4, 5, 9. Y mae dull Sephaniah yn farddonol, ond nid oes dim yn neillduol o ardderchog yn ei gyfansoddiad. Mewn canlyniad i'r eilun-addoliaeth a'r anwireddau a ffynnent yn nheyrnas Judah, trigolion yr hon ni wrandawsant ar fygythiadau y prophwydi blaenorol, rhoddwyd awdurdod i Sephaniah gyhoeddi mawredd eu drygioni, a'u bygwth â dinystr, er eu tueddu i edifeirwch, ac i alaru ger bron yr Arglwydd.

Y mae prophwydoliaethau Sephaniah wedi eu cyfleu mewn tair o bennodau, a gellir eu dosparthu yn bedair rhan.

RHAN I. Cyhoeddiad yn erbyn Judah oblegid eu heilun-addoliaeth, Pen. i.

RHAN II. Edifeirwch yn cael ei ddangos fel yr unig ffordd i ochelyd digter yr Hollalluog. Pen. ii. 1—3.

RHAN III. Prophwydoliaethau yn erbyn y Philistiaid, y Moabiaid, yr Ammoniaid, yr Ethiopiaid, a Ninefeh. Pen. ii. 4—15.

RHAN IV. Caethiwed yr Iuddewon gan y Babiloniaid yn cael ei rag-ddywedyd, eu gwaredigaeth yn cael ei grybwyll, ynghyd â llwyddiant mawr yr eglwys. Pen. iii.

Y mae amryw ymadroddion tra chysurus i'r eglwys ym mhrophwydoliaethau Sephaniah, sef addewidion o bresennoldeb Duw iddi, yr hyn fyddai yn ddiogelwch iddi yn wyneb ymosodiadau ei holl elynion.

---

## PENNOD V.

### *Ar y Prophwydi a flodeuasant yn agos i'r Caethiwed, neu yn amser y Caethiwed Babilonaidd.*

---

## LLYFR Y PROPHWYD JEREMIAH.

YR oedd y Prophwyd Jeremiah o'r llinach offeiriadol, fel y dyweda efe ei hun, ym mhlith yr offeiriaid a breswylient yn Anathoth, yng ngwlad Benjamin, tua thair milldir Rufeinig o Jerusalem. Ymddengys bod Jeremiah yn dra ieuangc pan alwyd ef i'r swydd brophwydol, ac oblegid hynny y mae yn dadleu ei ieuengctyd fel esgus iddo beidio âg ymannerch ei gyd-wladwyr: ond ni chymmerai y Goruchaf ei esgusodion, a bu Jeremiah dan yr angenrheidrwydd

o ufuddhau, ac efe a brophwydodd ynghylch dwy flynedd a deugain, a chyfrif o'r drydedd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Josiah. Yn ei weinidogaeth cyfarfyddodd â llawer iawn o rwystrau a gwrthwynebiadau oddiwrth ei gyd-wladwyr o bob graddau; ac erlidiwyd ef yn greulon oblegid y dystiolaeth a dystiolaethodd efe dros Arglwydd Dduw Israel. Yr oedd efe yn zelog iawn dros ei wlad, ac yn barod i wneuthur pob aberthau er mwyn ei diogelwch a'i llwyddiant: a'r fath ydoedd ei serchawgrwydd at ei gyd-wladwyr, fel yr oedd yn dangos y cariad mwyaf attynt yn wyneb eu holl angharedigrwydd atto ef. Gwell oedd ganddo aros gyda hwynt na myned i Babilon, er pob addewidion a wneid iddo gan y brenin. Wedi dinystrio Jerusalem, cymmerwyd ef gyda y gweddill i'r Aipht, lle y bu yn dwyn ei dystiolaeth yn erbyn eu heilun-addoliaeth a'u haml bechodau eraill: ond dywedir oblegid ei ffyddlondeb a'i onestrwydd yn eu ceryddu, iddo gael ei labyddio â meini i farwolaeth gan yr Iuddewon yn Tapanhes, yn yr Aipht; ond ymwelwyd â hwynt am eu hanwiredd, oblegid ym mhen ychydig o flynyddoedd daeth lluoedd Babilon i'r Aipht, ac a'u gorchfygasant. Dyweda rhai iddo farw mewn henaint teg yn yr Aipht. Ysgrifenodd ei brophwydoliaethau yn yr Hebraeg, ond yr unfed adnod ar ddeg o'r ddegfed bennod, yr hon sydd yn yr iaith Galdeaeg.

Y mae yn amlwg, oddiwrth amrywiol ymadroddion yn y Llyfr hwn, bod pedwar casgliad neillduol wedi cael eu gwneuthur o brophwydoliaethau Jeremiah. Y cyntaf a grybwyllir yn pen. 36. 2. yr hwn a wnaed, drwy orchymmyn dwyfol, yn y bedwerydd flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim. Yn y casgliad hwn yr oedd yr holl brophwydoliaethau a draddododd ac a gyhoeddodd efe, yn erbyn y Cenhedloedd yn gystal ag yn erbyn yr Iuddewon. Yn ein Biblau ni, y mae y prophwydoliaethau a gyhoeddwyd yn erbyn y Cenhedloedd wedi eu cyfleu wrthynt eu hunain, ac yn niwedd y Llyfr; ond yng nghopïau y Deg a Thrugain y maent yn canlyn y drydedd adnod ar ddeg yn y bummed bennod ar hugain. Y mae y casgliad hwn yn gynnwysedig o'r pennodau 1. 20. 25, 26. 35, 36. 45. a 51. Yr ail gasgliad a grybwyllir yn pen. 30. 2. yr hwn a gynnwysa y pennodau 27—31. yr hwn a wnaed yn nheyrnasiad Sedeciah, o ddeutu y bedwerydd flwyddyn o'i deyrnasiad. Y trydydd casgliad a wnaed yn fuan wedi dinystr Jerusalem, fel y gellir deall oddiwrth yr ymadroddion a ddefnyddir gan y prophwyd ei hun yn ei ragymadrodd i'w Lyfr, lle y dyweda i air yr Arglwydd ddyfod atto, yn nyddiau Josiah fab Amon brenin Judah, yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o'i deyrnasiad; ac yn nyddiau Jehoiacim fab Josiah brenin Judah, nes darfod un mlynedd ar ddeg i Sedeciah fab Josiah brenin Judah, hyd ddygiad Jerusalem i gaethiwed yn y pummed mis. Cynnwysa y trydydd casgliad y pennodau 21—24. 32—34. a 37—39. Y pedwerydd casgliad a gynnwysa y pennodau 40—44. lle y ceir hanes am Jeremiah ei hun, ynghyd â'r Iuddewon eraill y rhai a adawyd yn Judea gan Nebuchodonosor. Pen. 52. a ychwanegwyd, fe allai gan Ezra, fel rhagymadrodd i Lyfr y Galarnad. Y mae wedi ei chymmeryd allan yn bennaf o'r rhan ddiweddaf o ail Lyfr y Brenhinoedd, gyda rhyw ychwanegiadau o eiddo Ezra allan o'r Llyfrau Cyssegredig.

Y mae Dr. Blayney wedi gwneuthur ymdrechiadau mawrion i adferu Llyfr Jeremiah i'w drefn briodol, ac felly wedi trawsddodi rhyw bennodau fel y gwelai angenrheidrwydd; ac yn ol ei drefn ef, y maent i'w cyfleu yn y wedd ganlynol:—

1. Y prophwydoliaethau a draddodwyd dan deyrnasiad Josiah, yn cynnwys pennodau i—xii.

2. Y prophwydoliaethau a draddodwyd dan deyrnasiad Jehoiacim, yn cynnwys pennodau xiii—xx. xxii, xxiii. xxxv, xxxvi, xlv—xlviii. a xlix. 1—33.

3. Y prophwydoliaethau a draddodwyd dan deyrnasiad Sedeciah, yn cynnwys pennodau xxi—xxiv. xxvii—xxxiv. xxxvii—xxxix. xlix. l. a li.

4. Y prophwydoliaethau a draddodwyd dan raglawiaeth Gedaliah, er pan gymmerwyd Jerusalem hyd fynediad y bobl i'r Aipht, ynghyd â'r prophwydoliaethau a draddodwyd gan Jeremiah i'r Iuddewon yn yr Aipht, yn cynnwys pennodau xl—xliv.

Yn gymmaint a bod y drefn hon yn taflu cryn oleuni ar brophwydoliaethau Jeremiah, byddai yn dda i'r darllenydd sylwi arni, er mwyn eu deall yn well: ac er bod prophwydoliaethau Jeremiah yn perthynu yn neillduol i'w bobl ei hun, yr Iuddewon, ac i rai o'r Cenhedloedd, etto y mae dwy neu dair o honynt yn amlwg yn mynegu am y Messiah, ar y rhai y sylwir yn pen. 23. 5, 6. Rhag-ddywedir am deyrnas gyfryngol y Messiah, yr hwn a elwir *Yr Arglwydd ein cyfiawnder*. Ar yr adnod hon gwneir y sylw canlynol mewn llyfr Rabbinaidd o'r enw *Ikkarim*, yr hwn a goffeir gan Dr. Hales, "Geilw yr Ysgrythyrau enw y Messiah, *Jaoh*, (ein cyfiawnder,) er arwyddo y byddai efe yn Dduw cyfryngol, trwy yr hwn yr etifeddwn ni gyfiawnder." Etto yn Jer. 31. 22. ceir rhag-grybwylliad am genhedliad gwyrthiol Crist: ac yn pen. 31. 31—36. a 33. 8. effeithiau Iawn Crist, cymmeriad ysprydol y cyfammod newydd, ac effaith dufewnol yr efengyl. Gwelodd Jeremiah lawer o ofid a helbul yn ei ddydd, ond yr oedd â'i ymddiried yn yr Arglwydd yn wyneb ei holl gyfyngderau.

# GALARNAD JEREMIAH.

Mai Jeremiah ydoedd awdwr y Marwnadau neu y Galarnadau sydd ar ei enw, ni ellir ei wadu, oblegid y mae eu dull yn cydweddu yn gwbl â'i brophwydoliaethau. Y mae Josephus, Jerome, Junius, Archesgob Usher, ac ysgrifenwyr enwog eraill, yn barnu mai Galarnadau Jeremiah ydyw y rhai hynny a grybwyllir yn 2 Cron. 35. 25. wedi eu cyfansoddi gan y prophwyd ar yr achlysur o farwolaeth y brenin duwiol Josiah. Ond gan nad beth a ddaeth o'r Galarnadau hynny, y mae yn amlwg mai nid y rhai hyn oeddynt, oblegid tra eglur ydyw na chyfansoddwyd y rhai dan sylw hyd ddymchweliad teyrnas Judah. Rhagddywedodd Jeremiah am yr adfyd mawr a

oddiweddai y genedl, ac yn y galarnadau dan sylw y mae yn cwyno yn drist o'i herwydd. Rhennir y llyfr hwn yn ein Biblau ni yn bum' pennod, ac y mae yn gynnwysedig o bump Galar-gân.

Galar-gan 1. Dechreua y prophwyd mewn galar oblegid y cyfnewidiad a gymmerodd le yn y wlad; ond ar yr un pryd yn cyfaddef na chafodd ond cyfiawnder oblegid ei haml bechodau a'i gwrthryfel yn erbyn Duw. Yng nghanol ei ymadrodd, y mae yn personoli Jerusalem fel yn erfyn am nodded y goruchaf Arglwydd.

2. Yn hon y mae Jeremiah yn darlunio effeithiau brawychus digofaint Duw yn nadymchweliad sefyllfa wladol a chrefyddol yr Iuddewon. Darlunia drueni ei wlad fel yn anghydmarol; a bod y gau-brophwydi wedi ei bradychu i drangcedigaeth.

3. Y mae y prophwyd yma, wedi iddo ddarlunio ei ofidiau ei hun, yn dangos ei ymddiried yn nhrugareddau Duw; ac yn annog y bobl i ymostwng dan geryddon yr Arglwydd. Annoga i hunan ymholiad ac edifeirwch; ac oddiwrth waredigaethau blaenorol, annoga hwynt i edrych am faddeuant o'u pechodau, a thâl i'w gelynion.

4. A ddengys gyferbyniad amlwg mewn amrywiol bethau, rhwng sefyllfa adfydus y wlad a'i llwyddiant blaenorol; ac a briodola y cyfnewidiad i annuwioldeb yr offeiriaid a'r rhai a gymmerent arnynt fod yn brophwydi. Terfynir yr Alar-gân hon mewn rhagddywediad am y barnedigaethau a grogent uwch ben yr Edomiaid, am eu traha yn erbyn yr Iuddewon yn eu hadfyd.

5. Sydd derfyniad ar y pennodau blaenorol neu y Marwnadau. Yn y Syriaeg, yr Arabaeg, a'r Vulgate, gelwir y bennod hon yn weddi Jeremiah; ond nid oes y fath enw arni yn y copiau Hebraeg.

Y mae yn amlwg i'r galarnadau gael eu hysgrifenu mewn prydyddiaeth; ac y mae Esgob Lowth yn barnu iddynt gael eu hysgrifenu yn wreiddiol gan y prophwyd fel yr ymgynnygient i'w feddwl, ac iddynt yn ol hynny gael eu casglu yn un gân. Y mae pob cân yn gynnwysedig o ddau ddosparth ar hugain, yn ol nifer y llythyrenau Hebraeg; ac y mae y drydedd bennod yn dra hynodol, am fod tair adnod yn dechreu gyda yr un llythyrenau, nes myned dros yr holl lythyrenau Hebraeg. Y mae mwy o hynodrwydd yn perthyn i gyfansoddiad y llyfr hwn nag i un o'r llyfrau ysgrifenedig; ond nid ydyw ei hynodrwydd na'i amrywiaeth yn ganfyddedig mewn cyfieithadau, eithr yn yr iaith wreiddiol yn unig. Ni all dim fod yn fwy teimladwy na Galarnad Jeremiah, yr hon y mae yn annichonadwy ei darllen heb dywallt ffrwd o ddagrau.

# LLYFR Y PROPHWYD HABACUC.

Nid oes un sicrwydd mewn perthynas i lwyth na lle genedigaeth y prophwyd Habacuc. Rhai esponwyr ydynt o'r farn iddo brophwydo yn Judea yn amser teyrnasiad Manasseh; ond y mae Archesgob Usher yn barnu, gyda mwy o debygolrwydd, ei fod yn byw yn amser Jehoiacim; ac os felly, yr oedd yn gyd-oeswr â Jeremiah. Y mae ei brophwydoliaethau yn gynnwysedig mewn tair o bennodau, a'i bwngc sydd yr un a Jeremiah, sef dinystr Judah a Jerusalem gan y Caldeaid, am bechodau y genedl Iuddewig; ynghyd â chyssur i'r ffyddloniaid yn wyneb yr holl dymhestloedd. Y mae prophwydoliaeth Habacuc yn cynnwys dwy ran; y gyntaf mewn ffordd o ymddiddan rhwng Duw a'r prophwyd; a'r ail yn emmyn nefolaidd, wedi ei hamcanu, y mae yn debygol, i'w defnyddio yn y gwasanaeth cyhoedd.

Rhan I. Y mae y prophwyd yn achwyn oblegid cynnydd anwiredd ym mhlith yr Iuddewon. Pen. 1. 1—14. Duw yn bygwth y caethiwed Babilonaidd, fel cosp am eu hanwiredd. Pen. 1. 5—11. Yna y mae y prophwyd yn ymddadleu â Duw, am iddo gospi yr Iuddewon drwy y Caldeaid. Ac mewn atteb i hyn, y mae Duw yn dywedyd, y bydd iddo ef, yn ei amser da ei hun, gyflawni ei addewidion i'w bobl. Dinystr yr ymerodraeth Galdeaidd, ynghyd â'r barnedigaethau a syrthient ar y genedl honno, am eu pechodau. Pen. ii.

II. A gynnwysa weddi neu Salm Habacuc, yn yr hon y mae efe yn dymuno ar Dduw i brysuro gwaredigaeth ei bobl. Cymmera achlysur i goffau gwyrthiau rhyfeddol yr Arglwydd yn arwain ei bobl drwy yr anialwch, ac yn eu dwyn i dir yr addewid. Ac oddiwrth hynny yn cefnogi ei hun ac eraill i ymddiried yng ngallu y goruchaf Arglwydd. Pen. iii.

Saif Habacuc yn uchel ym mhlith prophwydi Duw; ac y mae ei feddyliau a'i iaith yn dra dyrchafedig, yn neillduol ei emmyn yn y drydedd bennod. Dangosa fawredd a gogoniant yr Arglwydd yn ei ryfeddodau yn eglur iawn; ac fel un ydoedd yn ei adnabod, dengys ei ymddiried ynddo, a bod modd i lawenychu yn yr Arglwydd yn wyneb y tymhestloedd a'r tywydd garwaf.

# LLYFR Y PROPHWYD DANIEL.

Ystyrir Daniel y pedwerydd o'r prophwydi mwyaf, ac os nad ydoedd o'r gwaed brenhinol, fel y dywed rhai o'r Iuddewon, etto yr oedd wedi hanu o deulu uchel, ac a ddygwyd i gaethiwed yn y

bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim brenin Judah, ac ynghylch 606 cyn Crist. Dysgwyd ef yn iaith a dysgeidiaeth y Caldeaid, a gosodwyd ef mewn swydd uchel yn y llywodraeth. Yr oedd efe yn gydoeswr âg Ezeciel, yr hwn a grybwylla am ei dduwioldeb anghydmarol. Ezec. 14. 14, 20. Yr oedd Daniel yn dra pharchus gan frenhinoedd Babilon; a'i deilyngdod anghyffredin a dynnodd sylw Darius a Cyrus, brenhinoedd cyntaf Persia. Bu byw drwy y caethiwed, ond nid ymddengys iddo ddychwelyd yn ol i'w wlad ei hun pan ganiattaodd Cyrus iddynt gynniwair tua Jerusalem. Ac yn gymmaint ag i'r diweddaf o'i weledigaethau gymmeryd lle yn y drydedd flwyddyn o deyrnasiad Cyrus, ac ynghylch 534 cyn Crist, y mae yn debygol iddo farw yn y bedwaredd flwyddyn ar ddeg a phedwar ugain o'i oedran, yn ninas Susa ar y Tigris, lle yr oedd yn aros y pryd hwnnw.

Er nad ydyw enw Daniel wedi ei osod wrth y llyfr hwn, etto y mar amrywiol ymadroddion ynddo yn profi i bob eglurdeb mai efe ydoedd yr awdwr. Gellir rhannu llyfr Daniel yn ddwy ran: y gyntaf sydd hanesiol, yn cynnwys adroddiadau am y gwahanol amgylchiadau a ddigwyddasant iddo ef ac i'r Iuddewon dan wahanol frenhinoedd Babilon. Yr ail ran sydd brophwydoliaethol, ac yn cynnwys gweledigaethau a phrophwydoliaethau, drwy y rhai y galluogwyd ef i ragddywedyd pethau rhyfedd mewn perthynas i frenhiniaethau y byd hwn; crybwylla yn amlwg hefyd am ddyfodiad y Messiah, adferiad yr Iuddewon, a dychweliad y Cenhedloedd.

RHAN I. A gynnwysa ddosparth hanesiol Llyfr Daniel. Pen. i.—vi.

Dosp. 1. Dysgeidiaeth Daniel a'i gyfeillion ym Mabilon. Pen. i.
2. Breuddwydd Nebuchodonosor; ei ddehongliad, ynghyd â dyrchafiad Daniel a'i gyfeillion. Pen. ii.
3. Gwaredigaeth wyrthiol y llangciau. Pen. iii.
4. Gwallgofrwydd Nebuchodonosor. Pen. iv.
5. Gwledd fawr Belsassar, ynghyd â'i drangc. Pen. v.
6. Bwriad Daniel i ffau'r llewod, a'i waredigaeth. Pen. vi.

RHAN II. A gynnwysa amrywiol brophwydoliaethau a gweledigaethau gyda golwg ar amser dyfodol.

Dosp. 1. Gweledigaeth y pedwar anifail, yr hon a ddigwyddodd iddo ym mhen wyth mlynedd a deugain wedi breuddwyd Nebuchodonosor. Y bwystfil cyntaf a arddangosai yr ymerodraeth Fabilonaidd; yr ail, yr ymerodraeth Fedo-Persiaidd; y trydydd, ymerodraeth Macedonia, yng ngwlad Groeg; a'r pedwerydd, yr ymerodraeth Rufeinig. Deg corn y bwystfil hwn a arwyddant ddeg brenhiniaeth, neu dywysogaethau a gyfodent o hono; ynghylch y rhai y mae awdwyr yn amrywio; a'r Daflen ganlynol a ddengys eu llafur, ac yn ddiau a rydd ryw oleuni i'r darllenydd mewn perthynas i'r weledigaeth hon.

## *Arwyddoccad y Deg Corn, yn ol Barnau gwahanol Awdwyr.*

| | Machiavel. | Mede. | Esgob Lloyd a Dr. Hales. | Syr Isaac Newton. | Esgob Newton. |
|---|---|---|---|---|---|
| 1. Y corn cyntaf. | Yr Ostrogothiaid ym Mœsia. | Y Brytanniaid. | Yr Huniaid, yn y flwyddyn 356. | Y Fandaliaid a'r Alaniaid yn Spaen ac Affrica. | Senedd Rhufain, y rhai, wedi ymwrthod â'r Ymerawdwr Groegaidd, a ddewisasant Ymerawdwr eu hunain. |
| 2. Yr ail gorn. | Y Fisigothiaid yn Pannoniai. | Y Sacsoniaid ym Mhrydain. | Yr Ostrogothiaid, 377. | Y Sueflaid yn Spaen. | Y Groegiaid yn Ravenna. |
| 3. Y trydydd corn. | Y Sueflaid a'r Alaniaid yn Gascoigne a Spaen. | Y Ffrangciaid. | Y Fisigothiaid, 378. | Y Fisigothiaid. | Y Lombardiaid yn Lombardy. |
| 4. Y pedwerydd corn. | Y Fandaliaid yn Affrica. | Y Burgundiaid yn Ffraingc. | Y Ffrangciaid, 407. | Yr Alaniaid yn Gallia. | Yr Huniaid yn Hungary. |
| 5. Y pummed corn. | Y Frangciaid yn Ffraingc | Y Fisigothiaid yn neheudir Ffraingc a rhan o Spaen. | Y Fandaliaid, 407. | Y Burgundiaid. | Yr Alemaniaid yn yr Ellmyn. |
| 6. Y chweched corn. | Y Burgundiaid yn Burgundy. | Y Sueflaid a'r Alaniaid yn Gallicia a Phortugal. | Y Sueflaid a'r Alaniaid, 407. | Y Ffrangciaid. | Y Ffrangciaid yn Ffraingc. |
| 7. Y seithfed corn. | Yr Heruliaid a'r Thuringiaid yn yr Eidal. | Y Fandaliaid yn Affrica. | Y Burgundiaid 407. | Y Brytanniaid. | Y Burgundiaid yn Burgundy. |
| 8. Yr wythfed corn. | Y Sacsoniaid a'r Angliaid yn ynys Prydain. | Yr Alemanaid yn yr Ellmyn. | Yr Heruliaid, y Rugiaid, a'r Thuringiad, 476. | Yr Huniaid. | Y Gothiaid yn Spaen. |
| 9. Y nawfed corn. | Yr Huniaid yn Hungary. | Yr Ostrogothiaid, y rhai a ganlynwyd gan y Lombardiaid yn Pannonia, ac wedi hynny yn yr Eidal. | Y Sacsoniaid, 476, | Y Lombardiaid. | Y Brytanniaid. |
| 10. Y degfed corn. | Y Lombardiaid ar y Danube, ac ar ol hynny yn yr Eidal. | Y Groegiaid. | Y Longobardiaid yn Hungary, 586. | Teyrnas Ravenna. | Y Sacsoniaid ym Mhrydain. |

Dosp. 2. Yng ngweledigaeth yr hwrdd a'r bwch, y rhagddywedir dinystr yr ymerodraeth Fedo-Persiaidd. Hwrdd ydoedd y llun ar faniar Persia, a bwch ar faniar y Groegiaid dan Alecsander. Y pedwar corn oeddynt frenhiniaethau Groeg, Thrace, Syria, a'r Aipht, a sylfaenwyd gan Casander, Lysimachus, Seleucus, a Ptolemy. Y corn bychan, yr hwn a dyfodd rhwng y pedwar corn, a dybir ei fod yn arwyddo Antiochus Epiphanes; ac eraill a feddyliant mai yr ymerodraeth Rhufeinig a arwyddocceid ganddo. Y gallu hwn a ddinystriodd yr Iuddewon fel cenedl, gan lwyr ddymchwelyd eu teyrnas, a'u gyrru ar wasgar hyd y dydd hwn.

3. Pan ddeallodd Daniel, oddiwrth brophwydoliaethau Jeremiah, bod y caethiwed ar derfynu, gweddiai ac ymprydiai am adferiad Jerusalem. Anfonwyd Gabriel atto, yr hwn a ddywedodd wrtho yr ail-adeiledid y ddinas sanctaidd, ond y dinystrid hi drachefn pan leddid y Messiah.

4. Cynnwysa y dosparth hwn weledigaeth brophwydoliaethol ddiweddaf Daniel, yn y drydydd flwyddyn o deyrnasiad Cyrus, yn yr hon y dyweda efe lawer am ymerodraethau Persia, Groeg, a Rhufain, ynghyd â theyrnas y Messiah.

Dyweda yr Esgob Newton mai prophwydoliaethau rhyfedd ydynt eiddo Daniel, a bod yr un ddiweddaf yn cynnwys digwyddiadau o sefydliad brenhiniaeth Persia, sef pum' cant a deg ar hugain o flynyddau cyn Crist, hyd yr adgyfodiad cyffredinol. Dyweda Syr Isaac Newton hefyd, bod Daniel yr hawddaf i'w ddeall o'r holl brophwydi; ond cyn y mae yn ddichonadwy ei ddeall, rhaid bod yn hyddysg yn hanesion yr amrywiol genhedloedd am y rhai y prophwyda efe. Ni bu neb o'r prophwydi yn fwy enwog na Daniel; a'r fath ydoedd ei grefydd a'i dduwioldeb, fel na wnai esgeuluso ei ddyledswyddau er gosod ei fywyd mewn perygl drwy wneuthur hynny. Bwriwyd ef i ffau y llewod; ond am fod Duw gydag ef yno, daeth allan yn ddiangol, a chafod orfodaeth gyflawn ar ei holl elynion. Ac yn wyneb pob chwyldroadau yr oedd Daniel mewn ffafr, ac achos Caersalem yn agos iawn at ei feddwl. Y mae amryw o'i brophwydoliaethau a'i weledigaethau heb ddyfod i ben hyd yma; ac er bod amryw wedi cynnyg eu deongli, nid oes ond ychydig ymddiried i'w roddi mewn llawer o bethau a ddywedir ganddynt. Ond hyn sydd wirionedd, cyflawnir pob iota a ddywedwyd gan ddynion sanctaidd Duw; a phan ddelo y prophwydoliaethau oddi amgylch, gwelir hwynt mewn goleu clir.

## LLYFR Y PROPHWYD OBADIAH

Y mae yr amser y blagurodd y prophwyd hwn yn gwbl ansicr. Y mae Jerome a'r Iuddewon o'r farn, mai yr un person ydyw a'r Obadiah hwnnw ydoedd yn llywodraethwr tŷ Ahab, ac a borthodd gant o brophwydi, y rhai y mynnai Jezebel eu dinystrio. Rhai a feddyliant mai efe ydoedd yr Obadiah a osodwyd gan Josiah yn olygwr ar waith y deml, fel y crybwyllir yn 2 Chron. 34. 12. Barna Dupin iddo flaguro yn amser Ahaz, pryd y gwnaeth yr Edomiaid a'r Israeliaid ryfel yn erbyn Judah. Ond Grotius, Huet, Lightfoot, ac eraill, a farnant ei fod yn gyd-oeswr â Hosea, Joel, ac Amos. Tebygol iddo brophwydo rhwng cymmeriad Jerusalem a dinystr Idumea gan Nebuchodonosor, yr hyn a gymmerodd le ychydig flynyddoedd wedi dadymchweliad Jerusalem. Os felly, yr oedd mewn rhan yn gyd-oeswr â Jeremiah. Ei ysgrifeniadau ydynt gynnwysedig mewn un bennod, ac y maent yn dra hardd, ac yn dadblygu rhyw olygfa brophwydoliaethol ryfedd. Y mae prophwydoliaethau Obadiah yn gynnwysedig o ddwy ran.

RHAN I. Sydd gyhoeddiad o ddinystr ar Edom oblegid ei balchder a'i diogelwch cnawdol. 1—9. ac oblegid ei gelyniaeth at yr Iuddewon wedi dymchweliad eu dinas. 10—16. Cyflawnwyd y rhag-ddywediad hwn, yn ol Archesgob Usher, ym mhen y pum' mlynedd wedi dinystr Jerusalem, trwy i'r Babiloniaid orchfygu Arabia Garregog, o'r hon ni chymmerodd yr Edomiaid feddiant drachefn.

II. Sydd gysurol, ac yn rhag-ddywedyd am ddychweliad yr Iuddewon. 17. eu buddugoliaethau ar eu gelynion a'u sefyllfa flodeuog mewn canlyniad i hynny. 18—21. Archesgob Newcome a ystyria y brophwydoliaeth hon wedi ei chyflawnu yn amser buddugoliaeth y Maccabeaid dros yr Edomiaid; ond y brophwydoliaeth yn yr adnod ddiweddaf ni chyflawnir hyd onid elo teyrnasoedd y byd yn eiddo ein Harglwydd ni a'i Grist ef.

## LLYFR Y PROPHWYD EZECIEL.

EZECIEL, enw a arwydda *nerth Duw,* ydoedd fab Buzi, o'r linach offeiriadol, ac yn un o'r caethion a drosglwyddwyd gan Nebuchodonosor i Babilon, gyda Jehoiacim brenin Judah. Nid ymddengys iddo brophwydo cyn myned i Mesopotamia; y lle mwyaf nodedig y prophwydai ydoedd afon Chebar, yr hon a ymarllwysa i'r Euphrates ynghylch dau can' milldir is law Babilon. Yno yr arosai y Pro-

phwyd, er ei fod mewn gweledigaethau yn fynych yn cael ei drosglwyddo i Jerusalem. Dechreuodd brophwydo pan ydoedd ynghylch deg ar hugain. Mewn perthynas i'w farwolaeth ni ddywedir dim, ond y mae hynny wedi ei guddio dan y llenni duon, ac yn hyspys i'r Hollalluog ei hun yn unig. Cydnabyddwyd prophwydoliaethau Ezeciel ym mhob oes yn ganonaidd, ac ni ddadleuwyd erioed nad efe ydoedd eu hawdwr; etto dyweda yr Iuddewon bod dadleu mawr wedi bod yn y Sanhedrim pa un a dderbynid ef i'r canon neu beidio. Yr unig wrthwynebiad oedd ganddynt, ydoedd y tywyllwch a ymddengys yn nechreu a diwedd ei brophwydoliaeth. Amcan pennaf Ezeciel ydyw cysuro ei bobl yn eu caethiwed, y rhai a wylent yn chwerw am iddynt anghredu Jeremiah, yr hwn a'u cynghorodd i ymostwng i'r Caldeaid pan ddaethant i fynu i Jerusalem: a chan na welai plant y gaethglud arwyddion o gyflawniad prophwydoliaethau Jeremiah mewn perthynas i'w hadferiad i'w gwlad eu hunain, cyfododd Duw Ezeciel er cadarnhau y prophwydoliaethau dywededig; ac er rhoddi rhai newyddion, gyda golwg ar eu dychweliad etto i'w gwlad eu hunain. Y mae ei brophwydoliaethau yn ein Biblau ni yn gynnwysedig mewn wyth a deugain o bennodau; ac y mae efe yn ofalus iawn gyda golwg ar nodi yr amser y traddodwyd hwynt. Gellir eu rhannu yn bedair rhan.

RHAN I. Galwad Ezeciel i'r swydd brophwydol; ei gommisiwn; y cyfarwyddiadau a roddwyd iddo; a'r cefnogrwydd a gafodd i weithredu yn ol hynny. Pen. i—iii.

II. Cyhoeddiadau yn erbyn y genedl Iuddewig. Pen. iv—xxiv.

Mewn gweledigaeth, dan yr arlun o warchae, a bortreiadwyd ar lech, yr arddangosir gwarchae Jerusalem; ac wrth fod y prophwyd yn gorwedd ar ei ochr aswy 390 o ddiwrnodau, ac ar ei ochr ddeheu 40 niwrnod, yr arwyddir yr amser mewn blynyddoedd, sef 390, y dioddefodd Duw eilunaddoliaeth y deg llwyth, ynghyd â nifer y blynyddoedd, sef 40, y dioddefodd efe bechodau Judah. Yr ymborth gwael a ganiatteid i'r Prophwyd, a arwyddocai y newyn trwm yn Jerusalem, pan warchaewyd hi gan Nebuchodonosor. Dangosa drugaredd Duw at ei eglwys, a'r genedl Iuddewig, dan yr enw Jerusalem, mewn cydmariaeth o berson yn cymmeryd geneth newydd eni, ac wedi ei bwrw ar wyneb y maes, dan ei ymgeledd, ac wedi hynny ei phriodi. Dan y gydmariaeth o ddwy eryr y dangosir yn gysgodol gaethgludiad Jehoiacim, yr eryr cyntaf, i gaethiwed; ac wedi hynny yr ail eryr, Sedeciah. Dan y ddammeg o lewod ieuaingc y rhag-ddywedir caethiwed Joahaz, yr hwn a fwriwyd o'i frenhiniaeth gan frenin yr Aipht, ynghyd â chaethiwed Jehoiacim, yr hwn a fwriwyd o'i frenhiniaeth gan frenin Babilon. A dammeg y winwydden ddiffrwyth a ddengys anghyfannedd-dra a chaethiwed y genedl Iuddewig. Dammeg y goedwig wedi ei diofrydu i'r tân a rag-arwydda ddinystr Jerusalem, a'r cleddyf llym, ddinystr y llwythau, ynghyd â chenhedloedd eraill a droseddent orchymmynion Duw.

RHAN III. A gynnwysa brophwydoliaethau Ezeciel yn erbyn y cenhedloedd cymmydogaethol, gelynion yr Iuddewon. Pen. xxv—xxxii.

Ym mhlith y rhai hyn y mae yr Ammoniaid, y Moabiaid, yr Edomiaid, a'r Philistiaid. Rhag-ddyweda ddinystr Tyrus a Sidon

hefyd; y flaenaf a gymmerwyd gan Nebuchodonosor wedi tair blynedd ar ddeg o warchae.

RHAN IV. A gynnwysa amryw o addewidion cysurol i'r Iuddewon, ynghyd â'u gwaredigaeth drwy Cyrus; ond yn bennaf eu dychweliad yn ufudd ddeiliaid dan deyrnas y Messiah. Pen. xxxvi—lxvi.

# LLYFR Y PROPHWYD HAGGAI.

NID oes wybodaeth ynghylch llwyth na lle genedigaeth y Prophwyd Haggai; efe ydyw y degfed mewn trefn o'r prophwydi lleiaf, a'r cyntaf o'r tri a awdurdodwyd i hyspysu ewyllys yr Arglwydd i'r Iuddewon wedi eu dychweliad o gaethiwed Babilon. Tybir gan y dysgedigion iddo gael ei eni ym Mabilon, a'i fod yn un o'r Iuddewon a ddaethant i fynu gyda Zorobabel mewn canlyniad i gyhoeddiad Cyrus. Tybir hefyd iddo farw yn Jerusalem, ac iddo gael ei gladdu ym mhlith yr offeiriaid. Yr Iuddewon a wnaed yn rhyddion drwy gyhoeddiad Cyrus, wedi dyfod i Jerusalem, a rwystrwyd i ail adeiladu y deml wedi dechreu o honynt, gan raglawiaid Persia, Peidiasant oblegid hyn am bedair blynedd ar ddeg, hyd yr ail flwyddyn o deyrnasiad Darius, pan dueddwyd y pen coronog hwnnw i adnewyddu cyhoeddiad Cyrus: cyfodwyd y Prophwyd Haggai er eu cefnogi i fyned ym mlaen â'u gorchwyl, a gorphenwyd y gwaith ym mhen ychydig flynyddoedd. Cynnwysa llyfr Haggai dair o brophwydoliaethau neu ymadroddion gwahanol.

Ymadrodd 1. Cerydd i'r bobl, yn neillduol eu llywodraethwr a'u Harchoffeiriad, am eu bod yn gohirio gyda golwg ar ail adeiladu y deml, yr hyn ydoedd yr achos bod y tymhorau yn anffrwythlon, ynghyd â bod arwyddion eraill o anfoddlonrwydd Duw arnynt. Pen. i. 1—5.

2. Cysura y Prophwyd yr hen bobl, y rhai pan yn ieuaingc a welsant ogoniant y deml gyntaf, trwy ragddywedyd y byddai hon i ragori mewn gogoniant, am y cyssegrid hi gan bresennoldeb yr Arglwydd Iesu Grist. Pen. ii. 1—19.

3. Rhag-ddyweda y Prophwyd am osodiad teyrnas y Messiah i fynu dan yr enw Zorobabel.

# LLYFR Y PROPHWYD ZECHARIAH.

ER y dywedir am dad a thaid Zechariah, ni ddywedir o ba lwyth na theulu yr hanodd efe, na pha le y ganed ef; ond y mae yn amlwg ei fod yn un o'r caethion a ddychwelasant o Babilon i Jerusalem.

Agorodd ei gommisiwn yn yr wythfed mis o'r ail flwyddyn o deyrnasiad Darius, ynghylch 520 o flynyddoedd cyn Crist. Yr oedd efe yn gyd-oeswr â Haggai, ac yr oedd ei awdurdod yn gwbl mor effeithiol er dwyn ym mlaen adeiladaeth y deml. Cynnwysa prophwydoliaeth Zechariah ddwy ran, y gyntaf am yr hyn o gymmerai le y pryd hwnnw; a'r ail am yr hyn a gymmerai le mewn oesau dyfodol, yn neillduol dyfodiad Crist, a rhyfeloedd y Rhufeiniaid yn erbyn yr Iuddewon.

Rhan I. A gynnwysa brophwydoliaethau a draddodwyd yn yr ail flwyddyn i Darius brenin Persia. Pen. i—vi.

Cynghorir yr Iuddewon i edifeirwch, ac i fyned ym mlaen gyda'u gorchwylion. Rhagddyweda am lwyddiant Jerusalem, a chynghora yr Iuddewon i ymadael â Babilon cyn iddi gael ei dinystrio. Yn wyneb bod gwrthwynebwyr yr Iuddewon yn bwrw rhwystrau o'u blaen, arwydda Zechariah adferiad Jerusalem drwy weledigaeth Joshua wedi ei wisgo mewn gwisgoedd offeiriadol; ac yna y mae yn crybwyll Crist fel pen conglfaen ei eglwys. Trwy weledigaeth y ddau ganhwyllbren aur, y dangosir llwyddiant Zorobabel a Joshua i ail-adeiladu y deml ac adferu y gwasanaeth. Yng ngweledigaeth y plyg-lyfr yn ehedeg, y cyhoeddir y farn ar yspeilwyr ac anudonwyr; a thrwy weledigaeth y cerbydau, y dangosir yr ymerodraethau Babilonaidd, Persiaidd, Macedo-groegaidd, a Rhufeinaidd yn dilyn eu gilydd.

Rhan II. Prophwydoliaethau a draddodwyd yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Darius. Pen. 7—14.

Cynnwysa y dosparth hwn ragddywediadau am ddarostyngiad Syria, Phenicia, a Phalestina gan Alexander y buddugoliaethwr; ynghyd â buddugoliaethau yr Iuddewon ar y tywysogion Groegaidd. Ac yna y mae yn myned ym mlaen at amseroedd yr efengyl, ac yn cyhoeddi diogelwch Jerusalem yn wyneb cynhyrfiadau amseroedd diweddaf y byd drwy luoedd Gog a Magog, y rhai a grybwyllir yn Ezeciel. Trallod yr Iuddewon am i'w tadau groeshoelio Arglwydd y gogoniant a fynegir, a'u dychweliad at yr efengyl a ragddywedir, ynghyd âg amrywiol bethau a gymmerant le yn yr oesau diweddaf.

Zechariah ydyw yr hwyaf a'r tywyllaf o'r prophwydi lleiaf, ond tua'i ddiwedd y mae yn fwy eglur; ac y mae Mr. Mede a Dr. Hammond o'r farn fod pen. 9. 10, 11. wedi eu hysgrifenu gan Jermiah, oblegid yn Mat. 27. 9, 10. coffeir Jeremiah yn lle Zechariah. Ond y mae yn debygol mai Zechariah a ysgrifenodd yr holl lyfr ar ei enw, ac mai diangc wnaeth enw Jeremiah yn lle Zechariah i efengyl Matthew drwy wall rhyw ysgrifenwr.

## LLYFR Y PROPHWYD MALACHI

Mewn perthynas i'r prophwyd Malachi, y diweddaf o'r prophwydi lleiaf, y mae cyn lleied i'w ddywedyd, fel y tybia rhai, mai nid Malachi ydoedd ei enw priodol. Ystyr y gair Malachi, ydyw

fy angel, neu fy nghennad. Ac wrth gydmaru Haggai 1. 3. â Malachi 3. 1. ymddengys bod prophwydi yr Arglwydd yn y dyddiau hynny yn cael eu galw *Malachi Jehofah*, neu gennad yr Arglwydd. Y mae y Deg a Thrugain yn cyfieithu yr enw Malachi, ei angel, yn lle fy angel; ac y mae amryw o'r tadau wedi coffau Malachi dan yr enw, Angel yr Arglwydd. Y mae yn sicr bod Malachi yn berson gwahanol oddiwrth Ezra. Prophwydodd pan ydoedd Nehemiah yn llywodraethwr Judah, ac yn fwy neillduol wedi iddo ddychwelyd yr ail waith o lys Persia. Tybia yr Archesgob Newcome i Malachi flodeuo ynghylch 436 o flynyddoedd cyn Crist. Wedi i'r Iuddewon ail-adeiladu y deml, a sefydlu gwasanaeth ac addoliad Jehofah yn y wlad; etto ar ol marwolaeth Zorobabel a Joshua, ymlygrasant oblegid esgeulusdod yr offeiriaid. Aethant yn neillduol lygredig, yn absennoldeb Nehemiah, pan aeth i lys Persia er cael awdurdod newydd gyda golwg ar ei lywodraeth. Anfonwyd Malachi i'w ceryddu am eu harferion drygionus, ac i alw arnynt i edifeirwch a diwygiad, ac addewir iddynt fendithion mawrion, y rhai a roddid iddynt yn nyfodiad y Messiah yn y cnawd. Y mae ysgrifeniadau Malachi yn bedair pennod, ac yn cynnwys dwy brophwydoliaeth wahanol;

1. Ymadrodd er adgoffa yr Iuddewon am ddaioni neillduol Duw tuag attynt; ac i'w ceryddu oblegid eu bod mor ddiffygiol mewn parch i'r goruchaf Arglwydd. Oblegid hyn bygwthir eu gwrthodiad, a chyhoeddir derbyniad y Cenhedloedd. Bygwthir y bobl a'r offeiriaid, am eu hammharch i Dduw yn eu haddoliad; ynghyd â'u priodasau anghyfreithlon â benywod eilun-addolgar.

2. Rhagddyweda ddyfodiad Crist, a'i ragflaenor Ioan Fedyddiwr, er puro meibion Lefi, yr offeiriaid, ac i daro y wlad â melldith onid edifarhaent. Terfyna y brophwydoliaeth drwy gynghori y bobl i barchu y gyfraith, hyd oni ddeuai y rhagflaenor dywededig yn yspryd a nerth Elias, pan sylfaenid teyrnas y Messiah, yr hon a barhai yn oruchwyliaeth dragywyddol.

# HANESION IUDDEWIG.

## PENNOD I.

### *Gwahanol Ffurfiau y Llywodraeth Iuddewig.*

#### I. Y LLYWODRAETH BATRIARCHAIDD.

Mewn perthynas i'r ffurfiau o lywodraethau ym mhlith dynolryw, o'r amserau boreuaf hyd amser Moses, ni hyspysir ond ychydig yn yr Ysgrythyrau. Ond y mae yn amlwg mai y llywodraeth batriarchaidd ydoedd y gyntaf a sefydlwyd ym mhlith dynion. Ganddynt hwy yr oedd y gallu a'r awdurdod bennaf yn eu teuluoedd, dros eu plant a'u gwasanaeth-ddynion, ac heb fod yn attebol i neb am eu hymddygiadau. Hon ydoedd llywodraeth Abraham, Isaac, a Jacob. Cyhyd ag y buont byw yng ngwlad Canaan, nid oeddynt ddarostyngedig i allu neu awdurdod uwch, ond yn bugeilio ac yn porthi eu diadelloedd yn y mannau a ddewisent. Gen. 13. 6—12. Gwrthwynebent bob anghyfiawnder a wneid â hwynt drwy rym arfau, os byddai hynny yn angenrheidiol. Gen. 14. Ymddygent at grach-frenhinoedd fel at eu cydradd, y rhai a deyrnasent yng ngwahanol ddosparthiadau Palestina. Gen. 14. 13, 18. a 21. 22—32. a 26. 16. 27—33. a 31. 44—54. Yr oedd yr awdurdod batriarchaidd yn llywodraeth arglwyddiaethol, fel mai rhieni oeddynt y brenhinoedd cyntaf a phlant y deiliaid cyntaf. Yr oedd ganddynt allu i ddietifeddu, Gen. 49. 3, 4. i'w gollwng ymaith heb roddi rheswm dros hynny, Gen. 21. 14. a'u cospi â marwolaeth, Gen. 38. 25. Gallai y patrieirch gyhoeddi bendith neu felldith ddifrifol ar eu plant. Melldithiodd Noa ei fab Canaan, Gen. 9. 25.; bendithiodd Isaac Jacob, Gen. 27. 28, 29, 33.; a Jacob a fendithiodd ei feibion, Gen. 49. Ar farwolaeth y tad, y mab hynaf trwy gyfiawnder a etifeddai y fraint a'r anrhydedd o lywodraethu yn y teulu. A'r hawl hon yr oedd y swydd offeiriadol wedi ei chyssylltu; ac felly, nid yn unig yr oedd y pennau teuluoedd yn feddiannol ar allu gwladol, ond gweinyddent fel offeiriaid hefyd yn y teuluoedd y perthynent iddynt. Gen. 8. 20. a 12. 7, 8. a 35. 1—3. Ac er bod pob un o feibion Jacob yn arferyd y gallu uwchaf yn eu gwahanol deuluoedd, yn amser bywyd eu tad, (Gen. 38. 24.) etto ymddengys bod gan eu tad ryw awdurdod ar bob un o honynt. Gen. 42. 1—4. 43. 1—13. a 50. 15—17. Wedi i hiliogaeth Jacob amlhau yn yr Aipht, bu angenrheidrwydd cael swyddwyr neu lywodraethwyr âg awdurdod mwy ganddynt, y rhai a enwid yn Henuriaid, am eu dewis, debygid, oblegid eu hoedran a'u doethineb. Y *Shoterim*, neu swyddogion meibion Israel, Ecsod. 5. 14. a dybir eu bod yn fath o swyddwyr a ddewisid ganddynt hwy eu hunain; ond y mae am-

gylchiadau pethau yn ein tueddu i farnu am y *Shoterim*, mai gan yr Aiphtiaid y pennodid hwynt, er gofalu am i'r Israeliaid wneuthur eu gorchwylion.

---

## II. Y LLYWODRAETH DAN MOSES.

Wedi ymadawiad Israel â gwlad eu gorthrymwyr, dan arweinyddiad Moses, gwelodd y goruchaf Dduw fod yn dda i sefydlu ffurf newydd o lywodraeth, yr hon a elwir gan yr ysgrifenwyr yn Dduwbennaeth *(Theocracy)* am mai Duw ei hun a'i oraclau a'i llywodraethent—ganddo ef yr oedd yr awdurdod i sefydlu neu ddiddymmu cyfreithiau. Yr oedd y llywodraeth hon wedi ei hamcanu er amddiffyn meddiannau, rhyddid, diogelwch, a heddwch yr holl aelodau yn y wladwriaeth; ac yr oedd hefyd wedi ei hamcanu er neillduo llwythau Israel i fod yn bobl sanctaidd i Dduw, ac yn deyrnas o offeiriaid. Ecsod. 19. 3—6. Deut. 29. 10—18. Ymddengys mai egwyddor sylfaenol deddf Moses ydoedd cynnal athrawiaeth ac addoliad un gwir Dduw, ac ymgadw rhag aml-dduwiaeth ac eilunaddoliaeth. Yn ol y cyfammod a wnaeth Jehofah âg Israel, yr oeddynt hwy wedi ymrwymo drwy lw i ufuddhau iddo ef fel eu Duw a'u Brenin, ac i rodio yn ol y rheolau hynny a welai efe fod yn dda eu rhoddi iddynt, gan ymgadw yn hollol oddiwrth eilun-addoliaeth. Wrth ufuddhau yn y wedd hon i Jehofah, ac wrth ymgadw o fewn terfynau ei ddeddfau a'i farnedigaethau ef, yr oedd ei fendith yntau i fod arnynt, ac yr oedd yn rhwym o'u diogelu rhag eu holl elynion; ond os hwy a anufuddhaent i'w orchymmynion ef, gan butteinio ar ol duwiau dieithr, yr oedd Jehofah i'w bwrw allan o'i gyfammod, a'u gadael yn ysglyfaeth i'w holl gaseion; ynghyd â dwyn arnynt eu hunain yr holl felldithion yn Deut. 29. 25—27. Sylwedd y cyttundeb hwn rhwng Jehofah âg Israel ydoedd hyn:—Os ydoedd yr Hebreaid yn cydsynio yn wirfoddol i dderbyn Jehofah fel eu Brenin, i gadw ei orchymmynion, i'w anrhydeddu a'i a'i addoli fel un gwir Dduw, y byddai iddo yntau eu llywodraethu hwythau, eu hamddiffyn a'u diogelu, ynghyd â'u llwyddo y tu hwnt i holl genhedloedd y byd. Y mae yn angenrheidiol o sylw hefyd, bod y ffurf-lywodraeth wedi ei chadarnhau yn bennaf gyda golwg ar bethau tymhorol; bendithion tymhorol am ufudd-dod, a melldithion tymhorol am anufudd-dod. Yn y Dduw-bennaeth hon, rhoddwyd y cyfreithiau gan Dduw y Brenin trwy Moses, ac yr oeddynt i fod mewn grym parhaus hyd newidiad y cyfansoddiad gan Dduw ei hunan. Y barnwyr, gan ba rai y gweinyddid y gyfraith, a eisteddent megis yn lle Duw. Deut. 1. 17. a 19. 7. Cymmerid y barnwyr hyn yn gyffredin o lwyth Lefi, ac esponiwr pennaf y gyfraith ydoedd yr archoffeiriad; a phob achos na ellid ei benderfynu, rhaid oedd ymofyn drwy Urim a Thummim, ac yna nid oedd appêl drachefn.

Ond er mai Duw ei hunan ydoedd pennaeth y werin-lywodroeth Iuddewig, etto yr oedd yn perthyn iddi amryw swyddwyr, am y rhai y crybwyllir yn yr Ysgrythyr Lân, megis,

1. *Pennau teuluoedd neu dywysogion y llwythau.* Ymddengys bod gwahanol ganghenau hiliogaeth Abraham yn cadw gyda'u gilydd ar

wahan oddiwrth eraill. Yr oeddynt yn ddeuddeg llwyth yn yr Aipht; ond yn yr anialwch rhannwyd pob llwyth gan Moses i deuluoedd mawrion, y rhai a elwid *Mish pachoth*, neu deuluoedd, mewn ffordd o wahaniaethad; a *Batey aboth*, neu dai y tadau. Num. 1. 2. Jos. 7. 14. Yr oedd gan bob un o'r rhai hyn hefyd eu pennaethiaid, y rhai a elwid pennau tai eu tadau. Ni chrybwyllir pa fodd y dewisid y rhai hyn pan fyddai neb o honynt feirw. Arosodd y rhai hyn dan frenhiniaeth Israel, o leiaf hanfodent yn amser Dafydd. 1 Cron. 27. 16—22. Ymddengys yn awr yn amlwg pa fodd y safai llywodraeth Israel heb frenin, ac ar achlysuron heb y swyddwr hwnnw a elwid barnwr; oblegid yr oedd gan bob llwyth ei swyddwyr uchaf, ac wedi hynny y pennau teuluoedd, y rhai oeddynt i gadw pethau mewn trefn, ac i weinyddu cyfiawnder a barn i'r bobl.

2. *Barnwyr*. Pennodwyd y rhai hyn gan Moses, ac yr oedd ganddynt hawl drwy eu swydd i fod yn bresennol yn y gynnulleidfa, neu gyfarfod y wladwriaeth. Bu Moses am ryw yspaid yn unig farnwr y bobl. Jethro, chwegrwn Moses, wrth weled y pwys a orphwysai ar ysgwyddau Moses, a awgrymmodd iddo y byddai yn well iddo (os arwyddai Jehofah ei foddlonrwydd i hynny) i bennodi barnwyr, neu lywodraethwyr ar ddegau, degau a deugeiniau, ar gannoedd, ac ar filoedd. Ond wedi ymsefydlu o'r Hebreaid yng ngwlad Canaan, ordeiniodd Moses cyn hynny ar fod i farnwr gael ei sefydlu ym mhob dinas, ac ymddengys bod hwnnw i gael ei ddewis gan y bobl. Deut. 16. 18. Mewn oesau dyfodol, llenwid y swydd hon gan y Lefiaid, a hynny yn ol pob tebygolrwydd am mai hwy oedd y rhai mwyaf deallus yn y gyfraith. 1 Cron. 23. 4. a 26. 29—32. 2 Cron. 12. 8—11. a 34. 13.

3. Yn amser ymdeithiad yr Hebreaid yn yr anialwch, sefydlodd Moses gynghor o ddeg a thrugain, er ei gynnorthwyo yn y llywodraeth; ond nid ymddengys i'r cynghor hwn barhau yn hir; eithr wedi dychweliad yr Iuddewon o Babilon, y mae yn hyspys iddynt sefydlu cynghor neu sanhedrim yn Jerusalem, mewn efelychiad i hwnnw a sefydlwyd gan Moses yn yr anialwch. Crybwyllir yn aml am hwn yn y Testament Newydd.

4. Ym mhlith y personau a ymddangosent yng nghynnulleidfa Israel, yr ydym yn cael y rhai hynny a elwid *Shoterim*, neu ysgrifenyddion. I'r rhai hyn y perthynai cadw y llinachau, genedigaethau, priodasau, a marwolaethau. Dan y llywodraeth frenhinol, cymmerid yr ysgrifenyddion yn gyffredin o blith y Lefiaid. 1 Cron. 23. 4. 2 Cron. 19. 8—11. a 34. 13. Yn Deut. 29. 10. a 31. 28. a Jos. 8. 33. yr ydym yn cael yr ysgrifenyddion hyn yn gynnrychiolwyr y bobl pan fyddent yn myned i gyfammod â Duw.

---

## III. LLYWODRAETH Y BARNWYR.

Wedi marwolaeth Moses, rhoddwyd llywyddiaeth yr Israeliaid i Joshua, yr hwn a fu yn weinidog i Moses. Ecsod. 24. 13. Jos. 1. 1. Ond darfu swydd Joshua gyda'i farwolaeth; ac yna rhoddwyd llywodraeth i swyddwyr a elwid yn farnwyr: yr oedd eu swydd i barhau

dros fywyd, ond nid oedd yn etifeddol nac yn barhaus. Weithiau yn y cyfwng rhwng barnwr a barnwr, yr oedd afreolaeth mawr yn cymmeryd lle, a thuchanai Israel yn dost oblegid eu gorthrymwyr; ac er mai Duw ei hunan a fyddai fynychaf yn pennodi y barnwyr, etto y bobl weithiau a ddetholent yr hwn a welent hwy fod yn addasaf i fod yn farnwyr. Dewiswyd Jephtha gan yr Israeliaid o'r tu hwnt i'r Iorddonen i fod yn farnwr arnynt; ond yn fynych ni byddai awdurdod y barnwr yn cyrhaeddyd dros yr holl lwythau, ond mewn rhyw ddosparth neillduol o'r wlad. Nid oedd awdurdod Jephtha yn cyrhaeddyd yr ochr hyn i'r Iorddonen, nac awdurdod Barac yn cyrhaeddyd hyd y tu draw i'r Iorddonen. Yr oedd awdurdod y barnwyr yn gyfartal i awdurdod y brenhinoedd wedi hynny: gwnaent heddwch a chyhoeddent ryfel; a phan roddent farn mewn rhyw achos, nid oedd appêl; ond nid oedd ganddynt awdurdod i wneuthur cyfreithiau newyddion, na gosod beichiau ar y bobl. Yr oeddynt i ymddiffyn y cyfreithiau, i gospi troseddwyr, yn neillduol eilun-addoliaeth, yr hyn a ystyrid gan y gyfraith yn deyrn-fradwriaeth. Eu cyflogau oeddynt gynnwysedig mewn anrhegion. Parhaodd gweinyddiad y barnwyr o amser Joshua hyd amser Saul, yspaid o 339 o flynyddoedd.

---

## IV. Y LLYWODRAETH FRENHINOL.

Blinodd Israel ar Jehofah i fod yn frenin arnynt, ac oblegid iddynt gael eu cyffroi drwy gam-ymddygiadau meibion Samuel, deisyfiasant frenin i gael ei osod arnynt, i'w barnu fel y cenhedloedd eraill. 1 Sam. 8. 5. Rhagwelodd Moses y cyfnewidiad hwn, o ganlyniad trefnwyd cyfreithiau, yn ol y rhai yr oedd y brenhinoedd Hebreaidd i deyrnasu. Deut. 17. 14—20. Yr hawl o ddewis a adawid i'r bobl, ond nid oedd iddynt ddewis alltud; ac nid oedd iddynt ddewis neb hefyd oni byddai Jehofah yn ei ddewis. Ac mewn perthynas i'r addasrwydd Iuddewig i fod yn frenin, rhaid i'w berson fod yn hardd a thal, a thyna yr addasrwydd pennaf. 1 Sam. 9. 2. a 10. 24. a 16. 12. Gwaherddid y brenhinoedd i liosogi meirch, ac ni chaniatteid iddynt amlder o wragedd; ond yn anaml y cadwent y gyfraith hon. Oddiwrth 1 Sam. 10. 25. wedi ei gydmaru âg 2 Sam. 5. 3. 1 Bren. 12. 22—24. a 2 Bren. 11. 7. ymddengys nad oedd awdurdod brenhinoedd Israel yn anymddibynol, er eu bod weithiau yn tueddu at hynny; ond yr oeddynt yn dra anymddibynol, oblegid gallent roddi rhai i farwolaeth heb fyned drwy ffurf o brawf. 2 Sam. 1. 5—15. Ar y cwbl, ni ellir ystyried brenhinoedd yr Hebreaid ond rhaglawiaid dan y Goruchaf; ac ni allent sefydlu na diddymmu cyfraith, yr oedd hynny yn perthynu i'r pen llywiawdwr yn unig. Mewn perthynas i sefydliad y brenhinoedd yn eu llywodraethau, neu yn hytrach eu neillduad i'w swyddau, yr oedd ganddynt wahanol ddefodau, y rhai a gyflawnid gyda chryn orwychedd. Y ddefod bennaf ydoedd enneinio âg olew, yr hon a fyddai yn cael ei gweinyddu weithiau yn ddirgelaidd gan ryw

brophwyd, ac yr oedd hyn yn arwydd yr esgynnai y cyfryw un yr orsedd: 1 Sam. 10. 1. a 16. 1—13. 1 Bren. 19. 16. ond wedi i'r frenhiniaeth gael ei sefydlu, cyflawnid y ddefod hon gan offeiriad. Wedi i'r brenin gael ei enneinio, cyhoeddid ef wrth lais udgorn. Y mae y defodau hyn yn esbonio amrywiol rannau o'r Ysgrythyrau; megis 'Dyrchafodd Duw â llais udgorn—Enneiniog yr Arglwydd, &c.' Rhoddid coron ar ei ben, a theyrn-wialen yn ei law, ac wedi hynny yr oedd yn myned i gyfammod difrifol â'i bobl, y byddai iddo lywodraethu y bobl mewn cyfiawnder, ac yn ol cyfraith Moses. Y mawrion yn eu tro a addawent ufudd-dod iddo, ac ymddengys eu bod yn cadarnhau hynny drwy y gwystl o gusanu y penliniau neu y traed, ac at y ddefod hon y mae yn debygol y cyfeirir yn Salm 2. 12. 'Cusenwch y mab.' Bloeddid mewn llawenydd a gorfoledd, a chwythid mewn offerynau cerdd, ac yna ai y brenin i'r ddinas. 1 Bren. 1. 39. At yr arferiad hon y cyfeirir yn aml yn yr Ysgrythyrau, Salm 47. 1—9. a 97. 1. ac yn y Testament Newydd, yn Mat. 21. 9, 10. a Marc 11. 9, 10. Pan farchogodd Crist i Jerusalem ar gefn yr ebol llwdn asyn, bloeddiodd yr Iuddewon, a chydnabyddasant ef yn frenin. Wedi dyfod o'r brenin i'r ddinas, eisteddai ar yr orsedd, ac a dderbyniai ufudd-dod ei ddeiliaid. Yr arwyddion brenhinol a goffeir yn yr Ysgrythyrau oeddynt, y gwisgoedd brenhinol, y goron, yr orsedd, a'r deyrn-wialen. Yr oedd eu gwisgoedd yn wahanol i eraill, oblegid newidiodd Ahab ei wisgoedd cyn ymgydio yn y frwydr. 1 Bren. 22. 30. Yr oedd eu gwisgoedd yn gyffredin o liw porphor, neu liain gwyn main. Esther 8. 15. Yr oedd eu coronau yn aur, arian, a meini gwerthfawr. 2 Sam. 12. 30. Darlunir gorsedd Salomon yn neillduol yn 1 Bren 10. 18—20. Yn amser heddwch a rhyfel, yr oedd yn arferiad o osod gwylwyr ar uchel fannau, pa le bynnag yr oedd y brenin, er ei hyspysu o unrhyw berygl cyfagos. 2 Sam. 18. 24—27. Y mae cyfeiriadau aml yn yr Ysgrythyrau am lysoedd tywysogion a brenhinoedd y dwyrain. Yn y teyrnasoedd hyn o gaethion, anhawdd iawn cael trwydded at y brenin; oblegid ni amgylchynid ef ond gan y rhai mwyaf yn ei ffafr. Yr ymadrodd hwnnw yn Mat. 5. 8. "Efe a wêl Dduw," sydd gyfeiriad at ffafr, nodded, ac anrhydded brenhinoedd y dwyrain at y rhai hynny yn eu ffafr. Dywedai Gabriel wrth Zechariah, ei fod yn sefyll ym mhresennoldeb Duw; ac y mae yr ymadrodd o breswylio, neu sefyll ym mhresennoldeb brenin, yn y dwyrain, yn arwyddo y sefyllfa uchaf a'r fwyaf anrhydeddus yn y llys. At hyn y cyfeiria yr ymadrodd yn Mat. 18. 1—10 'Gweled wyneb fy Nhad yr hwn sydd yn y nefoedd;' ac addewid Crist i'w apostolion, y byddai iddynt eistedd ar orseddfeingciau, yn barnu deuddeg llwyth Israel. Y maent yn arwyddo bod yn ffafr neillduol yr Arglwydd.

Annichonadwy cael dynesu at frenhinoedd y dwyrain heb ryw anrhegion neu gilydd, yn ol gallu a chyfoeth y person a fyddai â neges ganddo. Byddai yn gydfynedol yr ymadroddion mwyaf parchus a gostyngedig, gan ymgrymmu hyd y llawr; ac y mae yr un arferiad yn aros hyd heddyw. Parodd Jacob i'w feibion fyned âg anrhegion i Joseph, llywydd yr Aipht. Gen. 43. 11, 26. Daeth y Magiaid âg anrhegion i'w cyflwyno i'r brenin Iesu. Mat. 2. 11. Ymgrymmid i'r brenhinoedd gyda phob arwyddion o ymostyngiad;

felly yr ymgrymmai Dafydd i Saul. 1 Sam. 24. 8. Annerchid hwynt mewn ymadroddion parchus iawn, ond yn arogli yn gryf o weniaith; fel hyn y wraig o Tecoa a ddywedai wrth Dafydd, 'ei fod yn ddoeth, fel doethineb angel Duw. 2 Sam. 14. 4, 20. Ac yn aml defnyddid yr ymadrodd hwnnw yn y dwyrain, 'O frenin, bydd fyw byth.' Ac nid yn unig i'r brenhinoedd yr oedd yn rhaid ymgrymmu, ond i fawrion y llys hefyd; oblegid gommedd hyn y bu Mordecai a'i genedl ar fin trangcedigaeth, drwy ystrywiau Haman. Dygwyd eunychiaid (dynion dyspaddedig) i lysoedd brenhinoedd yn foreu iawn, ac y maent yn parhau hyd y dydd hwn. Yr oedd un o'r rhai hyn yn llys Sedeciah brenin Judah, sef Ebedmelech yr Ethiopiad. Y rhai hynny a wnaent wasanaeth neillduol i'r brenin a gaent eu henwau wedi eu hysgrifenu mewn cof-lyfrau, a rhoddid iddynt arwyddion o ffafr neillduol y brenin. Ysgrifenwyd enw Mordecai, a chafodd arwydd neillduol o ffafr y brenin. Est. 6. 8—11. Ar ryw achlysuron o'r fath hyn newidid eu henwau, fel Joseph, Salomon, Daniel, a'i gyfeillion; ac at hynny y cyfeirir yn neillduol yn Dat. 2. 17. lle y sonir am yr enw newydd.

Ym mhellach, pan fyddo brenhinoedd y dwyrain yn myned allan, y mae yn eu hamgylchynu niferi lliosog, mewn pob gwisgoedd ardderchog. Yr oedd y brenhinoedd Hebreaidd a'u meibion yn marchogaeth ar asynod a mulod, 2 Sam. 13. 29; neu mewn cerbydau, 1 Bren. 1. 5. a'u gwarchawdwyr gyda hwynt, y rhai a elwid y Cherethiaid a'r Pelethiaid. Pan fyddai brenhinoedd Asia yn myned ar daith, anfonent redegwyr o'u blaen, er gwneuthur parottoadau a symmud rhwystrau oddiar y ffordd; ac at yr arferiad hon yn ddiau y cyfeiria Esay, pen. 40. 3. a Mal. 3. 1. 'Parottowch ffordd yr Arglwydd—Wele fi yn anfon fy nghennad, ac efe a arlloesa y ffordd o'm blaen i.'

Mewn perthynas i daleion brenhinoedd Israel, ni phennodwyd dim gan Moses; ond y mae yn alluadwy i ni gasglu rhyw beth o'r Ysgrythyrau gyda golwg ar hyn. Yn gyntaf, rhoddid anrhegion gwirfoddol iddynt, yr hyn sydd yn parhau yn ddefod yn y dwyrain hyd y dydd hwn. 1 Sam. 10. 27. a 16. 20. Yn ail, cynnyrch y diadelloedd brenhinol. 1 Sam. 21. 7. 2 Sam. 13. 23. Yr oedd gan Ddafydd ddiadelloedd lliosog yn anialwch Arabia, (1 Cron. 27. 29. 31.) y rhai oeddynt dan ofal bugeiliaid Arabaidd. Yn drydydd, cynnyrch y tiroedd brenhinol, y gwinllanoedd, a'r olewydd-lanoedd. Cwrteithid y rhai hyn gan gaethion, neu gan y cenhedloedd a orchfygid ganddynt. 1 Cron. 27. 26. Ymddengys hefyd, oddiwrth 1 Sam. 8. 14. ac Ezec. 47. 17. y byddai y brenhinoedd weithiau yn rhoddi cyfran o'u tiroedd i'w gweision yn lle cyflogau. Ffynhonell arall eu golud oedd y degfed o gynnyrch y tir a'r gwinllanoedd, yr hwn a gesglid gan y rhai a bennodid ganddynt hwy, ac a grybwyllir yn 1 Bren. 4. 7. a 1 Chron. 27. 25. Ac y mae yn debygol, oddiwrth 1 Bren. 10. 14. y byddai Israel yn talu treth mewn arian i'w brenhinoedd. Hefyd, yr oedd y rhan fwyaf o yspail y gwledydd a orchfygid yn myned i'r brenin, (2 Sam. 8. 6—8.) a gosodid treth ar y rhai hynny hefyd, yr hon a delid, peth mewn arian, a chyfran mewn cynnyrch. 1 Bren. 4. 21. Yn olaf, telid tollau gan fasnachwyr estronol, y rhai a deithient drwy y wlad; a derbyniai Salomon arian lawer yn y ffordd hon. 1 Bren. 10. 15, 22.

## VI. Y SWYDDOGION BRENHINOL.

Ar ol sefydlu y frenhiniaeth ym mhlith yr Israeliaid, arosodd y tywysogion, pennau y teuluoedd, yr ysgrifenyddion, a'r barnwyr yn eu lleoedd, ac a gyfansoddent y llysoedd cyfreithiol yn y dinasoedd, neu yn agos i'r mannau a breswylient. Y swyddogion mwyaf neillduol oeddynt y rhai canlynol:—

1. Y cynghorwyr brenhinol, neu y cyfrin-gynghor. Esay 3. 3. a 19. 11. 12. Jer. 26. 11. Y rhai hyn oeddynt yr hynafgwyr a safai ger bron Salomon tra bu efe byw, a'r rhai y gwrthododd Rehoboam wrando arnynt.

2. Prophwydi. Er bod commisiwn dwyfol gan y rhai hyn i'w swydd, yr oeddynt ym mhlith y swyddogion brenhinol, ac ymgynghorid â hwynt gan frenhinoedd duwiol Israel a Judah. Ymgynghorai Dafydd â Nathan, 2 Sam. 7. 2. Jehosaphat â Micaiah, 1 Bren. 22. 7, 8. a Hezeciah âg Esay; 2 Bren. 19. 2. ond y brenhinoedd eilun-addolgar a wahoddent i'w llysoedd y gau-brophwydi, y dewiniaid, a'r gweniaethwyr, gan ddirmygu prophwydi y goruchaf Arglwydd.

3. Y *Mazkir*, neu y cofiadur. 2 Sam. 8. 16. Yr oedd swydd hwn yn uchel yn y dwyrain, lle yr oedd pob hanesion a berthynent i'r deyrnas yn cael eu cofrestru bob dydd. Ahilud ydoedd cofiadur Dafydd, neu ei hanesydd; bu yn ei gweini dan Salomon hefyd.

4. Y *Sopher*, neu yr ysgrifenydd. Ymddengys mai hwn ydoedd ysgrifenydd y llywodraeth, yn gofrestrydd pob gweithredoedd a deddfau. Seraiah a Sefa oeddynt ysgrifenyddion Dafydd. 2 Sam. 8. 17. a 2 Sam. 20. 25. Crybwyllir am y swyddwr hwn hefyd yn 1 Bren. 4. 3. 2 Bren. 18. 18. Esay 36. 3.

5. Yr Arch-offeiriad. Yr oedd hwn ym mhlith y cynghorwyr brenhinol. Sadoc mab Ahitub, ac Ahimelech mab Abiathar, a grybwyllir yn neillduol fel swyddogion pennaf Dafydd. 2 Sam. 8. 17.

---

## VII. SWYDDWYR Y PALAS.

Gwnaed sylw yn barod bod amryw swyddogion yn perthynu i frenhinoedd y dwyrain, a'r rhai mwyaf nodedig a berthynent i balasau brenhinoedd Israel oeddynt y rhai canlynol:

Y swyddogion, y rhai a grybwyllir yn 1 Bren. 4. 5, 7—19. a'r rhai yn 1 Bren. 20. 15. a elwir yn dywysogion y taleithiau. Y rhai hyn a barottoent ar gyfer bwrdd y brenin, ond yr oeddynt yn wahanol oddiwrth y rhai a gasglent y dreth. Adoram, am yr hwn y sonir ym mhlith swyddogion Dafydd a Salomon, ydoedd ar y dreth; efe ydoedd Canghellwr y Trysorlys.

2. Llywodraethwr y palas. Swydd hwn ydoedd gofalu am yr holl wasanaeth-ddynion, a braidd pob peth a berthynai i'r palas. Ahisar a ddaliai y swydd hon dan Dafydd, 1 Bren. 4. 6; Obadiah dan Ahab, 1 Bren. 18. 3; ac Eliacim dan Hezeciah, 2 Bren. 18. 18. Fel arwydd ei swydd, ymddengys bod y swyddwr hwn yn ymwisgo mewn gwisg neillduol,—gwregys gwerthfawr am ei lwynau, ac ar ei ysgwydd lun allwedd. At hyn y cyfeirir yn Esay 22. 22. lle y

dywedir am Eliacim, "Rhoddaf hefyd agoriad tŷ Dafydd ar ei ysgwydd ef;" yr hyn a arwyddai, llywodraeth y teulu.

3. Cyfaill y brenin. Hwn oedd y person yr y mddiddanai y brenin yn fwyaf neillduol âg ef, ac i'r hwn yr ymddiriedai ei gyfrinach. Rhoddid gofal y llywodraeth weithiau i hwn. 1 Bren. 4. 5. 2 Chron. 27. 33.

4. Gwarchawdlu y brenin. Gelwid llywydd y rhai hyn yn dywysog y llu. Hanfodai y swydd hon yn yr Aipht, Gen. 37. 36. a 39. 1. yn gystal ag yn Judah ac Israel. Ymddengys mai y tywysog hwn ydoedd i weinyddu cosp ar ddrwg-weithredwyr. 2 Bren. 2. 25, 34. Yn amser Dafydd, gelwid y gwarchawdlu hyn wrth yr enwau Cherethiaid a Phelethiaid; mewn perthynas i ba enwau y mae esponwyr yn dra gwahanol yn eu barnau. Dyweda y Targum mai ystyr yr enwau ydyw bwauwyr a thaflwyr.

---

## VIII. GWRAGEDD Y BRENHINOEDD.

Y BENYWAID yn nhŷ y brenin, neu y dosparth hwnnw o'r palas a elwir yn y dwyrain *Harem*, a amcenid er dangos mawredd y pen coronog. Er i Moses wahardd lliosogrwydd o fenywaid dan yr enwau gwragedd a gordderch-wragedd, etto ni sylwai y brenhinoedd Hebreaidd fawr ar y gwaharddiad hwn, yn neillduol Salomon a'i fab Rehoboam. Ni arbedai y brenhinoedd Iuddewig unrhyw draul er harddu personau eu benywaid, ynghyd â'r eunuchiaid a ofalent am danynt. Gyda golwg ar wasanaeth yr eunuchiaid yn y llysoedd Iuddewig, gweler 1 Bren. 22. 9. 2 Bren. 8. 6. a 9. 32, 33. a 20. 18. a 23. 11. Morwynion wrth ewyllys y brenin a wneid yn ordderchadon iddo; ac er y byddai i'w ganlynwr ddyfod yn feddiannydd o'r Harem, nid oedd iddo wneuthur cyfrinach â'r benywaid. Ond o'r holl fenywaid yn yr Harem, y wraig a fyddai fwyaf mewn ffafr, neu fam y brenin, a fyddai â'r awdurdod fwyaf; ac o herwydd hynny y gwneir crybwylliadau mor fynych yn y Brenhinoedd a'r Chroniclau am fam y brenin. Crybwylla braidd bob teithiwr a fu trwy y dwyrain am awdurdod fawr y Sultana, sef gwraig y Sultan, yn gystal ag awdurdod mam y pen coronog, yn y wladwriaeth. Yr oedd eu hawdurdod yn cyrhaedd ym mhell yn Israel a Juda.

---

## IX. CYHOEDDIAD Y CYFREITHIAU.

CYHOEDDID y cyfreithiau mewn dulliau gwahanol ac ar amserau gwahanol. Cyfreithiau Moses a gorchymmynion amserol Joshua a gyhoeddid i'r bobl gan y *Shoterim*, y rhai yn ein Biblau ni a elwir swyddogion. Wedi i'r llywodraeth frenhinol gael ei sefydlu, deddfau a chyfreithiau y brenin a hyspysid gan gyhoeddwyr. Jer. 34. 8, 9. Jonah 3. 5—7. Ond mewn dinasoedd a thaleithiau pell, hyspysid hwy trwy gennadon a anfonid i'r perwyl. 1 Sam. 11. 7. 2 Cron. 36. 22. Ezra 1. 1. Gwneid y cyhoeddiadau hyn ym mhyrth y ddinas,

ac yn Jerusalem, ym mhorth y deml, lle yr ydoedd yn wastad lios-ogrwydd o bobl. Oblegid hyn y traddodai y prophwydi mor aml eu prophwydoliaethau yn y deml, yn yr heolydd, ac yn y pyrth, lle y byddai cynnulliad o bobl. Jer. 7. 2, 3. Ac mewn amseroedd di-weddarach, dysgai Crist a'i Apostolion ym mhorth y deml. Luc 2. 46. Mat. 26. 55. Marc 12. 35. Act. 3. 11.

---

### X. Y RHWYG RHWNG Y DEUDDEG LLWYTH.

Y DEYRNAS a sefydlwyd gan Saul, ac a ddygwyd i'w hardderch-awgrwydd mwyaf gan Dafydd a Salomon, a arosodd ynghyd am gant ac ugain mlynedd, sef hyd amser Rehoboam, mab a chanlyn-iedydd Salomon. Gwrthododd hwn ysgafnhau beichiau y bobl, a'r canlyniad fu i ddeg llwyth ymadael âg ef, ac ymlynu wrth Jerobo-am. Judah a Benjamin yn unig a arosodd gyda Rehoboam, y rhai a wnaent i fynu deyrnas Judah. Safodd teyrnas Israel dan amryw-iol frenhinoedd dros 264 neu 271 o flynyddoedd. Cymmerwyd eu prif ddinas, Samaria, gan Salmaneser, wedi i'w luoedd ei gwarchae am dair blynedd. Cludwyd holl bendefigion Israel i gaethiwed o'r tu hwnt i'r Euphrates, a gadawyd ychydig o dlodion ar ol. Arosodd teyrnas Judah am 388 o flynyddoedd; ac yn ol rhai, 404 o flynydd-oedd. Cymmerwyd Jerusalem, y brif ddinas, llosgwyd y deml, a chymmerwyd Sedeciah y brenin i gaethiwed gan Nebuchodonosor brenin Babilon. Caethgludwyd y trigolion i gaethiwed o'r tu hwnt i'r Euphrates, lle y buont am ddeng mlynedd a thrugain.

---

## PENNOD II.

## *Sefyllfa wladol yr Iuddewon o'u dychweliad o'r caethiwed Babilonaidd, hyd oni ddadymchwelwyd eu llywodraeth wladol ac eglwysig.*

### I. Y TYWYSOGION ASMONEAIDD.

PAN ddadymchwelwyd yr ymerodraeth Fabilonaidd gan Cyrus Fawr, sylfaenydd ymerodraeth Persia, awdurdododd yr Iuddewon i ddychwelyd i'w gwlad eu hunain, gyda chyflawn ganiattad iddynt fyw yn ol eu deddfau a'u crefydd, ac i ail adeiladu dinas Jerusalem a'r deml. Yn y flwyddyn ganlynol amryw o'r Iuddewon a ddych-welasant gyda Zorobabel, yr aberthau a adnewyddwyd, a'r llywodr-aeth Dduw-bennaethol a sefydlwyd drachefn; ond ail adeiladaeth y ddinas a'r deml a gyffrodd y Samariaid a'r Cutheaid, gelynion yr Iuddewon, fel y llwyddasant i rwystro'r gwaith; ond dygwyd y gorchwyl oddi amgylch yn y diwedd, drwy Ezra, Nehemiah, ac

eraill. Wedi marw y rhai hyn, llywodraethid yr Iuddewon gan eu harchoffeiriad eu hunain, ond mewn ufudd-dod a darostyngiad i frenhinoedd Persia, i ba rai yr oeddynt dan dreth. Tri chan' mlynedd o lwyddiant a fu y canlyniad, hyd deyrnasiad Antiochus Epiphanes brenin Syria, pan y gorthrymmid hwy yn dra chreulon, ac y buont dan yr angenrheidrwydd o ymarfogi er ymddiffyn eu hunain. O dan Judas, yr hwn a elwid Maccabeus, a'i frodyr, cynnaliodd yr Iuddewon ryfel crefyddol am chwech mlynedd ar hugain, â phump o frenhinoedd Syria olynol; ac wedi i'r Iuddewon ddinystrio tua dau can' mil o'u lluoedd pennaf, sefydlodd y Maccabeaid anymddibyniaeth eu gwlad, a gwnaethant eu teuluoedd yn ardderchog. Cyssylltodd y tywysogion hyn y mawredd offeiriadol a brenhinol ynghyd yn eu personau eu hunain, gan weinyddu y cyfreithiau gwladol ac eglwysig i'r Iuddewon dros yspaid cant a chwech ar hugain o flynyddoedd, hyd oni chyfododd dadleuon rhwng Hyrcanus yr ail a'i frawd Aristobulus. Gorchfygwyd y diweddaf gan y Rhufeiniaid dan Pompey, yr hwn a gymmerodd Jerusalem, ac a wnaeth Judea yn dalaith drethol i'r werin-lywodraeth Rufeinig.

---

## II. HEROD FAWR.

Wedi i Julius Cæsar orchfygu Pompey, sefydlodd Hyrcanus yn yr arch-offeiriadaeth; ond rhoddodd lywodraeth Judea i Antipater, Idumead wrth enedigaeth, a phroselyt i'r grefydd Iuddewig; a hwn ydoedd tad Herod Fawr, yr hwn wedi hynny a fu yn frenin ar yr Iuddewon. Rhannodd Antipater y wlad rhwng ei ddau fab, Phasael a Herod; rhoddodd lywodraeth Jerusalem i Phasael, a llywodraeth Galilea i Herod, talaith a flinid yn fawr gan yspeilwyr. Gwnaeth Herod ei hun yn enwog drwy wasgaru yr yspeilwyr; ac wedi llawer iawn o helyntion a rhyfeloedd, cadarnhawyd Herod yn frenin holl Judea gan Augustus Cæsar. Dyweda Josephus bod Herod o wroldeb anghyffredin; cyfododd adeiladau mawrion a godidog, ac ym mhlith eraill y deml yn Jerusalem, yr hon oedd yn hynod o ardderchog. Ond yr oedd efe yn dra dau-wynebog, ac ni fyfyriai ddim ond mesurau er dwyn i ben ei amcanion ei hun. Yr oedd yn greulon ac yn gaethwas i'w nwydau; trochodd ei ddwylaw yng ngwaed ei wraig, ei blant, a'r rhan fwyaf o'i deulu. Llanwodd Judea o gelanedd a gwaed, ac yr oedd yn cael ei regu a'i felldithio o gongl i gongl i'r deyrnas. Rhaid ei fod yn greulonach na'r gormeswyr mwyaf annhrugarog, amgen ni orchymmynai ladd holl blant Bethlehem, mewn gobaith y cyrhaeddai yr ergyd Iachawdwr y byd. Yn fuan ar ol y gelanedd hon, bu yr anghenfil farw mewn poenau mawrion, ac y mae ei goffadwriaeth yn atgas drwy yr holl oesau. Rhannodd ei lywodraeth mewn ewyllys rhwng ei dri mab, Archelaus, Herod Antipas, a Herod Philip.

## III. ARCHELAUS.

I ARCHELAUS y rhoddes Herod Judea, Samaria, ac Idumea; ond yr oedd yn rhaid iddo gael ei gadarnhau yn ei deyrnas gan Augustus Cæsar. Cadarnhaodd yr Ymerawdwr ewyllys Herod gyda golwg ar y rhaniadau, ac a roddes i Archelaus yr enw *Ethnarch*, neu bennaeth y genedl, gan addaw ei wneuthur yn frenin, os profai efe ei hun drwy ymddygiadau yn deilwng o hynny. Ymaflodd Archelaus yn ei swydd yng nghanol banllefau ei ddeiliaid, y rhai a'i hystyrient yn frenin; o ganlyniad dyweda yr Efangylwr ei fod yn teyrnasu. Cyn myned o Archelaus i Rufain, er cael cadarnhad o ewyllys ei dad, aeth yr Iuddewon yn dra therfysglyd yn y deml, oblegid ei fod yn gommedd rhyw bethau iddynt; a'r canlyniad fu i Archelaus orchymmyn ei filwyr i ymosod arnynt, a lladdwyd ynghylch tair mil o honynt yn y fan. Pan aeth Archelaus i Rufain, er derbyn y goron oddiwrth Augustus, anfonodd yr Iuddewon hwythau gennadiaeth i Rufain, yn cynnwys deg a deugain o'r dynion anrhydeddusaf, i ddeisyfu ar Augustus am gael byw yn ol eu cyfreithiau eu hunain dan lywydd Rhufeinig. At yr amgylchiad hwn, y mae yn debygol, y cyfeiria ein Harglwydd yn y ddammeg yn Luc 19. 12—27. 'Rhyw wr bonheddig (*eugenes*, gwr o enedigaeth neu waedoliaeth, mab Herod,) a aeth i wlad bell, (i'r Eidal,) i dderbyn teyrnas iddo ei hun, (teyrnas Judea,) ac i ddychwelyd. Eithr ei ddinaswyr (yr Iuddewon) a'i casasant ef, ac a ddanfonasant gennadwri (gennadiaeth) ar ei ol ef, (at Augustus Cæsar,) gan ddywedyd, Ni fynnwn ni hwn i deyrnasu arnom.' Methodd yr Iuddewon yn eu deisyfiad at Cæsar, a derbyniodd Archelaus y deyrnas; ac ar ei ddychweliad, dialodd ar y rhai hynny na fynnent ef i deyrnasu arnynt. Y mae cymhwysiad y ddammeg yn amlwg; sef, y byddai i Grist esgyn i'r nef i dderbyn teyrnas, ac y dychwelai, ar ddinystr Jerusalem, i ddial ar y rhai a'i gwrthodasant ef. Wedi i Archelaus deyrnasu am ryw yspaid mewn cynhyrfiadau, llwyddwyd i'w gael o'r orsedd, ac alltudiwyd ef i Vienne yn Gaul.

---

## IV. HEROD ANTIPAS, NEU ANTIPATER.

Herod Antipas ydoedd fab Herod Fawr, i'r hwn y rhoes ei dad dalaith Galilea a Perea, gyda'r enw o *Tetrarch*. Darlunir ef, gan Josephus, fel dyn twyllodrus a halogedig; â'r hyn y cydna yr hyn a ddywedir gan yr Efangylwyr am dano; oblegid wedi ymadael â'i wraig, merch Aretas brenin Arabia, cymmerodd, drwy drais, Herodias, gwraig ei frawd Herod Philip, yr hon oedd ddynes greulon a balch, er boddloni yr hon y gorchymmynodd efe i ben Ioan Fedyddiwr gael ei dorri ymaith. Mat. 14. 3. Yr unig achos a gafodd hon yn erbyn y Bedyddiwr ydoedd, ei fod ef wedi ceryddu ei hannuwioldeb hi a Herod Antipas. Yr Herod hwn a osododd faglau ar lwybrau ein Hiachawdwr, a'r hwn hefyd a alwodd Crist, oblegid ei weithredoedd, yn gadnaw. Ym mhen blynyddoedd, cynnygiodd Herod am frenhiniaeth Judea; ac efe a'i wraig a alltudiwyd i Lyons yn Ffraingc, ac wedi hynny i Spaen.

## V. PHILIP.

Ni chrybwyllir ond unwaith yn y Testament Newydd am enw Philip, tretrach Trachonitus, Gaulonitus, a Batanea, sef yn Luc 3. 1. Dyweda Josephus am dano ei fod yn dywysog tra rhinweddol, yn cael ei garu gan ei ddeiliaid, ac yn eu llywodraethu mewn cyfiawnder. Bu farw yn ddiblant, a chyssylltwyd ei diriogaethau â thalaith Syria.

---

## VI. AGRIPPA, NEU HEROD AGRIPPA.

Yr oedd Agrippa yn fab Aristobulus, ac yn ŵyr i Herod Fawr; a gwelodd lawer o droion rhagluniaeth, cyn cyrhaeddyd y mawredd brenhinol. Yn y lle cyntaf, bu yn arosol yn Rhufain, ond medrodd ymwthio i ffafr Tiberius Cæsar; eithr achwynwyd ei fod yn dymuno marwolaeth Tiberius, modd y gallai Caligula deyrnasu, a bwriwyd ef i garchar wrth orchymmyn yr ymerawdwyr. Wedi i Caligula gael ei wneuthur yn ymerawdwr, sefydlwyd Agrippa yn frenin Batanea a Thraconitus; at y rhai yr ychwanegwyd, ym mhen amser, Abilene, Judea, a Samaria, gan yr ymerawdwr Claudius. Llywodraethodd er boddlonrwydd ei ddeiliaid, ond nid er bodd y Goruchaf; oblegid rhoddodd yr Apostol Iago i farwolaeth, ac a fwriadodd wneuthur yr un peth i Pedr; ond yr Apostol a waredwyd yn wyrthiol. Ond ymfalchiodd yn ei anrhydedd, a tharawyd ef yn farnol â dolur truenus, o'r hwn y bu farw yn Cæsarea, yn y wedd a adroddir gan Luc, yn Act. 12. 21—23.

---

## VII. AGRIPPA YR IEUANGAF.

Agrippa yr Ieuangaf ydoedd fab Herod Agrippa, yr hwn oedd ynghylch dwy ar bumtheg oed pan fu farw ei dad. Barnwyd ef yn annigonol i lywodraethu, a rhoddwyd y taleithiau dan lywodraethwr Rhufeinig. Gwnaed Agrippa yn gyntaf yn frenin Chalchis, ac wedi hynny Batanea, Trachonitus, ac Abilene, at ba rai yr ychwanegwyd eraill ar ol hynny. O flaen yr Agrippa hwn, a'i chwaer Bernice, y gwnaeth Paul ei ymddiffyniad hyawdl.

---

## VIII. Y LLYWODRAETHWYR RHUFEINIG.

Y deyrnas Iuddewig a sefydlwyd yn ffafr Herod Fawr, ni pharhaodd yn hwy nâ'i farwolaeth ef, oblegid, fel y crybwyllwyd, rhanwyd y tiriogaethau, a gosodwyd swyddwyr arnynt o Rufeiniaid, y rhai a lywodraethent y taleithiau, gan gyfodi y trethi, a gweinyddu y gyfraith iddynt. Arosai y llywodraethwyr hyn fynychaf yn Cesarea, yr hon a ystyrid yn brif ddinas y wlad. Aent i Jerusalem ar y gwyliau, ac yn neillduol pan fyddai rhyw gynhyrfiadau yn cymmeryd lle. Yr oedd yr Iuddewon yn anesmwyth iawn i'r iau

Rufeinig, fel yr ymddengys oddiwrth y Testament Newydd; oblegid yr oeddynt bryd hyn mewn sefyllfa o hollol ddarostyngiad. Ym mhlith y llywodraethwyr Rhufeinig hyn, y mae Pontius Pilat yn nodedig, am yr hwn y dyweda Josephus mai dyn creulon gwaedlyd ydoedd, a'i fod wedi achosi llawer iawn o gynhyrfiadau yn Judea. Hwn a ddarfu gondemnio Crist i farwolaeth. Wedi marwolaeth Herod Agrippa, rhoddwyd Antonius Felix yn rhaglaw Judea, yr hwn oedd ddyn creulon, gwaedlyd, ac anifeilaidd. Achwynodd yr Iuddewon arno wrth Nero, a gwaith mawr a gafwyd i achub Felix rhag cosp. Ar ol Felix, rhoddwyd Portius Festus yn rhaglaw, ger bron yr hwn yr amddiffynodd Paul ei hun, ac yr appeliodd at Cæsar. Yr oedd sefyllfa yr Iuddewon bryd hyn yn dra gresynol. Gwerthid cyfiawnder i'r cynnygiwr uchaf. Ond o'r holl raglawiaid Rhufeinig, Gessius Florus ydoedd y gwaethaf, yr hwn a'u hyspeiliai braidd o bob peth oedd yn eu meddiant. Y canlyniad a fu i amryw o'r Iuddewon ymgynnull at eu gilydd a gadael eu gwlad; a'r lleill a gymmerasant arfau er ymddiffyn eu hiawnderau, a'r canlyniad a fu iddynt gael eu gorchfygu, a chymmerwyd ymaith eu henw a'u cenedl.

---

## PENNOD III.

### *Llysoedd barn, gweithrediadau cyfreithiol, a'r gyfraith gospawl ym mhlith yr Iuddewon.*

#### I. Y BARNWYR ISRADDOL.

Ar ol sefydliad Israel yng ngwlad Canaan, yr oedd Moses wedi gorchymmyn iddynt yn Deut. 16. 18. am wneuthur barnwyr a blaenoriaid yn eu holl byrth, dyledswydd y rhai oedd gweinyddu barn yn y pentrefydd cymmydogaethol; ond achosion pwysig a ddygid o flaen prif farnwr y llywodraeth. Crybwylla Josephus am y rhai hyn, a hanfodent yn ei amser ef; a'r offeiriaid a'r Lefiaid yn gyffredin a fyddent yn cael eu gosod yn y swyddau hyn, oblegid eu gwybodaeth yn y gyfraith; ac oblegid eu hoed, gelwid hwy yn henuriaid, wrth ba enw yr oeddynt yn adnabyddus. Gelwir hwynt yn aml yn y Testament Newydd wrth yr enw Llywodraethwyr: sonir yn Luc 12. 58. am lywodraethwyr y synagog. Gwaharddai cyfraith Moses bob gwobrwyon a phleidiaeth, (Ecsod. 23. 8.) a gorchymmynai i'r barnwyr weinyddu cyfiawnder heb dderbyn wyneb, parchu personau, nac ofni neb yn eu gweinyddiad o'r gyfraith. Ecsod. 23. 3, 6, 7. Y mae y prophwyd Amos, yn pen. 8. 6. yn ceryddu y barnwyr llygredig yn ei amser ef, y rhai nid yn unig a gymmerent arian am wyro barn, ond sandalau coed, ac a gollfarnent y tlodion y rhai ni allent dalu.

## II. GORSEDD CYFIAWNDER.

Yn oesau boreuol y byd, ym mhorth y ddinasy gweinyddid cyfiawnder, y trosglwyddid meddiannau, ac y penerfynid ymrafaelion rhwng personau a'u gilydd. Prynodd Abraham feddrod ym mhresennoldeb y rhai a elent i mewn i borth dinas Hebron. Gen. 10. 18. Pan gynnygiodd Hamor a'i fab Sichem i'w bobl, ar wneuthur cynghrair â Jacob a'i feibion, llefarasant am hynny ym mhorth y ddinas. Gen. 24. 34. Mewn amseroedd diweddarach, hyspysai Boaz ei fwriad am briodi Ruth ym mhorth Bethlehem. Oddiwrth yr amgylchiad hyn, ymddengys y byddai y barnwyr weithiau yn cael eu galw yn Henuriaid y Porth. Deut. 22. 15. Yr oedd yr Israeliaid gan mwyaf yn amaethwyr, y rhai a aent allan o'r dinasoedd yn y bore at eu gwaith, ac ni ddychwelent hyd yr hwyr; o ganlyniad yn y porth y cyfarfyddid â hwynt: felly dywedir am Boaz, iddo fyned i fynu i'r porth, ac eistedd yno, ac er cyfansoddi y llys, cymmerodd ddeng wr o Henuriaid y ddinas, ac er trin y matter dywedai wrthynt am eistedd yno. Trwy y dull cyhoedd hwn, yr oedd y barnwyr dan yr angenrheidrwydd o weinyddu cyfiawnder, a bod yn ddidderbyn wyneb, amgen buasent yn tynnu gwg yr holl ddinas. Gelwir y llys Ottomanaidd yn awr wrth yr enw *Port*, (porth,) am fod cyfiawnder yn cael ei weinyddu ym mhyrth y ddinas. Y mae cyfeiriadau aml at hyn yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd, lle y dywedir am blant yr annuwiol,—'Dryllir hwynt yn y porth;' hynny ydyw, y collent eu hachos, ac y collfernid hwynt yn llys barn. Dyweda y Salmydd am y rhai hynny a fendithid â llawer o blant, na byddai cywilydd arnynt, pan ymddiddanent â'u gelynion yn y porth; hynny ydyw, y dadleuai y cyfryw rai eu hachosion yn rymmus. Ac fel yr oedd pyrth y ddinas y lleoedd cadarnaf o'r ddinas, y mae yn debygol mai at hynny y cyfeiriai ein Hiachawdwr yn Mat. 16. 18. pan y dywedai am gadernid yr eglwys, na orchfygid hi gan byrth uffern.

---

## III. AMSER Y PROFION.

Ymddengys, oddiwrth Jer. 21. 12. mai yn y bore y gwrandewid ar achosion, ac y gweinyddid barn. Yn ol y Talmud, gwaherddid ymdrin âg achosion angheuol yn y nos, ac nid oedd y ddedfryd i gael ei gweinyddu yn yr un diwrnod ag y cyhoeddid hi; ond ni wnaed fawr sylw o'r rheol hon yn achos ein Hiachawdwr bendigedig. Yn oesau boreuol yr hanes Iuddewig, ymddengys bod y ddedfryd yn cael ei gweinyddu cyn gynted ag y cyhoeddid hi, fel y mae yr arferiad yn parhau hyd yn bresennol yn Asia. Mewn perthynas i ddadleuwyr, *(counsellors,)* fel y mae gyda ni yn ein llysoedd, nid ymddengys bod y fath rai ym mhlith yr Iuddewon; o leiaf ni sonir am danynt yn yr Hen Destament. Dadleuai pob un ei achos ei hun; ac y mae gennym enghraifft neillduol o hyn yn 1 Bren. 3. 16—28. sef y ddwy wraig o flaen Salomon. Yr hwn a fyddai â chŵyn cyfreithiol ganddo, a elai at y barnwyr, gan gyfleu ei achos ger eu bronnau; y rhai mewn canlyniad a anfonent swydd-

ogion gydag ef, er attafaelu yr hwn yr achwynid arno, a'i ddwyn i'r llys. At yr arferiad hon y cyfeiria ein Harglwydd yn Mat. 5. 25.—'Cyttuna â'th wrthwynebwr ar frys, tra fyddech ar y ffordd gydag ef; rhag i'th wrthwynebwr dy roddi di yn llaw'r barnwr.' Ar y diwrnod pennodedig, yr achwynwr a'r ymddiffynwr a ymddangosent ger bron y barnwyr, y rhai ar y cyntaf a eisteddent eu hunain, (Deut. 25. 1.) ond mewn amseroedd diweddarach, dyweda yr Iuddewon bod dau ysgrifenydd yn perthynu i'r llys, un ar ddeheulaw, a'r llall ar law aswy y barnwr; un i ysgrifenu y rhyddhad, a'r llall i ysgrifenu y ddedfryd o gondemniad. At y ddefod hon efallai y cyfeiria ein Hiachawdwr yn Mat. 25. 33. pan yn dywedyd am y farn ddiweddaf, y gesyd efe ei ddefaid ar ei ddeheulaw, er eu rhyddhau; a'r geifr ar y llaw aswy, er eu condemnio. Eisteddai y barnwyr, a'r amddiffynwyr yn sefyll tra yr holid y tystion: "A'r Iesu a safodd ger bron y rhaglaw." Mewn achosion o ddrygioni, pan ddeuai y prawf, gwaith cyntaf y barnwr fyddai cynghori y drwg-weithredwr i gyfaddef ei fai, os oedd efe yn euog. Yn y wedd hon y gwnaeth Joshua âg Achan; ac at y ddefod hon y cyfeiria Paul yn Rhuf. 14. 22. "Gwyn ei fyd yr hwn nid yw yn ei farnu ei hun yn yr hyn y mae yn ei dybied yn dda;" hynny yw, bod i'r hwn sydd wedi ei argyhoeddi o wirionedd peth, beidio condemnio ei hun ger bron Duw, trwy wadu y peth. Wedi i'r achwyniad gael ei ddwyn ger bron y llys, gwrandewid y drwg-weithredwr yn ei ymddiffyniad; ac oblegid hynny y dywedai Nicodemus yn Ioan 7. 51. "A ydyw ein cyfraith ni yn barnu dyn, oddieithr clywed ganddo ef yn gyntaf, a gwybod beth a wnaeth efe?" Os byddai i'r hwn a dybid yn ddrwg-weithredwr wneuthur rhyw beth yn ei ymddygiad ar ei brawf yn groes i'r barnwr, byddai y barnwr yn gyffredin yn ei daro, neu yn gorchymmyn ei daro ar ei wyneb, (Act. 23. 2.) ac y mae yr ymddygiad anwar hwn yn parhau yn Persia hyd heddyw. Mewn perthynas i fatterion bywyd ac angeu, nid oedd un tyst yn ddigon; ond yr oedd yn rhaid cael dau neu dri. Num. 35. 30. Deut. 17. 6, 7. Ni ddyweda Moses ddim ynghylch tystiolaeth benywaid; ond dyweda Josephus na dderbynid yr eiddynt hwy, gan ychwanegu na dderbynid tystiolaeth gwasanaeth-ddynion hefyd. Darllenid y ffurf o lŵ i'r tystion, ac yna dywedent hwythau, Amen. Lef. 5. 1. Cyhoeddid y dedfrydau yn y dydd; a phan gondemnid un, dywedid, 'Y mae efe yn euog o angeu.' Mat. 26. 66. Mewn rhai gwledydd, arwyddid ei gondemniad i'r carcharor trwy roddi carreg ddu iddo, a rhyddheid ef trwy roddi carreg wen iddo. At y defodau hyn, yn ol barn rhai, y cyfeirir yn Dat. 2. 17. 'Rhoddaf iddo garreg wen, ac ar y garreg enw newydd wedi ei ysgrifenu.'

---

## IV. GWEINYDDIAD Y DEDFRYDIADAU.

Cyn gynted ag y cyhoeddid y ddedfryd ar y troseddwr, cymmerid ef o'r llŷs i le y dihenyddiad. Fel hyn y gwnaed â'n Hiachawdwr; cymmerwyd ef oddi ger bron Pilat i Galfaria. Fel hyn y gwnaed

âg Achan hefyd pan gafwyd ef yn euog ynghylch y diofryd-beth; ac fel hyn y gwneir yn Nhwrci a Phersia hyd heddyw. Anfonid cennad weithiau i roddi rhai i farwolaeth, megis ag y gwnaed â Joab ac Adoniah. 1 Bren. 2. 25, 29—31. Y fath ydoedd zel yr Iuddewon dros eu cyfraith, fel nad cywilyddus ganddynt weinyddu ei chospedigaethau eu hunain. Pan labyddid troseddwyr, y tystion a daflent y cerrig cyntaf attynt, yn ol cyfarwyddyd Moses. Deut. 17. 7. Ac weithiau personau o radd uchel a weinyddent gospedigaethau y gyfraith. Rhoddodd Samuel Agag i farwolaeth. 1 Sam. 15. 33. Mewn cyffelyb fodd gorchymmynodd Nebuchodonosor i Arioch, llywydd y byddinoedd, roddi doethion Babilon i farwolaeth. Dan. 2. 24. Ond ym mha ddull bynnag y rhoddid y drwg-weithredwr i farwolaeth, dyweda awdwyr y Talmudiaid y rhoddai yr Iuddewon win a chyfferi wedi ei gymmysgu âg ef, er eu syfrdanu a'u meddwi; a bod y ddefod hon wedi deillio oddiwrth y cyfarwyddyd yn Diar. 31. 6. Eglura hyn i ni yr achos i win a myrr cymmysgedig gael ei gynnyg i'n Hiachawdwr pan ar y groes. Marc 15. 23. Yn amserau diweddaf y wladwriaeth Iuddewig, mor gyffredin y rhoddid y cwppanaid hwn i'r rhai a ddihenyddid, fel y mae'r gair cwppan yn cael ei ddefnyddio am angeu ei hun—"Os yw bosibl, aed y cwppan hwn heibio."

---

## V. Y TROSEDDAU IUDDEWIG.

Fel y sylwyd yn barod, mai Duw-bennaeth ydoedd y llywodraeth ym mhlith yr Israeliaid, y mae yn canlyn, mai y troseddau hynny yn erbyn eu brenin a'u Duw a ystyrid yn fwyaf gan y cyfreithiau a roddwyd drwy Moses i'r bobl. Y cyntaf o'r rhai hyn a goffeir yn bresennol ydyw eilun-addoliaeth, sef rhoddi addoliad a gwasanaeth crefyddol i dduwiau dieithr. Byddai Israeliad yn euog o eilun-addoliaeth pan addolai ac yr ymgrymmai i dduwiau eraill heblaw Jehofah, y gwir a'r bywiol Dduw. Gwaherddir hyn yn Ecsod. 20. 3. Cyflawnid y pechod hwn hefyd drwy addoli delwau, naill ai i'r gwir Dduw neu i dduwiau y Cenhedloedd. Gwaherddir hyn yn Ecsod. 20. 4, 5. Trwy adeiladu allorau neu gyssegru llwynau i eilunod neu i'w delwau. Gorchymmynai cyfraith Moses i'r holl betheuach hyn gael eu dinystrio. Ecsod. 34. 13. Trwy offrymmu aberthau i eilunod, yr hyn a waherddir yn Lef. 17. 1—7. yn neillduol aberthau dynol. Lef. 18. 21. Deut. 12. 30. Trwy fwytta o bethau a aberthid i eilunod gan ddynion eraill. Er nad oes gwaharddiad pendant yn erbyn myned i wleddoedd a gynnelid i dduwiau dieithr, etto y mae yn amlwg fod y cyfryw waharddiad yn gynnwysedig yn Ecsod. 34. 15. Yr oedd eilun-addoliaeth mewn person i gael ei gospi drwy ei labyddio â meini. Pan elai dinas i eilun-addoliaeth, yr oedd i gael ei hystyried mewn sefyllfa o wrthryfel yn erbyn y llywodraeth; ac yr oeddid i ymddwyn atti yn ol cyfreithiau rhyfel. Yr oedd ei thrigolion a'i holl anifeiliaid i gael eu rhoddi i farwolaeth; nid oedd un yspail i gael ei wneuthur, ond y cwbl a gynnwysid yn y dref a losgid ynghyd; ac ni chaniatteid i'w hadeiladu drachefn. Deut. 13. 13—19. Nid ymddengys bod y gyfraith hon yn cael ei rhoddi mewn grym;

oblegid y fath ydoedd tuedd Israel at eilun-addoliaeth, fel na sylwid braidd ar y ddinas neu ar y personau a fyddent yn euog o'r trosedd hwn ar y ddeddf. Pechod arall yn erbyn yr Arglwydd fel Brenin a Deddfwr Israel ydoedd cabledd, sef dywedyd yn niweidiol am ei enw, ei briodoliaethau, ei lywodraeth, a'i ddatguddiad. Yr oedd cabledd nid yn unig yn bechod yn erbyn Duw, ond hefyd yn erbyn y llywodraeth; a'r cablwr a gospid drwy ei labyddio â meini. Ymddengys oddiwrth Deut. 18. 20—22. bod y gau brophwyd i gael ei roddi i farwolaeth. Gwaherddir dewiniaeth yn bendant: cosp yr hwn a ymgynghorai â dewin a weinyddid gan Dduw ei hunan; ond yr oedd y dewin i gael ei labyddio â meini. Lef. 20. 6, 27. Yr oedd anudoniaeth hefyd yn bechod a waherddid gan Moses; ond yr oedd cosp yr anudonwr i ddeilliaw oddiwrth Dduw. Yr oedd melldithio rhieni yn bechod angeuol. Ecsod. 21. 17. Gwaherddir siarad yn ammharchus am swyddogion; ond ni nodir y gosp. Ecsod. 22. 28. Mewn perthynas i ledrad, rhaid i'r lleidr roddi ei ddau gwerth (ac weithiau fwy) yn ol; ac os byddai y lleidr yn analluog i wneuthur hyn, yr oedd i gael ei werthu yn gaethwas er gwneuthur y iawn i fynu. Y mae yr arferiad hon yn parhau hyd heddyw ym mhlith y Persiaid. Mewn achos o ddyled, gellai yr echwynwr ymaflyd ym mherson y dyledwr, a'i werthu ef a'i wraig a'i blant. Cynnwysir hyn yng ngeiriau y ddeddf yn Lef. 25. 39; ac y mae cyfeiriad at y ddefod hon yn Job 24. 9; Iesu Grist a gyfeiria atto hefyd yn Mat. 18. 25. Lledratta dyn a gospid â marwolaeth. Ecsod. 21. 16. Deut. 24. 7. sef lledratta Israeliad rhydd. Yr oedd llofruddiaeth wirfoddol i gael ei gospi â marwolaeth. Yr oedd y dyn-laddwr i gael ei arbed drwy ffoi i'r ddinas noddfa, sef yr hwn a laddai ddyn yn anfwriadol. Godineb a gyrryw-gydiaeth a gospid â marwolaeth. Y rhai a nodwyd ydynt y prif droseddau a grybwyllir gan gyfraith Moses.

---

## VI. Y COSPEDIGAETHAU A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU.

Diben cosp, yn ol Moses, ydoedd attal eraill rhag troseddu. Deut. 17. 13. a 19. 20. Yr oedd y cospedigaethau yn amrywio yn ol natur y troseddau a gyflawnid. Y cospedigaethau lleiaf oeddynt y rhai canlynol:—Flangellu, Lef. 19. 20. Deut. 22. 18. a 25. 2.. Yr oedd fflangellu mewn arferiad gyffredin ar ol y caethiwed, ac y mae yr Apostol yn dywedyd iddo ef ddioddef y gosp hon dair gwaith. 2 Cor. 11. 24. Yn nyddiau ein Hiachawdwr, gweinyddid y gosp hon nid yn unig gan lysoedd barnol, ond hefyd yn y synagogau. Mat. 10. 17, 23, 34. Nid oedd un Iuddew i gael ond deugain; ac fel na ychwanegid y nifer, dywedir bod i'r fflangell dair caingc, a tharawid y troseddwr dair gwaith ar ddeg, yr hyn a wnai y nifer o ddeugain ond un. 2. Ad-daliad. Dychwelyd yr un peth am yr un peth; dant am ddant, llygad am lygad, llaw am law, a throed am droed. Ecsod. 21. 14. Gwaherddir hyn gan yr Arglwydd Iesu Grist yn Mat. 5. 38, 39. 3. Adferu yr eiddo yn ol. Crybwyllir gyda golwg ar hyn am ddirywiau, am iawn, am offrymmau dros gamwedd, ynghyd â phethau eraill. Ecsod. 21. 32—36. a 22. 6. Lef. 24. 18. Ni chrybwyllir

am garchariad gan Moses, er ei fod yn adnabyddus o'r gosp hon, ac yn ei chrybwyll fel mewn arferiad ym mhlith yr Aiphtiaid. Gen. 39. 20, 21. Ond mewn amserau diweddarach daeth carchardai i fod yn gosp ym mhlith yr Iuddewon: sonir am danynt yn hanes eu brenhinoedd, ym mha rai y rhoddid troseddwyr, yn enwedig y prophwydi, gan frenhinoedd drygionus. 2 Chron. 16. 10. 1 Bren. 22. 27. Jer. 37. 21. Rhoddid dyledwyr a llofruddion hefyd mewn carchardai. Mat. 18. 30. Luc 23. 19. Yr ydym yn darllen am garchar cyffredin. Act. 5. 11. Yn hwn y rhoddid y fath waethaf o ddynion. Yn y carcharau hyn yr oedd daeardai, ym mha rai y rhoddid y carcharorion, ac y caent y triniaethau chwerwaf. Yr oedd gan geidwaid y carcharau awdurdod i drin y carcharorion fel y gwelent hwy fod yn dda, ac y mae yn parhau felly yn y dwyrain hyd heddyw. At y daeardai hyn y mae cyfeiriadau aml yn yr Ysgrythyrau, megis tom dwfn, pridd tomlyd, ac yn neillduol ocheneidiau y carcharorion dan y triniaethau enbyd yn y carcharau. 4. Alltudiaeth. Nid oedd hon yn gosp Iuddewig cyn y caethiwed; yr oedd y gosp hon gan y Rhufeiniaid, ac alltudiwyd Ioan i ynys Patmos am air Duw ac am dystiolaeth Iesu Grist. Dat. 1. 9. Yn y dwyrain yn yr amseroedd gynt, ac yn ddiweddar hefyd, tynnid llygaid y carcharorion. Gwnaeth y Philistiaid hyn â Samson; a thynnwyd llygaid Sedeciah gan y Caldeaid. Barn. 16. 21. 2 Bren. 25. 7. 5. Torri y gwallt ymaith. Er bod hyn yn arwydd o waradwydd yn hytrach na chosp; etto ymddengys bod poen yn cael ei roddi at y gwarth, o herwydd tynnid hwynt ymaith weithiau, fel y plufir aderyn. 6. Diarddeliad, neu esgymmundod oddiwrth y gwasanaeth a'r addoliad crefyddol. Nid yn unig yr oedd hon yn gosp eglwysig, ond yr oedd yn un wladol hefyd. Yr oedd sefyllfa yr esgymmunedig yn druenus i'r graddau eithaf. Cyhoeddid yr holl felldithion yn Deut. 27. arno, ac ni wnai neb gyfeillachu âg ef—yr oedd fel yr ethnig a'r publican. Rhoddid yr esgymmunedig drosodd i satan. At hyn y tebygir y cyfeiria yr Apostol yn 1 Cor. 5. 5. ac yn Rhuf. 9. 3. Dymunai yr Apostol gael ei esgymmuno, a'i lwytho â melldithion, ac i ddioddef yr holl ganlyniadau o hynny, er mwyn iechydwriaeth ei genedl yn ol y cnawd. Mewn perthynas i gospedigaethau angeuol, yr oedd amrywiol iawn o honynt, megis lladd â chleddyf. Tebygol bod y troseddwr yn cael ei ladd â'r cleddyf fel yr ewyllysiai y dihenyddwr. A'r cleddyf y rhoddid llofrudd i farwolaeth; ac felly y gwneid hefyd â dinas a ddiofrydid i farwolaeth: tarewid hi, fel y geiria yr Ysgrythyrau, â min y cleddyf. Deut. 13. 13—16. Mewn achos o lofruddiaeth, crybwyllir yn fynych am y *goel*, neu ddialydd y gwaed; ac yn y dwyrain hyd heddyw, y mae y trigolion yn hynod am ymddial. Os digwydd i neb yn anfwriadol ladd un arall, y mae perthynas agosaf yr hwn a laddwyd yn cymmeryd yr achos mewn llaw, ac am flynyddoedd efe a ddisgwyl gyfleusdra, ac ni rodda ei fwriad heibio, nes y lladdo y llofrudd. Yr oedd y dialedd mewn bod er yn foreu iawn, cyn amser Moses; oblegid yn ddiau at hyn y cyfeiriai Rebeccah yn Gen. 27. 45. pan ddywedai, "Pa ham y byddwn ymddifad o honoch eich dau mewn un dydd?" Nid oedd neb i ladd Esau, hynny yw, nid oedd y pryd hwnnw un gyfraith i'w gymmeryd i fynu; ac am Isaac, er bod awdurdod ganddo i wneuthur hynny,

etto nid ydyw yn debygol y buasai yn rhoddi ei fab i farwolaeth; am hynny rhaid yr ofnai Rebeccah y dialydd, sef perthynas agosaf Jacob, sef rhyw Ismaeliad mae yn debyg a gymmerasai yr achos i fynu. Llabyddio â meini ydoedd y gosp am amrywiol droseddau. Yr oedd hon yn gosp gyffredinol y gyfraith ar droseddwyr. Tybia Michaelis bod y drwg-weithredwr yn cael ei rwymo yn gyntaf; ond ni chrybwyllir am hyn yn yr Ysgrythyrau. Weithiau dilynid y rhai a gospid â marwolaeth â nodau o warthruddiadau; megis eu llosgi, eu crogi, pentyrru cerrig arnynt, a phethau cyffelyb. Gen. 38. 24. Lef. 20. 4. Gen. 40. 17—19. Jos. 7. 25, 26. Gorchymmyna Moses hefyd i losgi rhai troseddwyr yn fyw. Hon oedd y gosp a roddid ar ferched yr offeiriaid a fyddent yn euog o odineb. Lef. 21. 9. Ymddengys bod hon yn gosp a weinyddid yn y dwyrain er yn foreu; gorchymmynai Judah losgi Tamar pan glywodd ei bod yn feichiog. Gen. 38. 24. Yr oedd torri pennau ymaith yn gosp foreuol, ac a arferid cyn dyddiau Moses. Gen. 40. 19. Teflid troseddwyr bendramwnwgl o le uchel ar achlysuron, hyd oni fyddai eu cyrph yn ddrylliau. Yn y wedd hon y daeth Jesebel i'w diwedd. 2 Bren. 9. 30. Y mae hon yn gosp a weinyddir ym Mhersia yn awr. Amasiah brenin Judah, mewn modd barbaraidd, a wnaeth i ddeng mil o Idumeaid neidio i grafangau angeu dros graig. 2 Chron. 25. 12. Yr oedd boddi troseddwyr mewn arferiad ym mhlith y Syriaid; ac yn adnabyddus i'r Iuddewon yn nyddiau ein Hiachawdwr, er nad oes gennym hanes y byddent yn cospi neb yn y dull hwn o gymmeryd eu bywydau ymaith. Dyweda Josephus i rai o gyfeillion a phleidwyr Herod gael eu boddi gan y bobl yn llyn Gennesaret. At y dull hwn o gospi y cyfeiria Crist yn Mat. 18. 6. "Da fyddai iddo pe crogid maen melin am ei wddf, a'i foddi yn eigion y môr." Y mae malurio mewn morter yn gosp a arferir hyd heddyw gan y Tyrciaid. Rhai o'r gwarchawdlu Tyrcaidd a adawsant i Coreski y tywysog Pwylaidd ddiangc, a roddwyd i farwolaeth drwy gael eu curo mewn morterau (math o grochanau) heiyrn. At hyn y cyfeiria Salomon yn Diar. 27. 22. pan ddyweda am bwyo mewn morter a phestl. Torri drwy y canol oedd gosp a arferid mewn rhai parthau o'r dwyrain; a thybir mai at hyn y cyfeiria Paul yn Heb. 11. 37. Arferir y gosp hon hyd heddyw gan y Mooriaid yn Barbary Orllewinol, ac yn Persia. Curo i farwolaeth a arferid gan Antiochus at yr Iuddewon; a bwrw i blith anifeiliaid gwylltion a arferid gan y Mediaid a'r Persiaid. Fel hyn y gwnaed â Daniel, Dan. 6. 7, 12, 16—24. Oddiwrthynt hwy, mae yn debygol, y cymmerodd y Rhufeiniaid y peth. Weithiau teflid hwynt yn noethion i blith y bwystfilod, a phryd arall rhoddid arfau iddynt er ymddiffyn eu hunain; ac os gorchfygent, caent eu bywydau. At hyn y cyfeiria Paul yn 2 Tim. 4. 17. 1 Cor. 15. 32. Croeshoeliad ydoedd gosp a weinyddid gan yr hynafiaid ar y drwg-weithredwyr gwaethaf. Yr oedd y groes o ddau fath, sef un pren yn croesi y llall yn debyg i'r llythyren T, ond yn fwyaf cyffredin fel y llythyren X. Dywedir mai ar groes tebyg i'r llythyren T y dioddefodd ein Harglwydd ni. Marwolaeth y groes ydoedd y fwyaf ei phoen o bob marwolaeth y rhoddid drwg-weithredwyr iddi. Hoelid dwylaw a thraed y croeshoeliedig wrth y groes, ac yno y gadewid ef i grogi hyd oni fyddai marw o boen a newyn. Y mae

hanesion am rai wedi byw ddiwrnodau ar y groes mewn poenau dirfawr. Gwaherddid claddu y rhai a roddid i farwolaeth y groes ar rai achlysuron. Yr oedd y gosp o roddi i farwolaeth drwy groes-hoeliad mewn arferiad gan yr Aiphtiaid, y Persiaid, y Groegiaid, a'r Carthageniaid; ond yn fwy cyffredin ym mhlith y Rhufeiniaid, oddiwrth y rhai y mae yn debygol y cafodd yr Iuddewon hi. Fel y sylwyd yn barod, pan ydoedd ein Harglwydd ar y groes, cynnygiwyd diod iddo, yr hon oedd o duedd i'w syfrdanu ac mewn canlyniad i leihau ei boen. Parottowyd y ddiod hon iddo yn ddiau gan rai cyfeillion, ond efe a'i gwrthododd hi, oblegid mai ei benderfyniad ydoedd cyfarfod âg angeu yn ei holl ddychrynfeydd. Y mae yn hyfryd gan rai feddwl am angeu y groes, o herwydd arni yr yspeiliwyd y tywysogaethau a'r awdurdodau, ïe, y gwnaed heddwch, yr hwn sydd i'w gyhoeddi hyd derfynau eithaf y greadigaeth.

---

## PENNOD IV.

## *Y dulliau Iuddewig a Rhufeinaidd o gyfrif amser, yn ol y crybwylliadau yn yr Ysgrythyrau.*

### I. DIWRNODAU.

Cyfrifai yr Iuddewon eu diwrnodau o hwyr i hwyr, yn ol gorchymmyn Moses. Lef. 23. 32. Y mae yn deilwng o sylw, bod y nos yn rhagflaenu y boreu neu y dydd naturiol yn hanes y greadigaeth; Gen. 1. 5. "A'r hwyr a fu, a'r boreu a fu, y dydd cyntaf." Oblegid hyn y mae y prophwyd Daniel yn pen. 8. 14. yn defnyddio yr enw cyfansawdd hwyr-boreu (ymyl y ddalen) i arwyddo diwrnod gwladol, yn ei brophwydoliaeth amseryddol o 2300 o ddiwrnodau. Yr oedd gan y Rhufeiniaid ddau gyfrifiad, a dau enw ar eu diwrnodau; un yn ddiwrnod gwladol, a'r llall yn ddiwrnod naturiol. Yr oedd y diwrnod gwladol fel ein diwrnodau ni; a'r diwrnod naturiol, yn ol y cyfrif cyffredin, yn dechreu am chwech yn y boreu, ac yn terfynu am chwech yn yr hwyr. Yr oedd diwrnod gwladol yr Iuddewon yn amrywio yn ei hyd, yn ol tymmorau y flwyddyn: y diwrnod hwyaf yn Palestina ydoedd bedair awr ar ddeg a deuddeg munud o'n hamser ni; a'r dydd byrraf ydoedd naw awr ac wyth munud a deugain. Y gyfran hyn o amser a ranwyd ar y cyntaf i bedair rhan, Neh. 8. 3. y rhai, er eu bod yn amrywio mewn hyd, a adnabyddid yn hawdd oddiwrth sefyllfa neu ymddangosiad yr haul yn y terfyngylch. Wedi hyn y diwrnod gwladol a rannwyd yn ddeuddeg awr, y rhai a fesurwyd naill ai oddiwrth sefyllfa yr haul, neu ddeialau a wnaed i'r perwyl.

## II. ORIAU.

Yr oriau hyn oeddynt gyfartal i'w gilydd, ond yn anghyfartal gyda golwg ar wahanol dymmorau y flwyddyn: yr oedd deuddeg awr y dydd hwyaf yn yr haf yn hwy na'r rhai hynny yn niwrnod byr y gauaf. Y crybwylliad cyntaf a wneir am oriau yn yr Ysgrythyrau sydd yn Daniel, pen. 3. 6, 15. a 5. 5. a chan mai y Caldeaid, yn ol Herodotus, a ddyfeisiasant y rhaniad hwn ar amser, y mae yn lled debygol mai oddiwrthynt y daeth at yr Iuddewon. Sicr yw fod rhaniad y diwrnod i oriau yn anhyspys i Moses; o herwydd ni chrybwylla efe na neb o'r haneswyr boreuol ond am foreu a hwyr, a chanol dydd. Cyfrifai yr Iuddewon oriau eu diwrnod gwladol o chwech yn y boreu hyd chwech y prydnawn. Yr oedd eu hawr gyntaf hwy yn cyfatteb i saith o'r gloch gyda ni, eu hail awr i wyth, a'u trydydd i naw. Gwybodaeth o hyn a'n cynnorthwya i ddeall amrywiol rannau o'r Ysgrythyrau, megis Mat. 20. Act. 2. 15. a 3. 1. a 10. 9, 30. Y nos a rennid i dair rhan neu wyliadwriaethau, Salm 62. 6. a 90. 4. ond ym mhen amser rhannwyd y nos i oriau fel y dydd. Y wyliadwriaeth gyntaf a grybwyllir yn Galarnad 2. 9; y wyliadwriaeth ganol yn Barn. 7. 19; a'r wyliadwriaeth foreuol yn Ecsod. 14. 24. Yn amser ein Hiachawdwr, rhennid y nos i bedair gwyliadwriaeth: cafodd yr Iuddewon y bedwaredd oddiwrth y Rhufeiniaid, y rhai a'i cawsant oddiwrth y Groegiaid. Yr ail a'r drydedd a grybwyllir yn Luc 12. 38; y bedwaredd yn Mat. 14. 25; a'r pedair ar wahan yn Marc 13. 35. Y wyliadwriaeth gyntaf oedd yn yr hwyr, o chwech hyd naw; yr ail o naw hyd ddeuddeg, neu hanner nos; y drydedd o ddeuddeg hyd dri; a'r bedwaredd o dri hyd chwech. Y mae yn briodol i sylwi, bod y gair awr weithiau yn cael ei ddefnyddio yn yr Ysgrythyrau am yspaid o amser—am un wyliadwriaeth. Mat. 25. 13, 26, 40. Marc 14. 37. Cyfrifai yr Iuddewon ddau hwyr; un yn dechreu ar y nawfed awr o'r dydd naturiol, neu am dri o'r gloch brydnawn; a'r hwyr arall ar yr unfed awr ar ddeg. Gorchymmynid i Oen y pasg gael ei aberthu rhwng y ddau hwyr. Ecsod. 12. 6. Lef. 23. 4.

---

## III. WYTHNOS.

Saith o nosweithiau a dyddiau a gyfansoddent wythnos: chwech diwrnod i weithio, a'r seithfed dydd neu y Sabbath i fod yn ddiwrnod o orphwysfa, oblegid mai ar y dydd hwnnw y gorphwysodd Duw oddiwrth ei holl waith. Sylwid ar y rhaniad hwn o amser gan hiliogaeth Noah, ond collwyd ef yng nghaethiwed yr Aipht; eithr a adfywiwyd drachefn gan Moses, yn ol gorchymmyn Duw. Hyn sydd amlwg oddiwrth y gair *Sabbat* neu *Sabbata*, yn hwn a arwydda wythnos ym mhlith y Syriaid, Arabiaid, Cristionogion, Persiaid, ac Ethiopiaid; yn y wedd ganlynol yr enwir diwrnodau yr wythnos mewn hen galendar Syriaidd:

| | |
|---|---|
| Un o'r Sabbath, neu wythnos ............ | Dydd Sul. |
| Dau o'r Sabbath ............................... | Dydd Llun. |
| Tri o'r Sabbath ............................... | Dydd Mawrth. |
| Pedwar o'r Sabbath ........................ | Dydd Mercher. |
| Pump o'r Sabbath ........................... | Dydd Iau. |
| Chwech o'r Sabbath ................. ...... | Dydd Gwener. |
| Y Sabbath ......................................... | Dydd Sadwrn. |

Ymddengys mai yn ol y dull hwn yr enwid dyddiau yr wythnos; megis un dydd, dau ddydd, &c. Dull paganaidd sydd gyda ni o'u henwi, a byddai yn fwy priodol cymmeryd yr hen ddull etto. Yr ail brif Sabbath a grybwyllir yn Luc 6. 1. ydoedd y Sabbath cyntaf ar ol yr ail o wythnos y pasg. Heblaw wythnos o ddiwrnodau, yr oedd gan yr Iuddewon wythnos o flynyddoedd; oblegid yr oedd blwyddyn Sabbathaidd ganddynt bob saith mlynedd.

---

## IV. MISOEDD.

Misoedd yr Hebreaid, fel pob hen genhedloedd, oeddynt fisoedd y lleuad, ac a gynnwysent naw a deg ar hugain o ddiwrnodau bob yn ail. Cyn gynted ag y gwelent y lleuad newydd, dechreuent eu mis; ac yr oedd ganddynt wylwyr ar lannau y mynyddoedd, er edrych am a rhoddi gwybodaeth pan ymddangosai y lleuad newydd. Ond pan wasgarwyd yr Iuddewon i blith y Cenhedloedd, nid oedd ganddynt gyfleusderau i sylwi ar y lleuadau newyddion, yr hyn a barodd iddynt fod dan yr angenrheidrwydd o gyfrif dechreuad eu misoedd yn ol rheolau astronomyddaidd, ac fel hyn y cadwant gyfrif amser hyd yn bresennol. Gynt nid oedd enwau gan yr Iuddewon ar eu misoedd, ond mis cyntaf, ail, a thrydydd. Dechreuodd y diluw yn yr ail mis; ond wedi hynny cawsant enwau gwahanol. Enwa Moses y mis cyntaf o'r flwyddyn Abib, Ecsod. 12. 2. yr hwn a arwydda gwyrdd, oddiwrth y tywysenau gwyrddion yn y tymmor hwnnw o'r flwyddyn. Yr ail fis a enwyd Zif, yr hwn air yn y Galdeaeg a arwydda gogoniant: yn y mis hwn y gosodwyd sail teml Salomon. Wedi dychweliad yr Iuddewon o Babilon, rhoddwyd enwau newyddion i'r misoedd; galwasant y cyntaf Nisan, y trydydd Sifan, a'r chweched Elul, &c.

---

## V. BLYNYDDOEDD.

Yr oedd gan yr Iuddewon bedwar math o flynyddoedd; un at blanhigion, un at anifeiliaid, un at ddibenion cyssegredig, a'r bedwaredd yn wladol ac yn gyffredin i holl drigolion Palestina. Blwyddyn y planhigion a gyfrifid o'r mis a atteba i Ionawr, am y talent ddegwm ffrwythau y coedydd a flaendarddent yn y mis hwn. Yr ail flwyddyn ydoedd blwyddyn yr anifeiliaid; oblegid pan ddegyment yr ŵyn, byddai y perchennog yn gwneuthur iddynt fyned dan y wialen, ac efe a nodai y ddegfed, yr hwn a roddid i'r Lefiaid. Ond y blynyddoedd mwyaf adnabyddus ydynt y rhai gwladol ac

eglwysig. Y flwyddyn wladol sydd yn dechreu ar y pumthegfed o Fedi, oblegid bod hen draddodiad mai ar y dydd hwnnw y crewyd y byd. O'r flwyddyn hon y cyfrifai yr Iuddewon y Jubili, y dyddient eu cyfammodau, y nodent enedigaeth eu plant, a theyrnasiad eu brenhinoedd. Y daflen ganlynol a ddengys fisoedd blwyddyn wladol yr Iuddewon, a'r misoedd a attebant iddynt yn ol ein trefn ni.

| | |
|---|---|
| 1. Tisri, a gyfatteb i ran o | Medi a Hydref. |
| 2. Marcesuan | Hydref a Tachwedd. |
| 3. Cisleu neu Kisleu | Tachwedd a Rhagfyr. |
| 4. Tebeth | Rhagfyr a Ionawr. |
| 5. Sebat | Ionawr a Chwefror. |
| 6. Adar | Chwefror a Mawrth. |
| 7. Nisan neu Abib | Mawrth ac Ebrill. |
| 8. Jair neu Zif | Ebrill a Mai. |
| 9. Sifan | Mai a Mehefin. |
| 10. Tamuz | Mehefin a Gorphenaf. |
| 11. Ab | Gorphenaf ac Awst. |
| 12. Elul | Awst a Medi. |

Y mae rhai o'r enwau hyn yn cael eu defnyddio yn Persia yn awr. Dechreuai y flwyddyn eglwysig neu gyssegredig ym Mawrth, neu y dydd cyntaf o fis Nisan, oblegid mai ar y pryd hwnnw yr ymadawsant â gwlad yr Aipht. O'r mis hwnnw y cyfrifent eu gwleddoedd, ac y dyddiai y prophwydi eu prophwydoliaethau a'u gweledigaethau. Dyweda Zechariah, pen. 7. 1. i air yr Arglwydd ddyfod atto y pedwarydd dydd o'r nawfed mis, sef mis Cisleu, yr hwn a gyfatteb i fis Tachwedd; o ganlyniad ei fod yn cyfrif yn ol y flwyddyn eglwysig, yr hon a ddechreuai ym Mawrth. Dengys y daflen ganlynol fisoedd y flwyddyn eglwysig, a'n misoedd ninnau a gyfattebant iddynt.

| | |
|---|---|
| 1. Nisan neu Abib. Neh. 2.1. Est. 3.7. | Rhan o Mawrth ac Ebrill. |
| 2. Jair neu Zif | Ebrill a Mai. |
| 3. Sifan. Est. 8. 9. | Mai a Mehefin. |
| 4. Tamuz | Mehefin a Gorphenaf |
| 5. Ab | Gorphenaf ac Awst. |
| 6. Elul. Neh. 6. 15. | Awst a Medi. |
| 7. Tisri | Medi a Hydref. |
| 8. Marcesuan | Hydref o Tachwedd. |
| 9. Kisleu neu Cisleu. Zech. 7. 1. | Tachwedd a Rhagfyr |
| 10. Tebeth | Rhagfyr a Ionawr. |
| 11. Sebat. Zech. 1. 7. | Ionawr a Chwefror. |
| 12. Adar. Ezra 6. 15. | Chwefror a Mawrth |

Yr oedd y misoedd Iuddewig yn cael eu rheoli gan y lleuad, o ganlyniad ni chynnwysent ond 354 o ddiwrnodiau ac wyth o oriau. Yr oedd hyn yn gwneuthur yr amseroedd yn agored i gymmysgedd mawr, o ganlyniad ychwanegai yr Iuddewon un mis cyfan at y misoedd lleuadol, pan fyddai angenrheidrwydd, a hynny er cadw yr amseroedd mewn trefn. Chwanegid y mis hwn at y mis Adar, a gelwid ef Ve-Adar, neu ail Adar. Rhydd y rhaniad hwn o'r flwyddyn gryn oleuni ar ryw rannau o'r Ysgrifeniadau Sanctaidd. Gwel Jer. 36. 22. Ezra 10. 13. Ioan 10. 22, 23.

## PENNOD V.

## *Y trethi a'r taleion a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau.*

### I. Y TAL BLYNYDDOL ER CYNNAL Y GWASANAETH CREFYDDOL.

ANNICHONADWY cynnal unrhyw lywodraeth heb draul, ac y mae yn gyfiawn i bob un sydd yn mwynhau nodded ac ymddiffyniad y llywodraeth dalu ei gyfran er ei chynnal. Ar ymadawiad cyntaf yr Israeliaid o'r Aipht, cyfrannai y bobl yn wirfoddol at unrhyw achos neillduol, megis at y babell, Ecsod. 25. 2. Wedi adeiladu y babell, gosodwyd treth o hanner sicl ar bob gwrryw o fab ugain mlwydd ac uchod, Ecsod. 30. 13, 14. Wedi dychwelyd o Babilon, rhoddwyd treth o drydedd ran o sicl ar bob un er cynnal gwasanaeth y deml. Yn nyddiau ein Hiachawdwr, telid hanner sicl gan bob Iuddew er cynnal y gwasanaeth crefyddol, gan nad ym mha barth o'r byd y preswyliai. Ac heblaw hyn, yr oedd rhoddion gwirfoddol yn cael eu cyfrannu gan y rhai a ewyllysient, Marc 12. 41—44; o ganlyniad dygid llawer iawn o aur o bob parth yn flynyddol i Jerusalem i'r deml. Wedi dinystr Jerusalem, gorchymmynodd Vespasian am i'r Iuddewon dalu yr hanner sicl i'r capitol yn Rhufain. Mewn ychwanegiad at y taleion crybwylledig, gellir enwi y blaenffrwyth, y degymmau, a phethau cyffelyb.

### II. Y TRETHI A DELID GAN YR IUDDEWON I'W BRENHINOEDD.

YR oedd amryw o genhedloedd Canaan dan dreth i'r Israeliaid, a hynny oddiar amser Joshua. Jos. 16. 10. a 17. 13. Barn. 1. 28, 33. Yr oedd y Moabiaid a'r Syriaid yn talu treth i Dafydd, 2 Sam. 8. 2, 6; a Salomon yn nechreuad ei deyrnasiad a wnaeth i'r Amoriaid a chenhedloedd eraill dalu treth iddo, a gweithio yn yr adeiladau a gyfododd efe, 1 Bren. 9. 21. 2 Chron. 8. 9; ond tua therfyn ei deyrnasiad gosododd dreth ar yr Israeliaid, 1 Bren. 5. 13, 14. Bu y dreth hon yn achos i'r llwythau ymddieithro yn eu meddyliau oddiwrtho, ac yn y pen draw i ddeg o honynt ymneillduo oddiwrth ei fab Rehoboam, ac ymlynu gyda Jeroboam fab Nebat.

### III. Y TRETHI A DELID GAN YR IUDDEWON I ESTRONIAID.

PAN orchfygid ac y darostyngid Israel gan genhedloedd eraill, gosodid hwynt dan yr angenrheidrwydd o dalu treth i'w gorchfygwyr. Gosododd Necho brenin yr Aipht dreth arnynt o gan' talent o arian, ac un dalent o aur; 2 Bren. 23. 33, 35. Wedi y caethiwed talent dreth i'r Persiaid, ac i'r Groegiaid cyn i dywysog-

ion y Maccabeaid eu rhyddhau. Wedi iddynt gael eu gorchfygu gan y Rhufeiniaid dan Pompey, gosodwyd hwynt dan dreth. Rhoddodd y Rhufeiniaid dreth flynyddol arnynt, sef Denarius, ceiniog ar bob un, heb law tollau ar bob nwyfau a drosglwyddid i'r wlad, neu a yrrid o honi. Yr oedd yr Iuddewon yn dra anfoddlon o'i phlegid, a chyfodasant derfysgoedd lliosog yn ei hachos. Cynnygiodd y Phariseaid rwydo ein Hiachawdwr gyda golwg ar y dreth hon, pan ofynasant iddo, Ai cyfreithlon ydoedd talu treth i Cæsar? Er mwyn rhwyddhau y ffordd i'r Iuddewon a ddeuent o barthau pellenig i Jerusalem, i dalu y dreth o hanner sicl i'r Rhufeiniaid, y sefydlodd y cyfnewidwyr arian eu hunain yn y deml, sef yng nghyntedd y Cenhedloedd y mae yn debygol, modd y gallasent drwy dalu rhyw faint i'r rhai hyn gael arian a dderbynid yn y wlad.

---

### IV. Y PUBLICANOD, NEU GASGLWYR Y TRETHI.

Gosodid trethi y taleithiau a ddygid yn gaeth gan arfau y Rhufeiniaid, i farchogion Rhufain, y rhai drachefn a'u gosodent i gasglyddion eraill. Yr oedd y casglyddion hyn yn adnabyddus wrth yr enwau publicanod, ac nid oedd fawr o barch gan yr Iuddewon i'r tylwyth hyn. Yr oedd rhai o'r publicanod yn uwch na'u gilydd, o herwydd sonir am Zacheus y pen publican. Nid oedd Matthew ond publican, derbyniwr y doll yn y dollfa, am y nwyfau a dderbynid yn gystal ag am y nwyfau a yrrid ymaith. Yr oedd y publicanod yn gyffredin yn greulon ac yn gribddeilwyr. Yr oedd yr Iuddewon mor ddigasog tuag attynt, fel na wnaent unrhyw gyfeillach â hwynt; ac ystyrient ein Hiachawdwr yn dra beius am gydeistedd a chydfwytta â hwynt. Dengys dammeg y phariseaid a'r publican yn Luc 18. wahanol gymmeriadau y rhai hyn; ond yr oedd y publican yn nes i deyrnas nefoedd, am yr ymddiriedai i drugaredd Duw, na'r pharisead, yr hwn a ymddiriedai i'w rinweddau ei hunan.

---

## PENNOD VI.

## *Y cyfammodau a'r cyngreiriau Iuddewig.*

### I. CYFAMMODAU YR IUDDEWON A'R CENHEDLOEDD.

Cyttundeb ydyw y cyfammod a wneir er daioni cyffredinol. Camsynied ydyw bod Israel wedi cael eu gwahardd i wneuthur cyngreiriau â'r Cenhedloedd: nid oes y fath waharddiad yn neddf Moses; ond y mae Moses yn gorchymmyn i Israel ddwyn ym mlaen ryfel tragywyddol yn erbyn y Canaaneaid, Amaleciaid, Moabiaid, a'r Ammoniaid; o'r hyn leiaf i beidio ffurfio cyfeillgarwch â'r Cenhedl-

oedd hyn. Y mae beth bynnag yn amlwg oddiwrth Deut. 23. 4—9. na olygid yr holl genhedloedd felly, oblegid ni chrybwyllir am yr Edomiaid. Ac ym mhellach, y mae yn amlwg yr ystyriai yr Israeliaid eu hunain yn rhwym i gadw y cyfammod a wneid, ïe, ac i'r blaid arall fod yn dwyllodrus yn y cyfammod, fel yn achos y Gibeoniaid. Jos. 9. Yr oedd Dafydd a Salomon mewn cyngrair â brenin Tyrus. Yr unig gyngreiriau a gondemnir gan y prophwydi oeddynt y rhai â'r Aipht ac Assyria, am eu bod mor niweidiol i'r genedl.

---

## II. Y DULL Y CADARNHEID Y CYFAMMODAU IUDDEWIG.

Mewn perthynas i'r dull o wneuthur cyfammodau, weithiau cadarnheid hwynt drwy gyssylltu dwylaw, Diar. 11. 21. Ezec. 17. 18. Y mae hon yn drefn neu ddefod gan yr Hindwaid hyd heddyw, ac yn gyffredin yn ein plith ninnau mewn achosion o brynu a gwerthu. Weithiau cadarnheid y cyfammod drwy gyfodi carnedd o gerrig, i'r hon y rhoddid enw, addas i sylwedd y cyttundeb, Gen. 31. 44—54. Y cyfammod a wnaed rhwng Abraham â brenin Gerar, a gadarnhawyd drwy lw gan y pleidiau, a rhoddodd Abraham anrheg ar yr achos, Gen. 21. 22—32. Wrth wneuthur cyfammod, lleddid creadur weithiau ar yr achos; holltid ef yn ddau, a rhodiai y cyfammodwyr rhwng y darnau, Gen. 15. 9, 10. Jer. 34. 18; a'r crybwylliad cyntaf am ysgrifenu a selio gweithred gyda golwg ar drosglwyddiad meddiannau a wneir yn Jer. 32. 10—12. Yn Num. 18. 19. sonir am gyfammod o halen. Tebygol i'r ymadrodd hyn ddeillio oddiwrth y ddefod o gadarnhau rhwymiadau cyfammodol drwy halen. Yr oedd yr halen, ac y mae felly, yn cadw pethau rhag llygru, ac felly yn arwydd o anllygredigaeth a pharhad.

---

## III. GWERTHIAD MEDDIANNAU.

Ym mhlith yr Hebreaid, ac ym mhell cyn hynny ym mhlith y Canaaneaid, terfynid pryniad pob peth o bwys, a thelid y pris ym mhorth y ddinas, lle yr oedd gorsedd y farn, ac yng ngolwg pawb a elent allan ac a ddeuent i mewn, Gen. 23. 16—20. lle y crybwyllir am ogof maes Macpelah, yr hwn a brynodd Abraham er bod yn feddiant beddrod. Yn Ruth 4. 7—11. yr ydym yn darllen am ddefod ryfedd mewn achos o bryniad neu gyfnewidiad, sef bod y trosglwyddiad yn cael ei gadarnhau drwy i'r meddiannwr dynnu ei esgid oddiam ei droed ym mhorth y ddinas, ym mhresennoldeb yr henuriaid a thystion eraill, ac yn ei rhoddi i'r meddiannwr newydd. Ni wyddis o ba le y deilliodd y ddefod hon. Mewn amser daeth cyssylltu dwylaw i adferiad, fel arwydd o gadarnhad cyfammod a chyttundeb mewn prynu a gwerthu; a chyfeirir at hyn yn Job 17. 3. Diar. 6. 1. a 11. 15. Meddylia rhai bod gweithredoedd ysgrifenedig yn cael eu diddymmu, drwy dynnu llinell yn groes ar yr ysgrifen, neu wthio hoel drwyddi; ond y mae hyn yn amheus.

## PENNOD VII.

## *Trefniadau milwraidd yr Iuddewon a chenhedloedd eraill.*

### I. Y RHYFELOEDD BOREUOL.

YR oedd ym moreu oesau y byd ddynion o egwyddorion gormesol, y rhai a draws-arglwyddiaethasant ar eu cymmydogion, gan eu darostwng i ufudd-dod iddynt. Y fath ydoedd sylfaeniad y deyrnas a seiliwyd gan yr heliwr Nimrod, Gen. 10. 8—10. Fel yr oedd dynolryw yn cynnyddu, yr oedd ymrafaelion yn lliosogi, ac yn ymledanu oddiwrth bersonau i deuluoedd, o deuluoedd i lwythau, ac yn y pen draw yn terfynu mewn rhyfel. Mewn perthynas i helyntion milwraidd yr oesau hynny, ni ellir dywedyd ond ychydig. Tebygol bod y rhyfeloedd hynny yn cael eu dwyn ym mlaen drwy ruthriadau disymmwth i diriogaethau eu gilydd, fel y dyweda y teithwyr dwyreiniol am arferion y Wahabees a'r Arabiaid Bedowinaidd yn bresennol. Wedi clywed o'r patriarch Abraham bod ei gâr Lot wedi ei gymmeryd gan Gedor-laomer a'i gyngreirwyr, byddinodd ei weision, y rhai oeddynt dri chant a deunaw, ac a orchfygodd y gelyn, gan ddwyn ei holl yspail oddi arno, Gen. 14. 14—16. Byddai y patrieirch eraill yn byddino eu gweision pan ddisgwylient ryfel, Gen. 32. 7—12. a 33. 1.

### II. RHYFELOEDD YR ISRAELIAID.

ER bod yr Iuddewon yn awr yn eithaf digalon gyda golwg ar ryfela, etto yn yr hen amseroedd yr oeddynt yn rhyfelwyr dewr; ond ni ddywedir nemmawr mewn perthynas i'w disgyblaeth filwraidd. Yr oedd rhyfeloedd yr Iuddewon yn ddau fath, sef y rhai a orchymmynid iddynt gan yr Arglwydd, a'r rhai a gymmerent wrth eu hewyllys eu hunain. Y fath flaenaf ydoedd eu rhyfeloedd yn erbyn saith genedl Canaan, y rhai yr oedd Duw wedi eu diofrydu i ddinystr. Gelwir y rhai hyn yn rhyfeloedd yr Arglwydd, am y rhai y cedwid coffadwriaeth, Num. 21. 14. Yn y rhyfeloedd yr elent hwy o'u bodd iddynt, cymmerid hwynt mewn llaw oblegid rhyw achosion gwladol. Rhyfeloedd o'r fath hyn oeddynt y rhai a grybwyllir yn amser y barnwyr a'r brenin Dafydd. Yr oedd eu rhyfeloedd i gael eu dwyn ym mlaen yn ol rheolau pennodedig: yn gyntaf, yr oeddynt i gyhoeddi heddwch i'w gelynion, yr hwn os derbynid, gwneid y cyfryw yn drethol i Israel; os gwrthodid yr heddwch, yna ymosodid ar y ddinas, a rhoddid yr holl wrrywaid i farwolaeth; ond arbedid y menywaid a'r rhai bychain, ac yr oedd y cwbl a berchennogent yn myned yn anrhaith i Israel. Pan gymmerid dinas, nid oeddynt i gyflawni dinystr afreidiol, drwy achosi niweidiau i'r

wlad am amser dyfodol, Deut. 20. 10—15. Wedi dyfodiad Israel o'r Aipht, yr oedd pob gwrryw, o ugain mlwydd ac uchod hyd ddeg a deugain, yn agored i wasanaeth milwraidd, yr offeiriaid a'r Lefiaid yr un wedd, Num. 1. 3, 22. 2 Sam. 23. 20. 1 Bren. 2. 35. Yr oeddynt yn barod i ymgynnull ar y rhybudd cyntaf; ac os na byddai eisiau yr holl fyddin, gwneid detholiadau o blith y rhai hyn. At y dull hwn y cyfeirir yn Mat. 20. 16. "Llawer sydd wedi eu galw, ond ychydig wedi eu dewis." Gelwid yr holl ryfelwyr ynghyd, a dewisid y nifer a dybid yn angenrheidiol o'u plith. Y dull hwn o gasglu y milwyr ynghyd mewn ychydig amser, a gyfrif am y lluoedd aneirif a ffurfid mewn yspaid mor ferr. Nid oedd gwneuthur parottoadau ar gyfer y fyddin yn un rhwystr i'w chynnulliad; oblegid yr oedd pob milwr yn gwasanaethu ar ei draul ei hun, yn dwyn ei arfau a'i ymborth gydag ef. Darllenir am Jesse yn anfon ymborth i'w feibion i'r gwersyll gyda Dafydd, 1 Sam. 17. 13, 17. Yr oedd rhai yn esgusodol i beidio myned i ryfel, sef yr hwn oedd wedi adeiladu tŷ, ac heb ei gyssegru; yr hwn oedd wedi plannu gwinllan, ac heb gyfrannogi o'i ffrwyth hi; yr hwn oedd wedi priodi gwraig, ac heb ei chymmeryd adref; a'r hwn oedd yn ofnus a gwan-galon. Yr oedd y rhai hyn yn cael eu hesgusodi rhag myned i'r rhyfel; a'r gwan-galon, wedi iddo gychwyn, a gai ddychwelyd adref.

---

## III. SWYDDOGION Y BYDDINOEDD IUDDEWIG.

Ymddengys nad oedd gwahaniaeth rhwng swyddogion y byddinoedd Iuddewig, a swyddogion byddinoedd eraill yn hen a diweddar. Rhaniad y fyddin yn dair mintai, fel y crybwyllir yn Gen. 14. 14, 15. Job 1. 17. Barn. 7. 16, 23. a 1 Sam. 11, 12. nid ydoedd, y mae yn debygol, ond ei rhaniad i ddosparth canol a dwy adain, y ddehau a'r aswy. Ymddengys i'r Israeliaid ddyfod allan o'r Aipht mewn dull milwraidd, wrth eu lluoedd. Swyddog pennaf y fyddin ydoedd cadpen y llu, yr hwn ydoedd y prif gadfridog, ac a elwir yn yr Ysgrythyrau yn Dywysog llu yr Arglwydd. Swyddogion o'r fath hyn ydoedd Joshua a'r Barnwyr, Abner dan Saul, Joab dan Dafydd, ac Amasa dan Absalom, pan gyfododd wrthryfel yn erbyn ei dad. Yr oedd awdurdod y swyddog hwn yn fawr iawn; ïe, mor fawr oedd awdurdod Joab fel yr oedd ar Dafydd ei ofn. Wedi sefydliad y frenhiniaeth, elai brenhinoedd Israel i'r rhyfel; ac ar y cyntaf ymladdent ar draed fel y milwyr eraill. Ni arferid meirch hyd amser Salomon; yr hwn, wedi iddo briodi â merch Pharaoh, a'u trosglwyddodd o'r Aipht i Palestina. Ar ol hyn elai brenhinoedd Israel a Juda i ryfel mewn cerbydau. Yr oedd y cerbydau hyn mewn ymarferiad gan yr Aiphtiaid, y Canaaneaid, a chenhedloedd eraill y dwyrain. Yr oedd y rhai hyn yn ddau fath; un bath yn y rhai y marchogai y brenhinoedd, a bath arall er torri rhesau y gelynion. Crybwyllir am gerbydau rhyfel yr Aipht yn Ecsod. 14. 7.; cerbydau y Canaaneaid yn Joshua 11. 4.; a cherbydau Jabin, brenin Hazor, yn Barn. 4. 8. Yr oedd y fyddin yn cael ei gwneuthur i fynu o wahanol filwyr; megis gwyr y cleddyfau, y bwäau, a'r

gwaewffyn. Dywedir mai yr Ephraimiaid a'r Benjaminiaid a ragorent gyda'r bwa.

---

## IV. ARFAU YMDDIFFYNOL AC YMOSODIADOL YR IUDDEWON.

Ymddengys bod yr Iuddewon yn defnyddio yr unrhyw arfau a'r cenhedloedd cymmydogaethol, er ymddiffyn eu hunain yn gystal ag er ymosod ar eu gelynion. Ym mhlith y rhai mwyaf nodedig, gellir crybwyll y rhai canlynol:—*Yr helm*, er cuddio y pen. Yr oedd yr helm yn un o'r parottoadau milwraidd a wnaed gan Uzziah brenin Juda i'w fyddin liosog. 2 Chron. 26. 14. Ac ym mhell cyn amser hwn, dywedir bod helmau Saul a Goliath o bres. Gwisgid yr helm mewn rhyfel gan y Persiaid, yr Ethiopiaid, a'r Lybiaid. Ezec. 38. 5.—*Llurig*, yr hwn a guddiai ac a amddiffynai y cefn a'r ddwyfron. Rhwng cyssylltiadau y llurig y saethwyd Ahab; ond tebygol ei fod yn fwy o ymddiffynfa i'r ddwyfron na'r cefn. Gwneid y llurig weithiau o fath o frethyn tew, ond yn amlach o haiarn a phres, yn fath o ddalenau ar eu gilydd fel cenn pysgodyn.—*Y darian*, yr hon a ymddiffynai yr holl gorph mewn rhyfel. Gwneid y rhai hyn weithiau o goed, a gorchuddid hwynt â chrwyn tewion; neu o bres, wedi eu gorchuddio âg aur. 1 Bren. 10. 16. Yr oedd y darian yn cadw y corph rhag y saethau a rhag ergydion y cleddyf. Crybwyllir hefyd am y *gwregys milwraidd*, wrth yr hwn y crogid y cleddyf; ac y mae gwregysu i ryfel yn gyfystyr yn yr Ysgrythyrau i arfogi i ryfel. Ym mhlith yr offerynau ymosodiadol enwir *y cleddyf*, yr hwn ydyw yr arf rhyfel henaf a enwir yn yr Ysgrythyrau; gwisgid ef ar y glun, ac yn debygol ar y glun aswy. Yr oedd dau fath o gleddyfau, cleddyf un min a cheddyf dau fin.—*Y waewffon*. Yr oedd y gwaewffyn yn amrywio; rhai a deflid fel piccell, a'r lleill oeddynt fath o gleddyfau hirion.—*Tafl-ffyn*. Yr oedd Dafydd yn gyfarwydd iawn â'r ffon dafl, oblegid â hon y bwriodd y garreg i dalcen y cawr. Yr oedd y Benjaminiaid hefyd yn enwog am ddefnyddio yr arf hwn; oblegid taflent gerrig at drwch y blewyn, ac heb fethu; a dywedir yn 1 Chron. 12. 2. y gwnaent hyn â'u llaw ddehau ac â'r llaw aswy.—*Bwäau a saethau* ydynt o hynafiaeth mawr. Y rhai hyn oeddynt arfau Esau i hela; Gen. 27. 3. Dysgid yr Hebreaid o'u hieuengctid i saethu â bwa; 2 Sam. 1. 18. Ymddengys, oddiwrth Job 20. 24. fod y bwa rhyfel yn cael ei wneuthur o ddur, a chan mor anhawdd ei blygu byddent yn defnyddio eu traed at hynny; oddiwrth yr hon arferiad yr ymddengys priodoldeb yr ymadroddion o sathru ar y bwa.

---

## V. YR YMDDIFFYNFEYDD GYNT.

Yr oedd niferi lliosog o ddinasoedd Palestina wedi eu hadeiladu ar leoedd uchel; o ganlyniad yr oedd natur yn ymddiffynfa gadarn iddynt. Ond heblaw hyn yr oedd y dinasoedd yn gyffredin yn cael eu hamgylchynu gan fur uchel, ac weithiau gan ddau. Deut. 28.

52. 2 Chron. 33. 14. Esay 22. 11. Ar y muriau hyn yr adeiledid tyrau; 2 Chron. 14. 7. a 26. 9. Yn y tyrau hyn yr oedd peiriannau er taflu saethau a cherrig, os byddai i'r ddinas gael ei gwarchau. Pan fyddai yr Israeliaid ynghylch gwarchau dinas, cloddient gwtterydd mawrion o'i hamgylch, ac adeiladent ymddiffynfeydd, gan gyfleu peiriannau dyrnodiol o amgylch ogylch iddi. 2 Sam. 20. 15. Gal. 2. 8. Ezec. 4. 2.

---

## VI. Y DULL O GYHOEDDI RHYFEL.

Cyn myned i ryfel. ymgynghorai y Cenhedloedd â'u horaclau, â'u brudwyr, ac â'u dewiniaid. Felly hefyd y gwnaeth Saul pan wrthodwyd ef gan Dduw, aeth at ddewines er cael gwybodaeth mewn perthynas i'r rhyfel. Dewinient hefyd wrth saethau, ac wrth nodau afu creaduriaid a leddid; cyfeirir at hyn yn Ezec. 21. 21. Gwaharddwyd hyn i'r Israeliaid; ac yn yr amseroedd boreuol, byddent hwy yn ymgynghori â'r Urim a'r Thummim. Barn. 1. 1. a 28. 27, 28. Wedi sefydliad y frenhiniaeth, ymgynghorai y brenhinoedd duwiol a phrophwydi yr Arglwydd, a'r brenhinoedd annuwiol â'r gau-brophwydi. Cyn y frwydr, byddai yr ymladdwyr yn iro eu tariannau, ac yn cymmeryd lluniaeth, fel y byddent wrol a chalonnog i ymladd. O amser Moses hyd amser Salomon, yr oedd arch y cyfammod yn bresennol yn y gwersyll, fel y byddai i'r arwydd hwn o'r presennoldeb dwyfol rymusu meddyliau y milwyr. Cymmerwyd yr arch gan y Philistiaid, yn amser yr arch-offeiriad Eli, ond adferwyd hi wedi hynny. Cludai y Philistiaid eu duwiau hwythau gyda hwy i faes y rhyfel, 1 Chron. 14. 12. ac ymddengys bod Jeroboam a'r deg llwyth a'u lloi aur gyda hwynt yn y maes, 2 Chron. 13. 8.

Cyn ymgydio mewn brwydr, yr oedd Moses wedi pennodi i ddau offeiriad chwythu mewn udgyrn arian; ac yr oedd udgyrn eraill hefyd, a elwid cyrn hyrddod, i gael eu chwythu er cyffroi y bobl i ymladd. Num. 10. 9. Jos. 6. 4. Mewn amseroedd diweddarach byddai y brenhinoedd yn annerch y milwyr cyn ymladd. 2 Chron. 13. 4—12. Weithiau elid i'r frwydr dan ganu emynau, 2 Chron. 20. 21, 22. a rhoid yr arwydd drwy chwythu yn yr udgyrn. Num. 10. 9. Yr oedd y dyb yn y dwyrain y dilynid melldithio y gelyn âg effeithiau anghyffredin; ac y mae yn dra thebygol mai oddiar y dyb hon yr anfonodd Balac i gyrchu Balaam o lan yr Euphrates er rhegu a melldithio Israel: a melldithiodd Goliath Ddafydd yn enw ei dduwiau.

---

## VII. DULL Y FRWYDR.

Yr oedd cychwyniad y frwydr ym mhlith y dwyreinwyr yn enbyd iawn; Num. 23. 24. a 24. 8. 9. dechreuid drwy floeddio, a dywedir yn yr Ysgrythyr am floeddio i'r frwydr. Dygid y rhefeloedd ym mlaen yn y dyddiau gynt mewn creulondeb a chynddaredd anghyff-

redin, fel y gallwn ddysgu oddiwrth Barn. 8. 7, 16. 2 Bren. 3. 27. 2 Chron. 25. 12. Amos 1. 3, 13. etto dywedir bod brenhinoedd Israel yn fwy trugarog na brenhinoedd eraill tuag at eu gelynion. 1 Bren. 20. 31. 2 Bren. 6. 21—23. Weithiau torrid pennau y lladdedigion ymaith, a gosodid hwy yn bentyrrau ar eu gilydd yn ymyl porth y palas. 2 Bren. 10. 7. Gwneir fel hyn yn Nhwrci ac yn Persia yn bresennol. Weithiau gwrthodid i'r lladdedigion gael eu claddu, ond gadawid hwy ar wyneb y maes yn ysglyfaeth i adar a bwystfilod. Cwyna y Salmydd yn neillduol oblegid hyn yn Salm 79. 1—3. Ar rai achlysuron gwaradwyddid cyrph y lladdedigion gan y gelyn, megis ymddygiad y Philistiaid at gorph Saul, brenin Israel. Pan gymmerid dinas, weithiau disylfaenid hi, hauid hi â halen, a rhoddid yr aradr drwyddi, mewn arwydd o anghyfanedd-dra parhaus. Rhagddywedodd Mica, pen. 3. 12. y byddai i Jerusalem gael ei haredig fel maes, yr hyn yn llythyrennol a gyflawnwyd yn ninystr y ddinas gan y Rhufeiniaid dan Titus. Mewn perthynas i'r rhai a gymmerid yn garcharorion mewn rhyfel, rhoddai y buddugoliaethwyr eu traed ar eu gyddfau; Jos. 10. 24. anurddid eu personau; Barn. 1. 7. 2 Sam. 4. 12. rhoddid hwynt i weithio mewn caled-waith; 2 Sam. 12. 13. weithiau tynnid eu dillad oddi am y carcharorion a gymmerid mewn rhyfel, a gwneid iddynt deithio felly yng ngwres mawr haul y dwyrain; ac ni arbedid y benywaid rhag y gwaradwydd hwn yn ol Esay 3. 17. Benywaid a phlant a drinid yn dra chreulon. 2 Bren. 8. 12. Rhwygid gwragedd beichiogion, a gwneid y fath ysgelerderau ag a ddangosant yn amlwg farbariaeth yr oesau hynny.

---

## VIII. DERBYNIAD Y BUDDUGOLIAETHWYR.

Derbynid y buddugoliaethwyr yn orfoleddus adref, a dangosid pob llawenydd; y benywaid âg offerynau a ganent ac a ddawnsient. Wedi i Dafydd ladd Goliath, ac i fyddin y Philistiaid gael eu gorchfygu, y gwragedd a gwyryfon Israel a ganent i Saul ladd ei filoedd, a Dafydd ei fyrddiwn, oblegid yr hyn yr eiddigeddodd Saul byth wrth Ddafydd. Derbyniwyd byddin fuddugoliaethus Jehosaphat mewn gorfoledd a llawenydd mawr. 2 Chron. 20. 27, 28. Y mae y ddefod hon o dderbyn y buddugoliaethwyr mewn arferiad yn awr yn Nhwrci ac India: ac er cadw y fuddugoliaeth mewn coffadwriaeth, crogid arfau y gorchfygedig mewn rhyw leoedd neillduol. Rhoddwyd cleddyf Goliath yng nghadw yn y Cyssegr. Yr oedd gan Dafydd liosogrwydd o arwyddion o'r natur hyn o'i fuddugoliaethau.

---

## IX. RHANIAD YR YSPAIL.

Wrth rannu yr yspail byddai y brenin yn yr amser gynt yn cael y ddegfed ran. Rhoddodd Abraham y ddegfed o'r yspail i Melchisedec, brenin Salem, Gen. 14. 20. ac os byddai rhyw beth mwy

nodedig na chyffredin yn yr yspail, ymddengys ei fod yn cael ei gadw i'r llywydd. At hyn y cyfeiria Deborah yn ei chân. Barn. 5. 30. Wedi gorchfygu y Midianiaid, yr holl yspail yn ol pennodiad Duw a rannwyd yn ddwy ran; y fyddin a ennillodd y fuddugoliaeth a gafodd un rhan, a'r rhai a arosasant gartref a gawsant y rhan arall. Num, 31. 27. Ond nid ymddengys bod hon yn rheol i'r oesau dyfodol, oblegid ar ol hyn yr ydym yn cael, wedi i'r cadfridog gymmeryd yr hyn a chwennychai ei hun, bod y gweddill yn cael ei rannu rhwng y milwyr, y rhai a gadwent y dodrefn, y clwyfedigion, a'r anafusion; trefnwyd hyn i fod yn ddeddf drwy y cenhedlaethau. 1 Sam. 30. 24. Gyda yr yspail cyfrennid gwobrwyon milwraidd, yn neillduol i'r rhai hynny a ddangosasant ddewrder, ac a wnaethant orchestion neillduol yn y rhyfel. Addawodd Saul gyfoeth ac anrhydedd mawr i'r hwn a laddai Goliath. 1 Sam. 17. 25. Cynnygodd Dafydd lywyddiaeth y fyddin i'r hwn a esgynnai y caerau gyntaf er cymmeryd twr y Jebusiaid. 2 Sam. 5. 1. Dywedai Joab y gwobrwyasai y gwr a welodd Absalom yng nghrog, pe y lladdasai ef yn y fan. 2 Sam. 18. 11. Wedi i'r milwyr ddychwelyd adref, rhoddent eu gwisgoedd milwraidd heibio, a chedwid eu harfau mewn lle perthynol i'r achos, ac oddi yno y ceid hwynt pan elid i ryfel drachefn.

---

## X. Y CYFEIRIADAU YSGRYTHYROL AT FUDDUGOLIAETAU Y RHUFEINIAID.

Rhoddid yr ufudd-dod mwyaf union-gyrchol gan y milwyr Rhufeinaidd i'w blaenoriaid. Y mae hyn yn amlwg oddiwrth yr hyn a ddywedai y Canwriad wrth ein Harglwydd, Dyn ydwyf finnau dan awdurdod,—dywedaf wrth un dos, ac efe a â; wrth y llall, tyred, ac efe a ddaw; ac wrth fy ngwas, (caethwas) gwna hyn, ac efe a'i gwna. Cymhwysiad ei ymadroddion y mae yn debygol ydyw hyn: Os ydwyf fi, yr hwn ydwyf dan awdurdod, ac etto a chymmaint o awdurdod gennyf fel y gallwyf ddywedyd wrth un, Tyred, ac efe a ddaw, &c. Pa faint mwy tydi, yr hwn y mae pob peth wrth dy orchymmyn, ac heb neb uwchlaw i ti? Y mae yr un ufudd-dod milwraidd ag y cyfeirir atto yma, yn cael ei roddi yn y dwyrain hyd heddyw. Yn 2 Tim. 2. 3. cynghora yr Apostol ef i ddioddef adfyd megis milwr da i Iesu Grist. Yr oedd caledi y milwyr Rhufeinig yn anamgyffredadwy, oblegid dyweda Josephus am danynt, bod dau gleddyf yn crogi wrth eu gwregysau; gyda y rhai hyn, dygent biccellau, tariannau, llif, rhaw, bwyall, a phethau cyffelyb gyda hwynt, yr hyn oedd yn gwneuthur eu teithiau yn flin iawn iddynt. Byddai enwau y milwyr hynny fyddent feirw, neu a droid o'r fyddin, yn cael eu tynnu allan o'r llyfr galw *(muster roll;)* ac at y ddefod hon mae yn debygol y cyfeirir yn Dat. 3. 5. "Ac ni ddileaf ei enw ef allan o lyfr y bywyd." Yr anrhydedd fwyaf a roddid gan y wladwriaeth Rufeinig i'r cadfridogion buddugoliaethus, ydoedd y gorfoledd, neu yr orymdaith a ffurfid er anrhydeddu y llywydd a'i fyddin yn ei fynediad trwy y ddinas i'r Capitol. Yn yr orymdaith hon, gwelid y caethion a gymmerwyd yn yr rhyfel, weithiau bren-

hinoedd, tywysogion, a phendefigion, ynghyd â'u gwragedd a'u plant. Dangosid yr holl yspail hefyd a gymmerwyd yn y teyrnasoedd a'r taleithiau a orchfygwyd. Teflid y temlau yn agored, a herddid pob adeiladau â blodau, a byddai y buddugoliaethwr yn eistedd mewn cerbyd gorwych, yn derbyn anrhydedd yr holl dorf. Wedi darfod yr orymdaith hon, rhoddid y caethion, naill ai i farwolaeth, mewn carcharau, neu gwerthid hwynt. At yr orymdaith hon y mae crybwylliadau mynych yn y Testament Newydd, yn neillduol lle dywedir i Grist "Yspeilio y tywysogaethau a'r awdurdodau, gan ymorfoleddu arnynt hwy arni hi." Cyfeirir hefyd at y gorfoledd hwn yn 2 Cor. 2. 14—16. i un yn arogl marwolaeth i farwolaeth ; ac i'r llall yn arogl bywyd i fywyd. Ar ol y gorfoledd Rhufeinig, rhoddid rhai o'r carcharorion i farwolaeth, a rhoddid eu bywyd i eraill. Dyma fel y mae goruchwyliaeth yr efengyl, bywyd i rai a marwolaeth i eraill.

# HYNAFIAETHAU CYSSEGREDIG YR IUDDEWON A CHENHEDLOEDD ERAILL,

### AM Y RHAI Y CRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU.

## PENNOD I.

## *Am Leoedd Sanctaidd.*

Ymddengys bod rhyw leoedd neillduol er addoli yr Arglwydd o ddechreuad y greadigaeth. Yr oedd gan Cain ac Abel fan neillduol er cyflawni y gwasanaeth crefyddol. Defnyddiai y patriarchaid cyn ac wedi y diluw, allorau, mynyddoedd, a llwynau i'r un dibenion. Adeiladodd Noah allor, Gen. 8. 20. Adeiladodd Abraham allorau, Gen. 12. 8. a 13. 4. Plannodd lwyn yn Beerseba, ac a alwodd yno ar enw yr Arglwydd, Gen. 21. 33. Yn yr anialwch, lle nad oedd gan yr Israeliaid breswylfod arosol, yr oedd ganddynt babell symmudol, ac wedi iddynt sefydlu yng ngwlad yr addewid, gorchymmynodd Duw am adeiladu teml, yr hyn a gyflawnwyd gan Salomon.

### I. Y BABELL.

Crybwyllir yn yr Hen Destament am dair o wahanol bebyll cyn adeiladu teml Salomon ; y gyntaf a adeiladwyd gan Moses, ac a elwir yn babell y cyfarfod. Yn hon y gwrandawai efe ar fatterion, yr ymofynai â'r Arglwydd, ac yn hon y cyflawnid gwasanaeth cyhoedd

crefydd, Ecsod. 33. 7. Yr ail babell a adeiladwyd gan Moses wrth orchymmyn y Jehofah, lle yr ymbersonolai efe fel brenin Israel, Ecsod. 40. 34, 35. Y drydedd babell a adeiladwyd gan Dafydd yn ei ddinas ei hun, er derbyn yr arch pan gludwyd hi o dŷ Obed-Edom, 2 Sam. 6. 7. Am yr ail y sonir yn bresennol, yr hon a elwir mewn ffordd o uchafiaeth, Y Babell. Yr oedd hon yn fath o addoldŷ symmudol; gellid ei chymmeryd yn ddarnau, a'i rhoddi ynghyd drachefn fel y byddai yr achos yn gofyn. Defnyddiau y babell a barottowyd gan y bobl; pob un a ddygai ei rodd atti yn ol ei allu rhai aur, eraill arian, pres, a choed sittim. Y gwragedd hefyd a ddygent eu rhoddion, clust-dlysau, breichledau, ac edafedd. Y fath ydoedd ewyllysgarwch y bobl yn eu cyfraniadau, fel y gwaharddodd Moses hwynt drwy gyhoeddiad i roddi ychwaneg, Ecsod. 35. a 36. Gosodwyd y babell i fynu yn anialwch Sina, a dygid hi gyda yr Israeliaid o le i le yn eu teithiau tua Chanaan. Rhoddir darluniad cywir o honi yn Ecsod. 25. 30, 36—40. Rhennid y babell o'r tu fewn gan len fawr, yr hon a wahaniaethai rhwng y lle sanctaidd a'r sanctaidd sancteiddiolaf. Yn y lle sanctaidd yr oedd allor yr arogldarth, bwrdd y bara gosod, a'r cannwyllbren aur; ac nid oedd neb i fyned i'r lle sanctaidd ond yr offeiriaid. Y sanctum sanctorum, neu y sanctaidd sancteiddiolaf, ydoedd lle mwyaf cyssegredig y babell, i'r hwn ni chaniatteid i neb fyned ond yr archoffeiriaid yn unig. Yn hwn yr oedd arch y cyfammod a'r hyn oll a berthynai iddi; ac oddiar hon y rhoddid attebion mewn llais pan ymofynnid â Jehofah. Y tân ar allor y poeth offrwm a gynneuwyd ar y cyntaf yn wyrthiol gan Dduw, pan offrymmodd Aaron gyntaf arno, wedi iddo ef a'i feibion gael eu cyssegru. Wedi i'r Israeliaid sefydlu yng ngwlad yr addewid, ymddengys bod y babell yn cael ei hamgylchynu gan amrywiol o bebyll, neu gelloedd, y rhai oeddynt yn angenrheidiol er derbyn yr offeiriaid pan fyddai eu tro i weinyddu. Wedi i'r llwythau gyrhaeddyd Canaan, gosodwyd y babell i fynu yn Gilgal, lle yr arosodd am ynghylch saith mlynedd. Ar ol hyn gosodwyd y babell yn arosol yn Siloh; yma yr oedd yn amser Eli. Pryd hyn y cymmerwyd yr arch gan y Philistiaid, y rhai a'i dygasant i Asdod, ac a'i gosodasant yn nheml yr eilun Dagon. Mewn perthynas i'w helyntion yma, darllener 1 Sam. 5. Yn ei symmudiad o wlad y Philistiaid, daeth y gwartheg â hi i Bethsemes; oddi yno cymmerwyd hi i Ciriath-jearim, a bu yng ngofal Abinadab o Gibeath am ugain mlynedd. Bu wedi hynny yn nhŷ Obed-Edom, hyd oni wnaeth Dafydd le cyfleus i'w derbyn, pryd y symmudwyd hi yng nghanol llawenydd i ddinas Dafydd; ac yno yr arosodd hyd oni throsglwyddwyd hi i'r cyssegr sancteiddiolaf yn y deml.

---

## II. Y DEML.

Y DEML gyntaf ydoedd honno a adeiladwyd gan Salomon, tuag at yr hon y gwnaeth Dafydd barottoadau helaeth anghyffredin. Safai ar fynydd Moriah, yr hwn a brynodd Dafydd gan Arafnah y Jebus-

iad. Wedi ei hadeiladu cyssegrwyd hi gan Salomon, pryd ei llanwyd gan gwmmwl gogoniant yr Arglwydd. Ni pharhaodd hon yn ei gogoniant ond tair neu bedair blynedd ar ddeg ar hugain; ac wedi cael ei hyspeilio a'i halogi lawer gwaith llosgwyd hi gan y Caldeaid yn y flwyddyn o oed y byd 3416, a chyn Crist 584. Wedi y caethiwed adeiladwyd teml newydd gan Zorobabel, ond yn llawer llai ei mhawredd a'i gogoniant na'r un gyntaf. Halogwyd hon drwy orchymmyn Antiochus Epiphanes, yn y flwyddyn cyn Crist 163, yr hwn a barodd i ddelw Jupiter Olympius gael ei gosod ar allor y poeth offrwm. Ryw flwyddyn cyn geni ein Hiachawdwr, cymmerodd Herod Fawr y gorchwyl mewn llaw o adnewyddu y deml hon, yr hwn am dair mlynedd a osododd ddeunaw mil o weithwyr wrth y gorchwyl. Yr oedd hon pan ei gorphenwyd yn dra hardd a gogoneddus. Ond yn nhywalltiad barnedigaethau Duw ar yr Iuddewon, llwyr ddinystriwyd y deml hon gan y Rhufeiniaid yn y flwyddyn o oed Crist 73. yn yr un mis, ac ar yr un dydd o'r mis ag y dinystriwyd hi o'r blaen gan y Caldeaid. Yr oedd parch yr Iuddewon yn fawr iawn i'r deml, ac nid oedd dim a gynhyrfai Iuddew yn fwy na siarad yn ammharchus am dani. Ac yn eu rhyfel diweddaf â'r Rhufeiniaid, yr oeddynt o'r gred y buasai Duw yn cyfryngu yn wyrthiol er achub a diogelu y deml.

---

## III. YR UCHEL FANNAU.

Heblaw y babell, crybwyllir yn fynych yn yr Hen Destament am leoedd o addoliad, a elwir yr uchel fannau, y rhai a ddefnyddid i'r perwyl hwn, cyn ac wedi adeiladu y deml. Yn oesau boreuol y byd ymddengys bod dynion yn dueddol i gyflawni gwasanaeth crefyddol mewn llwynau, coedydd, ac ar fynyddoedd. Amgylchynid allorau er yn foreu yn y dwyrain gan lwyni cysgodfawr. Yr eilunaddolwyr yn yr oesau cyntaf, y rhai a addolent yr haul yn bennaf, a dybient mai ammhriodol cyfyngu y duw dychymmygol o fewn terfynau muriau; am hynny dewisent fryniau a mynyddoedd fel y lleoedd addasaf i addoli eu duwiau. Y patrieirch, y rhai a addolent y gwir a'r bywiol Dduw, a adeiladent eu hallorau yn fynych yn ymyl llwyni o goed, ac os na fyddent yno, plenid hwynt gan yr adeiladwyr. Pan breswyliai Abraham yn Beerseba, yng ngwastadedd Mamre, dywedir, "Ac yntau a blannodd goed yn Beerseba, ac a alwodd yno ar enw'r Arglwydd Dduw tragywyddol; a diau mai i'r fan hon yr elai y patriarch a'i deulu i addoli." Ym mhlith yr eilun-addolwyr daeth y lleoedd hyn yn fannau ag y cyflawnwid pob ysgelerderau halogedig; ac mewn amrywiol fannau o'r Ysgrythyrau dywedir bod yr Israeliaid yn dilyn y Cenhedloedd yn eu drygioni; 2 Bren. 17. 9—13. ac oblegid hyn y dywedai Duw am ddinystrio yr allorau a'r llwyni hyn yn hollol. Wedi i'r Arglwydd nodi y lle o aberthu, yr oedd yn gwbl anghyfreithlon i aberthu mewn lleoedd eraill. Yn wyneb dirywiadau crefyddol, yr ydym yn darllen y byddai y bobl yn aberthu ar yr uchel-fannau, ac yn fynych byddai y prophwydi yn eu cyhuddo, ac yn cyhoeddi bygythion yn eu herbyn

oblegid hyn: a'r brenhinoedd duwiol a ymosodent i ddiwygio crefydd a symmudent yr uchel-fannau, a dynnent yr allorau i lawr, ac a ddinystrient y llwyni.—Yr ydym yn barod wedi rhoddi hanes y Synagogau.

---

## PENNOD II.

## *Personau Sanctaidd.*

### I. YR EGLWYS IUDDEWIG A'I HAELODAU.

DYWEDIR bod y Jehofah wedi dewis llwythau Israel er bod yn bobl briodol a neillduol iddo ef ei hun, dywedir ei fod wedi eu dewis, a gelwir hwythau yn etholedigion; a chan eu bod fel hyn yn ol ewyllys Duw wedi eu neillduo, dywedir ei fod wedi eu sancteiddio hwynt, a gelwir hwynt mewn canlyniad yn genedl sanctaidd ac yn frenhinol offeiriadaeth. Lef. 20. 8. 21. 8. a 22. 2. Ecsod. 21. 31. Nid oedd y sancteiddrwydd ond un allanol, oblegid yn aml yr oedd y genedl yn dra llygredig yn ei moesau, ac mewn modd cyhoedd yn troseddu cyfreithiau Duw y nefoedd: ond yr oeddynt hwy oblegid y sancteiddrwydd allanol hwn yn tybied eu hunain yn uchel yn ffafr Duw, ac yn edrych gyda diystyrwch ar holl genhedloedd y greadigaeth. Aelodau cyntefig yr eglwys Iuddewig oeddynt hiliogaeth Abraham, Isaac, a Jacob; a'r rhai hynny oeddynt heb gymmysgu eu gwaed â'r Cenhedloedd, a elwid yn Hebrewyr o'r Hebreaid, mewn gwrthwynebiad i'r Iuddewon hynny oeddynt yn byw ym mhlith y Groegiaid, yn Iuddewon o du y tad neu y fam, ac a elwid yr Iuddewon Hellenistaidd. Act. 6. 1. 9. 29. a 11. 20. Iuddew o'r fath hyn ydoedd Timotheus. Act. 16. 1. Yr oedd Hebrewr o waed yn fwy anrhydeddus nag Israeliad wedi ymgymmysgu â'r Cenhedloedd. Phil. 3. 4, 5. Er yn ol y cyfansoddiad Iuddewig a deddfau Moses, na allai cenhedloedd eraill gyfrannogi gyda hwynt o'r ordinhadau crefyddol, etto ni wrthodid y rhai hynny a gyd-ymffurfient â'u defodau. Derbynient y proselytiaid a ymadawent â'r eilunod i freintiau lliosog. Sonia Calmet ac eraill am ddau fath o broselytiaid, sef yn gyntaf, proselytiaid y porth, y rhai a breswylient yn neu allan o wlad Israel, a addolent y gwir Dduw, ac a gadwent saith orchymmyn Noah; yn ail, proselytiaid cyfiawnder, y rhai oeddynt ddychweledigion at Iuddewaeth, wedi eu henwaedu, ac yn cadw holl gyfraith Moses: ond ni chrybwyllir am y gwahaniaeth hwn yn yr Ysgrythyrau. Mewn canlyniad i'r caethiwed Babilonaidd, gwasgarwyd yr Iuddewon i blith yr holl genhedloedd, ac er i amryw ddychwelyd yn ol i Jerusalem, etto arosodd nifer liosog o honynt yn y gwahanol daleithiau. Oblegid hyn yr ydym yn cael bod cynnifer o Iuddewon yn wasgaredig drwy holl Asia yn nyddiau ein Hiachawdwr; ac at yr Iuddewon gwasgaredig hyn yr ysgrifenodd yr Apostolion Pedr ac Iago eu Hepistolau cyffredinol.

Yr oedd yr holl Iuddewon drwy yr holl daleithiau yn aelodau o'r eglwys Iuddewig, oblegid yr oedd yr enwaediad yn rhoddi hawl iddynt oll i bob breintiau crefyddol, ac yr oedd Duw yn ol telerau y cyfammod yn Dduw iddynt hwy ac i'w hiliogaeth drwy eu hoesau; a phe derbyniasent Gristionogaeth, buasai yn Dduw iddynt hwy a'u had yr un modd a chynt, amgen buasai yr hen oruchwyliaeth yn pregethu helaethach Duw na'r oruchwyliaeth newydd. Yr oedd ordinhad yr enwaediad o Dduw, ac yn sêl y cyfammod rhwng Duw ac Abraham a'i had ar ei ol; a gelwir y cyfammod yn gyfammod yr enwaediad. Pan enwaedid y plentyn y rhoddid enw arno, gan ei dad neu ryw berthynas agos iddo; ar amser eu henwaediad y derbyniodd Ioan Fedyddiwr a Christ eu henwau; Luc 1. 59. a 2. 21. Ond ymddengys bod ar yr Iuddewon lawer o enwau yn yspaid yr hanes efangylaidd. Pan deithient i wledydd pellenig, mabwysiadent enwau Groegaidd neu Ladinaidd, cyfystyr i'w henwau Hebreaidd. Pan dderbynid proselytiaid at y grefydd Iuddewig, dywedir yr enwaedid hwy yn gyntaf, oblegid mai drwy yr ordinhad hon y derbynid hwynt i gyfammod â Duw, ac y gwnaent broffes ddifrifol o ufudd-dod i holl ddeddf Moses. Os byddai y proselyt yn Samariad, ac wedi ei enwaedu o'r blaen, tynnid gwaed yn adnewyddol o'r rhan a enwaedwyd. Yr ail ddefod ydoedd golchiad neu fedydd; cyflawnid y ddefod yng ngŵydd tri o'r Iuddewon o leiaf, a'r rhai hynny yn ddynion cyfrifol, A'r drydedd seremoni ydoedd offrymu aberth. Yr oedd yn dyb gyffredin gan yr Iuddewon, bod yr hwn a gyflawnai y defodau blaenorol i gael ei ystyried fel plentyn newydd eni. Yn y wedd ganlynol y dyweda Maimonides:—"Cenedl-ddyn a ddelo yn broselyt, a gwas a roddir yn rhydd, ydynt ill dau fel babanod newydd eni; a phob perthynasau a hanfodent o'r blaen a beidiant o hynny allan.

---

## II. GWEINIDOGION Y GREFYDD IUDDEWIG.

Yr oedd gweinidogion y grefydd Iuddewig yn dra lliosog; yr oedd holl lwyth Lefi wedi ei neillduo at wasanaeth crefyddol; ond anrhydedd yr offeiriadaeth a gadwyd i deulu Aaron. Rhannwyd llwyth Lefi yn dri dosparth, neu i dair o urddau gwahanol; y Gersoniaid, y Cohathiaid, a'r Merariaid; ond rhannwyd hwynt wedi hyn gan Ddafydd i bedwar dosparth; 1 Cron. 23. Eu swydd oedd gweinyddu i'r offeiriaid, a chynnorthwyo yng ngwasanaeth y babell a'r deml. Tra y teithiai plant Israel yn yr anialwch, gorchwyl y Cohathiaid ydoedd dwyn yr arch a'r llestri ynghyd â'r dodrefn sanctaidd a berthynent i'r babell, ac Eleazar yn olygwr arnynt. Y Gersoniaid a'r Merariaid a ofalent am bethau y babell, dan olygiad Ithamar; Num. 4. 16—34. Pan wersyllai Israel, pabellai y Lefiaid oddi amgylch y babell. Dyma swydd y Lefiaid yn amser Moses. Wedi meddiannu y wlad, pennododd Dafydd a Salomon swyddau newyddion iddynt, sef yng ngwasanaeth y deml; a phan na byddent yno, yr oeddynt gyda rhyw wasanaeth perthynol i'r wladwriaeth. Gwnaeth Dafydd chwech mil o honynt yn swyddwyr a barnwyr; 1 Chron. 23. 4. Iddynt hwy y perthynai dysgu y bobl yn y gyfraith. Dan olygiaeth y Lefiaid yr oedd trysorau y deml; 1 Chron.

26. 20. Iddynt hwy y perthynai trefnu bwrdd y bara gosod. Rhai o honynt oeddynt yn wylwyr ym mhyrth y deml, ac eraill oeddynt yn gantorion yn y deml, ac a safent yno hwyr a bore i ddychwelyd diolchgarwch i'r Arglwydd; 1 Chron. 23. 30. Yr oedd y Lefiaid mewn nifer, yn amser Dafydd, yn ddeunaw mil ar hugain, o fab deng mlwydd ar hugain ac uchod. Ni roddes amgylchiadau genedigaeth unrhyw hawl i'r Lefiaid weinyddu mewn pethau crefyddol, oblegid yr oedd yn rhaid iddynt hwy gael eu cyssegru i'w swyddau; ond dewiswyd hwy gan yr Arglwydd. Yr amser iddynt fyned i'w swyddau oedd ynghylch pump ar hugain oed, ac yr oeddynt i barhau mewn swydd hyd ddeg a deugain; ond nid oedd y Cohathiaid i gludo pethau sanctaidd y babell hyd nes y byddent yn ddeg ar hugain oed. Rhoes Dafydd orchymmyn neu gyfarwyddyd ar i'r Lefiaid gael eu rhoddi yn eu swyddau yn ugain oed; 1 Chron. 23. 24. Nid oedd y Lefiaid i gael aberthu, ond yr oeddynt i gynnorthwyo yr offeiriaid i ladd a blingo yr aberthau; a phan offrymid yr aberth, canent ddiolchgarwch i Dduw; 1 Chron. 23. 31. 2 Chron. 31. 2. Yng ngwasanaeth y Lefiaid yr oedd y Nethiniaid, y rhai a gludent ddwfr a choed at wasanaeth y deml. Hiliogaeth y Gibeoniaid oedd y rhai hyn, y rhai am eu twyll a roddwyd yn y sefyllfa hon. Rhoddwyd wyth dinas a deugain i'r Lefiaid, tair ar ddeg o'r rhai a berthynent i'r offeiriaid: yr oedd y degwm iddynt hefyd o'r ŷd, y ffrwythau, a'r anifeiliaid; ond yr oeddynt hwy i roddi y degfed o'u degwm i'r offeiriaid.

---

### III. YR OFFEIRIAID.

Yn nesaf at y Lefiaid, ond yn uwch mewn swyddau, yr oedd yr Offeiriaid, y rhai yn gwbl a ddewisid o deulu Aaron. Gwasanaethent yn union-gyrchol wrth yr allor, er parottoi yr anifeiliaid i'w haberthu. Cadwent dân parhaus ar allor y poeth-offrwm, a thylinent does y bara gosod, yr hwn a bobent, ac a osodent ar yr allor aur bob Sabbath. Bob dydd, y bore a'r hwyr, byddai offeiriad yn dwyn thuser âg arogl-darth i'r cyssegr, yr hwn a osodai efe ar yr allor aur. Yn amser rhyfel eu gwaith fyddai dwyn yr arch, ac iddynt hwy y perthynai bendithio y bobl yn enw yr Arglwydd. Rhannwyd yr offeiriaid gan Dafydd i bedwar dosparth ar hugain, 1 Chron. 25. ond ni ddychwelodd onid pedwar dosparth o gaethiwed Babilon; Ezra 2. 36 - 39. Neh. 7. 39—42. A'r rhai hyn a rannwyd drachefn i bedwar dosparth ar hugain, ac a wahaniaethid wrth eu henwau cyntefig. Un o'r dosparthiadau hyn a elent i fynu i Jerusalem bob wythnos, i wasanaethu eu swyddau offeiriadol. Yn gymmaint ag mai i rai teuluoedd y perthynai yr offeiriadaeth, rhaid i'r hwn a gynnygiai ei hun er bod yn offeiriad brofi ei fod wedi hanu o un o'r teuluoedd hynny. Ac i'r diben i gadw purdeb y gwaed offeiriadol, ni chaniatteid i offeiriad briodi puttain, neu fenyw halogedig, neu un a ysgarwyd; ac os byddai ammherffeithrwydd corphorol yn perthynu i un o'r llinach offeiriadol, ni chai mewn un modd wasanaethu yr allor. Ni wahaniaethid yr offeiriaid oddiwrth y bobl drwy unrhyw wisgoedd, ond pan fyddent yn gweinyddu yn eu swyddau; ac mewn perthynas i'r gwisgoedd hyn, ceir darluniad o

honynt yn Ecsod. 28. Ac fel na lwythid hwy gan ofalon, nid oeddynt i ddilyn unrhyw alwedigaethau. Yr oedd ganddynt dair ar ddeg o ddinasoedd i breswylio ynddynt, Num. 35. ac yn perthyn i'r dinasoedd hyn yr oedd maesydd, hyd dair mil o gyfuddau o bellder oddi amgylch ogylch i'r dinasoedd. Deilliai eu bywioliaethau oddiwrth y ddegfed a delid iddynt gan y Lefiaid o'u degwm; yr oedd cyfran o'r aberthau hedd iddynt, a'r pech-ebyrth; croen a gwlan y creadur oedd eiddynt; a phob creadur a leddid drwy holl Israel, byddai cyfran o hono i'r offeiriad; ac felly, drwy bob peth, byddai crochan yr offeiriad yn lled lawn, oblegid yr oedd y Deddfwr mawr wedi gofalu am danynt. Ni allasent wneuthur nemmawr o niwed yn y llywodraeth, am eu bod yn wasgaredig drwy holl Israel. Yr oedd ganddynt lawer o gyfleusdra i wneuthur da, ond ychydig i wneuthur drwg.

---

## IV. YR ARCHOFFEIRIAD.

Uwchlaw yr holl offeiriaid yr oedd yr Arch-offeiriad, i'r hwn yr oedd anrhydedd neillduol yn perthynu. Efe yn unig a ellai fyned i mewn i'r cyssegr sancteiddiolaf; efe oedd y gweinyddydd pennaf mewn pethau sanctaidd, a therfynwr diweddaf pob dadleuon. Yn yr amseroedd diweddaraf, efe ydoedd pennaeth y Sanhedrim, ac yn nesaf mewn anrhydedd at y tywysog. Yr oedd ei awdurdod yn fawr iawn, ac yn neillduol felly pan gyssylltwyd yr arch-offeiriadaeth a'r swydd frenhinol yn yr un person. Yn yr Hen Destament gelwir ef weithiau yr Offeiriad, mewn ffordd o uchafiaeth; Ecsod. 29. 30. Neh. 7. 65. Yr oedd yr arch-offeiriadaeth, yn ei sefydliad cyntaf, yn cael ei dal dros fywyd, os na byddai yr arch-offeiriad yn euog o ryw droseddau, oblegid y rhai y troid hwynt allan o'u swyddau. Yr ydym yn darllen i Salomon droi Abiathar o'r arch-offeiriadaeth, am iddo ochri gydag Adoniah, yr hwn a gynnygiodd am goron Israel; 1 Bren. 2. 37. Yn ei sefydliad cyntaf hefyd, gwnaed yr arch-offeiriadaeth yn etifeddol yn nheulu Aaron; Num. 3. 10. Efe oedd yr arch-offeiriad cyntaf, a disgynodd oddi wrtho ef i'w fab Eleazar, yr hynaf o'i feibion, oddiwrth yr hwn y disgynodd i Eli; ond oblegid annuwioldeb meibion Eli, trosglwyddwyd yr arch-offeiriadaeth i hanedigion Ithamar, ail fab Aaron; 1 Sam. 2. 35, 26. Yn nheyrnasiad Salomon, dychwelodd yr arch-offeiriadaeth drachefn i deulu Eleazar, yn Sadoc; 1 Bren. 2. 35. Arosodd yn y teulu hwn hyd y caethiwed Babilonaidd. Yn yr yspaid hwn dewisid yr archoffeiriad gan yr offeiriaid eraill, neu gynnulleidfa wedi ei gwneuthur i fynu gan mwyaf o offeiriaid. Yr arch-offeiriad cyntaf wedi'r caethiwed ydoedd Joshua mab Josedec, o deulu Eleazar; ac oddi wrtho ef aeth i deulu Lefiaidd. Y swydd wedi hyn a lanwyd gan rai tywysogion o'r teulu Maccabeaidd. Ond er bod y swydd yn ol y ddeddf i gael ei dal dros fywyd, ni sylwid ar hyn dan y llywodraeth Rufeinig, yn neillduol yn nyddiau ein Hiachawdwr. Gwerthid yr arch-offeiriadaeth gan y Rhufeiniaid i'r cynnygiwr uchaf, a hyn ydyw yr achos eu bod mor aml yn y Testament Newydd. Y Daflen ganlynol sydd lechres o'r Arch-offeiriaid, o sefydliad y llywodraeth hyd ei dymchweliad.

## YR ARCH-OFFEIRIAID IUDDEWIG.

| 1. *Dilyniad, a gymmerwyd o wahanol fannau yn yr Ysgrythyrau.* | 2. *Dilyniad, a gymmerwyd o 1 Cron.* 6. 3—15. | 3. *Dilyniad, a gymmerwyd o Josephus.* | 4. *Dilyniad, a gymmerwyd o'r Cronicl Iuddewig, a elwir Seder Olam.* |
|---|---|---|---|
| 1. Aaron, brawd Moses, yr hwn a wnaed yn archoffeiriad yn y flwyddyn o oed y byd 2514, a bu farw 2552. | 1. Aaron. | 1. Aaron. | 1. Aaron. |
| 2. Eleazar, o. B. 2552, bu farw 2571. | 2. Eleazar. | 2. Eleazar. | 2. Eleazar. |
| 3. Phineas, o. B. 2571, bu farw 2590. | 3. Phineas. | 3. Phineas. | 3. Phineas. |
| 4. Abieser, neu Abishua. } Y rhai hyn oedd dan y Barnwyr. | 4. Abishua. | 4. Abieser. | 4. Eli. |
| 5. Bucci. | 5. Bucci. | 5. Bucci. | 5. Ahitub. |
| 6. Uzzi. | 6. Uzzi. | 6. Uzzi. | 6. Abiathar. |
| 7. Eli, o hiliogaeth Ithamar, o. B. 2848, bu farw 2888. | 7. Zerahiah. | 7. Eli. | 7. Sadoc. |
| 8. Ahitub I. | 8. Meraioth. | 8. Ahitub. | 8. Ahimah. |
| 9. Ahiah, ynghylch o. B. 2911 neu 2912. | 9. Amariah. | 9. Ahimelech. | 9. Azariah. |
| 10. Ahimelech. Lladdwyd ef gan Saul, o. B. 2944. | 10. Ahitub I. | 10. Abiathar. | 10. Jehoachash. |
| 11. Abiathar, Ahimelech, neu Abimelech, dan Dafydd, o. B. 2944 hyd 2989. | 11. Sadoc I. | 11. Sadoc. | 11. Jehoiarib. |
| 12. Sadoc I. dan Saul, Dafydd, a Salomon. | 12. Ahimaaz. | 12. Ahimaaz. | 12. Jehosaphat. |
| 13. Ahimaaz, dan Rehoboam, o. B. 3030. | 13. Azariah. | 13. Azariah. | 13. Jehoiadah. |
| 14. Azariah, dan Jehosaphat. | 14. Johanan. | 14. Joram. | 14. Phadaiah. |
| 15. Johanan. Bu farw yn 130 oed. | 15. Azariah. | 15. Issus. | 15. Sedeciah. |
| 16. Azariah, yr un efallai a Zechariah, mab Jehoiadah, yr hwn a laddwyd yn 3164. | 16. Amariah. | 16. Axiora. | 16. Joel. |
| 17. Amariah, efallai Azariah, o. B. 3221. | 17. Ahitub II | 17. Phideus. | 17. Jotham. |
| 18. Ahitub II. } Dan Jotham brenin Juda | 18. Sadoc II. | 18. Sudeas. | 18. Urias, dan Ahas. |
| 19. Sadoc II. | 19. Shallum. | 19. Julus. | 19. Neriah. |
| 20. Urias, dan Ahas, o. B. 3265. | 20. Hilciah. | 20. Jotham. | 20. Hosaiah. |
| 21. Shalum, tad Azariah, a thaid Hilciah. | 21. Azariah. | 21. Urias. | 21. Shalum. |
| 22. Azariah, yr hwn a fu byw yn amser Hezeciah, o. B. 3278. | 22. Seraiah. | 22. Neriah. | 22. Hilciah. |
| 23. Hilciah, dan Hezeciah. | 23. Josedec. | 23. Odeas. | 23. Azariah. |

| 1. *Dilyniad, a gymmerwyd o wahanol fannau yn yr Ysgrythyrau.* | 2. *Dilyniad, a gymmerwyd o 1 Cron. 6. 3—15.* | 3. *Dilyniad, a gymmerwyd o Josephus.* | 4. *Dilyniad, a gymmerwyd o'r Cronicl Iuddewig, a elwir Seder Olam.* |
|---|---|---|---|
| 24. Eliacim, neu Joacim, dan Manasse. Bu fyw dan deyrnasiad Josiah hyd o. B. 3380. Gelwir ef hefyd Hilciah. | 24. Joshua. | 24. Saldam. | 24. Josedec. |
| 25. Azariah, efallai Neriah, tad Seraiah a Baruch. | | 25. Hilciah. | 25. Jesus, mab Josedec, wedi y caethiwed. |
| 26. Seraiah, yr archoffeiriad diweddaf cyn y caethiwed. o. B. 3414 hyd 3469. | | 26. Seraiah. | |
| 27. Josedec, yn amser y caethiwed yn Babilon, o. B. 3414 hyd 3469. | | 27. Josedec. | |
| 28. Joshua, neu Jesus, mab Josedec; dychwelodd o Babilon yn 3468. | | 28. Jesus, neu Joshua. | |

*Y dilyniad canlynol a gasglwyd o Ezra, Nehemiah, a Josephus.*

29. Joachim, dan deyrnasiad Xercses.
30. Eliasib, Joasib, neu Chasib, dan Nehemiah, o. B. 3550.
31. Joiada, neu Juda, Neh. 12. 10.
32. Jonathan, neu Ioan.
33. Jaddua, neu Jaddus, yr hwn a dderbyniodd Alecsander Fawr yn Jerusalem yn 3673; bu farw yn 3680.
34. Onias I. bu farw yn 3707.
35. Simon I. a elwid y cyfiawn; bu farw yn 3711.
36. Eleazar. Dan arch-offeiriadaeth hwn y gwnaed cyfieithad y Deg a Thrugain, ynghylch y flwyddyn o. B. 3727.
37. Manasseh; bu farw yn 3771.
38. Onias II. bu farw yn 3785.
39. Simon II. bu farw 3805.
40. Onias III. bwriwyd ef o'r arch-offeiriadaeth, a bu farw yn 3834.
41. Jesus, neu Jason; bwriwyd ef o honi yn 3831.
42. Onias IV. bu farw yn 3842.
43. Lysimachus, a laddwyd yn 3834.
44. Alcimus, bu farw yn 3844.
45. Onias V. Ni chyflawnodd ei swydd yn Jerusalem, ond aeth i'r Aipht, lle yr adeiladodd deml Onion yn 3854.
46. Judas Maccabeus, yr hwn a adferodd yr allor a'r aberthau yn 3840; bu farw yn 3843.
47. Jonathan, yr Asmonead, brawd Judas; bu farw yn 3860.
48. Simon Maccabeus; bn farw yn 3869.
49. John Hircannus; bu farw yn 3898.
50. Aristobulus, brenin ac arch-offeiriad yr Iuddewon; bu farw yn 3898.
51. Alecsander Jannæus, brenin ac arch-offeiriad; bu farw yn 3926.
52. Hyrcanus; bu farw yn 3958.
53. Aristobulus; gormesodd yr arch-offeiriadaeth dair blynedd a thri mis.
54. Antigonus, ei fab, a gymmerodd yr arch-offeiriadaeth trwy drais am dair blynedd a saith mis, pan gymmerwyd ef gan Socius.
55. Ananeel o Babilon, a wnaed yn arch-offeiriad gan Herod.
56. Aristobulus, y diweddaf o'r Asmoneaid; bu farw yn 3970.
57. Jesus, mab Phabis; bwriwyd et o'r swydd yn 3981.

*Dilyniad yr Arch-offeiriadaeth wedi y caethiwed.*

58. Simon, mab Botheus, a wnaed yn arch-offeiriad yn 3981, bwriwyd ef o'r swydd yn 3999.
59. Matthias, mab Theophilus, a wnaed yn 3999. Gwnaed Ellem yn arch-offeiriad yn ei le am un diwrnod, am ddigwydd o ryw beth i Matthias i'w rwystro i weinyddu y diwrnod hwnnw.
60. Joazar, a wnaed yn arch-offeiriad yn 4000, blwyddyn genedigaeth ein Harglwydd, pedair blynedd cyn dechreuad y cyfrif cyffredin.
61. Eleazar, a wnaed yn y flwyddyn o oed Crist yn ol y cyfrif cyffredin 1.
62. Jesus, mab Siah, a wnaed yn y flwyddyn o oed Crist 6. Gwnaed Joazar yr ail waith yn y flwyddyn 7, a diswyddwyd ef yn y flwyddyn 13.
63. Ananus, mab Seth, dros un flynedd ar ddeg; oed Crist 24.
64. Ismael, mab Phabi, o. c. 24.
65. Eleazar, mab Ananus, o. c. 24.
66. Simon, mab Camithus, o. c. 25.
67. Joseph, yr hwn a gyfenwid Caiaphas, o. c. 26.
68. Jonathan, mab Ananus, o. c. 35.
69. Theophilus, mab Jonathan, o. c. 37.
70. Simon, a gyfenwid Cantharus, o. c. 41.
71. Matthias, mab Ananus, o. c. 42.
72. Elioneus, o. c. 44. Gwnaed Simon mab Cantharus yr ail waith o. c. 45; a diswyddwyd ef yr un flwyddyn.
73. Joseph, mab Caneus, o. c. 45.
74. Ananias, mab Nebodeus, o.c. 47.
75. Ismael, o. c. 63.
76. Joseph, a gyfenwid Cabei, o. c. 63.
77. Ananus, mab Ananus, o. c. 63.
78. Jesus, mab Ananus, o. c. 64.
79. Jesus, mab Gamaliel, o. c. 64.
80. Matthias, mab Theophilus, o. c. 70.
81. Phannias, mab Samuel, o. c. 70. Dan arch-offeiriadaeth hwn y cymmerwyd Jerusalem gan y Rhufeiniaid.

---

Mewn perthynas i'r rhai a weinyddasant yn y swydd arch-offeiriadol yn nadfeiliad y wladwriaeth Iuddewig, crybwyllir am ddau yn neillduol yn y Testament Newydd, sef Annas a Chaiaphas; Ioan 18. 13. Act. 4. 6. Mat. 26. 3, 57. Heblaw y gwisgoedd oeddynt yn gyffredin i'r arch-offeiriaid yn gystal ag i'r offeiriaid eraill, yr oedd y rhai canlynol yn perthyn i'r arch-offeiriaid yn neillduol:—1. Gwisg yr ephod, yr hon a wnaed o wlan glas, ac ar ei godre ddeuddeg cloch a thrugain, yn cael eu gwahanu gan bomgranadau. 2. Yr ephod, sef gwisg a sicrheid wrth yr ysgwyddau, a'r parth ol yn cyrhaeddyd hyd y sodlau, pan nad ydoedd y parth blaen yn disgyn ond ychydig islaw y canol. Yr oedd yr ephod wedi ei gwneuthur o liain main cyfrodedd, yn gymmysgedig o edafedd aur a phorphor. Wrth rwymynau ysgwyddau yr ephod yr oedd carreg werthfawr wedi ei sicrhau, ar yr hon yr oedd enwau deuddeg llwyth Israel yn naddedig. 3. Dwyfronneg y farnedigaeth, yn yr hon yr oedd deuddeg maen gwerthfawr, ac enwau deuddeg mab Jacob yn naddedig arnynt; ac yn y ddwyfronneg yr oedd yr Urim a'r Thummim, mewn perthynas i'r rhai yr ydym wedi dywedyd yn barod. 4. Yr oedd dalen aur ar dalcen yr arch-offeiriad, ar yr hon yr oedd yn ysgrifenedig y ddau air Hebraeg, KODESH LA-JEHOVAH, neu *Sancteiddrwydd i'r Arglwydd*. Yr oedd yr holl wisgoedd hyn i fod am yr arch-offeiriad pan weinyddai yn y babell neu yn y deml, ond ar amserau eraill gwisgai yr un wedd a'r

offeiriaid cyffredin. Yr oedd yr arch-offeiriad y dyn pennaf yn Israel, yn ymddangos o flaen Duw dros y bobl, ac yn gysgod neillduol o Grist, yr Arch-offeiriad hwnnw a offrymmodd ei hun yn aberth dros bechod, yr hwn a fendithia ei bobl, ac sydd yn byw bob amser i eiriol drostynt hwy.

---

### V. Y NAZAREAID.

Y Nazareaid, neu y Nazareniaid, fel yr arwydda y gair Hebraeg *Nazir*, oeddynt bersonau wedi eu neillduo oddiwrth ddefnyddio rhyw bethau, ac a gyssegrid i Jehofa; ac ystyrid hwy yn gyffredin yn bersonau cyssegredig. Am yr addunedau a wneid gyda golwg ar y Nazareaid, gwneir sylwadau etto.

---

### VI. Y RECHABIAID.

Ystyrir y Rechabiaid, gan amryw ysgrifenwyr, fel dosparth o bersonau cyssegredig, y rhai a ymneillduent oddiwrth yr Iuddewon eraill, fel y gallent arwain bywyd mwy duwiol. Ond y mae yn dra amlwg bod hyn yn gamsyniad, oblegid nid oeddynt yn Israeliaid, ond Ceniaid neu Fidianiaid, a arferent breswylio mewn pebyll. Cawsant eu galw yn Rechabiaid oddiwrth Jonadab mab Rechab, yr hwn oedd enwog yn ei zêl dros burdeb addoliad y gwir Dduw, ac a gynnorthwyodd Jehu i ddinystrio tŷ Ahab ac addoliad Baal, 2 Bren. 10. 15. Y Jonadab hwn a roes y rheol i'w blant ac i'w hiliogaeth, fel yr adroddir gan Jeremiah, yn pen. 35. 5—7. yr hon a gynnwysai dair o erthyglau. 1. Nad yfent win. 2. Na feddiannent ac na pherchennogent dai, maesydd, na gwinllanoedd. 3. Y byddai iddynt breswylio mewn pebyll. Rhoir hanes helaeth am danynt yn Jer. 35. Ac oblegid eu hymlyniad diysgog wrth reolau eu tad, dywedodd yr Arglwydd, na phallai i Jonadab wr i sefyll ger ei fron ef yn dragywydd.

---

### VII. Y PROPHWYDI.

Yr oedd y Prophwydi yn nodedig ym mhlith y rhai a ystyrid yn bersonau sanctaidd ym mysg yr Iuddewon. Cyfodid hwy i'w swyddau mewn modd neillduol gan y Jehofah, er cyflawnu gwasanaeth sanctaidd yn union-gyrchol drosto ef. Gynt gelwid hwynt yn Weledyddion. Darganfyddent bethau dyfodol, mynegent ewyllys Duw, a chyhoeddent y cennadwriaethau dwyfol i'r brenhinoedd yn gystal ag i'r bobl. Nid oedd dawn prophwydoliaeth bob amser yn gyssylltedig â'r offeiriadaeth. Yr oedd prophwydi yn cyfodi o blith yr holl lwythau, ac weithiau o blith y Cenhedloedd. Nid oedd swydd prophwyd yn gynnwysedig mewn rhag-ddywediad o bethau i ddyfod, ond yr oedd y prophwydi i ddysgu y bobl, a

deongli y gyfraith iddynt; oblegid hyn y mae yr enw prophwyd yn gyfystyr â deonglwr neu ddysgawdwr yn yr Ysgrythyrau. Cyduna Iuddewon a Christionogion mai Malachi ydoedd y diweddaf o'r prophwydi dan yr hen oruchwyliaeth; ac y mae yn un o'r pethau rhyfeddaf yn yr hanesyddiaeth Iuddewig, na rannwyd yr Iuddewon i sectau, ac na chyfododd heresiau yn eu plith, cyhyd ag y bu prophwydi yn eu mysg, er y syrthient yn fynych i eilun-addoliaeth. Derbyniai y prophwydi eu datguddiedigaethau yn union-gyrchol oddiwrth Dduw ei hun; o ganlyniad, pe buasai yr Iuddewon yn gwrthod eu deongliadau, buasent drwy hynny yn gwadu Duw ei hunan. Ond wedi i ddawn prophwydoliaeth beidio, ac i ddynion ffaeledig gymmeryd y gorchwyl mewn llaw o ddeongli y gyfraith, a'r rhai hynny yn methu cyduno a chyd-weled yn eu penderfyniadau, sectau a phleidiau a gyfodasant yn eu plith, ac ar droion ymrysonau mawrion hefyd.

## PENNOD III.

## *Pethau Sanctaidd,—Aberthau ac Offrymmau yr Iuddewon.*

### I. OFFRYMMAU GWAEDLYD.

Yr offrymmau gwaedlyd oeddynt aberthau a elwid yn briodol felly, sef rhoddi creadur byw i farwolaeth drwy dywallt ei waed mewn ffordd o addoliad dwyfol, a chyflwyno y weithred hon i Dduw fel erfyniad am faddeuant pechod, ac mewn ffordd dybiedig o iawn am y trosedd a wnaed yn erbyn ei fawrhydi a'i lywodraeth. Mae aberthau yn mhob oesau, a chan yr holl genhedloedd, wedi cael eu hystyried fel yn angenrheidiol er troi y dig dwyfol ymaith, ac i wneuthur y Duwdod i fod yn drugarog. Ond pa un ai tarddu a wnaeth y dyb hon oddiwrth y datguddiad dwyfol, neu ddeilliaw oddiwrth gydwybod euog ac ofn yr anfoddlonrwydd dwyfol, y mae yn dra anhawdd penderfynu. Yr hanes ysgrythyrol am yr aberthau a rydd ar ddeall i ni, iddynt gael eu sefydlu drwy bennodiad dwyfol, yn fuan wedi dyfodiad pechod drwy anufudd-dod ein rhieni cyntaf, er bod yn gysgod neu arwydd gynnwysfawr o iawn mawr ac aberth holl-ddigonol Crist; o ganlyniad, yr ydym yn cael Abel, Noah, Abraham, Job, ac eraill, yn offrymmu aberthau mewn ffydd yn y Messiah ydoedd i ddyfod, ac adroddid yn neillduol am y derbyniad a roddid i'r cyfryw aberthau.

Mewn pob aberthau gwaedlyd, yr oedd yn hanfodol i'r creaduriaid a leddid fod yn lân; ond ni ymddengys fod pob creaduriaid glân yn ddiwahaniaeth i gael eu hoffrymmu fel aberthau. Ni ddygid pysg at yr allor; ac oblegid hyn ni waherddir i'r Israeliaid mewn un man beidio bwytta gwaed pysgod, ond ymgadw rhag gwaed adar a phedwar-carnolion; Lef. 6. 26. Ymddengys y gellid

offrymmu pob aderyn glân, (Lef. 14. 4—7.) er mai y golommen ydoedd y fwyaf cyffredin. Ym mhlith y pedwar-carnolion, ychain, defaid, a geifr yn unig a ddygid at yr allor. Ni chaniatteid creaduriaid gwylltion. Pan ddewisid y creadur, cymmerid gofal mawr ei fod yn ddianaf; ac os na byddai felly yr oedd i gael ei wrthod fel aberth annerbyniol gan yr Arglwydd, Lef. 22. 22. Mewn cyfeiriad at hyn y dyweda yr Apostol wrth y Cristionogion, am roddi eu cyrph yn aberthau byw, sanctaidd, a chymmeradwy, yr hyn oedd eu rhesymol wasanaeth, Rhuf. 12. 1. Ac mewn cyfeiriad at hyn hefyd, y dyweda bod Crist megis Oen difeius a difrycheulyd, 1 Pedr 1. 19. Wedi dewis y creadur a'i gael yn ddianaf, arweinid ef at yr allor gan y person fyddai yn offrymmu yr aberth. Gosodai ei law ar ei ben, gan bwyso â'i holl nerth, a thra byddai yr aberth yn cael ei offrymmu, a adroddai ryw weddiau perthynol i'r achos; ac os byddai amrywiol bersonau yn offrymmu yr un aberth, rhoddent eu dwylaw ar ei ben olynol. Wrth osod ei ddwylaw ar ben yr aberth, cyfaddefai yr offrymmwr ef fel ei eiddo ei hun; ei fod yn ei lwytho â'i anwireddau, ei fod yn ei offrymmu yn iawn dros ei bechodau, a'i fod yn deilwng o farwolaeth am ei fod yn droseddwr o ddeddfau y Goruchaf. Yn yr ystyr hwn, yr oedd aberthau yr Hen Destament yn gysgodau neillduol o'r Arglwydd Iesu Grist, "Oen Duw, yr hwn sydd yn tynnu ymaith bechodau y byd," ar yr hwn yng nghyflawnder yr amser y gosododd y Jehofah ein hanwireddau ni i gyd. Ar rai achlysuron rhaid i'r aberth fod yn greadur heb i iau fod ar ei wddf, Num. 19. 2. Deut. 21. 2. 1 Sam. 6. 7. am fod y creadur a ddefnyddid i wasanaeth cyffredin yn cael ei ystyried yn anaddas i'w offrymmu yn aberth i Dduw. Pan ddiofrydid y creadur i'r aberth, ac y dygid ef at yr allor, erfyniai yr offeriad mewn gweddi ar fod iddo gael ei dderbyn, a thywalltai win ar ei ben, ac wedi hyn arweinid ef i'r lladdfa: at hyn y cyfeiria Paul pan y dyweda am dano ei hun fel un wedi ei barottoi i'r lladdfa, 2 Tim. 4. 6. "Canys myfi yr awrhon a aberthir," yn llythyrenol, "Yr wyf yn barod wedi fy nhywallt fel diod offrwm, amser fy ymddattodiad i a neshaodd." Y mae yr unrhyw gyfeiriad hefyd yn Phil. 2. 17. "Ië, a phe y'm hoffrymmid (y'm tywelltid allan) ar aberth a gwasanaeth eich ffydd, llawenhau yr wyf, a chyd-lawenhau â chwi oll." Arddangosa ffydd y Philippiaid fel y creadur a ddygid i'w aberthu, ac yn cydmaru ei waed, yr hwn yn ewyllysgar a llawen a dywalltai mewn merthyrdod, a'r ddiod offrwm a dywelltid ar ben yr aberth. Wedi dwyn y creadur at yr allor, efe a leddid trwy ei dorfynyglu yn hollol âg un ergyd; y gwaed a gedwid mewn llestr, a thaenellid ef oddi amgylch yr allor: trwy y taenelliad hwn y gwneid iawn, oblegid y gwaed oedd bywyd y creadur, ac yr oedd bob amser yn dybiedig bod bywyd yn prynu bywyd. Lef. 1. 5—7. Y relyw o'r gwaed a dywelltid wrth droed yr allor; ac oddi amgylch yr allor yr oedd ffos, i'r hon y syrthiai y gwaed, ac oddi yma y dygid ef drwy wterydd tan-ddaearol i'r afon Cedron. Tynnid y croen yn awr oddi am y gwddf, tynnid ei ymysgaroedd allan, a holltid asgwrn ei gefn. Rhennid ef wedi hyn yn bedwar darn, fel yr oedd oll yn weledig o'r tu mewn ac o'r tu allan. At hyn y cyfeiria yr Apostol pan y dyweda am effeithiau yr efengyl yn Heb. 4. 12, 13. "Canys bywiol yw gair Duw, a nerthol, a llymmach nag un

cleddyf dau-finiog, ac yn cyrhaeddyd trwodd hyd at wahaniad yr enaid a'r yspryd, a'r cymmalau a'r mêr; ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon. Ac nid oes greadur anamlwg ger ei fron ef; eithr pob peth sydd yn noeth ac yn agored yn ei lygaid ef." Cyn gosod y creadur ar yr allor, efe a helltid i'r tân, Lef. 2. 13. Ezec. 43. 24. Marc 9. 46. Cyn adeiladu y deml, offrymmid yr aberthau wrth ddrws y babell; ond wedi iddi gael ei hadeiladu, nid ydoedd yn gyfreithlon i offrymmu mewn un lle arall. Yr oedd ebyrth tanllyd yr Iuddewon yn dair rhywogaeth:

1. Yr aberthau tanllyd, neu yr *holocausts*, oeddynt rydd offrymmau a gyflwynid yn hollol i Dduw yn yr hen ddull patriarchaidd. Yr oedd y dyn ei hun i'w dwyn ger bron yr Arglwydd, ac offrymmid hwy yn y dull a ddarluniwyd yn barod. Y creadur a offrymmid ydoedd fustach dianaf, neu y gwrryw o'r defaid a'r geifr, neu ddurtur neu gyw colommen, Lef. 1. 3, 10. 14. Gelwir yr offrymmau hyn yn Hebraeg *Olah*, yr hyn a arwydda esgyn; am y llwyr losgid yr offrwm a esgynai yn golofnau mwg megis at Dduw.

2. Yr aberthau hedd, Lef. 3. 1. oeddynt offrymmau ewyllysgar, arwyddoccaol o heddwch a chymmod â Duw a dyn. Yr oeddynt naill ai mewn ffordd o ddiolchgarwch am fendithion a dderbyniwyd, neu a offrymmid mewn ffordd o erfyniad am drugareddau. Defnydd yr aberthau hyn oeddynt naill ai creaduriaid, bara, neu does: os creadur, llosgid rhan o hono, yn neillduol yr holl frasder, fel offrwm i'r Arglwydd, ac yr oedd y gweddill i gael ei fwytta gan yr offeiriad a'r blaid fyddai yn aberthu. At yr aberth hwn o foliant y cyfeiria yr Apostol yn Heb. 13. 15, 16. "Trwyddo ef gan hynny offrymmwn aberth moliant yn wastadol i Dduw, yr hyn yw ffrwyth ein gwefusau, yn cyffesu i'w enw ef." Gelwir yr aberthau hedd yn Hebraeg *Shelamim*, o *Shalam*, cyflawni neu wneuthur yn gyfan; oblegid yn yr aberthau hyn, yr hyn oedd ddiffygiol a ystyrid wedi ei wneuthur i fynu; a'r hyn oedd wedi ei dorri, sef y cyfammod, a ystyrid drwy y rhai hyn wedi ei wneuthur i fynu. Amserau yr aberthau hedd oeddynt ar gyssegriad offeiriad, ar derfyniad adduned Nazaread, ar gyssegriad y babell a'r deml, ac ar lanhad y gwahanglwyfus.

3. Offrymmau dros bechod, a elwir yn Hebraeg *Chataah*, oddiwrth *Chata*, methu y nôd. Offrymmid y rhai hyn dros bechodau a gyflawnid mewn anwybodaeth, neu yn wirfoddol yn erbyn gwybodaeth, a'r rhai a gospid gan Dduw oni roddid iawn am danynt. Yr oedd yr aberth hwn yn cynnwys pech-aberth i Dduw, ac aberth tanllyd, yn gydfynedol âg ad-daliad am y niwed, Lef. 5. 2—19.

4. Offrymmau dros gamwedd a wneid, pan dybiai yr offrymmwr neu pan fyddai ganddo reswm i ammeu ei fod wedi troseddu, Lef. 5. 17, 18. Ni ymddengys bod y rhai hyn yn gwahaniaethu nemmawr oddiwrth yr offrymmau dros bechod. Yr holl aberthau hyn oeddynt achlysurol, ac yn perthynu i bersonau neillduol; ond yr oedd rhai eraill, yn wladol a rheolaidd, yn ddyddiol, yn wythnosol, yn fisol, ac yn flynyddol. Yr aberth dyddiol ydoedd aberth tanllyd, yn gynnwysedig o ddau oen, y rhai a offrymmid y boreu, y prydnawn, a'r hwyr; gyda y rhai hyn offrymmid bwyd offrwm, a diod offrwm o win cadarn. Yr aberth boreuol, yn ol barn yr Iuddewon, a roddai iawn am y pechodau a gyflawnid y nos flaenorol, a'r aberth hwyrol

yr un modd a roddai iawn am y pechodau a gyflawnid yn y dydd. Yr aberth wythnosol a wneid bob Sabbath, ac a offrymmid mewn cyssylltiad â'r aberth dyddiol, Num. 28. 9, 10. Yr aberth misol a offrymmid ar y newydd-loerau, neu ar ddechreuad y mis, yn gynnwysedig o ddau fustach ieuangc, hwrdd, a saith oen blwydd oed, ac un bwch geifr yn bech-aberth, ynghyd â bwyd a diod offrwm. Yr aberthau blynyddol a offrymmid ar y gwyliau mawrion; sef oen y pasg ar ddechreuad y flwyddyn gyssegredig; ar ddydd y pentecost, neu ddydd y blaenffrwythau; ar y newydd-loer, neu y dydd cyntaf o'r seithfed mis, yr hwn oedd dechreuad eu blwyddyn wladol; ac ar ddydd mawr y cymmod. Ond gan y crybwyllir etto am y gwyliau hyn, ni wneir ychwaneg o sylwadau yn bresennol.

### II. YR ABERTHAU DIWAED.

Yr aberthau diwaed, neu fwyd offrymmau, a gymmerid yn gwbl o gynnyrch y ddaear. Ni ellid eu cyflwyno yn rheolaidd yn bech-aberthau, oni byddai yr offrymmwr mor dlawd fel na allai ddwyn dau gyw colommen. Nid oeddynt i gael eu cymmysgu gyda lefain a mêl, ond yr oedd pob un o honynt i gael eu cymmysgu â halen, sef yr halen a adnabyddir gyda ni wrth yr enw *saltpetre*.

### III. DIOD OFFRYMMAU.

Yr oedd diod-offrymmau yn gyssylltedig â'r aberthau gwaedlyd a'r rhai diwaed. Ni ddefnyddid hwynt ar wahan: yr oeddynt yn gynnwysedig o win, yr hwn a dywelltid ar ben y creadur mewn trefn i'w gyssegru; a chaniatteid cyfran o'r ddiod-offrwm i'r offeiriaid, y rhai a'i yfent wrth fwytta eu dosparthion o'r aberthau.

## PENNOD IV.

## *Amserau a Thymhorau cyssegredig yr Iuddewon.*

Gyda golwg i barhau a bytholi coffadwriaeth yr amrywiol ryfeddodau a weithredodd braich yr hollalluog Dduw yng ngwahanol waredigaethau y genedl Iuddewig, Moses drwy orchymmyn dwyfol a sefydlodd wahanol wyliau, y rhai yr oeddynt hwy yn rhwym o'u cadw. Y tymmorau cyssegredig hyn oeddynt naill ai yn wythnosol, yn fisol, yn flynyddol, neu ym mhen hyn a hyn o flynyddoedd.

## I. Y SABBATH.

PENNODWYD pod seithfed dydd i fod yn orphwysfa sanctaidd, a galwyd y dydd yn Sabbath, er y gelwid yr enw hwn ar wyliau eraill, megis yn Lef. 25. 4. ac weithiau y mae yn arwyddo wythnos, megis yn Mat. 27. 1. Luc 24. 1. a Act. 20. 7. Sefydlwyd ef yn wreiddiol er cadw coffadwriaeth o'r greadigaeth; Gen. 2. 3. a phan roes Duw yr Israeliaid mewn gorphwysfa yng ngwlad Canaan, rhoes orchymmyn am i'r dydd gael ei gadw yn ddihalog; Ecsod. 20. 10, 11. a 16. 23. o ganlyniad, cedwid ef yn ddifrifol, a'r Iuddewon a ymgadwent rhag pob gwaith. Ecsod. 23. 12, &c. Yr oedd yn anghyfreithlon i gasglu manna ar y dydd hwn; Ecsod. 16 22. i oleu tân at ddim bwydydd, &c.; ac i hau a medi; Ecsod. 35. 3. Num. 15. 32—36. ond gellid cyflawnu gwasanaeth y deml, megis parottoi yr aberthau, heb halogi y Sabbath. Lef. 6. 8—13. Mat. 12. 5. Yr oedd yn gyfreithlon enwaedu ar y Sabbath. Ioan 7. 23. Dechreuai y Sabbath gyda machlud haul y dydd o'r blaen, ac a barhai hyd fachlud haul y dydd Sabbath. Mat. 7. 16. Marc 1. 32. Yr hyn oll oedd angenrheidiol a barottoid y dydd o'r blaen, yr hwn yn gyffredin a elwid y darparwyl. Mat. 27. 62. Marc 15. 42. Nid ydym yn gwybod gyda sicrwydd oddiwrth ysgrifeniadau Moses, pa bethau a gyfansoddent hen addoliadau ar y dydd Sabbath; ond y mae yn amlwg oddiwrth y Testament Newydd bod y dydd hwn yn cael ei dreulio mewn ymarferiadau crefyddol. Ychwanegid poeth-offrwm o ddau oen at aberthau hwyrol a boreuol y dydd hwn; Num. 28. 2. a newidid y bara gosod; Lef. 24. 8. darllenid yr Ysgrythyrau yn y Synagogau, a thraddodid pregeth gan ryw ddysgawdwr nodedig; Luc. 4. 16. Act. 13. 15. yr oedd gweddi hefyd yn rhan o'u haddoliad yn y Synagogau, yn neillduol yn y deml. 1 Sam. 1. 9, 10. 1 Bren. 29. 30, 33. Yr oriau pennodol oeddynt pryd yr offrymmid yr aberthau boreuol a phrydnawnol, neu y drydedd a'r nawfed awr. Act. 2. 15. a 3. 1.

---

## II. Y NEWYDD LOER.

MISOEDD yr Iuddewon oeddynt leuadol, ac a gyfrifid o ymddangosiad cyntaf y lleuad newydd, pryd y cedwid gwyl y newydd loer, neu ddechreuad y misoedd fel ei gelwir gan yr Hebreaid. Ecsod. 12. 2. Num. 10. 10. Ymddengys bod hyn mewn ymarferiad cyn amser Moses, yr hwn drwy orchymmyn dwyfol a bennododd y seremoniau perthynol i'r wyl hon. Cyhoeddid hi gyda sain udgyrn; Num. 10. 10. Salm 81. 3. a llawer o aberthau ychwanegol a offrymmid. Num. 21. 11—15.

---

## III. Y PASG.

YR oedd y Pasg yn wyl nodedig a gedwid gan yr Iuddewon, ac a gadwyd gyntaf y noswaith cyn ymadawiad Israel o'r Aipht, er coffadwriaeth barhaus o'u gwaredigaeth, a ffafr Duw tuag attynt, yn

myned heibio, ac yn arbed eu cyntaf-anedigion pan darawodd efe gyntaf-anedigion yr Aiphtiaid. Ecsod. 12. 12—14, 29—51. Gelwid yr ŵyl hon hefyd yn ŵyl neu ddyddiau y bara croyw, Ecsod. 23. 15. am ei bod yn anghyfreithlon i fwytta unrhyw fara arall dros yspaid saith diwrnod y wledd. Rhoddid yr enw Pasg drwy draws-enwad ar yr oen a leddid ddydd cyntaf yr ŵyl, Ezra 6. 20. Mat. 26. 17. ac oddiwrth hyn y deilliodd yr ymadroddion, bwytta y Pasg, ac aberthu Pasg; Marc 14. 12. 1 Cor. 5. 7. ac oblegid hyn hefyd y gelwir ein Harglwydd Iesu Grist gan Paul, 'Ein Pasg ni.' Ond perthyna yr enw Pasg yn fwyaf neillduol i ail ddydd y wledd, sef y pumthegfed dydd o fis Nisan. Yr oedd y Pasg wedi cael ei bennodi i'w gadw ar gylchwyl flynyddol gwaredigaeth yr Israeliaid o'r Aipht: yr oedd i gael ei gadw gan bob Israeliad, oddieithr mewn achosion neillduol, a grybwyllir yn Num. 9. 1—13. dan boen marwolaeth. Yn amser diweddaf y wladwriaeth Iuddewig, dygwyd defod i mewn o ryddhau drwg-weithredwyr ar yr ŵyl hon. Y defodau perthynol i'r ŵyl hon a grybwyllir yn Ecsod. 12. Ychwanegodd yr Iuddewon ryw ddefodau at y rhai a bennodwyd gan Moses gyda golwg ar aberth y Pasg. Yfent gydag ef bedwar cwppanaid o win, y trydydd o'r rhai a elwid cwppanaid y fendith, at yr hwn y cyfeirir yn 1 Cor. 10. 16. wedi ei chydmaru â Mat. 26. 27. wedi yr hyn y canent yr emmyn a elwid yr Hallel Fawr, sef Salm 113—118. Weithiau ar ol y pedwarydd cwppanaid adroddid Salm 120—137. Yfid pummed cwppanaid hefyd. Ymddengys bod rhai o'r defodau hyn wedi cael eu hadferyd gan ein Harglwydd Iesu Grist yn sefydliad y swpper sanctaidd. Yr oedd oen y Pasg yn gysgod neillduol o'r Arglwydd Iesu Grist yn ei ddioddefiadau a'i farwolaeth. Nid oedd asgwrn i oen y Pasg i gael ei dorri, yn yr hyn mewn modd neillduol yr oedd yn gysgod neillduol o Fab Duw. Ecsod. 12. 46. Ioan 19. 33, 36.

---

## IV. GWYL Y PENTECOST.

Yr ail o'r gwyliau arbennig ydoedd gŵyl y Pentecost, yr hon a gedwid ddeg diwrnod a deugain wedi dydd cyntaf y bara croyw. Yr oedd hon yn ŵyl o ddiolchgarwch am y cynhauaf, yr hon a gedwid yn union-gyrchol ar ol y Pasg. Ar yr achlysur hwn gwneid dwy dorth o beilliaid newydd, y rhai a offrymmid ger bron yr Arglwydd fel blaen-ffrwyth; oblegid hyn gelwid yr ŵyl dydd y blaenffrwyth: rhoddir y ffurf o ddiolchgarwch yn Deut. 26. 5—10.

---

## V. GWYL Y PEBYLL.

Sefydlwyd gŵyl y Pebyll er cadw coffadwriaeth o breswyliad yr Israeliaid mewn pebyll yn yr anialwch. Lef. 23. 34, 43. Gelwir hon hefyd yn ŵyl y Cynnull, ac yr oedd wedi ei hamcanu er dychwelyd diolchgarwch i Dduw am ffrwyth y winwydden, ynghyd â ffrwythau eraill, y rhai a gesglid ynghylch yr amser hwn. Dros holl amser yr ŵyl hon rhaid i'r bobl breswylio mewn pebyll, y rhai yn yr amserau

gynt a osodid ar nennau gwastad y tai. Neh. 8. 16. Heblaw yr aberthau dyddiol cyffredinol, offrymmid amryw o aberthau neillduol ar achlysur y wledd hon, y rhai a grybwyllir yn Num. 29. Un o'r seremoniau neillduol a weinyddid ar y wledd hon, ydoedd ddiod-offrwm a dynnid o lyn Siloam, ac a dywelltid ar yr allor: ac yn ol barn yr Iuddewon, yr oedd y dwfr hwn yn gysgod neillduol o'r Yspryd Glân; a thebygol mai at hyn y cyfeirir pan ddywedir, "Mewn llawenydd yr ewch allan, ac y tynnwch ddwfr o ffynnonau yr iechydwriaeth."

---

### VI. GWYL YR UDGYRN.

Gwyl yr Udgyrn a gedwid ar y dyddiau cyntaf ac ail o fis Tisri, pryd y dechreuai y flwyddyn wladol Iuddewig. Gelwid yr ŵyl hon yn ŵyl yr Udgyrn am eu cenid hwynt yn fwy difrifol pryd hyn nag ar amserau eraill. Num. 22. 1. Lef. 23. 24. Ymgedwid rhag pob gwaith ar yr ŵyl hon, ac offrymmid aberthau neillduol i Dduw, y rhai a grybwyllir yn Num. 29. 1—6.

---

### VII. GWYL Y CYMMOD.

Cedwid yr ŵyl hon gan yr Iuddewon yn dra manol; ymgadwent rhag pob gwaith, ni chymmerent ymborth, a chystuddient eu heneidiau. Lef. 23. 27—30. O'r holl aberthau Iuddewig, yr aberth ar ddydd y cymmod ydoedd y difrifolaf, yr hwn a offrymmid ar y degfed dydd o fis Tisri, gan yr offeiriad yn unig, dros bechodau yr holl genedl. Ar y dydd hwn yn unig drwy yr holl flwyddyn y caniatteid i'r arch-offeiriad fyned i'r cyssegr sancteiddiolaf, ond nid heb barottoad addas dan berygl marwolaeth; a gwaharddid pawb eraill i ddyfod i'r babell hyn. Lef. 16. 2—17. Cyn i'r arch-offeiriad fyned i'r cyssegr, rhaid iddo ei olchi ei hun â dwfr, ac ymwisgo yn y gwisgoedd lliain sanctaidd, a'r feitr ar ei ben. Rhaid oedd iddo hefyd ddwyn bustach ieuangc i'r cyssegr nesaf allan, a'i gyflwyno i'r Arglwydd yn bech-aberth drosto ei hun, a thros ei deulu, gan gynnwys yr offeiriaid a'r Lefiaid, ynghyd â hwrdd hefyd yn boeth-offrwm. Yn nesaf, yr oedd i gymmeryd dau fwch gafr, a'i cyflwyno i'r Arglwydd wrth ddrws y babell i fod yn bech-aberth dros holl gynnulleidfa meibion Israel, a hwrdd i fod yn boeth offrwm. Wedi bwrw coel-brennau ar y ddau fwch, pa un o honynt a offrymmid yn bech-aberth, a pha un a fyddai yn fwch diangol, elai ym mlaen gyda y gwasanaeth. Yr oedd i offrymmu y bustach yn bech-aberth, yr oedd i gymmeryd peth o'r gwaed i'r cyssegr sancteiddiolaf, ac yn ei law thuser yn llawn o arogl-darth, ac i daenelli y gwaed â'i fys ar y drugareddfa, ac o'i blaen saith waith, er ei phuro oddiwrth yr halogrwydd a dybid ei bod wedi gael oddiwrth ei bechodau a'i anwireddau yng nghorph y flwyddyn flaenorol: yna yr oedd i offrymmu y bwch dros bechodau yr holl genedl, ac i fyned i mewn drachefn i'r

cyssegr, gan daenellu y drugareddfa â gwaed fel o'r blaen, er ei phuro oddiwrth droseddau y genedl yng nghorph y flwyddyn o'r blaen. Yn nesaf, yr oedd i ddwyn y bwch byw, gan roddi ei ddwylaw ar ei ben, a chyffesu uwch ei ben holl anwireddau meibion Israel, gan eu gosod ar ben y bwch, ac yna ei anfon ymaith yn llaw gwr cyfarwydd i'r anialwch, yr hwn a ddygai eu holl anwireddau i dir neillduaeth, ac ni chofid hwynt mwyach. Yr oedd hyn oll yn gysgodol iawn o'r Arglwydd Iesu Grist, a'r cymmod a wnaeth efe drwy roddi ei fywyd i lawr dros bechodau dynion. Ymgyssegrodd i'w swydd Offeiriadol drwy gymmeryd ei fedyddio gan Ioan, er cyflawni pob cyfiawnder deddfol. Yn union-gyrchol wedi ei fedyddio, arweinwyd ef drwy gynhyrfiad yr Yspryd Glân i'r anialwch, lle y dygodd ein gwendidau ni, gan gymmeryd ei demtio ym mhob peth yr un ffynud a ninnau; ac yn y diwedd bu farw dros ein pechodau, ac a adgyfododd er ein cyfiawnhau.

---

## VIII. Y FLWYDDYN SABBATHOL.

Megis ag y neillduwyd y seithfed dydd i fod yn ddydd o orphwysfa i ddyn ac i anifail, felly yr oedd y seithfed flwyddyn i roddi gorphwysfa i'r wlad, pryd nad oeddid i aredig nac hau; a pha beth bynnag a gynnyrchai y tir y flwyddyn hon, a ddefnyddid at achosion elusengar. Lef. 25. 1—7. Ecsod. 23. 11. Yr oedd y flwyddyn hon hefyd yn flwyddyn o ryddhad oddiwrth gaethiwed personol, ynghyd â maddeuant dyledion. Deut. 15. 1, 2. Gogyfer ag angenrheidiau y flwyddyn hon yr oedd Duw wedi addaw cynnyrch triphlyg y chweched flwyddyn. Lef. 25. 2—22. Yr oedd gadael y wlad heb fwynhad o'u Sabbathau yn un o'r pechodau a achosasant y caethiwed.

---

## IX. Y JUBILI.

Y Jubili ydoedd flwyddyn Sabbathaidd a gynnelid bob deng mlynedd a deugain gan lwythau Israel, drwy orchymmyn eu Deddfwr a'u Duw; Lef. 25. 1—10. Ynghylch y gair Hebraeg *Jobel*, oddiwrth yr hwn y deillia Jubili, y mae dysgedigion yn amrywio yn eu barnau; ac y mae yn debygol mai Calmet ydyw yr agosaf mewn perthynas i'w arwyddocad. Efe a ddywed ei fod yn tarddu oddiwrth y ferf *Jabal*, ail alw, neu ddychwelyd yn ol, oblegid bod etifeddiaethau, meddiannau, &c. y rhai a ddieithrwyd, yn cael eu hadferyd yn ol y flwyddyn hon i'w perchennogion cyntefig. Yn yr ystyr hwn y deallai y Septuagint y gair Hebraeg, am y cyfieithent ef, *aphesis*, maddeuant; a Josephus yr hanesydd Iuddewig a ddywed ei fod yn arwyddo rhyddid.

Dechreuai yr ŵyl fawr hon ar y degfed dydd o fis Tisri, sef prydnawn dydd y cymmod, Lef. 25. 9. amser neillduol ddetholedig, am y byddai yr Iuddewon yn fwy parod i faddeu i'w brodyr eu dyledion,

pan yr oeddynt eu hunain newydd fod yn erfyn maddeuant gan Dduw am eu troseddau. Cyhoeddid blwyddyn y Jubili â sain udgorn drwy holl derfynau Israel ar ddydd mawr y cymmod; pob dyledion a faddeuid, a phob caethion a ollyngid yn rhyddion; oblegid yr oedd rhyddid i gael ei gyhoeddi trwy yr holl wlad, ac i'w holl breswylwyr. Yn y flwyddyn hon pob tiroedd, etifeddiaethau, a meddiannau a werthwyd, a ddeuent yn rhyddion, oblegid yr oedd y Jubili yn llwyr ddirymmu pob cyfammodau, ac yn rhoddi ail feddiant i bob treftadaeth; a thrwy hyn nid oedd un teulu i gael eu llwyr ddinystrio, am na fedrid dieithrio yr etifeddiaeth dros fwy na deng mlynedd a deugain, heb droseddu gorchymmyn Duw. Ond am y teiau mewn trefydd caerog, rhaid i'w dyledion gael eu talu i'r gofynwyr cyn pen blwyddyn, amgen yr oedd yn cymmeryd meddiant o honynt, ac ni ryddheid hwynt ym mlwyddyn y Jubili. Yr oedd y wlad hefyd yn cael llonyddwch y flwyddyn hon, oblegid ni fyddai aredig na hau yn cymmeryd lle ynddi.

Amcan a diben blwyddyn y Jubili, ydoedd mewn rhan yn wladol, ac mewn rhan yn gysgodol;—yn wladol er rhwystro gorthrymder ar y tlodion, a'u gadael mewn caethiwed parhaus; a'r cyfoethogion yn cael eu rhwystro i ychwanegu tiroedd at diroedd; ynghyd ag er cadw cydraddoldeb yn nheuluoedd Israel. Ni fu un genedl erioed a'u meddiannau a'u rhyddid mor sicr a diogel a hwynt, am fod Duw wedi gofalu mor neillduol am danynt, ac wedi sefydlu deddfau er eu cadw rhag cyfyngderau a gwasgfeuon parhaus. Trwy y ddeddf hon hefyd y cedwid y llwythau ar wahan, ac i fod yn ofalus am eu llinach, modd y gwnaent eu hawlion yn dda ym mlwyddyn y Jubili. Yr oedd hefyd iddi amcan cysgodol, yr hwn a nodir gan y Prophwyd Esay, pen. 16. 1, 2. 'Yspryd yr Arglwydd Dduw sydd arnaf; o herwydd yr Arglwydd a'm heneiniodd i efangylu i'r rhai llariaidd; efe a'm hanfonodd i rwymo'r rhai ysig eu calon, i gyhoeddi rhyddid i'r caethion, ac agoriad carchar i'r rhai sy'n rhwymo; i gyhoeddi blwyddyn gymmeradwy yr Arglwydd, a dydd dial ein Duw ni, i gysuro pob galarus.' Y mae yr ymadroddion crybwylledig yn ddios yn dwyn perthynas â'r Jubili, yr hon a sylweddid mewn modd ysprydol dan oruchwyliaeth efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Yng nghyhoeddiad udgorn grasol hon, y mae caethion Eden yn dyfod yn rhyddion, y pelledigion yn cael eu dwyn yn agos, ac etifeddion uffern a damnedigaeth yn cael eu gwneuthur yn etifeddion bywyd tragywyddol. Gweddaidd ar y mynyddoedd ydyw traed yr hwn sydd yn efangylu, ac yn cyhoeddi heddwch, a llwyddiannus y mae efe yn marchogaeth, gan agoryd dorau yr hen garcharau, a gollwng meibion a merched cystudd allan.

Y mae Dr. Hales o'r farn i Grist ddechreu ei weinidogaeth ar flwyddyn y Jubili, a bod hynny yn amlwg oddiwrth ei ddywediad ef ei hun, yn Luc 4. 18, 19. "Yspryd yr Arglwydd sydd arnaf fi, o herwydd iddo fy enneinio i, i bregethu i'r tlodion yr anfonodd fi, i iachau y drylliedig o galon, i bregethu gollyngdod i'r caethion, a chaffaeliad golwg i'r deillion, i ollwng y rhai ysig mewn rhydd-deb; i bregethu blwyddyn gymmeradwy yr Arglwydd."

## PENNOD V.

## *Llygriadau crefydd ym mhlith y r Iuddewon.*

### I. TARDDIAD A LLWYDDIANT EILUN-ADDOLIAETH.

Eilun-addoliaeth ydyw yr addoliad coel grefyddol a roddir i eilunod neu dduwiau gau. Oddiwrth Gen. 6. 5. a Rhuf. 1. 33. y mae yn dra thebygol bod eilun-addoliaeth mewn ymarferiad cyn y diluw, a chadarnheir y dyb hon gan Judas, ad. 4. Dyweda am rai iddynt gerdded yn ffordd Cain, yr hwn a'i hiliogaeth a ymollyngasant i eilun-addoliaeth. Y cyrph nefawl oeddynty gwrthddrychau cyntaf a addolid yn grefydd eilun-addolgar, ac yn Mesopotamia a Chaldea y llwyddodd hon gyntaf wedi y diluw. Cyn i Jehofah egluro ei hun iddynt, yr oedd Terah a'i fab Abraham yn eilun-addolwyr, Jos. 24. 2. ac felly yr oedd Laban tad-yng-nghyfraith Jacob, Gen. 31. 19, 30. er bod ganddo ryw ddrych feddwl am y gwir Dduw, Gen. 24. 31. Cyn i Jacob a'i feibion fyned i'r Aipht, yr oedd eilun-addoliaeth yn dra blagurol yng Nghanaan, a chyhyd ag y bu eu hiliogaeth yn yr Aipht, ymddengys oddiwrth Jos. 24. 14. a Ezec. 20. 7, 8. eu bod yn addoli duwiau yr Aipht, o ba rai yr afon Nilus ydoedd y gwrthddrych pennaf. Aberthai yr Aiphtiaid eneth, ac yn ol rhai geneth a bachgen yn flynyddol i'r afon hon, mewn ffordd o ddiolchgarwch am y bendithion a geid drwyddi. Wedi ymadawiad Israel o'r Aipht, yr oeddynt yn dra thueddol at yr eilunod, Ecsod. 22. 1. Act. 7. 41—43. Yn fuan wedi marwolaeth Joshua, gwnai pob un yn ol yr hyn fyddai da yn ei olwg; a pha fwyaf o aflywodraeth fyddai ym mhlith y genedl, mwyaf ydoedd cynnydd eilun-addoliaeth. Ymadawent â'r Arglwydd eu Duw, a gwasanaethent dduwiau y Cenhedloedd, gan ddilyn eu hoferedd a'u dychymmygion. Yn amser Samuel, Saul, a Dafydd, ymddengys yr addolid yr Arglwydd mewn mwy purdeb nag yn yr hen amseroedd; ond cefnogwyd eilun-addoliaeth gan Salomon. Jeroboam mab Nebat a wnaeth eilun-addoliaeth yn grefydd sefydledig ym mhlith y deg llwyth, yr hyn a fu yn achos i Dduw eu bwrw ymaith oddi ger ei fron; ac oblegid yr unrhyw bechod y dygwyd Judah yn gaeth i Babilon. Ac er amser y caethiwed ni ymroddodd Judah i eilun-addoliaeth, ac y mae yr Iuddewon hyd heddyw yn dra zelog dros addoliad un gwir a bywiol Dduw.

### II. YR EILUNOD A ADDOLID GAN YR HEBREAID.

1. Gwrthddrych cyntaf eilun-addoliaeth yr Iuddewon ydoedd y llo aur, yr hwn a wnaed ac a addolwyd yng nghymmydogaeth Horeb pan ydoedd Moses ar y mynydd, Ecsod. 32. 1—6. Meddylir bod hwn wedi ei wneuthur yn gyffelyb i eilun yr Aipht, Apis, yr

hwn a addolid dan y llun o eidion. Yr hen goel grefydd hon o eiddo yr Aiphtiaid a barheir hyd yn bresennol ym mynydd Libanus, gan y Druses y rhai a gymmerant arnynt yr enw o *Okkals*, ac a roddant addoliad dwyfol i lo.

2. Cyffelyb i'r un blaenorol ydoedd y ddau lo aur a wnaeth Jeroboam fab Nebat, brenin Israel. Yr oedd gan yr Aiphtiaid ddau eidion, un a addolent dan yr enw Apis ym Memphis, prif ddinas yr Aipht Uchaf; a'r llall dan yr enw Mnevis, yn Hierapolis, prif ddinas yr Aipht Isaf. Mewn cyffelyb fodd, gosododd Jeroboam un llo ym Methel, a'r llall yn Dan, ac a'u cyhoeddodd yn dduwiau i'r deg llwyth. Gosododd Jeroboam yr eilunod hyn i fynu, nid i wadu Duw Jehofah, ond i fod yn arwyddion o'i bresennoldeb, ac yr oedd y gwasanaeth crefyddol a gyflawnid iddynt, yn ol y rheolau a roddwyd gan Moses. Ni chrybwyllir i Jeroboam gyfnewid dim yn y gwasanaeth; ond newid gwyl y pebyll o'r pumthegfed dydd o'r seithfed mis, i'r pumthegfed dydd o'r wythfed mis. Gwnaeth offeiriad hefyd, heb o lwyth Lefi; ac a wnaeth ei hun yn archoffeiriad i'r sefydliad newydd. Dinystriwyd yr eilunod hyn gan frenhinoedd Assyria. Y gwr o Fethel a gludwyd i Babilon, gan Salmaneser, ac ymaflodd Tiglath-pileser yn llo Dan, ac a'i meddiannodd.

3. Y sarph bres. Gwnaed hon drwy orchymmyn yr Arglwydd, yn achos brathiadau y seirph tanllyd yn yr anialwch, Num. 21. 6—9. Cadwyd hi wedi hyn, er bod yn golofn o drugaredd yr Arglwydd. Yn wyneb dirywiad crefydd, gwnaed eilun o honi, a rhoddid iddi barch dwyfol. Pa bryd y dechreuodd y goel grefydd hon, y mae yn anhawdd penderfynu. Dinystriwyd hi yn amser Hezeciah brenin Judah.

4. Darllenir yn Barn. 8. 24—27. i Gedeon wneuthur ephod aur o'r yspail a gymmerwyd yn y rhyfel â'r Midianiaid. Tybir mai gwisg offeiriadol werthfawr ydoedd hon, tebyg i'r hon a wisgid gan yr archoffeiriad yn Siloh. Ond pa un ai fel colofn goffadwriaethol o'r fuddugoliaeth y gwnaeth Gedeon hon, neu a ydoedd Lefiad ganddo yn ei dŷ, y mae yn anhawdd penderfynu. Bu yn fagl i holl Israel a gyfanneddent yn Gilead, o'r tu dwyreiniol i'r Iorddonen; y rhai gan fod ganddynt ephod yn eu gwlad eu hunain, ni aent drosodd i addoli i'r babell yn Siloh. Trwy hyn syrthiasant i eilunaddoliaeth, gan addoli duwiau eu cymmydogion, y Pheniciaid

5. Y Teraphim. Ymddengys oddiwrth 1 Sam. 19. 13. mai delwau cerfiedig mewn agwedd ddynol ydoedd y rhai hyn, ac yn dduwiau teuluaidd, tebyg i'r rhai hynny ym mhlith y Rhufeiniaid a elwid *penates* a *lares*, Gen. 31. 19, 34, 35. 1 Sam. 19. 13—17. Ymofynnid â hwynt, Barn. 17. a 18. 5, 6, 14—20. Cafodd yr Israeliaid yr addoliad hwn o Mesopotamia, ac a arosodd yn eu plith hyd y caethiwed.

6. Dywedai y paganiaid bod yr Iuddewon yn addoli pen asyn: ond yr oedd hyn yn gam-achwyniad hollol. Ymddengys mai Appion y grammadegwr ydoedd awdwr y celwydd hwn. Eraill o'r paganiaid ar ol Appion a ddywedant hyn, ac yn eu plith yr enwogion Plutarch a Tacitus. Lled debygol i'r chwedl hon gael ei llunio yn Alexandria yn yr Aipht, er mwyn gwneuthur gwawd o'r Iuddewon a'u gyrru i nwydau drwg, heb unrhyw sail iddi.

### III. EILUNOD YR AMMONIAID, Y CANAANIAID, A'R SYRIAID, A ADDOLID GAN YR HEBREAID.

1. Moloch, a elwid hefyd Molech, Milcom, neu Melcom, ydoedd eilun pennaf yr Ammoniaid. 1 Barn. 11. 7. Rhai ysgrifenwyr a dybient mai yr un ydoedd Moloch a Sadwrn, i'r hwn fel y mae yn wybodus yr offrymmid aberthau dynol. Ond ymddengys yn hytrach, mai yr un oedd efe a Baal, neu yr haul. Jer. 32. 35. ac mai efe ydoedd Adrammelech, ac Anammelech y Sepharfaiad, y rhai a losgent eu plant iddo yn tân. Tybia rhai bod plant Israel yn dueddol i addoli Moloch cyn eu hymadawiad o'r Aipht, yn gymmaint a bod y prophwyd Amos a'r merthyr Stephan yn edliw iddynt eu bod wedi dwyn pabell eu duw Moloch gyda hwynt yn yr anialwch. Amos 5. 26. Act. 7. 43. Adeiladodd Salomon deml i Moloch ar fynydd yr Olewydd. 1 Bren. 11. 7. a'i annuwioldeb a ddilynwyd gan frenhinoedd eraill. Dyffryn Tophet a Hinnom ar y tu dwyreiniol i Jerusalem, ydoedd y lle pennaf ym mha un y cyflawnid defodau brawychus yr eilun hwn.

2. Baal-Peor, ydoedd eilun perthynol i'r Moabiaid a'r Midianiaid, ac yn ol meddwl rhai yr un a Priapus y Rhufeiniaid, ac a addolid gyda'r un defodau ffiaidd. Num. 25. 1—5. Hos. 9. 10. Tybid mai yr un ydoedd Cemos, ffieidd-dra Moab a Baal-Peor. Ac fel y gelwid Israel wrth enw yr Arglwydd eu Duw. 2 Chron. 7. 14. felly hefyd y gelwir y Moabiaid wrth enw eu Duw, pobl Cemos. Num. 21. 29.

3. Rimmon ydoedd eilun y Syriaid, ond ni addolid ef gan yr Israeliaid; crybwyllir am dano yn 2 Bren. 5. 8. a thybir ei fod yr un a Jupiter yr hynafiaid.

4. Astaroth neu Astarte, yn Barn. 2. 13. 1 Sam. 31. 10. 2 Bren. 23. 13. a dybir ei fod yr un a'r lleuad. Addolir Astarte gan y Druses yn bresennol ym mynydd Libanus.

5. Baal ydoedd eilun Pheniciaidd, ac a grybwyllir yn aml yn yr Hen Destament. Arwydda y gair Baal, arglwydd, meistr, a gwr. Baal ydoedd dduw y Pheniciaid; Jezebel, merch Eth-baal brenin y Sidoniaid, a ddygodd yr eilun hwn o ddinas Sidon, oblegid efe oedd Duw Tyrus a Sidon, a'r un a Zeus y Groegiaid, a Jupiter y Lladiniaid. Yr oedd y duw hwn yn adnabyddus wrth yr un enw drwy holl Asia; yr un ydoedd a Bel y Babiloniaid; ac efe a addolid gan y Carthaginiaid yn Affrica, y rhai hwythau oeddynt Pheniciaid. Enwir yr eilun hwn yn fynych yn yr Ysgrythyrau yn y rhif liosog Baalim, yr hyn a arwydda bod yr enw Baal yn cael ei roddi i wahanol dduwiau, neu bod amryw luniau wedi eu cyssegru i'r eilun hwn.

6. Baal-berith ydoedd eilun y Sichemiaid. Barn. 8. 33. Ac yn gymmaint a bod y gair Hebraeg Berith yn arwyddo cyfammod neu gytundeb, meddylir i'r duw hwn gael ei enw oddiwrth y dyb mai efe ydoedd yn edrych dros ben pob cyfammodau a wneid.

7. Baal-zebub neu Bel-zebub ydoedd duw yr Ecroniaid. 2 Bren. 1. 3. ond arwydda y gair gwreiddiol, duw y gwybed, neu arglwydd y cilion. Yr Iuddewon yn amser Crist a alwent dywysog y cythreuliaid wrth yr enw Beelzebub. Mat. 12. 24. Luc 11. 15.

8. Baal-zephon a dybir ydoedd y duw a osodwyd i warchod gororau y Môr Coch, a Baal-zephon hefyd ydoedd enw y lle yr adeiladwyd teml er gwasanaeth morwyr.

9. Dagon ydoedd Duw Asdod, neu Azotus, a Derceto y Paganiaid. Arwydda yr enw, pysgodyn, ac yr oedd ar ddull dyn o'i fogail hyd i fynu, ac ar ddull pysgodyn oddi yno i lawr. Tybir bod yr eilun hwn yn goffadwriaethol o gadwedigaeth Noah yn yr arch.

10. Tammuz, neu Thammuz, ydoedd dduw Aiphtaidd, a'r un ag Adonis y Pheniciaid a'r Syriaid. Am yr eilun hwn y dywedir bod y benywaid Iuddewig yn eistedd ac yn wylo o flaen porth gogleddol y deml. Cyflawnid defodau yr eilun hwn gyda phob ffieidd-dra, godinebau, ac anlladrwydd, rhy gywilyddus i'w hadrodd a'u darllen. Rhyfedd fel yr aeth y byd dan y llenni, ac yr ymollyngodd dynolryw i bob dyfnderau anwybodaeth, gan anghofio yr Arglwydd eu Duw, ac addoli duwiau a ddychymmygwyd gan galon lygredig dyn, wedi ei thywyllu drwy bechod.

---

## IV. Y CYFEIRIADAU YSGRYTHYROL AT Y DEFODAU EILUNADDOLGAR.

Yr oedd y dyb gan y Cenhedloedd, fod y duwiau yn perthynu i ryw leoedd yn fwy na'u gilydd, ac nad oedd ganddynt awdurdod ond o fewn i'w cyrhaedd eu hunain. Y dieithriaid a anfonwyd gan frenin Assyria i Samaria, a dybient mai oblegid eu hanadnabyddiaeth o Dduw y wlad y blinid hwynt gan y llewod; 2 Bren. 17. 26. Jonah y prophwyd a dybiai bod gallu y Jehofah yn gyfyngedig yn unig o fewn Israel, ac y gallai ffoi o'i ŵydd ond myned tua Joppa a Tharsis; Jonah 1. 3. Tybiai gweision brenin Syria, mai Duw y mynyddoedd ydoedd Duw Israel, ac nid Duw y dyffrynoedd. Ystyrid uchel-fannau gan yr holl Genhedloedd braidd yn breswylfod y duwiau, a'r lleoedd mwyaf priodol i aberthu iddynt. Cludid delwau y duwiau mewn gorymdeithiau gan eu haddolwyr, yr hyn a fynegir yn Esay 46. 7. "Dygant ef ar ysgwyddau, dygant ef, a gosodant ef yn ei le." Cluda yr Hindŵaid eu duwiau yn y wedd hon yn awr. Yr oedd canu a dawns ym mhlith defodau gwasanaeth yr eilunod; felly dawnsiodd yr Israeliaid o flaen y llo aur, a dawnsir o flaen yr eilunod ym mhob gwledd Hindŵaidd hyd heddyw. Nid yn unig aberthid i'r eilunod, ond ymgrymmid iddynt hefyd; oblegid llefara Naaman am ymgrymmu yn nhŷ Rimmon; 2 Bren. 5. 18. Cyfodid y llaw at y genau i'w chusanu, ac yna estynid hi megis at yr eilun i'w chusanu; crybwyllir am hyn yn 1 Bren. 19. 18. Halogid y benywaid yn gyffredin yng nghyflawniad defodau i'r eilunod. Dygid nod ar y cyrph mewn ffordd o anrhydeddu yr eilunod, yr hyn yn bennodol a waherddir yn Lef. 19. 28. Hyd y dydd hwn y mae yr Hindŵaid yn dwyn ar eu talcennau, neu ryw fannau eraill, yr hyn a elwir yn nodau pleidiol, yr hyn a'u gwahaniaetha yn wladol ac yn grefyddol. Cyfeirir at hyn yn Dat. 13. 16, 17. a 14. 9, 11. a 15. 2. a 16. 2. a 19. 20. a 20. 4.

## PENNOD VI.

## *Hanes y Sectau Iuddewig.*

### I. Y SADUCEAID.

Dywedir bod sect y Saduceaid wedi cael ei henw oddiwrth Sadoc, ysgolhaig i Antigonus Sochalus, llywydd y Sanhedrim, neu y Cynghor Iuddewig, yr hwn a flodeuodd ynghylch dau cant a thrugain mlynedd cyn Crist. Dysgai Antigonus i'w ysgolheigion, y dylid gwasanaethu Duw er ei fwyn ei hun, ac nid dan lywodraeth ofn, neu mewn gobaith o wobr. Sadoc, yn methu deall athrawiaeth ei feistr, a lyngcodd y dyb nad oedd na chospedigaethau na gwobrwyon yn y byd i ddyfod. Prif erthyglau y Saduceaid oeddynt, 1. Nad ydoedd adgyfodiad, nac angel, nac yspryd, Mat. 22. 23. a bod enaid dyn yn trengu gyda'r corph. 2. Gwadent lywodraeth rhagluniaeth, ond bod y gallu yn gwbl gan ddyn i wneuthur da neu ddrwg yn ol ei ewyllys a'i ddewisiad ei hun. 3. Ni roddent unrhyw barch i draddodiad, ond yn sefyll yn unig wrth lythyren yr Ysgrythyr; eithr yn rhoddi y flaenoriaeth i bum' llyfr Moses. Nid ymddengys eu bod yn gwadu y llyfrau eraill, er y tybia rhai hynny. Mewn perthynas i nifer y sect hon, nid ydoedd yn lliosog, ond yr oedd rhai o'r dynion mwyaf cyfrifol ym mhlith yr Iuddewon yn perthyn iddi. Amryw o'r Saduceaid a ddyrchafwyd i'r arch-offeiriadaeth. Yr oeddynt yn dra chyfeiliornus yn eu barnau, a gwrthwynebid hwynt yn gadarn gan ein Hiachawdwr.

### II. Y PHARISEAID.

Y Phariseaid ydoedd y sect liosocaf a pharchedicaf ym mhlith yr Iuddewon. Yr amser y blodeuodd y sect hon gyntaf sydd anhyspys, ond meddylir mai ar ol sect y Phariseaid. Deillia enw y sect hon oddiwrth y gair Hebraeg *Pharash,* yr hwn a arwydda neillduo neu osod o'r neilldu, am y neillduent eu hunain oddiwrth eraill o'r Iuddewon. Ymffrostiai y Phariseaid mai hwy oeddynt fwyaf yn ffafr y nef, ac felly, gan ymddiried iddynt hwy eu hunain, ystyrient eu bod yn gyfiawn, a dirmygent eraill. Ym mhlith eu herthyglau crefyddol, priodolent bob peth i ragluniaeth, ond nad ydoedd rhagluniaeth yn dinystrio rhyddid yr ewyllys. Credent yn hanfodaeth angylion ac ysprydion, ynghyd âg yn adgyfodiad y meirw; ond oddiwrth yr hanes a rydd Josephus am danynt, ymddengys mai rhyw beth tebyg i'r traws-fudiad *(metempsychosis)* Pythagoraidd ydoedd eu tyb am anfarwoldeb yr enaid: bod yr enaid ar farwolaeth y corph yn ehedeg i gorph arall, naill ai i un hardd neu anffurfiedig, yn ol ymddygiad yr enaid yn ei sefyllfa flaenorol o hanfodaeth. Ymddengys bod disgyblion ein Harglwydd yn credu traws-fudiad

eneidiau, oblegid pan gyfarfuasant â dyn a aned yn ddall, tybient mai o herwydd rhyw bechodau blaenorol y gwnaed ef felly, Ioan 9. 1—4. Yr oedd y dyb hon gan y bobl gyffredin, yr hon a ymddengys yn eu syniadau am Grist: meddyliai rhai mai Elias ydoedd, eraill mai Jeremias, ac eraill mai un o'r prophwydi; hynny yw, mai enaid Elias, Jeremias, neu un o'r prophwydi ydoedd yng nghorph ein Harglwydd Iesu Grist. Credai y Phariseaid hefyd, bod Duw yn rhwym o gyfiawnder i fendithio yr Iuddewon, oblegid eu perthynas âg Abraham, a phethau eraill. Y Phariseaid oedd y sect fanylaf ym mhlith yr Iuddewon, a chymmerent arnynt fod yn dra manwl, er eu bod yn dra halogedig. Gyda golwg ar rai pethau a addefodd Moses yn y sefyllfa wladol, er gochelyd drwg mwy, y Phariseaid a benderfynasant eu bod yn gwbl gyfreithlon: megis ysgariaeth, Mat. 5. 31, &c. a 19. 3—12. Y gyfraith ynghylch caru eu cymmydogion a ddeonglid ganddynt hwy, i garu eu cyfeillion yn unig, sef yr hiliogaeth Iuddewig, ac ystyrient bawb eraill yn gaseion a gelynion, Mat. 5. 43. Luc 10. 31—33. Rhoddent barch neillduol i bob traddodiadau, y rhai a honnent a ddeilliasant o oes i oes i Moses, ac y mae ein Harglwydd Iesu Grist yn eu ceryddu yn llym am eu rhagrith a'u hunan-gyfiawnder.

---

### III. YR ESSENIAID.

Yr Esseniaid ydoedd y drydedd sect nodedig ym mhlith yr Iuddewon, ac yn dra gwahanol i'r Phariseaid a'r Saduceaid, yn gystal mewn athrawiaeth ac mewn ymarferiadau. Rhennid y sect hon i ddau ddosparth, 1. Yr ymarferol, y rhai a fywioliaethent mewn cymdeithas, a phriodai rhai o honynt, er yn dra gwyliadwrus. 2. Y myfyrgar, y rhai a ymroddent i wellhau clefydau yr enaid. Ymochelent i fyw mewn dinasoedd mawrion, am nad oedd y cyfryw léoedd yn ffafriol iddynt i fyfyrio. Ymgadwent yn neillduol oddiwrth fwydydd, ac yr oeddynt yn dra dichlynaidd mewn moesau. Gwrthwynebent bob llwon halogedig, a chadwent y Sabbath yn dra manwl. Dalient anfarwoldeb yr enaid, ond gwadent adgyfodiad y corph; credent yn hanfodaeth angylion, a chosp a gwobrwyon mewn byd arall. Er i'n Harglwydd geryddu y Phariseaid a'r Saduceaid yn llym, ni chrybwyllodd efe am yr Esseniaid. Tebygol mai y sect hon oedd yr oreu ym mhlith yr Iuddewon, a'u bod yn rhagori mewn egwyddorion a buchedd ar y lleill.

---

### IV. Y SAMARIAID.

Y Samariaid a grybwyllir yn y Testament a ystyrir yn gyffredinol yn fath o sect Iuddewig; a chan ein bod yn barod wedi gwneuthur crybwylliadau am eu tarddiad a'u hanes, ni sylwir ar hynny yn bresennol. Arosant yn bennaf yn Sichem neu Sechem, a elwir yn awr Naplose, lle y mae ganddynt synagog. Yn y flwydd-

yn 1823, yr oedd o ugain i ddeg ar hugain o deuluoedd o honynt, a thalent dreth i'r llywodraeth Fahometaidd. Cadwent eu haddoliad ar ddydd Sadwrn, a chynt elent bedair gwaith yn y flwyddyn i'r hen synagog ar fynydd Gerizzim, ond ni chaniatteir iddynt wneuthur hyn yn bresennol. A ganlyn ydyw cyffes eu ffydd, yr hon a anfonwyd gan un Eleazar i'r enwog Scaliger, yn yr unfed canrif ar bumtheg. "Cadwant y Sabbath gyda y manyldra gorchymmynedig yn Ecsodus, oblegid nid â un o honynt allan o'u tai ar y Sabbath, ond i'r synagog. Ystyriant y pasg fel ei gŵyl bennaf, gan ddechreu ar fachludiad yr haul gyda'r aberth, ond ni aberthant ond ar fynydd Gerizzim yn unig, lle y darllenant y gyfraith ac yr offrymmant weddiau i Dduw. Cadwant ŵyl y cynhauaf am saith diwrnod; a gŵyl y cymmod ar y degfed dydd o'r seithfed mis; gwyliau y pebyll ar y pumthegfed; enwaedant ar yr wythfed dydd; ymolchant bob boreu; cymmerant ymaith y brasder oddiar yr aberth; ni phriodant eu nithoedd fel yr Iuddewon; credant yn Nuw, yn Moses, ac yn Gerizzim; derbyniant lyfrau Moses fel y rhai sanctaidd yn unig; a disgwyliant am brophwyd o'r enw Hathab, yr hwn sydd i ymddangos." Yr oedd pleidiau eraill ym mhlith yr Iuddewon, megis Herodaniaid, yr hon oedd yn blaid wladol yn hytrach na chrefyddol: gelwid hwynt wrth yr enw hwn am iddynt gydsynio â Herod mewn ymostyngiad i Rufain. Yr oedd yn eu plith blaid arall a elwid y Galileaid, yr hon a darddodd oddiwrth y Phariseaid, ac a ddalient ei bod yn anghyfreithlon i dalu teyrnged i Rufain. Yr olaf ydoedd honno a elwid y Sicarii, am yr hon y crybwyllir yn Act. 21. 38. y rhai oeddynt lofruddion, oblegid lladdent eu caseion yn ddirgelaidd a bradwrus.

---

# HYNAFIAETHAU TEULUAIDD YR IUDDEWON, &c.

## PENNOD I.

## *Anneddau yr Iuddewon a'r Hynafiaid.*

### I. Y PEBYLL.

Gan fod dynion ar y cyntaf yn anwybodus o'r celfyddydau, nid oeddynt yn alluog i adeiladu tai, a'u preswylfeydd cyntefig ydoedd dan cysgod coed. Wedi iddynt liosogi, tebygol iddynt breswylio mewn ogofeydd, a chrybwyllir am rai felly yn yr Ysgrythyrau. Priodolir y ddyfais o wneuthur pebyll i Jabal mab Lamech, yn Gen. 4. 20. Pabellai y patrieirch boreuol lle y gwelent yn addas, ac yn

gyffredin dan gysgod pan fyddai hynny yn gyfleus. Pabellodd Abraham dan gysgod pren yng ngwastadedd Mamre, Gen. 17. 4. Y mae yn arferiad yn y dwyrain hyd heddyw i blannu coed oddiamgylch eu hanneddau, y rhai ydynt yn neillduol o gysgodfawr rhag gwres mawr yr haul. Ymddengys bod yr arferiad hon yn Palestina, 1 Bren. 4. 25. ac mai y gwinwydd a'r ffigyswydd oeddynt y rhai a blennid. Dywedir fod pebyll mawrion y dwyrain yn dra ardderchog, yn helaeth, ac yn wneuthuredig o lenni gwerthfawr. Pebyll y Turcomaniaid ydynt wynion, pebyll y Tyrciaid yn wyrddion, a phebyll Bedowiniaid ac Arabiaid yr anialwch ydynt dduon. "Du ydwyf fi," meddai y briodferch, "fel pebyll Cedar." Y bugeiliaid yn y dwyrain a eisteddant yn gyffredin fel Abraham wrth ddrysau eu pebyll. Y pebyll Arabaidd ydynt o ddull hir-gulion, yn sefyll ar golofnau yn ol eu maintioli, a llenni yn grogedig ynddynt er eu rhannu yn ystafelloedd. Sicrheir y pebyll drwy eu rhwymo â rheffynau wrth fachau yn y ddaear; ac y mae yn debygol mai âg un o'r hoelion hyn y lluddwyd Jäel, Barn. 4. 21. Pan deithiant o un man i'r llall, pabellant yn gyffredin wrth afon neu ffynnon, 1 Sam. 29. 1. a 30. 21.

---

## II. Y TAI.

MEWN amser dechreuodd dynion adeiladu têiau i'w hanneddu. Teiau y cyfoethogion a adeiledid o gerrig neu bridd-feini; ond teiau y tlodion a wneid gan mwyaf o goed, ac yn gyffredin o bridd, fel y maent heddyw yn y dwyrain, yn neillduol yn yr India Ddwyreiniol. Cyfeiria ein Harglwydd at yr amgylchiad hwn yn niwedd ei bregeth, Mat. 6. 19. 20. Nid oes dim yn fwy cyffredin yn India nâg i ladron gloddio a thorri drwy y muriau pridd i ledratta; ac y mae hyn yn deongli i ni ymadroddion ein Hiachawdwr pan ddyweda am ladron yn torri trwodd ac yn lledratta, Mat. 6. 19, 20. Y gelfyddyd o lios-ogi llofftydd yn y teiau sydd hen iawn: yr oedd y tai yn Babilon, yn ol Herodotus, yn dair neu bedair llofft o uchder; ac yn Thebes yn yr Aipht, o bedair i bump llofft o uchder. Y tai yn Palestina yn nyddiau ein Hiachawdwr oeddynt dra ardderchog, wedi eu hadeiladu yn ol y dull Groegaidd. Dyweda y teithiwr enwog Dr. Shaw, bod dull y tai yn y dwyrain yn parhau yr un er yr oesau boreuaf. Drysau mawrion, ystafelloedd ëang, palmant marmor, cynteddau helaeth, a ffynnonau yn gyffredin yn eu canol. Heolydd y dinasoedd yn gyffredin ydynt gulion, er mwyn bod yn gysgod rhag gwres yr haul. Yng nghynteddau y tai yn gyffredin yr oedd ymwelwyr a chymdeithion, ar achosion o briodasau, enwaediad, neu ryw wleddoedd eraill. Cysgodid yr ymwelwyr hyn yn y cyntedd rhag y gwres neu y gwlaw, trwy daenu llen fawr drostynt; a thebygol mai at hyn y cyfeiria y Salmydd yn yr ymadrodd o 'daenu y nefoedd fel llen.' Nennau y tai oeddynt wastad, fel y gellid rhodio ar hyd-ddynt: tyfai llysiau arnynt, y rhai yn gyffredin oeddynt ddiddefnydd a drwg; oblegid crybwylla y Salmydd am laswellt pen tai, yr hwn

a wywa cyn y tyfo. Gyda golwg ar y tai yn y dwyrain, bydd y cynllun canlynol yn gynnorthwy i'r darllenydd ffurfio drych-feddwl am danynt.




Pan elir i dŷ yn yr heol A, A, rhaid troi i'r porth B, ac yna eir i'r cyntedd agored, yr hwn a barottoir er derbyn ymwelwyr, megis y crybwyllwyd yn barod. Mewn un cyffelyb i hwn yr oedd Ahasferus yn gwledda ei dywysogion a'i bendefigion; ac mewn cyntedd cyffelyb y gwrandawai y dyrfa ar ein Hiachawdwr, Luc 5. 19. Y cyntedd yn gyffredin a amgylchynir â rhodfa golofnog, dros yr hon yr oedd oriel, C, C, C, gydag ochr o ddellt neu waith cerfiedig. Dros ochr yr oriel hon y syrthiodd Ahaziah, pan bwysai yn ddiofal arni, 2 Bren. 1. 2. O'r rhodfa hon yr eir i ystafelloedd o'r un hyd a'r cyntedd. D sydd borth tufewnol, yn y fynedfa i'r prif adeiladaeth. Y pyrth bob amser oeddynt gauedig, a chedwid gwas yno fel gwyliwr, Ioan 17. 16, 17. Y tu ol i'r tŷ a roddid i'r benywaid, yr hwn yn yr Arabaeg a elwir Harem, ac yn yr Hen Destament, Y Palas. Menahem brenin Israel a lofruddiwyd yn yr Harem, 2 Bren. 15. 25.

---

## III. Y DODREFN CYNTEFIG.

Dodrefn y tai yn y dwyrain, yn neillduol yn yr hen amserau, oeddynt dra chyffredin, yn ychydig mewn nifer, a'r fath ag ydoedd yn unig yn angenrheidiol. Yn lle cadeiriau, eisteddent ar fatiau a chrwyn; a'r meingciau y gosodid y rhai hyn arnynt a ddefnyddid yn welyau, a'r dilledyn uchaf yn orchudd arnynt, Ecsod. 22. 26, 27. Ond mewn amserau diweddarach, yr oedd gan yr Iuddewon eisteddleoedd gorwych, am y rhai y crybwyllir yn Amos 6. 4. Ar y rhai hyn yr eisteddai yr Iuddewon mewn amseroedd diweddarach i

fwytta. Lled orweddent wrth eistedd i gymmeryd eu lluniaeth, Amos 6. 4. Luc 7. 36—38. Gorphwysent ar eu hochrau, a'u pennau at y bwrdd, fel y gellid cyrraedd eu traed gan neb a ddeuai o'r tu ol i'r eisteddle, megis yn y cynllun canlynol :




Arwydda A y bwrdd, a c, c, c, yr eisteddleoedd, ar y rhai y gorphwysai y gwesteion. B ydyw pen isaf y bwrdd, yn agored i'r gwasanaethwyr er gweini'r gwesteion. Gwybod y ddefod hon a'n galluoga ni i ddeall ym mha ddull y pwysai Ioan ar fynwes yr Arglwydd, ac yr enneiniodd Mair draed yr Iesu, gan eu sychu â gwallt ei phen.

Un dodrefnyn neillduol perthynol i'r oesau gynt, ydoedd llawfelin, yr hon nid oedd gyfreithlon i neb ei chymmeryd mewn gwystl. Y cafnau tylino, y rhai a ddygwyd gan yr Israeliaid o'r Aipht, oeddynt gawgiau bychain o goed, fel eiddo yr Arabiaid presennol; yn y rhai hyn hefyd y bwyttaent eu lluniaeth. Crybwyllir am lestri o aur ac arian, ym mhalasau pendefigion a mawrion. Yr Arabiaid presennol, unwedd a'r Iuddewon gynt, a gadwent ddwfr, llaeth, gwin, a gwirod, mewn costrelau wedi eu gwneuthur o grwyn, y rhai wedi myned yn hen a rwygent, ac a drwsid wed'yn. O'r fath hyn yr ydoedd yr 'hen gostrelau gwin, wedi eu hollti hefyd, ac wedi eu rhwymo,' a ddygid gan y Gibeoniaid; Jos. 9. 4. Yr oedd gwin newydd yn agored i weithio, ac felly yn debyg o rwygo hen gostrelau; o ganlyniad rhoid ef yn gyffredin mewn costrelau newyddion. At yr arferiad hon y cyfeiria ein Harglwydd yn Mat. 9. 17. Marc 2. 22. a Luc 5. 37, 38. Fel y mae yr Arabiaid yn gwneuthur tân yn eu pebyll, a'r mwg mewn canlyniad yn llenwi ac yn duo y costrelau, felly yr oedd Dafydd, pan yn ffoi rhag Saul, yn cydmaru ei hun i gostrel mewn mwg; (Salm 119. 83.) megis pe dywedasai, 'Y mae fy amgylchiad presennol, oddiwrth yr hyn oedd pan yn y llys, fel y mae dodrefn palas yn gwahaniaethu oddiwrth ddodrefn Arab tlawd yn ei babell.'

## IV. Y GWISGOEDD IUDDEWIG.

Yn oesau boreuol y byd, yr oedd gwisgoedd dynion yn dra chyffredin. Crwyn anifeiliaid oedd y gwisgoedd cyntaf; ond ym mhen amser, gwnaed rhai o wlân a llin; Lef. 13. 47. Diar. 31. 13. Wedi hynny lliain main, a sidan o wahanol liwiau, oeddynt wisgoedd y cyfoethogion. Gynt, gwisgoedd o wahanol liwiau a ystyrid yn werthfawr, megis y siacced fraith a wnaed i Joseph. Gwisgoedd yr Iuddewon canolig oeddynt dra chyffredin. Dyweda yr hanesydd enwog, Dr. Shaw, gyda manyldra am y gwisgoedd dwyreiniol, yr hwn a eglura amrywiol rannau o'r Ysgrythyrau. Dyweda bod y benywaid yn Barbary yn gwneuthur math o wrthbannau, ac nad ydynt yn defnyddio y wennol, ond yn tynnu yr edafedd â'u bysedd drwy y wê. Hyd y gwrthban yn gyffredin ydyw chwech llath, ac o bump i chwech troedfedd o led. Hwn ydyw gwisg yr Arab yn y dydd, a'i orchudd yn y nos, fel yr Israeliaid gynt; Deut. 24. 13. Er cadw hwn oddi amgylch y corph, ymddengys yr angenrheidrwydd o wregys, a chrybwyllir yn aml yn yr Ysgrythyrau am wregysu y lwynau. Yr oedd y gwisgoedd Iuddewig yn llaes, o herwydd dywedir, ym mhlith y pethau dirmygus a wnaeth brenin Ammon i gennadau Dafydd, 'Torrodd eu dillad hwynt yn eu hanner;' 2 Sam. 10. 4. Y wisg fwyaf cyffredin ydoedd y *tunic*, darn o frethyn neu liain, yr hwn a roid o amgylch y corph, ac a wregysid am dano; cyrhaeddai hyd y gliniau. Y rhai ni wisgid ond â'r *tunic* yn unig, dywedir eu bod yn noeth; Ioan 21. 7. Yn y gwregysau weithiau y rhoddid arian, ynghyd âg angenrheidiau eraill; Mat. 10. 9. Marc 6. 8. Dros y *tunic* gwisgid mantell, yr hon ydoedd frethyn pedwar onglog, a glymmid yn gyffredin dros yr ysgwyddau. Y traed a gedwid rhag niweidiau gan sandalau, y rhai a rwymid am y traed. Clymmu a gollwng y sandalau yn rhyddion oedd wasanaeth yr isaf yn y teulu. Ystyrid y farf yn addurn fawr iawn, a'i thynnu neu ei thorri ydoedd yn anfri ac yn ammharch mawr; 2 Sam. 10. 4. Yr oedd pen gwalltog hefyd yn cael ei ystyried yn addurn, a moelni yn nod o warth; 2 Bren. 2. 23. Cribid ac enneinid y gwallt, yn neillduol erbyn gwyliau nodedig. Lliwiai y benywaid eu hwynebau, a chrybwyllir am hyn, megis Jezebel ac eraill; a merch ieuangaf Job a alwyd Ceren-happuc, mŵyn plwm, math o ddefnydd â pha un y byddai y benywaid yn lliwio eu hwynebau. Y benywaid Groegaidd a Rhufeinig a wisgent eu gwallt yn llaes, gan ei osod mewn gwahanol ddulliau, a'i harddu â gwahanol addurniadau. Gwahardda yr Apostol y plethiadau hyn, oblegid ei fod yn brawf o falchder;—'Bod i'r gwragedd eu trefnu eu hunain mewn dillad gweddus, gyda gwylder a sobrwydd; nid â gwallt plethedig, neu aur, neu emmau, neu ddillad gwerthfawr;' 1 Tim. 2. 9. Y gwrrywaid a wisgent eu gwallt yn fyr, a hwn ydoedd y gwahaniaeth mwyaf yng ngwisgiad y gwrrywaid a'r benywaid; ac y mae yr amgylchiad hwn yn dehongli ymadrodd yr Apostol, yn 1 Cor. 11. 14, 15. 'Onid yw naturiaeth ei hun yn eich dysgu chwi, os gwallt-laes a fydd gwr, mai ammharch fydd iddo? Eithr os gwraig a fydd gwallt-laes, clod yw iddi; oblegid ei llaeswallt a roddwyd yn orchudd iddi.' Yn y dwyrain, ym mhlith yr

Arabiaid a'r Tyrciaid, ystyrir y farf yn bresennol yn addurn nodedig; ac y mae bod heb farf mor waradwyddus a bod heb drwyn. Tyngant yn gyffredin i'w barfau, a dangosant eu hewyllys da i'r naill y llall drwy ddywedyd, 'Duw a ddiogelo dy farf fendigaid.' Pan fyddai yr Iuddewon yn myned i ryw le cyssegredig, tynnent eu sandalau wrth y drws, fel y gwna y Mahometiaid hyd heddyw. A phan ddelai ymdeithydd i'r tŷ, wedi iddo gael ei arwain i ystafell, rhoddid ei sandalau yn rhyddion, a golchid ei draed, yr hyn a wneid gan y radd iselaf o wasanaethwyr; Gen. 18. 4. a 19. 2. Luc 7. 44. Crybwyllir am wahanol addurniadau yn yr Ysgrythyrau, ac yn neillduol yn Esay 3. 16—24. Gorchymmynir yn Deut. 22. 5. am i wraig beidio gwisgo dilledyn gwr, na gwr i wisgo dilledyn gwraig; oblegid, gan eu bod mor gyffelyb, gallent drwy hynny ymgymmysgu yng nghyfeillachau eu gilydd, pan fyddai hynny yn eithaf anweddus. Peraroglid y gwisgoedd yn y dwyrain, fel y gwneir yn bresennol; ac â'r gwisgoedd perarogledig hyn y gwisgodd Rebecca ei mab Jacob, er twyllo Isaac ei gwr,—'Ac a aroglodd arogl ei wisgoedd ef, ac a ddywedodd, Wele arogl fy mab fel arogl maes, yr hwn a fendithiodd yr Arglwydd.' Mewn amser, daeth arogliad y gwisgoedd i'w gymhwyso yn ffigurol at rinweddau moesol y meddwl, megis yn Can. 1. 3.

> "Fel arogl dy beraroglau dy hun
> "Y mae dy enw—ennaint wedi ei dywallt allan."
>
> Cyfieithad Dr. Good.

---

## V. Y DEFODAU PRIODASOL IUDDEWIG.

Ystyrid priodas gan yr Iuddewon yn rhwymiad cyssegredig; ac yn sefydliad cyntaf priodas ni roes Duw ond un wraig i'r dyn, a Lamech ydoedd y cyntaf a halogodd ddeddf priodas; Gen. 4. 9. Wedi hynny yr ydym yn darllen am ordderchadon Abraham; Gen. 25. 6. Ni ymddengys bod Moses wedi gorchymmyn unrhyw ffurfiau gyda golwg ar briodas. Cydsyniad o'r ddau tu a ystyrid yn ddigon, ynghyd â chwblhad y briodas a'i rhoddai mewn grym. Y dull y gofynid merch mewn priodas a ddarlunir yn amgylchiad Sichem yn gofyn, yn Gen. 34. 6—12. Natur y cyttundeb, a'r dull o briodi, a ddarlunir yn Gen. 24. 50, 51, 57, 67. Yr oedd y dyweddiad yn cymmeryd lle yn flaenorol i'r briodas, yr hyn oedd yn gynnwysedig mewn addewid ddifrifol a wnai y mab a'r ferch i'w gilydd. Gwneid hyn weithiau drwy ysgrifen, neu roddi darn o arian i'r ferch yng ngŵydd tystion, fel gwystl o'r ymrwymiad. Ni fyddai y briodas yn canlyn y dyweddiad yn union-gyrchol. Os, rhwng y dyweddiad a'r briodas, yr halogai y ferch ei hun drwy anlladrwydd neu odineb, ymddygid tuag atti fel un odinebus. Ym mhlith yr Iuddewon, ac yn gyffredin drwy y dwyrain, ystyrid priodas yn fath o bryniad; gan nad oedd arian gan Jacob, rhoddodd bedair blynedd ar ddeg o wasanaeth am ei wragedd. Prynodd Dafydd Michal, merch Saul, am gant o flaengrwyn y Philistiaid. Gweinyddid y priodasau Iuddewig gyda gwleddoedd ac ardderch-

awgrwydd mawr. Yr oedd yn ddefod i'r priodfab yn yr hwyr i arwain y briodferch o dŷ ei chyfeillion i'w dŷ ei hun, gyda phob llawenydd a chaniadau. Ar yr achlysur hwn gwahoddai ei gyfeillion ynghyd, y rhai a ymwisgent mewn gwisgoedd priodas addas i'r amgylchiad; cymmerent lampau gyda hwynt, a disgwylient ger y tŷ; a phan ddelai y priodfab a'r briodferch allan, elai y cymdeithion gydag ef i'w dŷ, lle yr oedd gwledd wedi ei pharottoi yn ol amgylchiadau y rhai newydd-weddog. Ni chaniatteid i ddieithriaid mewn un modd ddyfod i'r briodas-wledd; ac os ymddangosai un yno, bwrid ef allan. Y darluniad hwn a rydd oleuni ar Mat. xxv. ynghyd â lleoedd eraill yn y Testament Newydd. Parhai y briodas-wledd wythnos, fel yr ymddengys oddiwrth Gen. 29. 26, 27. Barn. 14. 12. Marc 2. 19, 20. Mewn priodasau ym mhlith yr Iuddewon, yr oedd un yn cael ei ddewis i fod yn llywodraethwr y wledd, a'i swydd ydoedd cadw pob peth mewn trefn: gwneir crybwylliad am hwn yn yr hanes am y briodas yn Cana Galilea, yr hon a addurnwyd gan bresennoldeb ein Harglwydd. Diddymmid priodas gan yr Iuddewon drwy ysgariad yn gystal a thrwy angeu. Dyweda ein Hiachawdwr i Moses oddef hyn oblegid caledrwydd calonnau yr Iuddewon, yr hyn a brawf fod ysgaru mewn ymarferiad cyn rhoddiad y ddeddf trwy Moses. Yr Iuddewon yn y diwedd a ollyngent ymaith eu gwragedd am eu troseddau lleiaf: os na fedrai y wraig drin bwyd at archwaeth ei gwr, efe a gymmerai achlysur oddiwrth hynny i roddi llythyr ysgar iddi. Dywedodd ein Hiachawdwr, nad cyfreithlon ysgaru ond am odineb; a'r disgyblion (y rhai oeddynt wedi eu dwyn i fynu yn yr egwyddorion Iuddewig) yn wyneb hyn a ddywedent, mai gwell i wr beidio priodi! Y fath ydoedd eu dallineb gyda golwg ar briodas. Y mae Josephus yn dywedyd am amlder yr ysgariadau Iuddewig, a chyfaddefa iddo ef ei hun roddi llythyr ysgar i'w wraig, er ei bod wedi ymddwyn tri o blant iddo, a hynny am nad oedd ei dull yn foddus ganddo!

---

## VI. GENEDIGAETH A DYGIAD PLANT I FYNU.

Yn y dwyrain, unwedd ag yn Switzerland a rhai mannau eraill yn Ewrop, nid ydyw dwyn plant ond amgylchiad tra ysgafn; ac yn yr hen amseroedd, ymddengys mai y mammau yn unig a gynnorthwyent y merched yn amser eu tymp. Amgylchiadau genedigaeth plentyn ym mhlith yr Iuddewon a ddarlunir yn Ezec. 16. Ar yr wythfed dydd wedi genedigaeth mab, enwaedid ef, pryd ei cyssegrid i wasanaeth y Duw goruchaf. Pryd hyn hefyd y derbyniai efe enw, yr hwn a roddid iddo gyda golwg ar ryw amgylchiadau neillduol, Gen. 16. 11. a 25. 25, 26. Y cyntaf-anedig, mewn ffordd o uchafiaeth, a elwid, Agoriad y groth, ac yr oedd breintiau neillduol yn perthynu i hwn. Derbyniai ddwy ran o'r etifeddiaeth—efe ydoedd offeiriad y teulu—yr oedd ganddo awdurdod ar y rhai ieuangaf. Rhoddid y fron i blant yn gyffredin hyd oni fyddent yn dair blwydd oed; a phan ddiddyfnid plentyn, gwneid gwledd ar yr achos, 1 Sam. 1. 22. Gen. 21. 8. Y mae y ddefod hon mewn ymarferiad ym Mhersia hyd heddyw. Arosai y plant gwrrywaidd dan ofal y gwrag-

edd hyd oni fyddent ynghylch pum' mlwydd oed; yna cymmerid hwynt i ofal eu tad, yr hwn a ddysgai iddynt ddyledswyddau bywyd, deddf Moses, ynghyd â'r gwasanaeth crefyddol. Ni ymadawai y merched âg ystafelloedd y benywaid, ond pan fyddent ynghylch eu negeseuau. Wedi marwolaeth y tad, rhennid yr etifeddiaeth rhwng y plant yn gyfartal, ond y mab henaf; ond ymddengys oddiwrth Luc 15. 12. y gallai y meibion yn amser bywyd eu tad ofyn y rhan a ddigwyddai iddynt o'r da. Meibion y gordderchadon a ymddibynnent yn hollol ar ewyllys eu tad; ni allent wneuthur eu hawl i ddim. Mewn perthynas i'r merched, nid oedd ganddynt ran yn yr etifeddiaeth; a gellid eu gwerthu mewn priodas gan eu brodyr. Pan na byddai meibion, neu pan fyddent feirw, etifeddid y meddiannau gan y merched, yn ol Num. 37. 1—8. Ac os byddai un marw yn ddiblant, gwneid yn ol y cyfarwyddyd yn Num. 27. 8—11. Nid oedd gan y gweision neu y caethion unrhyw hawl yn yr etifeddiaeth, ond gellid eu gwneuthur yn etifeddion drwy ewyllys, Gen. 15. 3. Pan fyddid heb blant, byddai yn arferiad o fabwysiadu un i'r teulu, sef cymmeryd plentyn, llangc, neu ddyn dieithr i'r teulu, er bod yn aelod o'r teulu, a'i gyfaddef fel mab ac etifedd y meddiannau. Am ddeddfau mabwysiad, y mae Moses yn ddistaw. Mabwysiadodd merch Pharaoh Moses, Ecsod. 2. 10. a Mordecai Esther. Ni ddywedir wrthym am y defodau perthynol i'r achos, na pha mor belled yr oedd breintiau mabwysiad yn myned; ond tebygol eu bod ryw beth yn debyg i'r rhai Rhufeinaidd. Ym mhlith y Mahometiaid, cyflawnir defod mabwysiad trwy wneuthur i'r mabwysiedig fyned drwy grys yr hwn fyddo yn ei fabwysiadu. Mabwysiadodd Elias Eliseus trwy fwrw ei fantell drosto; a dywedodd yr Arglwydd y troai efe Sebna o'i swydd, ac y gwisgai efe Eliacim â'i wisg ef, Esay 22. 21.

---

## VII. Y CAETHION IUDDEWIG, &c.

Ymddengys bod caethiwed yn hen iawn, a thybia rhai oddiwrth Gen. 9. 25. bod dynion yn cael eu caethiwo cyn y diluw. Caniatteid i'r Iuddewon gael caethion o'u cenedl eu hunain, a dieithriaid, ond yr oeddynt i gael ei enwaedu, ac i addoli yr unig wir Dduw, ond y Canaaneaid, Gen. 17. 12. Meddiennid y caethion drwy wahanol ffyrdd, megis carcharorion rhyfel, Gen. 14. 14. Deut. 20. 14; oblegid dyled, pan fyddai y dyledwr yn analluog i dalu y gofynwr, 2 Bren. 4. 1. Mat. 18. 25; oblegid lledrad, pan na byddai y lleidr yn alluog i wneuthur ad-daliad, Ecsod. 22. 2, 3; trwy enedigaeth, y rhai a elwir, genedig yn y tŷ, Gen. 14. 14. Gofelid am fwyd a dillad y caethion gan eu harglwyddi, ond eu holl feddiannau a berthynent i'w meddianwyr; oblegid hyn dywedir eu bod yn ddau gwerth gwas cyflog. Priodent wrth ewyllys eu meistri, ac yr oedd eu plant i fod yn gaethion. Os byddai i Hebrewr priod werthu ei hun, yr oedd yn rhwym am saith mlynedd, a'r seithfed flwyddyn yr oedd i fod yn rhydd, efe a'i wraig a'i blant. Pan fyddai y dwyreinwyr heb etifeddion, priodent eu merched yn gyffredin â'r caethion yn eu tai; ac

ymddengys bod yr arferiad hon ym mhlith yr Hebreaid, 1 Cron. 2. 34, 35. Yn Barbary, pan fyddai y cyfoethogion yn ddiblant, prynent gaethion ieuaingc er mwyn eu dysgu, ac weithiau mabwysiadent hwynt i'w teuluoedd. Gyda golwg ar y caethion Iuddewig, rhaid oedd ymddwyn tuag attynt mewn tynerwch. Os tarawid caethwas gan ei feistr fel y byddai marw, yr oedd i gael ei gospi; os tarawid ei ddant neu ei lygad allan gan ei feistr, yr oedd i gael ei ryddhad; ac yr oedd yr holl gaethion i gael gorphwyso ar y Sabbath. Ym mhlith y Cenhedloedd yr oedd sefyllfa y caethion yn dra gresynol; nodid hwynt yn eu talcennau, fel y byddent dan warth parhaus. Y mae Paul, mewn cyfeiriad at y dull o brynu caethion, a'r hawl a fyddai gan eu meistriaid ynddynt, yn arddangos hawl Crist mewn Cristionogion: "Nid ydych yn eiddoch eich hunain; canys er gwerth y'ch prynwyd: gan hynny gogoneddwch Dduw yn eich corph, ac yn eich yspryd, y rhai sydd eiddo Duw." 1 Cor. 6. 20. Geilw Paul ei hun yn aml yn was Crist; a chan gyfeirio at nodau caethion, dyweda yn Gal. 6. 17. ei fod ef yn dwyn yn ei gorph nodau yr Arglwydd Iesu. Dedfrydid caethion yn gyffredin i weithio yn y mwyn-gloddiau dan y ddaear, lle nid oedd ond tywyllwch ac anobaith o'u blaen tra y parhai eu hoes yn y byd. At hyn tebygid y cyfeiria ein Hiachawdwr yn Mat. 8. 12. a 22. 13. pan ddyweda am y gwas drwg, ei daflu i dywyllwch eithaf, lle yr oedd wylofain a rhingcian dannedd. Yr oedd croeshoeliad yn gosp a roddid ar y mwyaf dirmygedig o gaethion. Gyda golwg ar hyn y dyweda Paul am ein Hiachawdwr, iddo gymmeryd arno agwedd gwas, a bod yn ufudd hyd angeu, ïe angeu y groes; ac iddo ddioddef y groes, gan ddiystyru gwaradwydd. I ddyfnderau y darostyngiad hyn y daeth ein Harglwydd ni,—dioddefodd gosp caethwas, fel y byddai i ni gael dyrchafiad pen tragywyddol o fewn y llannerchau dedwydd yn y nef.

---

## VIII. DEFODAU TEULUAIDD YR IUDDEWON.

AMRYW a gwahanol ydyw y dull o gyfarchiadau ym mhlith gwahanol genhedloedd y ddaear. Y dwyreinwyr oeddynt dra manwl mewn ymddygiadau allanol. Eu cyfarchiadau pan gyfarfyddent â'u gilydd ydoedd hirfaith, oblegid amlder eu gofyniadau y naill i'r llall. Yr Iuddewon a gyfarchent eu gilydd yn y wedd ganlynol,—Yr Arglwydd fyddo gyda thi—Yr Arglwydd a'th fendithio di—Bendigedig fyddech di gan yr Arglwydd. Ond y cyfarchiad mwyaf cyffredin ydoedd, Heddwch fyddo gyda thi. Yn amseroedd diweddaf Iuddewaeth yr oedd y ffurfiau o gyfarchiadau wedi myned yn dra hirfeithion; yr hyn a barodd i'n Harglwydd orchymmyn i'w ddisgyblion, Na chyfarchent neb ar y ffordd, ond prysuro at orchwyl mawr eu gweinidogaeth. Eliseus, pan yn anfon ei was Gehazi at fab y Sunamees, a orchymmynai iddo wneuthur yn y geiriau canlynol: 'Gwregysa dy lwynau, a chymmer dy ffon yn dy law, a dos ymaith: o chyfarfyddi â neb, na chyfarch iddo; ac o chyfarch neb di, nac atteb iddo.' Dangosai personau barch i'w gilydd pan gyf-

arfyddent ar y ffordd, trwy ddywedyd, Heddwch fyddo gyda chwi, gan ddodi eu llaw ddehau ar y fynwes; ond os byddai y person a annerchid o radd a sefyllfa uchel, ymgrymmid iddo i'r ddaear. Ymgrymmodd Jacob saith waith i'w frawd Esau pan ddaeth i'w gyfarfod. Weithiau cusanent odreu gwisg y person, a'r llwch ar yr hwn y sathrodd. Zec. 8. 23. Luc 8. 44. Act. 19. 26. Salm 62. 9. Ac yn lled gyffredinol yn y dwyrain, pan fyddo y deiliaid yn agoshau at eu brenhinoedd, ymgrymant hyd y ddaear, gan orwedd o'u blaen. Ymgrymodd Cornelius yn y fath fodd o flaen Pedr, fel y gwaharddodd yr Apostol iddo. Pan fyddai un yn ymweled â'r llall, efe a safai wrth y porth, gan guro, neu waeddu allan, hyd oni attelid ef gan yr hwn y gelwai arno; 2 Bren. 5. 9—12. Act. 10. 17. a 12. 13, 16. Derbynid ymwelwyr a gollyngid hwynt ymaith gyda pharch mawr. Wedi eu dyfod, dygid dwfr i olchi eu traed a'u dwylaw, Gen. 18. 4. ac wedi hynny enneinid hwynt âg olew. At hyn y mae yn debygol y cyfeiria y Salmydd yn Salm 23. 5. "Iraist fy mhen âg olew." Y lle y cyfarfyddai yr Inddewon a'r dwyreinwyr eraill i ymddiddan â'u gilydd, ydoedd pyrth y dinasoedd, lle yr oedd meingciau wedi eu gosod iddynt eistedd arnynt. Gen. 19. 1. Salm 69. 12. Yr Hebreaid yn yr amser gynt ni ddefnyddient eiriau dirmygus at eu gilydd mewn ymddiddanion, hyd yn nod pan wrthwynebent y naill y llall. Mewn ffordd o gerydd, dywedent,—y gwrthwynebwr, Raca, disylw, ac weithiau, ynfyd, yr hwn air yn yr Hebraeg a arwydda ddyn drygionus, neu atheist. Pan ddywedid yr hyn ni fyddai dderbyniol, attebai y person a anfoddlonid—Digon. Deut. 2. 26. Luc 22. 38. Y ffurf o gadarnhad dywediad ydoedd y ganlynol:—Ti a ddywedaist, neu, Ti a ddywedaist yn iawn. Cyfodai yr Iuddewon yn dra boreu, gyda thorriad y dydd, pryd y torr-ymprydient; ciniawent ynghylch un ar ddeg, a swpperent am bump yn y prydnawn. Yr oedd eu hymborth yn dra chyffredin, yn gynnwysedig gan mwyaf o laeth, mel, llysiau, a locustiaid. Ar y gwyliau bwyttaent gig, i'r hwn yr ymddengys eu bod yn dra ffafriol. Num. 11. 4. Pan fwyttaent rhoddent eu dwylaw yn y llestr, fel y gwnant yn y dwyrain hyd heddyw. Yr oedd Isaac yn ei henaint yn hiraethu am fwyd blasus, yr hyn a ddengys mor gyffredin ydoedd ymborth beunyddiol yr hynafiaid, oblegid yr oedd mewn amgylchiadau y gallasai gael yr hyn a chwennychai i'w fwytta. Y ddiod fwyaf cyffredin oedd dwfr, yr hwn a dynnid o'r ffynnonau, ac ni waherddid ef i neb. Wedi i'r Israeliaid sefydlu yng Nghanaan, yfent win o wahanol rywogaethau, yr hwn a gedwid mewn costrelau o grwyn. Y ddiod gadarn, sef y *Shecer*, a grybwyllir yn Lef. 10. 9. ac mewn mannau eraill, a arwydda unrhyw ddiod wedi gweithio, pa un bynnag ai o ŷd, afalau, neu ffrwythau y gwneid hi. Cymmerai y patrieirch eu hymborth yn gyffredin dan gysgod coedydd; arosodd Abraham i weini i'r angylion pan fwyttaent dan gysgod y pren. Gen. 18. 8. Yn India gwneir gwleddoedd mewn neuaddau a gerddi cyhoedd, lle y caniatteir i ddieithriaid ddyfod; ac y mae yr amgylchiad hwn yn rhoddi goleu ar un peth a ddigwyddodd yn hanes ein Hiachawdwr, sef dyfodiad Mair edifeiriol i'r ystafell lle yr oedd efe. Nid oedd yr ymwelwyr i fyned i'r gwleddoedd hyd nes y dywedid pob peth yn barod, ac y mae hyn yn egluro y dammegion yn Mat. 22. 2—4. a Luc 14. 16,

17. Y mae yr arferiad hon yn Persia hyd yn bresennol. Dywed Syr Harford Jones iddo ef, pan yn gennadwr dros y deyrnas hon yn Persia, yn y flwyddyn 1809, giniawa gyda'r Khan o Bushire, ond nad oedd i fyned i'r giniaw hyd oni ddywedid wrtho fod pob peth yn barod. Yr Iuddewon yn bresennol, yn ol enghraifft eu hynafiaid, a olchant eu dwylaw yn ofalus cyn bwytta; ac wedi bwytta, golchant hwy drachefn. Pan eisteddant i fwytta, pennaeth y tŷ, neu y gwr mwyaf cyfrifol ym mysg y cymdeithion, a gymmer fara ac a'i torra, ond ni wna ei rannu: gosoda ei law arno, gan adrodd y fendith ganlynol:—"Bendigedig fyddot ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y byd, yr hwn a ddygi allan fara y ddaear." Wedi rhannu y bara rhwng y cymdeithion, efe a gymmer y llestr gwin yn ei law ddehau, gan ddywedyd, "Bendigedig fyddot ti, O Arglwydd ein Duw, Brenin y byd, am ddwyn o honot ffrwyth y winwydden." Yna adroddant Salm 23.

Gynt, fel yn bresennol, nid oedd tai er llettya a rhoddi bwyd i ddieithriaid a theithwyr yn y dwyrain. Y tai a elwid *Caravanseries*, oeddynt weigion o bob peth; rhaid i'r teithiwr fod â phob angenrheidiau gydag ef, neu fod mewn diffyg; o ganlyniad, ystyrid llettygarwch yn un o brif ddyledswyddau pawb. Yr oedd y patrieirch yn hynod am ddilyn llettygarwch, ac felly y mae y dwyreinwyr hyd heddyw. Crybwyllir yn yr Ysgrythyrau yn neillduol am Abraham a Lot. Gorchymmynir y ddyledswydd yn y Testament Newydd, a dywedir bod y prif Gristionogion yn hynod yn eu caredigrwydd i ddieithriaid.

---

## IX. YMDDYGIAD YR IUDDEWON AT EU MEIRWON.

Yn ol cyfraith Moses, yr oedd corph marw yn trosglwyddo halogrwydd deddfol i bob peth a gyffyrddai âg ef, hyd yn nod i'r tai a'r dodrefn, yr hwn oedd i barhau saith diwrnod. Num. 19. 14—16. Pan fyddai neb farw, y gorchwyl cyntaf a wneid âg ef ym mhlith yr Iuddewon fyddai cau ei lygaid; gwneid hyn gan berthynas agosaf y marw, yr hwn hefyd a roddai y cusan ymadawol i'r marw. Gwnaed addewid i Jacob pan gymmerodd ei daith i'r Aipht, y gosodai Joseph ei ddwylaw ar ei lygaid; Gen. 46. 4. ac yr ydym yn darllen pan fu Jacob farw, i Joseph syrthio ar ei wyneb, a'i gusanu. Gen. 50. 1. Y gorchwyl nesaf ydoedd golchi y corph, fel y dywedir am Tabitha yn Act. 9. 37. Yr oedd yn arferiad foreuol gan yr Iuddewon i wneuthur galarnadau mawr a chyhoedd ar ol eu cyfeillion ymadawedig. Gwnaeth Abraham alar mawr ar ol Sarah, a Joseph a'i frodyr, ynghyd â'r Aiphtiaid ar ol Jacob. Ymddengys hefyd oddiwrth yr Ysgrythyrau bod yr Iuddewon yn cyflogi dynion i alaru mewn angladdau; a thebygol mai dyma swydd y galar-wragedd a grybwyllir yn Jer. 9. 17. Yr oedd ganddynt emynau angladdau, a chwareuid âg offer cerdd hefyd. Ar farwolaeth merch Jairus, crybwyllir am y cerddorion; Mat. 9. 23. Nid oedd dull yr Iuddewon yn wahanol iawn i ddull yr Aiphtiaid o gladdu, ond bod yr Aiphtiaid yn nodedig yn y gelfyddyd o berarogli y cyrph meirwon. Dy-

weda Herodotus, a Diodorus Siculus, am ddull yr Aiphtiaid yn perarogli y meirwon yn dra helaeth. Peraroglwyd Jacob yn ol dull yr Aiphtiaid; gosodwyd ef mewn *nitre* am ddeg diwrnod ar hugain er sychu y gwlybwr, a thros ddeugain niwrnod enneinid ef â gwahanol beraroglau. Dygodd Nicodemus beraroglau gyda golwg ar enneinio corph yr Arglwydd Iesu Grist. Heblaw perarogli cyrph personau i fri a chyfodiad, gwnaent losgiadau mawrion trwy gynneu tanau ar ol eu brenhinoedd. Yn y tanau hyn y llosgent eu hym-ysgaroedd, eu dillad, a'r pethau eraill a berthynent iddynt. Dywedir yn 2 Chron. 16. 14. i'r Iuddewon wneuthur tân mawr ar ol Aser. Gwnaed hyn hefyd yn angladd Sedeciah. Jer. 34. 5. Yr oedd yn ddefod gan y Rhufeiniaid a'r Groegiaid i losgi cyrph eu meirwon, a theflid llawer iawn o beraroglau i'r tân; ond anaml iawn y gwneid hyn gan yr Iuddowon. Llosgwyd esgyrn Saul a'i feibion gan wyr Jabes Gilead. 1 Sam. 31. 13. Nid oedd claddfeydd yr hynafiaid, fel yn bresennol, yng nghanol trefydd poblogaidd. Yr oedd cladd-feydd y Rhufeiniaid ryw bellder oddiwrth eu dinasoedd, ac yr oedd beddau yr Iuddewon yn eu gerddi, yn eu maesydd, ac yn ochrau eu mynyddoedd. Chwennychent gael eu gosod mewn beddau a gleddid mewn lleoedd anghyfannedd. Yr oedd yr Iuddewon yn dra chwannog i adeiladu colofnau mawrion ar feddau yr ymadawedigion, am yr hyn y mae crybwylliad yn y Testament Newydd. Yr oedd gwledd angladdol yn gyffredin yn canlyn angladdau Iuddewig. Wedi claddu Abner, daeth y bobl at Dafydd, er bwytta gydag ef; 2 Sam. 3. 25. y brenin oedd y galarwr pennaf, a thebygol [mai efe a'u gwahoddodd i'r wledd. Am y ddefod hon y crybwyllir yn Jer. 16. 7. "Ni rannant iddynt fwyd mewn galar, i roi cysur iddynt am y marw; ac ni pharant iddynt yfed o phiol cysur, am eu tad, neu am eu mam;" ac yn yr adnod nesaf, gelwir y lle y bwytteid ynddo ar ol y meirwon yn dŷ gwledd. Geilw Hosea y wledd, "Bara galarwyr," pen. 9. 4. Yr arwyddion galar a ddangosid gan yr Iuddewon ar farwolaeth cyfeillion, oeddynt, rhwygo y dillad, ym-wisgo mewn sachliain, gosod llwch ar eu pennau, ymwisgo mewn galar-wisgoedd, a gorchuddio yr wyneb a'r pen. Yn yr hen amser, yr oedd amser wedi ei bennodi i alaru ar ol y marw, yr hwn a elwid Dyddiau galar. Galarodd yr Aiphtiaid ddeg a thrugain o ddiwr-nodau ar ol Jacob; a galarodd Israel ar ol Moses yn rhosydd Moab ddeg diwrnod ar hugain. Wedi hyn amser galaru yr Iuddewon yn gyffredin oedd saith niwrnod. Dangosai yr Iuddewon fwy neu lai o anrhydedd ar ol eu brenhinodd, yn ol y teilyngdod a fyddai yn ddy-ledus iddynt. Gwnaent ganiadau galarus ar eu hol, oblegid cry-bwyllir yn 2 Chron. 35. 25. "Ac wele hwynt yn ysgrifenedig yn y galarnadau."

## PENNOD II.

*Taflenau o bwysau, mesurau, ac arian a grybwyllir yn yr Ysgrythyrau, wedi eu cymmeryd allan yn bennaf o waith Dr. Arbuthnot.*

### I. PWYSAU IUDDEWIG, WEDI EU DWYN I BWYSAU PRYDEINAIDD, (TROY WEIGHT,) 12 WNS YN Y PWYS.

| | Pwys. | Wns. | p. c. | gr. |
|---|---|---|---|---|
| Gerah, ugeinfed ran o sicl ... ... ... | 0 | 0 | 0 | 12 |
| Becah, hanner sicl ... ... ... ... | 0 | 0 | 5 | 0 |
| Sicl ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 10 | 0 |
| Maneh, trugain Sicl ... ... ... ... | 2 | 6 | 0 | 9 |
| Talent, 50 Maneh, neu 3000 o Siclau ... | 125 | 0 | 0 | 0 |

### II. Y MESURAU YSGRYTHYROL, WEDI EU DWYN I FESURAU PRYDEINAIDD.

| | Troed. | Mod. |
|---|---|---|
| Lled bys ... ... ... ... ... | 0 | 0,912 |
| Lled llaw, neu ddyrnfedd ... ... ... | 0 | 3,648 |
| Rhychwant ... ... ... ... ... | 0 | 10,944 |
| Cyfydd ... ... ... ... ... | 1 | 9,888 |
| Gwrhyd ... ... ... ... ... | 7 | 3,552 |
| Corsen Ezeciel ... ... ... ... ... | 10 | 11,328 |
| Pawl Arabaidd ... ... ... ... ... | 14 | 7,104 |
| Llinyn Mesur ... ... ... ... ... | 145 | 1,104 |

### III. ARIAN IUDDEWIG, WEDI EU DWYN YN ARIAN PRYDEINAIDD.

| | Punt. | Swllt. | Cein. |
|---|---|---|---|
| Gerah ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 1,2687 |
| Becah ... ... ... ... ... | 0 | 1 | 1,6875 |
| Sicl ... ... ... ... ... | 0 | 2 | 3,375 |
| Maneh, hefyd punt ... ... ... ... | 5 | 14 | 0,75 |
| Talent ... ... ... ... ... | 342 | 3 | 9 |
| Swllt aur ydoedd werth ... ... ... | 0 | 12 | 0,5 |
| Sicl aur ... ... ... ... ... | 1 | 16 | 6 |
| Talent o aur ... ... ... ... ... | 5675 | 0 | 0 |

Yn y daflen uchod, prisir yr arian wrth bump swllt yr wns, a'r aur yn ol pedair punt.

### IV. ARIAN RHUFEINIG, A GRYBWYLLIR YN Y TESTAMENT NEWYDD, WEDI EU DWYN YN ARIAN PRYDEINAIDD.

| | Punt. | Swllt. | Cein. | Ffyr. |
|---|---|---|---|---|
| Hatling ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 0 | $0\frac{3}{4}$ |
| Ffyrling ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 0 | $1\frac{1}{2}$ |
| Ceiniog ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 7 | 3 |
| Punt ... ... ... ... ... | 3 | 2 | 6 | 0 |

---

### V. Y MESUR HIR YSGRYTHYROL.

| | Mill. | Cam. | Troed. |
|---|---|---|---|
| Cyfydd ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 1,824 |
| Stadia neu furlong ... ... ... ... | 0 | 145 | 4,6 |
| Taith diwrnod Sabbath ... ... ... | 0 | 729 | 3,0 |
| Milldir ddwyreiniol ... ... ... ... | 1 | 403 | 1,0 |
| Parasang ... ... ... ... ... | 4 | 153 | 3,0 |
| Taith diwrnod ... ... ... ... | 33 | 172 | 4,0 |

---

### VI. GWLYB FESURAU IUDDEWIG, WEDI EU DWYN I FESURAU GWIN PRYDEINAIDD.

| | Gal. | Pint. |
|---|---|---|
| Caph ... ... ... ... ... ... | 0 | 0,625 |
| Log ... ... ... ... ... ... | 0 | 0,833 |
| Cab ... ... ... ... ... ... | 0 | 3,333 |
| Hin ... ... ... ... ... ... | 1 | 2 |
| Sat neu Seah... ... ... ... ... ... | 2 | 4 |
| Bath neu ephah ... ... ... ... ... | 7 | 4 |
| Coros neu homer ... ... ... ... ... | 75 | 5 |

---

### VII. SYCH FESURAU IUDDEWIG, WEDI EU DWYN I FESURAU YD PRYDEINAIDD.

| | Pec. | Gal. | Pint. |
|---|---|---|---|
| Gachal ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 0,1416 |
| Cab ... ... ... ... ... ... | 0 | 0 | 2,8333 |
| Omer neu gomer ... ... ... ... | 0 | 0 | 5,1 |
| Sat neu seah, hefyd peccaid ... ... ... | 1 | 0 | 1 |
| Ephah ... ... ... ... ... ... | 3 | 0 | 3 |
| Letech ... ... ... ... ... ... | 16 | 0 | 0 |
| Coros, comer, neu homer ... ... ... | 32 | 0 | 1 |

# DEFODAU DWYREINIOL.

### I. TAI A PHEBYLL.

GEN. 18. 1, 2. "Ac efe yn eistedd wrth ddrws ei babell yng ngwres y dydd."—Y bugeiliaid yn y dwyrain hyd y dydd hwn, a welir yng ngwres y dydd yn eistedd wrth ddrysau eu pebyll, yn debyg i'r dull a adroddir am y patriarch Abraham. Dyweda Chandler, iddo ef pan ar ei daith trwy Asia Minor, fyned trwy ddyffryn llawn o fythod, ac wrth y drysau yr eisteddai y Turcomaniaid, rhai dan y bargodion mawrion, ac eraill dan goed cysgodfawr, a'r diadelloedd geifr yn eu cylchynu. Y mae yr haul yn dra phoeth yn y dwyrain, a'r gwres yn fawr iawn ganol dydd; o ganlyniad cilia y bugeiliaid hyd y gallant dan gysgodau, a phan gilia yr haul ânt drachefn at eu gorchwylion. Yn Japan, yr arferiad ydyw, pan welo gwr y tŷ ddieithr-ddyn yn agoshau at ei annedd, iddo fyned i'w gyfarfod gyfran o'r ffordd; a chyda phob arwyddion o ymostyngiad a pharch, efe a'i groesawa i'w dŷ; yna efe a brysura adref, ac a'i derbynia gyda'r un parch i'w gaerau. Nid rhyfedd bod yr Ysgrythyrau yn crybwyll am lettygarwch yr hynafiaid yn yr amserau gynt, oblegid yr oedd yn dra theilwng o sylw, ac yn rhagori ym mhell ar ddim o'r fath beth ag a ddangosir yn bresennol yn ein plith ni. Adrodda y teithiwr Bartram, iddo ef fyned heibio i sefydliad Indiaidd, ac iddo weled amryw o hynafgwyr yn eistedd ar grwyn a daenwyd ar y ddaear, dan gysgod derw a phalmwydd canghennog, y rhai oeddynt yn rhesau o flaen y tŷ. Ymddangosent yn ddedwydd, a gwelid mwy o arwyddion boddlonrwydd arnynt nag a welir ar lawer o bendefigion mewn cadeiriau goreuredig yn eu palasau. Yn y dwyrain, gwelir y pererin a'r dieithr-ddyn yn cael eu gwahodd i'r babell yn serchus, ac nid yn curo wrth y drws ac yn cael eu gommedd; oblegid, y mae y dwyreinwyr, fel y crybwyllwyd, yn cymmeryd eu gorsafion yn yml eu pebyll i eistedd, a phan welont neb mewn angen am ymborth, neu le i orphwyso am noswaith, cymhellant bob angenrheidiau arno, gan ei hystyried yn fraint eu bod yn gallu dangos a gwneuthur y fath gymmwynas. Wrth ddilyn llettygarwch yn y wedd hon yn yr amserau gynt, y llettyodd rhai angylion yn ddiarwybod. Wedi i'r dwyreiniwr unwaith gymmeryd y dieithr-ddyn i'w babell neu i'w dŷ, gwneir pob trugaredd angenrheidiol iddo, gan ymdrechu ei wneuthur yn gysurus, ac nid oes a ga ei niweidio: yr oedd Lot yn barod i aberthu ei ferched, yn hytrach nag i'r dieithriaid gael eu hammharchu a'u niweidio; a'r fath ydyw ymddygiadau rhai llwythau o ddwyreinwyr hyd yn awr, fel y gosodant eu bywydau eu hunain mewn perygl, yn hytrach nag i neb gael cyffwrdd â'r pererin lluddedig.

Barn. 16. 27. "A'r tŷ oedd yn llawn o wyr a gwragedd, ac ar y nen yr oedd ynghylch tair mil."—Wrth ddarllen am nifer y bobl yn nheml Dagon, ac yn neillduol ar ei nen, y mae yn anhawdd i ni yn y parthau hyn o'r byd ddeall pa fodd y gallasai hynny fod; ond y mae y teithiwr enwog Shaw wedi rhoddi goleu ar y pwngc, drwy roddi darluniad o anneddau y dwyrain. Nennau y tai yno ydynt wastad, a chyntedd mawr yn y canol. Ymddengys mai yng nghyntedd y deml yr oedd Samson wedi ei osod i chwareu, a'r edrychwyr ar y nen yn difyrru eu hunain ar ei draul. Dyweda y teithiwr dywededig, iddo ef weled miloedd o ddynion ar nen palas y Dey o Algiers, yn difyrru eu hunain yn y wedd ddywededig, a bod math o oriel fawr yn ymestyn ym mlaen. Yn awr, gan fod yr oriel hon yn gorphwys ar golofnau, hawdd fuasai ei thynnu i lawr, ond symmud ymaith y ddwy brif golofn. Diau mai ar oriel fawr, a ymestynai dros fur cyntedd teml Dagon, yr oedd y Philistiaid; a thrwy i Samson dynnu y prif golofnau i lawr, syrthiasant oll, a gwnaed hwy yn gelaneddau.

Ruth 4. 1. "Yna Boaz a aeth i fynu i'r porth."—Amcan Boaz yn myned i fynu i'r porth, ydoedd dwyn matter o gyfraith i'r prawf, yn ol defodau yr Iuddewon, ynghyd â defodau y dwyreinwyr yn gyffredin; oblegid ym mhyrth y ddinas gan mwyaf y penderfynid pob matterion cyfreithiol. Porth barn y gelwir llys cyfiawnder gan yr Arabiaid hyd y dydd hwn. Dyweda un teithiwr, i'r Saraceniaid ddyfod â'r ddefod hon i Spaen, ac mai yn y pyrth y gweinyddai y Mwriaid gyfiawnder, tra fuont yn preswylio yn y wlad ddywededig. Dyweda y teithiwr Jacob, iddo ef ymweled amryw weithiau âg Alhambra, hen balas y brenhinoedd Mwraidd; ei fod yn sefyll ar fryn goruwch y ddinas, ac yn cael ei amgylchynu gan fur uchel o drwch mawr; a bod y fynedfa dan fwa, ar yr hwn yr oedd allwedd yn gerfiedig, yr hon oedd arwydd y brenhinoedd Mahometaidd. Gelwid y porth hwn yn Borth Barn, am mai ynddo, yn ol dull y dwyrain, y gweinyddai y brenin gyfiawnder. I'r porth y deuid â'r cwynion, yno yr holid y tystion, ac y penderfynid pob ymrafaelion. Yr oedd y lle hwn yn gyfleus iawn i'r dinasyddion gyfarfod ynghyd, er trefnu ac ymgynghori ynghylch pethau; ac oblegid mai yma y cyfarfyddai yr henuriaid a'r barnwyr, nid rhyfedd fod yr Ysgrythyrau yn crybwyll mor aml am eistedd yn y porth, am gyfarfod yn y porth, ac am fyned i fynu i'r porth.

1 Sam. 9. 26. "A hwy a gyfodasant yn foreu: ac ynghylch codiad y wawr, galwodd Samuel ar Saul i (ar) ben y tŷ, gan ddywedyd, Cyfod, fel y'th hebryngwyf ymaith." Y mae yr ymadroddion yn dra annealladwy i ni, oblegid yn ol yr Hebraeg, ymddengys mai ar nen y tŷ yr oedd Saul yn cysgu; yr hyn sydd dra rhyfedd yn ol ein harferion a'n defodau ni; ond y mae yn arferiad gan bobl y dwyrain, er yr amserau gynt, i gysgu ar nennau y tai. Y teithiwr Wood a ddywed bod yr arferiad hon yn gyffredin o gysgu allan, yn enwedigol yn yr haf, yn gystal er mwyn hyfrydwch ag iechyd. Y teithiwr ei hun a arferai gysgu felly yn y dwyrain, yr hyn a allesid yn hawdd ei wneuthur, am fod nennau y tai, fel y crybwyllwyd yn barod, yn wastad. Dyweda ei bod yn hyfryd iawn i gysgu felly, am ei bod yn oer ar ol gwres mawr y dydd, ac allan o

gyrhaedd brathiadau y gwybed. Adrodda un hanesydd, fod yr arferiad hon yn gyffredin yn Persia; a phan ydoedd efe wedi cymmeryd ei letty un noswaith, fod pedair gwraig ei lettywr, a'u morwynion, ynghylch machlud haul yn myned i gysgu i nen y tŷ, pob un yn cymmeryd ei phlentyn a'r crud i'r dosparth a berthynai iddi; cymmerent hefyd eu costrelau dwfr gyda hwynt. Saul yntau, yr un modd, a gysgai ar nen tŷ Samuel, yr hwn yn y boreu a aeth yno er ei ddihuno a'i anfon i'w ffordd. Morier a Burckhardt, ynghyd âg eraill, a ddywedant yr un peth gyda golwg ar hyn, sef bod y gwelyau yn cael eu taenu ar nennau y tai, heb un cysgod uwch ben; yr arferir swpperu yno, ac wedi hynny rhodio ar hyd y nen, naill ai er ymddiddan, neu ymddifyrru drwy sylwi ar fodau y ffurfafen; ac mai y benywaid yn gyffredin a gyfodent yn gyntaf, a'r gwyr ar eu hol yn ymdroi yn ddiog yn eu gwelyau. Gellir crybwyll hefyd yma, mai oblegid gwastadrwydd nennau y tai y gwnaed pabell i Absalom, modd y gellai fyned i mewn at ordderchadon ei dad yng ngŵydd holl Israel. 2 Sam. 16. 22. Ac ar nen y tŷ y rhodiai Dafydd, pan welodd Bathseba yn yr ardd yn ymolchi.

1 Bren. 20. 34. "A chai wneuthur heolydd it' yn Damascus." Benhadad, brenin Syria, yn ei gyfyngder, a wnaeth yr addewid hon i Ahab, brenin Israel; ac y mae yn ymddangos ryw beth yn ddieithr i ni, y diben neu y budd o i un brenin gael heolydd ym mhrif-ddinas brenin arall. Ond yr oedd hynny mewn ymarferiad yn y dwyrain, ac ef allai yn parhau mewn rhai mannau hyd etto. Yn hanes y Tyrciaid dywedir i Bajazet, wedi peri i'r gwarchae gael ei gyfodi oddiwrth ei brif-ddinas, brysuro drachefn er gwarchau ar Gaercystenyn. Adeiladodd ymddiffynfeydd yn ei herbyn, gan ymdrechu cau allan bob adgyfnerthion a fwriedid anfon i'r ddinas. Emanuel yr ymerawdwr, wedi ei gyfyngu yn y wedd hon, ac wedi blino gan y rhyfeloedd trymion, a anfonodd at Bajazet i ddeisyf heddwch. Ond ni chaniattai Bajazet heddwch i Emanuel, ond ar yr ammod iddo ef roddi cyflawn ryddid i'r Tyrciaid i fyw ynghyd mewn un heol yng Nghaercystenyn, a chael byw yn ol eu cyfreithiau, eu defodau, a than farnwr o'u plith eu hunain. Wedi ymheddychu ar yr ammodau hyn, anfonwyd teuluoedd o Dyrciaid yno i fyw; ond ym mhen ychydig ymlidiwyd hwynt oddi yno, ynghylch yr un amser ag y gorchfygwyd Bajazet gan Tamerlane fawr, ac y cymmerwyd ef yn garcharor. Ac y mae yn dra thebygol mai i'r diben o osod Iuddewon yn Damascus, y rhoddwyd heolydd i frenin Israel gan frenin Syria.

1 Chron. 9. 18. "Porth y brenin."—Gelwid y porth hwn yn borth y brenin oblegid ei adeiladu gan Salomon, ynghyd â'r mur ar y tu hwnnw, drwy draul a thrafferth fawr. Cyfodwyd y sylfaen bedwar can' cyfydd, neu saith cant a naw troedfedd ar hugain, o waelod dyffryn dwfn Cedron. Pan ymwelodd y Cadpen Light â Jerusalem yn y flwyddyn 1814, ymddengys bod rhai o'r cerrig mawrion hyn i'w gweled yno y pryd hwnnw. Wrth ddarlunio tŷ yr Agha, yr hwn sydd wedi ei adeiladu ar y fan yr oedd tŷ Pontius Pilat gynt, dyweda, mai y peth mwyaf a dynnai ei sylw ydoedd, hanau o gerrig mawrion a berthynent i'r pentref. Yr oedd yr hynafiaid yn hoff o ddefnyddio cerrig mawrion mewn adeiladau, oblegid yn ysgarthion

hen adeiladau yn y dwyrain y maent i'w gweled yn fynych. Dyweda Mr. Wood am Palmyra, bod rhai cerrig yn y muriau o faintioli anferth, o wyth i bumtheg troedfedd ar hugain o hyd, a naw o uchder. Bod yno dair o'r maintioli canlynol:—deunaw troedfedd a deugain o hyd, a deuddeg troedfedd o drwch. Yn Bagdad, y mae porth Al Talism wedi ei gau i fynu, mewn ffordd o goffadwriaeth am fyned o'r Sultan Murad drwyddo mewn gorfoledd, wedi iddo ad-ennill Bagdad oddiwrth y Persiaid. Mewn canlyniad i hyn, cauwyd y porth i fynu, ac y mae heb ei agoryd hyd heddyw. Ymddengys ei bod yn ddefod yn y dwyrain i rwystro camrau cyffredin i fyned trwy borth wedi i ryw ben coronog fyned trwyddo ar ryw amgylchiad neillduol. Dyweda Syr R. K. Porter bod porth wedi ei gau yn y wedd hon yn Ispahan, ac yn cael ei ystyried yn gyssegredig.

Job 24. 16. "Yn y tywyll y maent yn cloddio trwy dai."—Dywedir yma am ladron yn torri drwodd er lledratta; ond y mae yn ymddangos ryw beth yn rhyfedd i ni, eu bod yn gallu torri trwy y muriau heb ddihuno y preswylwyr. Ond ymddengys bod y tai cyffredin yn y dwyrain wedi eu gwneuthur o laid a chlai, sef y muriau; o ganlyniad gellid torri drwyddynt âg arfau heb wneuthur fawr o stwr. Dywedir i ni gan Mr. Ward fod y lladron yn Bengal yn fynych yn torri trwy y muriau llaid a than y lloriau clai, ac felly yn dyfod i mewn yn y nos, ac yn yspeilio yn ddiarwybod hollol i'r preswylwyr.

Can. 1. 5. "Du ydwyf fi, ond hawddgar, (merched Jerusalem,) fel pebyll Cedar, fel llenni Salomon."—Rhai pebyll ydynt hardd anghyffredin, ac nid yw y Tyrciaid yn attal unrhyw draul er eu hardderchogi. Y pebyll a berthynant i'r Grand Signor ydynt dra gorwych, wedi eu gorchuddio yn hollol â sidan. Gwnaed pabell wrth orchymmyn Nadir Shah allan o'r yspail fawr a gymmerodd efe oddiar y teyrnasoedd, yr hon ydoedd yn rhagori ar ddim a welwyd erioed, ac uwchlaw darluniad. Yr oedd o'r tu allan wedi ei gorchuddio â brethyn scarlad, ac o'r tu fewn â math o liain gwerthfawr, ar yr hwn yr oedd lluniau anifeiliaid, adar, coedydd, a blodau, oll wedi eu gwneuthur o berlau a cherrig gwerthfawr. Muriau y babell, y polion, a'r hoelion perthynol iddi oeddynt lwyth pump o Elephantiaid. Dangosid hi ar wyliau pennodol yn Herat, dros yspaid gweddill teyrnasiad Nadir Shah. Hyspysa Syr J. Chardin, fod brenin diweddar Persia wedi gwneuthur pabell werth dwy filiwn o bunnau: gelwid hi yn Dŷ Aur, am y disgleiriai drwyddi o aur pur. "Fel pebyll Cedar,"—Cedar sydd enw llwyth Arabaidd, a grybwyllir yn aml yn yr Hen Destament, Esay 21. 17. Jer. 49. 28. Crybwylla Pliny hefyd am Cedar wrth yr enw Cedrei. Preswylia yr Arabiaid Bedowinaidd mewn pebyll, y rhai a alwant yn dai, a'r rhai hefyd gan mwyaf ydynt yn bresennol yn dduon. Dyweda D' Arvieux fod pebyll y llwyth hwn o Arabiaid wedi eu gwneuthur o flew geifr duon, y rhai a nyddir ac a weuir gan y benywaid; ac ni all y gwlaw mwyaf dreiddio drwyddo. At y pebyll hyn y mae yn debygol y cyfeirir yn y Caniadau, oblegid nid pell o Judea ydoedd Arabia, ac yr oedd y pebyll yn dra adnabyddus i'r Iuddewon. Os na bydd defnydd y pebyll yn ddu, hwy a'u lliwiant felly â chopras.

Esay 22. 1. "Beth a ddarfu i ti yn awr, pan ddringaist ti oll i

nennau y tai?"—Yr oedd y tai yn y dwyrain yr amser gynt, fel y maent yn bresennol. Y mae nen y tŷ yn wastad, a mur oddi amgylch iddo. Deut. 22. 8. "Pan adeiladech dŷ newydd, yna y gwnai ganllawiau oddi amgylch i'th nen; fel na osodech waed ar dy dŷ, pan syrthio neb oddiarno." Ar nennau y tai y gwelir y preswylwyr yn rhodio, yn bwytta, yn cysgu, ynghyd â thrafod matterion eraill. 1 Sam. 9. 25. Yma hefyd weithiau y cyflawnid gwasanaeth crefyddol, Act. 10. 9. Pan fyddo rhyw beth mwy na chyffredin yn cymmeryd lle yn yr heol yn ninasoedd y dwyrain, ânt yn uniongyrchol i nennau y tai, er gweled beth fyddo yn myned ym mlaen; a phan fyddai eisiau gwneuthur rhyw beth yn gyhoedd, y ffordd hawddaf a mwyaf effeithiol ydoedd ei gyhoeddi ar nennau y tai i'r bobl yn yr heolydd. At yr arferiad hon y cyfeiria ein Harglwydd yn Mat. 10. 27. "A'r hyn a glywch yn y glust, pregethwch ar bennau y tai." Dyweda Mr. Clarke yn hanes ei deithiau, iddynt yn yr hwyr gyrhaeddyd tŷ yr Agha, sef pennaeth y pentref: iddynt gael eu harwain ar hyd y grisiau i ben y tŷ, lle yr oedd yr Agha yn eistedd, ac eistedd-leoedd wedi eu parottoi i'r ymwelwyr hefyd. 'Cymmerasom ein swpper,' (medd y teithiwr,) 'ar nen y tŷ, ac a synnasom yn fawr pan ddeallasom mai yno yr oeddym i gysgu hefyd.'

Esay 22. 23. "Fel hoel mewn lle sicr."—Yn yr hen amserau ac yng ngwledydd y dwyrain, y mae yr arferion yn wahanol, ac yn gwahaniaethu yn bresennol. Yn yr amser gynt nid oedd y fath amrywiaeth o ddodrefn ag sydd yn bresennol. Yr oedd yn gyfleus ac yn angenrheidiol hefyd iddynt pan adeiladent dai, i roddi digon o hoelion yn ei wahanol ystafelloedd, er crogi y llestri a phethau eraill arnynt. Rhoddid yr hoelion yn y muriau pan adeiledid y tŷ, ac yn y dull canlynol y dyweda Chardin am y matter: "Ni wthiant yr hoelion ac ni churant hwynt â morthwylion i'r muriau; oblegid os bydd y muriau o bridd-feini, y maent yn rhy galedion; ac os o glai y maent yn rhy feddal; ond gosodant yr hoelion yn y muriau pan fyddont yn eu hadeiladu. Yr hoelion ydynt fawrion, a phennau pedwar onglog iddynt, ac yn geimion. Rhoddir hwynt yn gyffredin yn ymyl y ffenestri ac yn ymyl y drysau, er crogi pethau arnynt.

Jer. 22. 13. "Ystafellau."—Ystafelloedd uchaf. Yr ystafelloedd gwychaf yng ngwlad Judea oeddynt y rhai uchaf yn y tŷ, fel y maent yn bresennol yn Aleppo. Defnyddir y llawr er gwasanaeth y gweision a'r ceffylau. Dyweda un teithiwr mai yr ystafelloedd uchaf yn unig a feddiennir, a'r rhai isaf yn ystablau. Yn Prevesa, y tai ydynt oll o goed, ac yn gyffredin heb ond un llawr; a lle byddo llofft, eir iddi ar hyd ysgol, neu risiau coed o'r tu allan. Lle byddo tai fel hyn, y ceffylau a'r anifeiliaid a gyfanneddant y parth isaf, a'r teulu y llofft uwch ben, yr hon yn gyffredin ni rennir i fwy na dwy ystafell.

Jer. 36. 22. "A'r brenin oedd yn eistedd yn y gauaf-dŷ, yn y nawfed mis, a thân wedi ei gynneu ger ei fron." Yn ol y Saesoneg, "Tân ar y llawr yn cynneu ger ei fron."—Tân mewn math o radell symmudol, y fath a ddefnyddir hyd heddyw yn y dwyrain, er mwyn gwresogi yr ystafelloedd. Y mae yn arferiad gan y Groegiaid hyd heddyw i osod math o radell yng nghanol yr ystafell, modd y gallo pawb gael cyfleusdra i ymdwymno; a dyweda Degnys y teithiwr

fod hyn yn hen ddefod yn y dwyrain. Dyweda Mr. Ward nad oes i dai yr Hindŵaid na simneiau nac aelwydydd; ac mewn gauafau oerion, fod y cyfoethogion yn llosgi coed mewn cynneufa, *(stove,)* yr hwn a osodir yng nghanol yr ystafell. Y tlodion a losgant ffagodau ar y llawr. Dywedir am ddinas Merdin ei bod yn sefyll ar le uchel, heb fod yn boeth yn yr haf, ac heb fod yn oer iawn yn y gauaf. Pan deimlo y preswylwyr eu hunain yn anghysurus gan yr oerfel, rhoddant dân mewn crochan, er gwresogi ac ymdwymno. Ac felly y mae lle tanau a'r drefn o ymdwymno yn wahanol yn y dwyrain oddiwrth fel y mae gyda ni.

Ezec. 13. 18. "Gwae'r gwniadyddesau clustogau dan holl benelinoedd fy mhobl."—Yn Barbary, a mannau eraill yn y dwyrain, y maent yn gyffredin yn gorchuddio lloriau y tai â llawr-lennau, *(carpets,)* a chydag ochr y muriau y mae math o welyau culion ar y llawr-lennau; ac er mwyn cyfleusdra ac esmwythder pellach, rhoddir clustogau melfed arnynt. Tebygol mai at orwedd mewn lleoedd fel hyn y cyfeirir pan ddywedir am glustogau dan holl benelinoedd fy mhobl. Yn y darluniad a rydd yr Arglwyddes M. W. Montagu o ystafell pendefiges Dyrcaidd, rhoddir mwy o oleuni ar y pwngc hwn. Dyweda fod yn daenedig ar y lloriau lawr-lenni Persiaidd, ac un pen yn uwch na'r llall o ddwy droedfedd. Hwn sydd fath o esmwyth-le *(sofa)* tra ardderchog; a bod clustogau wedi eu gosod yn ddwy res wrth y pared, er mwyn eistedd arnynt, a bod y rhai hyn yn rhagori mewn cyfleusdra ac esmwythder. Adrodda Mr. Bell am un cennadwr yng Nghaercystenyn, iddo ef a'r boneddigion oedd gydag ef fyned i babell y Vizier, lle yr ydoedd eisteddle wedi ei pharottoi i'r cennadwr. Yr oedd y Vizier yn eistedd â'i draed yn groes ar eu gilydd, ar fath o esmwyth-le hanner troedfedd yn uwch na'r llawr. Ar glustogau yn gyffredin yr arferir eistedd trwy yr holl ddwyrain, ac y mae y rhai hyn, yn enwedig ym mhalasau y pendefigion, o wneuthuriad tra ardderchog.

Amos 5. 19. "A myned i'r tŷ, a phwyso ei law ar y pared, a'i frathu o sarph."—Ymddengys yn dra rhyfedd i ni fod seirph yn brathu neb mewn teiau; ond yn y tai dwyreiniol y mae nadredd yn fynych yn llechu yn nhyllau y parwydydd, ac yn gwneuthur niweidiau mawrion. Cadarnheir hyn gan chwedl neillduol a adroddir gan D' Herbelot. "Ammededulat ydoedd frenin yn Persia o ddeutu y degfed canrif, ac aeth yn gyfyng iawn ei amgylchiadau oblegid ei afradlonedd a'i ddiofalwch am ei drysorfa. Fel yr oedd yn rhodio un diwrnod yn un o ystafelloedd ei balas, canfyddai neidr yn estyn ei phen allan o holltiad yn y pared. Gorchymmynodd ar fod i'r holltiad yn union-gyrchol gael ei chwilio, a'r neidr ei lladd. Yr oedd yr ystafell hon wedi bod ryw dro ym meddiant gwrthwynebydd y brenin, un o'r enw Jacout; ac wrth chwilio ac agoryd y mur yn y fan lle y gwelodd y neidr, yr oedd yno le dirgel, ac ni allent gael y neidr; ond cawsant guddfa o drysorau a guddiesid yno gan Jacout, yr hyn a fu o wasanaeth prydlon i'r brenin." Ymlusga nadredd i deiau yn y dwyrain, a brathant y preswylwyr yn fynych fel y byddont feirw.

Mat. 7. 26. "Gwr ffol, yr hwn a adeiladodd ei dŷ ar y tywod."—Nid ydym ni efallai yn gallu canfod ardderchogrwydd y gydmariaeth

hon a ddefnyddiwyd gan ein Harglwydd Iesu Grist; ond y mae i'w gweled yn ei gogoniant pennaf yn yr hanesion a roddir i ni am y dwyrain. Dyweda Mr. Ward am y pysgodwyr yn Bengal, eu bod yn adeiladu eu bythod ar y tymmor sych, yng ngwely yr afon, wedi iddi gilio drwy sychu. Pan ddelo y gwlawogydd, yr hyn yn fynych a wnant yn ddisymmwth, a chyda gwynt nerthol, ffrydia y dwfr yn llifeiriant brawychus o'r mynyddoed. Mewn un noswaith cludir yr anneddau hyn ymaith, ac ni ellir gweled y lleoedd yr arosent arnynt yn y bore. Dyweda Belzoni am ddifrodiadau dwfr yr afon Nilus, yn yr Aipht, yr hyn a ddengys wendid teiau heb fod ar sail dda, nac wedi eu gwneuthur o ddefnyddiau da, yn wyneb rhuthriadau y llifeiriant. Yr hanesydd hwn a ddywed fel y canlyn:—"Digwyddodd i ni fod yn dystion o adfyd mawr a blin yn yr Aipht, yr hwn nid ydyw neb byw yn cofio mo'i gyffelyb. Cyfododd y Nilus yn y tymmor hwn dair troedfedd a hanner yn uwch nag y byddai arferol o wneuthur, a hynny mor ddisymmwth a dirybudd fel y cludodd amryw o bentrefi ymaith, ynghyd â channoedd o'u preswylwyr. Disgwyliai yr Arabiaid am orlifiad mawr y flwyddyn hon, oblegid bychandra y dwfr yn y tymmor o'r blaen, ond ni feddyliasant y cyfodai y dwfr mor uchel. Cyfodant gloddiau o bridd er cadw y dwfr allan o'r pentrefydd, ond yn y gorlifiad crybwylledig ni attebodd y rhai hyn unrhyw ddiben. Yr anneddau, y rhai a wnaed o bridd, ni wrthsafent yn wyneb rhuthr y llifeiriant; oblegid pan gyrhaeddai y dwfr hwynt, 'yr oeddynt yn union-gyrchol yn gydwastad â'r llawr. Y ffrwd a ddygai ymaith bob peth oedd o'i flaen,—dynion, benywaid, plant, ŷd, anifeiliaid; mewn gair, eu cwymp ydoedd fawr."

Mat. 20. 6, 7. "Ac efe a aeth allan ynghylch yr unfed awr ar ddeg, ac a gafodd eraill yn sefyll yn segur, ac a ddywedodd wrthynt, Paham y sefwch chwi yma ar hyd y dydd yn segur? Dywedasant wrtho, Am na chyflogodd neb ni."—Yn y dwyrain, gwelir dynion yn sefyll yn y marchnadoedd, yn disgwyl rhai i'w cyflogi, ac yno yn gyffredin yr eir er mwyn cyflogi gweithwyr. Adrodda y teithiwr Morier am Hamadan, yn Persia, mai y lle amlyccaf yno ydoedd hen deml Fahometaidd, adfeiledig, ac mai o'i blaen y cedwid y farchnad. Bob bore cyn cyfodi o'r haul, gwelai amryw o weithwyr â'u rhofiau, &c. gyda hwynt yn dyfod i'r farchnadfa, ac yn aros yno, ac yma y cyflogid hwynt. Wrth fyned heibio yn yr hwyr, gwelai rai o honynt yno yn sefyll yn segur, a phan gofynid iddynt, "Paham y safent yn segur?" yr atteb a roddid yng ngeiriau yr Ysgrythyr Lân, "Am na chyflogodd neb ni."

---

## II. PRIODASAU.

Gen. 24. 4. "Ond i'm gwlad i yr âi, ac at fy nghenedl i yr âi di, ac a gymmeri wraig i'm mab Isaac."—Ymddengys yr hanes hyn yn dra rhyfedd i ni, ond yn debyg i'r modd y gwnaeth Abraham âg Isaac y gwna rhieni â'u meibion yn gyffredin gyda golwg ar eu priodasau. Dyweda Mr. Ward nad oes gan ddyn ieuangc yn Bengal a wnelo â'r gorchwyl o ddewis iddo ei hun wraig, mwy nag

oedd gan Isaac. Rhieni a ddefnyddiant eraill i ymofyn am wragedd i'w meibion. Y rhai a adawant eu cartref-leoedd er mwyn ymofyn am waith, yn gyffredin a briodant eu plant yn eu gwlad eu hunain, ac ym mhlith eu cydnabyddiaeth, ac nid un amser â'r bobl y byddant yn tario yn eu plith. Y mae y benywaid dwyreiniol, yn neillduol yn rhai parthau o'r dwyrain, yn byw o'r neilldu, fel y mae yn dra anhawdd i ddyn ieuangc wneuthur dewisiad drosto ei hun, na barnu mewn perthynas i'w thymherau a'i rhinweddau: o ganlyniad, y rhieni a ddewisant dros eu plant. Fel hyn y gwnaeth Agar a'i mab Ismael, hi a ddewisodd wraig iddo. Aeth gwas Abraham ym mhell i ymofyn gwraig i'w feistr ieuangc, at gydnabyddiaeth a pherthynasau Abraham; ac er nad ydoedd Rebecca erioed wedi gweled Isaac, hi a foddlonodd gymmeryd ei thaith, ymadael â'i gwlad, a throi ei chefn ar ei pherthynasau, er mwyn ymglymu mewn priodas â mab Abraham.

Gen. 29. 20. " Felly Jacob a wasanaethodd am Rachel saith mlynedd: ac yr oeddynt yn ei olwg ef fel ychydig ddyddiau, am fod yn hoff ganddo efe hi."—Ymddengys oddiwrth yr hanes hyn bod y dwyreinwyr yn hytrach yn gwerthu eu merched nag yn eu gwaddoli pan ymbriodent. Adrodda Herodotus am ddefod neillduol ym mhlith y Babiloniaid, yr hon efallai a rydd ychydig oleuni ar amgylchiad Jacob. Cynnullent y merched ynghyd yng ngwahanol daleithiau yr ymerodraeth bob blwyddyn; a phan fyddai y meibion wedi dyfod ynghyd, y cyhoeddwr a safai i fynu, ac a werthai y merched y naill ar ol y llall, sef y rhai glanaf a mwyaf prydweddol o honynt. Rhoddai y Babiloniaid brisoedd da am y merched prydweddol. Wedi gwerthu y rhai glanaf, dygid y rhai hagraf ger bron, a gosodid hwy y naill ar ol y llall i'r sawl a'u cymmerent gyda hyn a hyn o arian, oblegid elai yr arian a geffid am y rhai glân i waddoli y rhai hagr. Ni chai y tad ddewis gwr i'w ferch, na'r ferch i ddewis gwr drosti ei hun, ond gwerthid hwy, er mwyn i'r rhai na ddewisid gan neb oblegid eu harddwch, i gael gwyr er mwyn eu harian. Yn Jafa, wedi cael cyd-syniad y rhieni, rhaid i'r priodfab roddi blwyddyn o wasanaeth am ei wraig i'w rhieni. Gan y Naudowessies, yn America, y mae rhyw ddefodau tra rhyfedd gyda golwg ar garwriaeth a phriodas. Pan fyddo dyn ieuangc wedi gosod ei feddwl ar ferch, arwydda hynny i'w rhieni, y rhai a'i gwahoddant i ddyfod i fyw attynt. Mewn canlyniad i hyn, efe a dderbyn y cynnyg, ac a gyttuna i aros yno am flwyddyn fel gwas cyffredin. Yn yr yspaid hon efe a ddilyn helwriaeth, gan ddwyn y pryfed a ddigwyddo ladd oll adref. Yng nghorph y flwyddyn bydd tad y ferch yn cael cyfleusdra i farnu am ei gymmwysderau, ac a fydd efe yn alluog i gynnal gwraig a theulu. Pan ddelo y tymmor i ben, priodir yn ol defodau y wlad. Dyweda Mr. Marsden, yn ei hanes am Sumatra, bod y tad yn gwneuthur dewisiad o ddyn ieuangc yn gyffredin o deulu isel, yr hwn mewn canlyniad a dyrr bob cyssylltiad â'i rieni, ac a gymmerir i dŷ ei dad-yng-nghyfraith, yr hwn a ladd ych gwyllt ar yr achos, ac a dderbyn ryw swm o arian oddiwrth deulu y mab ieuangc; wedi hyn y mae yn myned yn hollol i feddiant ei dad-yng-nghyfraith. Bydd yn y teulu mewn rhyw gymmeriad canol, rhwng mab a dyledwr, bydd pob peth o'i eiddo ef yn

eiddo teulu ei dad-yng-nghyfraith. Gall ei dad-yng-nghyfraith ysgaru rhyngddo a'i wraig, a'i anfon ymaith heb ddim yn ei law; ond gall ymryddhau drwy dalu hyn a hyn o arian. Dywed Elphinston bod y Burdooraunees, yn Cabul, hyd y dydd hwn yn gweini i'w tad-yng-nghyfraith, ac yn ennill eu gwragedd drwy wasanaeth tebyg i'r hwn a roes Jacob i Laban am ei wragedd.

Barn. 14. 11. "Yna y cymmerasant ddeg ar hugain o gyfeillion i fod gydag ef."—Rhydd Mr. Jowet, yn ei hanes am Syria, ryw oleuni gyda golwg ar y cymdeithion a ddywedir eu rhoddi i Samson yn amser ei briodas. Dyweda y teithiwr crybwylledig ei fod mewn priodas yn Syria un hwyr; yr oedd yno dri offeiriad er mwyn ei gweinyddu. Aeth torf o ddynion a bechgyn ymaith â goleuni gyda hwynt, awr wedi machludiad haul, o dŷ y priod-fab, gan ei adael yn nhŷ ei dad, tua thŷ y briod-ferch. Wedi disgwyl agos i hanner awr, daeth y briod-ferch allan, a'i chymdeithesau gyda hi. Yn awr y dechreuai y gynniweirfa. Y dynion yn gyntaf, y benywaid wedi hyn, a'r briod-ferch o'u blaen. Pan ddaethant yn agos at yr eglwys, arosasant, a'r priod-fab a aeth yn gyntaf i'r eglwys, a'i dad a'i gymdeithion gydag ef; ac ar ol hyn y briod-ferch a'i chymdeithesau. Yr oedd twrf mawr tra y parhaodd y gwasanaeth, yr hwn oedd drosodd mewn hanner awr.

Esay 44. 18. "Canys Duw a gauodd eu llygaid hwynt."—Y mae cau a selio llygaid yn gospedigaeth, dan yr hon y rhoddir dynion yn y dwyrain; ac y mae Caplan Syr T. Roe, yn hanes ei daith i'r India ddwyreiniol, yn dywedyd am fab i'r Mogul, a daflwyd i garchar gan ei dad, lle y seliwyd ei lygaid gan ryw beth a osodwyd arnynt, yr hwn ni ellid ei gymmeryd ymaith. Bu ei lygaid fel hyn am dair blynedd, pryd y cymmerwyd y sel ymaith, fel y gallai fwynhau y goleuni, ond nid ei ryddid. Dyweda hefyd ei bod yn ddefod i wnio llygaid i fynu mewn ffordd o gosp, a'u dattod drachefn wedi rhyw yspaid o amser. Gwneir hyn yn fynych â thywysogion y dwyrain; ac adroddir am Schah Abbas, brenin Persia, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 1629, iddo orchymmyn rhoddi rhyw gymmaint o *opium* i'w ŵyr, er gwanhau ei synwyrau, fel na allai ofni dim oddi wrtho. Bygythiai yr Arglwydd Israel â dallineb, ond â dallineb amserol, ac nid parhaus, gan ei fod yn bwriadu gwneuthur iddynt ddaioni yn y diwedd.

Mat. 22. 11. "Gwisg briodas."—Yr oedd yn arferiad i ddynion fyned i briodasau mewn gwisgoedd goreuredig, yn ol y dyweda rhai haneswyr. Dengys yr hanes ganlynol y pwys a roddir yn y dwyrain ar gael gwisg addas at fyned i briodas, a'r sarhad a roddir ar y rhai hynny a'i gwrthodant. Adrodda un hanesydd, i frenin yn y dwyrain anfon i wahodd y Cennadwyr i giniawa gydag ef unwaith yn ychwaneg. Dywedodd y gwahoddwr wrthynt, bod yn ddefod iddynt roddi un o'r gwisgoedd, â pha rai yr anrhegwyd hwynt gan y brenin, ar eu dillad, er myned i'r giniaw. Y Cennadwyr a ddangosasant eu hanfoddlonrwydd at hyn; ond pan ddywedwyd wrthynt mai hyn oedd y ddefod, cydsyniasant. Pe gwrthodasent, buasai y brenin yn dra anfoddlon wrthynt.

Mat. 25. 6. "Ac ar hanner nos y bu gwaedd, Wele, y mae'r priodfab yn dyfod: ewch allan i gyfarfod âg ef."—Gyda golwg ar

ddefodau priodasau, y maent yn gwahaniaethu ym mhlith gwahanol genhedloedd y ddaear. Ym mhlith paganiaid yr India Ddwyreiniol, ar ddiwrnod y briodas, y mae y priod-fab a'r briod-ferch yn myned allan gyda'u gilydd, mewn math o gadair orchuddiedig, rhwng saith ac wyth o'r gloch yn yr hwyr, a'u holl berthynasau a'u cyfeillion gyda hwynt; udgyrn a thabyrddau o'u blaen, ac yn cael eu goleuo gan y gynnulleidfa, y rhai a gludent gannwyllau mawrion. Y rhai newydd-weddog a ânt allan fel hyn am oriau, ac yna dychwelant yn ol i'w tŷ eu hunain, lle y mae y benywiaid a'r gwasanaeth-ddynion yn disgwyl am danynt. Ym mhlith y Rhufeiniaid, arweinid y briodas-ferch yn y nos i dŷ ei phriod, wrth oleu cannwyllau. Daw hyn yn agos iawn at y darluniad a roir o briodas yn nammeg y deng morwyn.

Mat. 25. 10. "A chauwyd y drws."—Dyweda Mr. Ward am ryw briodas a welodd ef yn India, bod y priod-fab yn dyfod o gryn bellder, a'r briodas-ferch yn byw yn Serampore, i'r lle y daeth y priod-fab dros y dwfr. Wedi disgwyl am ddwy neu dair awr, o'r diwedd, yn agos i hanner nos, cyhoeddwyd yng ngeiriau yr Ysgrythyr, 'Wele y mae y priod-fab yn dyfod, ewch allan i gyfarfod âg ef.' Pawb yn awr a oleuasant eu lampau, ac a redasant â hwy yn eu dwylaw, er llanw eu lleoedd yn yr orymdaith. Yr oedd rhai o honynt wedi colli eu goleuni, ac felly yn ammharod. Aeth y cwmpeini tua thŷ y briodas-ferch, ac a arosasant mewn cyntedd mawr ar ei gyfer, yr hwn oedd wedi ei amdoi â llen fawr, ac yma yr eisteddai llawer iawn o gyfeillion. Wedi i'r priod-fab eistedd am ychydig yn y cyntedd, aeth i'r tŷ, a'r drws yn union-gyrchol a gauwyd, a milwyr o'r wlad yn ei warchod. Ymdrechodd Mr. Ward gael myned i mewn, ond yn ofer. Y defodau priodasol braidd drwy holl Hindostan ydynt yr un modd: â y priod-fab a'i gymdeithion i dŷ tad y briod-ferch, lle y derbynia bob groesawiad. Rhoddir y briodas-ferch i'r priod-fab gan ei thad, a'i dwylaw a rwymir ynghyd â rhwymyn wedi ei wneuthur o fath o borfa; y tad a wisga y briod-ferch, ac a glymma gyrrau mantelli y ddau ynghyd. Y priod-fab a wna aberth i'r tad, arwydd cariad; a'r briod-ferch a dafla *rice* arno, mewn ffordd o offrwm. Y priod-fab a gymmera law y briod-ferch mewn priodas. Rhodiant oddi amgylch y tân, gollyngir yr edrychwyr ymaith, ac y mae y briodas erbyn hyn yn berffaith ac yn sicr. Arosa y priod-fab dri diwrnod yn nhŷ tad y briod-ferch, ac ar y pedwerydd dydd efe a'i cymmer i'w dŷ ei hun, ac amryw gymdeithion gydag ef.

Luc 14. 8—10. "Pan y'th wahoddir gan neb i neithior, &c."—Adrodda Mr. Morrier, yn hanes ei deithiau yn Persia, ryw beth ag sydd yn taflu goleu mawr ar ddulliau y gwleddoedd a grybwyllir gan yr Efangylwyr. Ymddengys bod yr ail Vizier, Ameen-ad-Dowlah, i wledda y cennadwr a'r rhai a berthynent iddo, ac ar y dydd pennodedig, fel y mae yn arferol yn Persia, daeth cennad attom o gwmpas pump o'r gloch, i beri i ni fyned i'r wledd. Yr oeddem yn gwybod o'r blaen am y wledd; ond pan ydoedd yn barod, anfonwyd attom er myned iddi. Pan fyddo Persiad yn myned i mewn i dŷ gwledd, gadawa ei esgidiau allan, ac yna gwna y cyfarchiad cyffredin, Heddwch fyddo gyda chwi. Yna wedi iddo gymmeryd sylw o'r cymdeithion, efe a gymmer ei orsaf ym mhlith y rhai hynny o'i gyd-

radd. Dywedir bod yr ysgrifenyddion Persiaidd yn dra chwannog o'r eistedd-leoedd uchaf;—ceryddai ein Hiachawdwr yr ysgrifenyddion Iuddewig oblegid hyn. Y mae gan lywydd y wledd yn Persia awdurdod i roddi un y fan y gwelo efe fod yn dda, a dyweda Morrier iddo ef weled hyn yr amser hynny yn cael ei wneuthur. Daeth llywodraethwr Kashan i mewn, ac a eisteddodd yn y fan isaf; ond symmudwyd ef gan Ameen-ad-Dowlah i le uwch. Dyweda un hanesydd ei fod ef yn St. Jean-d'Acre wedi myned gydag un i briodas Groegwr o fri ac anrhydedd mawr. Wedi i'r cymdeithion ymgynnull i'r ystafell, edrychai meistr y defodau drostynt, er gosod pawb yn eu lleoedd priodol. Rhai a symmudid yn uwch, ac eraill yn îs. Symmudwyd dau yn nes i lawr wedi i'r hanesydd a'i gyfaill fyned i mewn.

Titus 2. 5. "Yn gwarchod gartref." Ymddengys bod y dwyreinwyr mor eiddigeddus, fel y maent yn dra gofalus i gadw eu gwragedd gartref. Nid oes iddynt debyg yr un rhyddid a chyda ni; a dyweda Russel fod Tyrciaid Aleppo mor eiddigeddus, fel mai anfynych iawn y caniattânt i'w gragedd ymweled â'u gilydd; ond y mae y gwyr dan yr angenrheidrwydd o adael iddynt fyned i'r ymolch-leoedd; ac y mae y dyddiau Llun a Iau yn rhydd iddynt, pryd yr ymwelant â beddau eu perthynasau, ac y rhodiant allan yn y gerddi a'r maesydd. Cedwir hwy yn y wedd hon rhag iddynt gael eu halogi; ac yn wyneb gwahanol brofedigaethau cynnulliadau y dwyrain, cyssyllta yr Apostol ddiweirdeb â gwarchod gartref.

Dat. 21. 2. "Wedi ei pharottoi fel priodas-ferch." Yn y dwyrain y priodas-ferched a newidiant eu dillad yn fynych, ac a gyflwynir bob tro i'w gwyr. D' Arvieux, yn ei hanes am yr Arabiaid, a ddyweda, bod y briodas-ferch yn cael ei chyflwyno i'w gwr, a hynny dair gwaith yr un hwyr; a phryd bynnag y newidir gwisgoedd y briodas-ferch, cyflwynant hi i'r priod-fab, yr hwn a'i derbynia gyda difrifoldeb mawr. Newidir gwisgoedd y priod-fab hefyd yn fynych; ac efallai mai at y parottoadau hyn y cyfeiria Ioan, pan ddyweda am barottoi priodas-ferch i'w gwr.

---

## III. PLANT.

Gen. 15. 3. "Ac wele, fy nghaethwas fydd fy etifedd." (Saesonaeg, "Un a aned yn fy nhŷ yw fy etifedd.")—Yr oedd yr addewid wedi cael ei rhoddi i Abraham, y genid mab o Sarah; ond am nad ydoedd yr addewid yn dyfod i'w thymp mor fuan ag y disgwyliai efe, yr oedd wedi meddwl mai ei gaethwas fyddai ei etifedd. Pan fyddai pennau teuluoedd heb blant yn y dwyrain, gwnaent un o'u caethweision yn gyffredin yn etifeddion iddynt; ac y mae y teithiwr Forbes yn dywedyd bod hyn yn ddefod barhaus yn India, yn neillduol ym mhlith y Mahometiaid. Dyweda, pan fyddo y Mahometiaid heb blant, eu bod yn mabwysiadu caethweision er bod yn etifeddion iddynt, yn eu dysgu fel y gwelont hwy fod yn dda, ac yn eu priodi â'u merched. I'r rhai hyn y rhoddent eu holl oludoedd, ac nid i'w neiaint a'u perthynasau agosaf. Yr oedd gan Abraham nai

o'r enw Lot; ac yn niffyg etifedd, bwriadai roddi ei olud, nid i Lot, ond i'w gaethwas, Eleazar o Damascus. Ym mhlith yr Indiaid Americaidd, os diblentir rhyw deulu drwy farwolaeth neu ryfel, y rhai hynny a feddiannant y nifer amlaf o gaethion a roddant etifeddion o honynt i'r cyfryw rai; y rhai a fabwysiedir i'r cyfryw deuluoedd, ac ymddygir tuag attynt yn hollol megis pe byddent yn blant iddynt. Ym mysg y Mameluciaid, y caethwas a wneir yn rhydd a elwir yn blentyn y tŷ. Ac felly, fel y bwriadai Abraham wneuthur â'i gaethwas, y gwna rhai heb etifeddion hyd heddyw yn y dwyrain.

Gen. 21. 8. "Ac Abraham a wnaeth wledd fawr ar y dydd y diddyfnwyd Isaac."—Yr oedd yn ddefod gan amryw genhedloedd i wneuthur derbyniad o'u plant, yn neillduol y cyntaf-anedigion, trwy wleddoedd mawrion, yn ddeiliaid o'r teulu. Gwneid hyn yn gyffredin pan ddelent i gerdded a rhodio oddi amgylch y babell neu y tŷ, a phan ddechreuent ddefnyddio eu tafodau i siarad, pryd yr oedd yn arferol iddynt eu diddyfnu. Dyweda Mr. Morrier ei bod yn arferiad yn Persia pan ddiddyfnir plentyn gwrryw, iddynt ei gludo i'r deml Fahometaidd; ac wedi cyflawni rhyw ddefodau, dychwelant adref, lle y gwleddant hwy a'u cyfeillion.

Gen. 24. 59. "A hwy a ollyngasant Rebeccah eu chwaer, a'i mammaeth."—Rhoddid parch ac anrhydedd mawr i fammaethod yn yr amserau gynt, ac ystyrid hwynt yn deilwng o'r ymgeledd mwyaf; ac hyd y dydd heddyw yn y dwyrain, ystyrir mammaethod yn deilwng o'r anrhydedd mwyaf. Teithwyr diweddar a ddywedant, bod y fammaeth yn Syria yn cael ei hystyried fel ail rieni; ei bod bob amser yn myned gyda y briodas-ferch i dŷ y priodas-fab, ac yn aros yno mewn sefyllfa anrhydeddus. Ni edrychir yn Hindostan ar y fammaeth fel un ddieithr, ond fel un berthynol i'r teulu; ac erys dros y gweddill o'i hoes ym mhlith y plant y rhoes sugn iddynt, ac anrhydeddir hi megis ail fam. Yn Siam arferant alw eu mammaethod yn fammau; ac wrth ystyried bod y ddefod mor gyffredinol, nid rhyfedd i fammaeth Rebeccah gael ei hanfon gyda hi i dŷ Abraham.

1 Sam. 1. 11. "Yna y rhoddaf ef i'r Arglwydd holl ddyddiau ei einioes, ac ni ddaw ellyn ar ei ben ef."—Dyweda Mr. Morrier yn hanes ei daith trwy Persia, am ddefod gyffelyb i hon, a gyflawnir yn y wlad honno hyd heddyw. Digwydda yn aml yn y wlad ddywededig wedi genedigaeth plentyn, os bydd ei rieni mewn cyfyngder, y plentyn yn glaf, neu ryw achos arall o ofid, gwna y fam adduned, na roddir ellyn ar ben y plentyn am ryw yspaid o amser pennodol, ac weithiau am ei oes. Os gwella y plentyn, neu os bydd achos y gofid i gael ei symmud ymaith, ac yn neillduol os am ryw yspaid y bydd yr adduned, yna y fam a eillia ben y plentyn, a wna wledd fechan, ac a gasgla arian a phethau eraill oddiwrth berthynasau a chyfeillion, y rhai a anfonir fel offrymmau i deml Fahometaidd Kerbelah, ac a gyssegrir yno.

1 Sam. 20. 30. "Ti fab y gyndyn wrthnysig." (Saesonaeg, "Ti fab y fenyw gyndyn wrthnysig.")—A'r ymadroddion crybwylledig yr annerchai Saul ei fab Jonathan, pan lidiodd wrtho. Yn y dwyrain, pan ddigiant wrth unrhyw berson, dirmygant ei rieni. Yr oedd

Saul yn yr ymadroddion dywededig yn amcanu arllwys ei ddig ar Jonathan, ac nid ar ei fam yn bersonol. Ni chrybwyllai am dani hi ond yn unig megis cyfrwng, drwy yr hwn, yn ol y dull dwyreiniol, y tywelltai ei lid ar Jonathan, yng nghlyw y rhai oedd oddi amgylch iddo. Adrodda Mr. Mungo Park am ryw beth sydd yn dwyn perthynas â hyn yn Affrica. "Taro fi," medd un o weinyddwyr Park, "ond na felldithia fy mam." Y fath barch ydoedd gan y plant Iuddewig i'w mammau, fel nad ydoedd dim a gyffyrddai â'u teimladau yn fwy na'u clywed yn cael eu dirmygu. Adrodda Syr W. Ouseley am un dwyreiniwr wedi cael ei ddigio gan ryw berson; ni ddirmygai y person yn union-gyrchol, ond rhoddai fil o felldithion ar bob benywaid y meddyliai eu bod yn perthyn iddo,—ei wragedd, ei fam, ei ferched, a'i chwiorydd. Dywedir wrthym gan Mr. Ward, pan fyddo Hindŵad yn dirmygu y llall, yr arfera ymadroddion tebyg i'r rhai canlynol,—"Ti fab y fenyw anfucheddol—Ti fab y fenyw dlawd."

Salm 127. 4, 5. "Fel y mae saethau yn llaw y cadarn, felly y mae plant ieuengctid. Gwyn ei fyd y gwr a lanwodd ei gawell saethau â hwynt."—Arfera y dwyreinwyr alw meibion gwrol a chadarn wrth yr enw 'saethau' a 'phicellau' eu rhieni, a hynny am eu bod yn alluog i'w hamddiffyn. 'Blaenllymu saethau,' yn ol eu dull hwy o lefaru, ydyw cael plant gwrol a grymmus. Adrodda un hanesydd am y Chiniaid, pan enir mab mewn teulu, bod y ddefod o grogi bwâau a saethau o flaen y tŷ, fel arwydd i ddangos bod y teulu wedi cael ymddiffynnydd.

Mat. 1. 1. "Llyfr cenhedliad Iesu Grist, fab Dafydd, fab Abraham."—Ymddengys rhyw beth yn rhyfedd yn yr adroddiad hwn i ni,—"Fab Dafydd, fab Abraham," ac nid fab Dafydd, fab Jesse, &c. Ond yn ol yr hanesydd Niebuhr, arferir y dull byr hwn gan yr Arabiaid o adrodd llinachau personau: dewisant ryw rai pennodedig o'u hynafiaid, ac ânt o un i'r llall o'r rhai hynny, heb eu crybwyll bob yn un ac un. Yr oedd Abraham yn gyff i'r genedl Iuddewig,—yr oedd Dafydd yn frenin enwog o'r un genedl,—a'r Arglwydd Iesu Grist wedi ei eni o forwyn o'r un genedl; o ganlyniad, yr oedd Crist yn fab Dafydd, a Dafydd yn fab Abraham. Yn ol pennau y llwythau yn Arabia y dilynir y llinachau. Ni amheua unrhyw Arab nad ydoedd Dani Seid a Dani Barkad wedi hanu o Al Bunemi, ac Al Bunemi o Hassan Ibu Ali: ac felly ni enwid mewn llinach ond rhyw bersonau neillduol. Profa amryw deuluoedd ym Mecca eu deilliad oddiwrth Mahomet, trwy grybwyll pennau teuluoedd yn unig.

Luc 1. 61. "Hwythau a ddywedasant wrthi, Nid oes neb o'th genedl a elwir ar yr enw hwn."—Ni arferid un amser ym mhlith yr Arabiaid i roddi enw dieithr i'r teulu ar un o'r plant. Saith niwrnod wedi geni Mahomet, ei daid a wahoddodd amryw o lwyth y Koreisiaid i wledd, a'r gwahoddedigion pan ydoedd ar derfynu, a ofynasant iddo pa enw a roddai efe ar ei ŵyr, oblegid yr hwn y gwleddodd efe hwynt mor neillduol; pan ddywedodd efe, Mahomet, hwy a attebasant, Yna yr ydych yn bwriadu rhoddi enw dieithr i'ch teulu iddo. Ymddengys ei bod yn arferiad ym mhlith yr Iuddewon i roddi enwau perthynol i'r teuluoedd ar eu plant. Y mae yr arfer-

iad hon ym mhlith yr holl genhedloedd braidd, hyd yn nod Indiaid America.

---

## IV. GWEISION.

Gen. 14. 14. "Efe a arfogodd o'i hyfforddus weision a anesid yn ei dŷ ef."—Yr oedd holl weision Abraham yn gaethion perthynol i Abraham, ac yr oeddynt yn dra lliosog. Ymddiffynai y caethion dwyreiniol eu harglwyddi a'u meddiannau pan ymosodid arnynt, a dialent ar y rhai hynny a wnaent unrhyw sarhad arnynt. Dyweda Malcom am y caethion yn Persia, eu bod yn anwyl gan eu perchennogion, a'u plant, am eu geni a'u dwyn i fynu yn eu teuluoedd, yn cael eu hystyried braidd fel eu plant eu hunain. Adrodda y Barwn Du Tott am un Twrc, wedi arfogi ei gaethion yn gyffelyb i Abraham, er myned i ymladdfa, ac i ddarostwng y gwrthryfelwyr yn y Morea. Ac y mae dynion galluog drwy yr holl ddwyrain hyd heddyw yn gallu arfogi nifer liosog o'r caethion pan fyddo achos yn galw am danynt.

Gen. 39. 4. "Yntau a'i gwnaeth ef yn olygwr ar ei dŷ."—Yr oedd Joseph wedi ei werthu yn gaethwas i Putiphar, a'r pryd hwn mewn caethiwed. Ond yn aml dyrchefid caethion i fri ac anrhydedd mawr gan eu Harglwyddi. Yn yr amserau hyn dygir y bechgyn a brynir yn y gwahanol wledydd i'r Aipht, ac a werthir yno. Prynir hwynt gan y Mameluciaid, y rhai hwythau a werthwyd yr un modd pan yn blant i'r Aipht. Os ceir y bachgen yn feddiannol ar dalentau, dysgir ef gan y Mameluciaid yn holl ddysgeidiaeth yr urdd Famelucaidd, i lywodraethu ei farch, ac i ddefnyddio y cleddyf a'r biccell; yna gwneir ef yn rhydd, a derbynir ef i'r urdd. Yr oedd gan y Mameluciaid yn ddiweddar awdurdod fawr yn yr Aipht, os nid yn bresennol. Ac nid peth anghyffredin yn y dwyrain bod caeth-weision yn cael eu dyrchafu er bod yn olygwyr ar dai a meddiannau eu harglwyddi, fel y crybwyllir am Joseph yn nhŷ Putiphar.

1 Chron. 2. 35. "A Sesan a roddodd ei ferch yn wraig i Jarha ei was."—Pan na fydd gan bobl y dwyrain feibion, hwy a briodant eu merched â'u caeth-weision, er eu bod yn dra chyfoethog. Adrodda yr hanesydd Maillet am un o'r enw Hassan, a fu yn gaethwas i Kamel; ond i Kamel, yn ol defod y dwyrain, roddi ei ferch yn wraig i Hassan, ac ar ei farwolaeth adael llawer iawn o'i feddiannau iddo, fel y dyrchafwyd ef i fri ac anrhydedd yn y wlad. A dyweda Mr. Forbes, ei bod yn ddefod ym mhlith y Moguliaid, y Tyrciaid, y Persiaid, a'r Arabiaid, i briodi eu merched â'u caeth-weision; a thebygol bod y ddefod hon i raddau ym mhlith yr Israeliaid, cyn y buasai Sesan yn priodi ei ferch â'i gaethwas Jarha.

Salm 123. 2. "Fel y mae llygaid gweision ar law eu meistriaid." Y gwasanaethyddion yn y dwyrain a roddant yr anrhydedd a'r parch mwyaf i'w meistriaid. Sylwa Mr. Maundrell, bod y gwasanaethddynion yn Nhwrci yn sefyll oddi amglch i'w meistriaid a'u gwesteion, mewn modd tra pharchus, ac yn hollol ddistaw. Pocoke hefyd a ddywed, iddo ef synnu, pan aeth ar wahoddiad i dŷ yn yr Aipht,

wrth weled trefn y caethweision, a'u parch i'w meistriaid; eu bod yn sefyll yn un pen i'r ystafell, a'u dwylaw ym mhleth, a'u llygaid yn ddyfal yn gwylied ysgogiadau eu meistr, yr hwn a lefarai wrthynt drwy arwyddion. Dyweda y Barwn Du Tott am awgrymiad y llaw, fel ei deallir yn y dwyrain, yn dra neillduol. Yr oedd Grand Vizier y Twrc mewn neuadd fawr, yn siarad â Chennadwr Ewropaidd; ac yng nghanol yr ymddiddan, daeth swyddog arall i mewn, gan ddywedyd rhyw beth yn ddistaw yng nghlust y Vizier. Yr unig atteb a roed gan y Vizier ydoedd ysgogiad bychan â'i law, ac ac yna cymmerodd yr ymddiddan i fynu drachefn. Yr oedd Du Tott yn methu gwybod pa beth a allasai hyn fod; ond gyda eu bod allan o'r neuadd, gwelent naw o bennau wedi eu torri ymaith, ac arwydd o ddihenydd y rhai hyn a roed gan y Vizier i'r swyddog.

---

## V. BWYD A DIOD.

Gen. 18. 8. "Ac efe a safodd gyda hwynt dan y pren; a hwy a fwyttasant."—Nid oes dim yn fwy cyffredin yn India, na gweled teithwyr ac eraill yn cymmeryd eu hymborth dan gysgod coed canghennog. Anaml iawn y cedwir gwleddoedd yn y tai, ond allan yn y cysgod. Tŷ yr Hindŵad a wasanaetha er cysgu a thrin bwydydd, ac er cauad y benywaid i fynu. Adrodda Belzoni, iddo weled Agha, (swyddwr lled uchel,) a'i gymdeithion gydag ef, yn eistedd dan gysgod canghennau coed palmwydd, yn yml y dwfr; ac amrywiol bobl yma ac accw, yn difyrru eu hunain ar lennydd y Nilus, yn eistedd, rhai yn cymmeryd eu coffi, ac eraill yn chwiffio myglys yno. Fel hyn y gwneir yn gyffredin drwy y dwyrain, gyda golwg ar gymmeryd ymborth; ac wrth ystyried hynny, nid yw ddim yn hynod mai allan, yn yml y babell, y gwleddai Abraham y dieithriaid a ddaethant mewn ymddangosiad yn ddigwyddiadol atto.

Gen. 21. 19. "A Duw a agorodd ei llygaid hi, a hi a ganfu bydew dwfr; a hi a aeth, ac a lanwodd y gostrel o'r dwfr, ac a ddiododd y llangc."—Yr oedd Agar a'i mab y pryd hyn mewn amgylchiad tra chyfyng; ond y mae braidd yn annichonadwy i ni synied yn iawn am y cyfyngder y dygir rhai iddo o eisiau dwfr, wrth deithio anialdir Affrica ac Asia. Dyweda un hanesydd am anialwch Mesopotamia, ei fod mewn cyssylltiad âg anialwch mawr Arabia, yr ochr arall i'r Euphrates. Nad oes dim yn tyfu ynddo ond ychydig o blanhigion hallt, a bod ei dywod yn dra phoeth. Yr ychydig ddwfr a geir ynddo sydd hallt, ac felly yn wrthwyneblyd ac anhawdd iawn ei yfed. Rhaid i'r teithwyr a ânt yn ol ac ym mlaen o Aleppo i Bagdad fyned drwy yr anialdiroedd hyn, ac y maent yn aml yn cael eu goddiweddyd gan ryw awelon tarthiog a myglyd, heidiau aneirif o locustiaid, a diffyg dwfr cyn gynted ag y gadawant yr Euphrates. Teithiwr Ffrengig a ddyweda ei fod ef yn llygad-dyst o'r olygfa resynolaf erioed o eisiau dwfr. Digwyddodd hyn rhwng Anah a Dryjeh. Daeth heidiau lliosog o locustiaid i'r anialwch, ac wedi iddynt ddifa y planhigion ynddo, hwy a drengasant, ac a lygrasant yr ychydig ddwfr a geid yn y pyllau. Cyfar-

fyddodd y teithiwr â Thwrc, yr hwn a redai dros fryn atto, ac a edrychai megis ym mron gwallgofi. Yr oedd gan y Twrc hwn ddau cant o ferched, y rhai a brynasai, ac yr oedd yn bwriadu myned i Bagdad i'w gwerthu, gan feddwl ymgyfoethogi yn fawr drwy y fasnach; ond yr oeddynt yn y caledi mwyaf yn bresennol o eisiau dwfr. Aeth y teithiwr gyda y Twrc attynt, a gwelai hwynt yn gorwedd ym mhlith y camelod, yn gwaeddi ac yn llefain yn ddolefus am ddiferyn o ddwfr; rhai yn barod wedi trengu, eraill ar drengu, ac angeu yn edrych yn sarug yn eu hwynebau oll. Agorodd y teithiwr Ffrengig ei gostrel ledr, er rhoddi i rai o honynt ychydig ddefnynau; ond rhwystrwyd ef i wneuthur hyn, oblegid y cynnyddai syched y lleill. Bu y merched oll feirw ond un! Mor werthfawr ydyw ffynnon a ffrwd o ddwfr mewn crasdir o fath hwn! Yn y drych hwn y gwelwn werthfawrogrwydd y ffynnon a ddangoswyd i Agar, ynghyd â grym yr ymadroddion o afonydd a ffrydiau yn torri allan yn y diffeithwch.

Gen. 24. 11, 13. "Ar brydnawn, ynghylch yr amser y byddai merched yn dyfod allan i dynnu dwfr."—Dyweda Dr. Shaw, fod y benywaid ar derfyn y dydd, yn Barbary, yn myned allan i dynnu dwfr; clymmant eu plant o'r tu ol iddynt, ac ant ddwy neu dair milltir i ymofyn dwfr. Yn Persia, gwelir y benywaid yn heidiau yn myned i ymofyn dwfr, yr hen rai yn nyddu y cottwm wrth y ffynnon, tra y llenwai y rhai ieuaingc y costrelau crwyn. Yn y pentrefydd Brahminaidd yn India, y mae benywaid o'r radd uchaf yn tynnu dwfr o'r ffynnonau, ac yn arwain yr anifeiliaid i'r porfeydd. Ac yn gyffelyb i ferched prydweddol Mesopotamia, y mae y benywaid ieuaingc yn Guzerat bob dydd yn tynnu dwfr, ac nid ydynt yn ei ystyried yn un dianrhydedd eu bod yn gwneuthur felly, oblegid hyn ydyw defod ac arferiad y wlad; o ganlyniad nid oes dim yn rhyfedd mewn bod merched o gyfrifiad Rebecca a Rachel yn tynnu ac yn cludo dwfr.

Gen. 29. 2. "A charreg fawr oedd ar enau y pydew."—Y mae yn ddefod gyffredin gan y minteioedd teithwyr yn y dwyrain, ac yn anialwch Arabia, i beidio tynnu dwfr o bydew, nac yfed, hyd oni byddo yr holl gymdeithion ynghyd, am hynny arosant i'w gilydd wrth y pydew. Gosodant gerrig ar wynebau y ffynnonau a'r pydewau, i rwystro y tywod i fyned iddynt; oblegid chwirlïir y tywod gan gorwyntoedd yn lluwchfeydd mawrion ar amserau yma a thraw. Ac mor ofalus ydynt yn y dwyrain gyda'u ffynnonau, fel na chyfodant y cerrig hyd oni ddelo yr holl ddiadelloedd ynghyd; ac wedi darfod, rhoddant hwynt yn ol yn union-gyrchol.

Ecsod. 16. 14. "Manna."—Dyweda Burckhardt, bod y Bedowiniaid yn casglu manna hyd heddyw, yn gyffelyb fel y darllenir yn llyfrau Moses. Pan fyddo y gwlawogydd wedi bod yn dra chyflawn yn y gauaf, difera y manna gyda chryn gyflawnder o'r pren *tamarisk*, yr hwn sydd yn bren cyffredin yn anialwch Syria ac Arabia. Cesglir ef cyn cyfodiad yr haul, oblegid os gadewir ef ym mhellach toddir ef gan yr haul. Ei archwaethiad sydd gyffelyb i fêl. Pan burir ef, efe a geidw am fisoedd; ac y mae i'r Arabiaid yn atteb diben y suwgr i ni. Dyweda yr un hanesydd ym mhellach, bod y manna, ym mis Mehefin, yn diferu o ddrain y *tamarisk* ar y dail

sydd dan y pren; ac ond ei gasglu cyn cyfodiad yr haul, ei fod yn galed, ond yn toddi yng ngwres yr haul; ac nad oeddid un amser yn gwneuthur bara o hono. Ond nid hwn oedd y manna â pha un y porthodd yr Arglwydd yr Israeliaid yn yr anialwch; oblegid yr oedd hwnnw yn wyrthiol, ac yn dra gwahanol oddiwrth yr un naturiol hwn.

Lef. 2. 13. "Offrymma halen ar bob offrwm it'."—Yr oedd halen ym mhlith yr hynafiaid yn arwydd o gyfeillgarwch a ffyddlondeb, ac oblegid hynny defnyddid ef yn eu holl aberthau a'u cyfammodau. Cyfammod o halen a arwydda gyttundeb, yn yr hwn y defnyddiwyd halen fel arwydd o'i gadarnhad. Mewn parthau o'r dwyrain, os bwytty dyn fara a halen, y mae yn ymrwymo mewn cyfeillgarwch â'r teulu; ac y mae ym mhlith y Bedowiniaid Arabaidd hyd y dydd hwn yn arwydd ac yn wystl o ffyddlondeb didor mewn cyfammodau. Y fath ydyw eu parch i fara a halen, fel pan giniawo rhyw un gyda hwynt, os byddant yn ei gymhell i fwytta, dywedant, Bwyttewch er mwyn y bara a'r halen sydd rhyngom. Adroddir parch neillduol yr Arabiaid i halen gan Schultz. Yr oedd mintai o deithwyr unwaith yn dychwelyd o Bagdad, ac arosasant yn agos i wersyll Arabaidd. Pan welodd un o honynt Arab yn neshau, cuddiodd ei arian yn y ddaear, a gwnaeth dân ar y fan, a'r lleill a amgylchynasant y tân i fwytta. Pan ddaeth yr Arabiaid attynt, dymunwyd arnynt fwytta, a hwy a eisteddasant i lawr er bwytta; ond cyn gynted ag y gwelodd y pennaeth Arabaidd yr halen ar y bwrdd, efe a ddywedodd wrth y masnachwr, Fy ngholled i sydd ennill i chwi; oblegid yn gymmaint ag i mi giniawa ar fwrdd â halen arno, ni allaf ac ni feiddiaf wneuthur i chwi niwed. Yr oedd ym mwriad yr Arabiaid i yspeilio y teithwyr; ond am iddynt fwytta ar fwrdd â halen arno, o barch i'r halen nid yn unig ni wnaethant iddynt niwed, ond hwy a'u hebryngasant cyn belled a'r Euphrates. Pan fyddo y tywysogion Arabaidd yn gwneuthur cyngrair â'u gilydd, wedi sefydlu yr ammodau, cluda gwas lestr llawn o halen oddi amgylch y babell neu y neuadd, neu y lle y byddo y cyngreiriaid; ac wedi rhoddi bara yn yr halen, efe a'i deil rhwng y ddau fys i'r tywysog, gan waeddi Salam, hynny yw, Heddwch; ac wedi iddynt wneuthur hyn olynol, ystyrir y cyttundeb yn gwbl gyflawn. Y Bedowiniaid, er eu bod mor rhyfelgar, a wnant gyfammodau cyfeillgar â'u gilydd, drwy roddi bara a halen yng ngeneuau eu gilydd, a dywedyd, "Trwy fara a halen, ni'th fradychir hi." Wedi iddynt ymgyfammodi drwy halen yn y wedd hon, ystyrir mai yr ysgelerdra mwyaf ydyw iddynt niweidio eu gilydd. Wedi iddynt fwytta neu gyffwrdd â halen yng nghymdeithas dyn, bydd ei fywyd a'i feddiannau yn ddiogel ym mhlith yr anwariaid mwyaf rhyfelgar.

Barn. 5. 25. "Mewn phiol ardderchog y dug hi ymenyn." Dyweda Dr. Clark am y dull caredig y derbynir ac y groesawir dieithriaid yn Norway, fel os gelwir am dammaid o ymenyn, dygir yn union-gyrchol o chwech i wyth pwys, mewn dysgl ardderchog. Trwy ryw barthau o Norway, y ddysgl er dal yr ymenyn ydyw yr ardderchoccaf yn y tŷ; a phan eisteddir yn eu tai i fwytta, y peth cyntaf a ddygir ger bron ydyw ymenyn, unwedd ag y gwnai yr Arabiaid cyntefig yn amser Jael gwraig Heber y Cenead.

Ruth 2. 14. "A gwlych dy dammaid yn y finegr."—Nid ydym i ddeall wrth y finegr hwn un cyffelyb i'r eiddom ni, ond finegr wedi ei gymmysgu âg ychydig o olew. Arferai yr Iuddewon wlybwr fel hyn er gwlychu eu tammeidiau ynddo, a dywedir ei fod yn neillduol iachus.

1 Sam. 14. 25. "A'r rhai o'r holl wlad a ddaethant i goed, lle yr oedd mêl ar hyd wyneb y tir."—Dyweda Mr. Burchell, yn hanes ei deithiau drwy Ddeheudir Affrica, ei fod ef, ei gyfeillion, a'r Hottentotiaid yn teithio dros dir garw, lle nad oedd llwybr i'w harwain, o ganlyniad eu bod yn wasgaredig yn myned ym mlaen. Wrth fyned yn y wedd hon, cawsant fêl gwyllt yn y ddaear, mewn twll lle yr oedd gwenyn gwylltion wedi nythu. Cafwyd ynghylch tri phwys, ac yr oedd yn dra blasus. Y mae mêl i'w gael yn gyffredin wrth deithio parthau o Affrica ac Asia.

2 Sam. 17. 28. "A chras-ŷd."—Crybwyllir am gras-ŷd yn fynych yn yr Ysgrythyrau, ac yr oedd yn rhan o ymborth y bobl, fel y mae yn parhau i fod etto yn y dwyrain. Crybwylla Hasselguest am dano yn hanes ei deithiau trwy rai o barthau Asia. Ar y ffordd rhwng Acre a Seide, gwelodd ef a'i gymdeithion fugail yn bwytta ei ginio, yr hon a gynnwysai dywysenau gwenith hanner addfed, y rhai a grasodd ac a fwyttaodd efe gyda'r un archwaeth ag y gwna y mawrion fwytta y danteithion goreu. Y mae hwn yn ymborth cyffredin yn yr Aipht gan y tlodion, ac hefyd mewn gwahanol barthau eraill.

Ezec. 4. 14. "O herwydd ein bod ni yn cael ein cynnaliaeth o lys y brenin." (Ymyl y ddalen, "Yn cael ein halltu â halen y llys.")—Yr oedd yr ymadroddion dywededig yn rhan o'r llythyr a ysgrifenwyd gan wrthwynebwyr yr Iuddewon at Artacsercses brenin Persia, er lluddias yr Iuddewon i fyned ym mlaen â'u gorchwylion yn Jerusalem. Rhai a feddyliant yr arwydda y geiriau eu bod yn derbyn eu cyflog gan y brenin mewn halen; eraill eu bod yn cael eu diogelu gan y brenin, fel y mae halen yn diogelu cig; ond ymlidir pob tywyllwch ymaith wrth adrodd yr hyn a ysgrifenodd Chardin am ddywediad brenin diweddar yn Persia. Cyfododd y brenin mewn digofaint mawr yn erbyn swyddwr a ymdrechodd ei dwyllo; tynnodd ei gleddyf, ac a'i darniodd o flaen y Vizier pennaf a'r arglwyddi eraill, gan ddywedyd, 'Y mae gennyf y fath weision anniolchgar a bradychus ag y bwyttânt fy halen.' Dyweda Mr. Parkhurst ei fod yn ddywediad cyffredin yn y dwyrain, 'Yr wyf yn bwytta halen hwn a hwn,' oblegid bod halen yn y dwyrain yn arwydd o lettygarwch. Sylwa Joseph Mede, y byddai yn arferiad gan ymerawdwr Rwssia, pan fyddai am ddangos ffafr i neb, i ddanfon bara a halen iddo oddiar ei fwrdd.

Job 5. 5. "Yr hwn y bwytty'r newynog ei gynhauaf, wedi iddo ei gymmeryd o blith y drain, a'r sychedig (ysglyfaethwr) a lwngc eu cyfoeth."—Diau bod yma gyfeiriad at yr Arabiaid hanner newynllyd a breswyliant yn yr anialwch, y rhai oeddynt yn yr amserau gynt, fel y maent yn bresennol, yn yspeilwyr ysglyfaethus. Darlunir hwynt gan Volney yn y dull canlynol:—Y mae y dynion hyn yn llai, yn deneuach, ac yn dduach nag un llwyth o'r Bedowiniaid adnabyddus hyd yn hyn. Nid oes ganddynt yn gyffredin dros chwech

wns bob un o luniaeth am ddiwrnod. Y rhai hyn a dorrant yn ddi-symmwth ar draws meddiannau dynion, gan eu hyspeilio o'u cynhauaf a'r hyn oll a feddant.

Salm 107. 5. "Yn newynog ac yn sychedig, eu henaid a lewygodd ynddynt."—Dyweda Belzoni am anialdiroedd mawrion y dwyrain, bod nifer liosog o'r rhai a'u teithiant yn marw o syched. Yr hwn fyddo ganddo ychydig o ddwfr yn y lle hwn fydd y cyfoethoccaf o bawb. Os bydd gan y gwas ryw ychydig, ni rydd ddiferyn i'w feistr. Y mae yn ddychrynllyd,—dyn yn marw o eisiau cwppanaid o ddwfr—y camelod yn gorwedd ac yn naccau cyfodi, am fod eu nerth wedi pallu. Bod yn sychedig mewn anialwch poeth, heb obaith o gael dwfr, ydyw y sefyllfa druenusaf y gall dyn gael ei gyfleu ynddi tra yn y fuchedd hon. Nid ydym ni yn brofiadol o'r teimladau hyn, ond y maent yn fynych yn goddiweddyd teithwyr anialwch mawr Arabia, a lluoedd o honynt yn marw o syched. Weithiau gwel y teithiwr megis llyn o ddwfr draw o'i flaen, a gall gymmeryd ei lw braidd mai dwfr ydyw. Yn wyneb yr olygfa hon, ymgysura ac ymgryfha yn ei feddwl; ond fel y nesa at y llyn tybiedig, cilia a derfydd, ac er ei fawr ofid efe a wel mai ei dwyllo a gafodd.

Preg. 7. 6. "Fel clindarddach drain dan grochan."—Tail gwartheg ydoedd yn danwydd cyffredin yn y dwyrain, yr hwn a losgai yn dra araf; oblegid hyn, bygythiai yr Arabiaid losgi dyn â thail gwartheg fel angeu poenus. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng tail gwartheg a drain: un yn llosgi yn esmwyth, araf, a distaw; a'r llall yn fflamio, gan wneuthur ystwr mawr. Dyweda Syr R. K. Porter eu bod yn Persia yn cynnull tail anifeiliaid, yr hwn a sychant yn yr haf, ac a losgant at eu gwasanaeth.

Preg. 11. 1. "Bwrw dy fara ar wyneb y dyfroedd; canys ti a'i cei ar ol llawer o ddyddiau."—Y mae gan yr Arabiaid ddiareb gyffelyb i hyn: "Gwna dda, bwrw dy fara i'r dwfr, ac efe a delir i ti ryw bryd." Ymddengys bod y Tyrciaid wedi benthycia y ddiareb hon oddiar yr Arabiaid, gydag ychydig gyfnewidiad. "Gwna ddaioni, bwrw dy fara i'r dwfr; os na bydd y pysg yn ei adnabod, y Creawdwr a'i hadnebydd." Meddwl y ddiareb Hebraeg ac Arabaidd ydyw, "Rhanna dy fara i bob tlodion, adnabyddus ac anadnabyddus, oblegid y drugaredd hon o'r eiddot, a wnei ar amcan, a delir yn ol i ti gan Dduw ryw bryd neu gilydd."

Esay 3. 1. "Cynnaliaeth bara." (Saesonaeg, "Ffon bara."—Bara ydoedd ac sydd yn parhau i fod yn brif ymborth dynion ym mhlith gwahanol genhedloedd y ddaear. Dyweda Dr. Shaw am y dwyreinwyr, mai bwyttawyr bara mawrion ydynt; y maent yn byw gan mwyaf ar ryw gyfansoddiadau a wneir o flawd haidd neu wenith. Niebuhr hefyd a ddywed, mai prif ymborth y dwyreinwyr yw bara newydd ei bobi, a'u bod yn dra gofalus i gadw digon o flawd, yn neillduol pan fyddont yn myned i deithio trwy yr anialwch.

Esay 7. 15. "Ymenyn a mêl a fwytty efe."—Ymddengys ymenyn a mêl yn dra anghyfaddas i'w gilydd i ni, ond defnyddir hwynt yn y dwyrain yn y wedd ganlynol, medd y teithiwr Irby. Rhoddasant ymenyn a mêl i'r teithiwr a'i gymdeithion. Dymunasant ar un o'u dynion eu cymmysgu ynghyd. Gwnaeth yr Arab hyn yn rhagorol

â'i fysedd, ond medrai gymmeryd ei gyfraid o hono yn gystal a'i gymmysgu. Wedi cymmysgu yr ymenyn a'r mêl ynghyd, rhoddid y tammeidiau bara ynddo, ac yna bwytteid ef.

Galar. 4. 8. "Duach yw'r golwg arnynt na'r gloyn."—Effeithiau newyn a ddarlunir yma, fel y cymmerent le gyda golwg ar gorph dyn. Dyweda Syr John Chardin fod pobl gyffredin Persia yn adrodd am ddioddefiadau Hossein, ŵyr Mahomet, fel rhai mawrion iawn. Iddo ffoi i'r mynyddoedd o flaen y rhai a fuddugoliaethasant arno; iddynt ei erlid am ddeng niwrnod, ac iddynt ei ddal pan yn lluddedig, a phan ydoedd ar farw o flinder, newyn, a syched; ac iddynt yn y diwedd ei ladd drwy liosogrwydd o glwyfau. Ceidw y Persiaid goffadwriaeth flynyddol o hyn, er dangos yr hyn a ddioddefodd. Ymddangosant yn noethion, gan dduo eu hunain drostynt, am fod newyn yn achosi duwch.

Ezec. 4. 15. "Yntau a ddywedodd wrth yf, Wele, mi a roddais it' fiswail gwartheg yn lle tom dyn, ac â hwynt y gwnei di fara."—Dyweda Shaw lawer iawn am y dull o deithio yn y dwyrain, a phan y byddent mewn diffyg o goed er cynnud i bobi neu i ferwi rhyw beth, mai tail camelod y *carafan* blaenorol a ddefnyddient, yr hwn wedi y sychai, a losgai yn lled dda. Dyweda teithiwr arall, bod yr ail fara yn cael ei bobi dan ludw, neu rhwng dau dân a wneid o dail gwartheg; ond mai bara canolig ydoedd, gwrthwynebus i'r archwaeth oblegid blas y mwg a'r tail. Ac ymddengys ei bod yn farn drom ar yr Iuddewon pan fyddent dan yr angenrheidrwydd o ddefnyddio tom dyn i bobi eu bara.

Mat. 5. 13. "Eithr o diflasodd yr halen."—Y dyb o fod halen yn diflasu a eglurir gan Maundrell, yr hwn a ddyweda bod yn nyffryn yr halen, yn gyfagos i Gebul, ac ynghylch pedair awr o daith o Aleppo, glogwyn bychan a achoswyd drwy gymmeryd ymaith yr halen yn barhaus. Yn hwn y gellir gweled y gwythienau halen. Torrodd y teithiwr ddarn o hono, yr hwn oedd yn agored i'r gwlaw, i'r haul, ac i'r gwynt, er ei fod unwedd a halen, etto yr oedd wedi colli blas halen; ond yr hyn oedd dan y darn a dorrwyd ymaith ydoedd berffaith yn ei flas. Dr. Shaw hefyd a sylwa ar yr un amgylchiad yn Barbary. Y mae mynydd cyflawn o halen ar derfyn llyn Marks. Y mae yr halen yn y mynydd yn hallt, ond y mae yr hyn a olchir ymaith gan y gwlawogydd yn colli ei flas yn hollol.

Mat. 26. 23. "Ac efe a attebodd ac a ddywedodd, Yr hwn a wlych ei law yn y ddysgl, hwnnw a'm bradycha i."—Ymddengys rhyw beth yn ddieithr i ni bod dau yn cyd-wlychu eu dwylaw, neu eu bysedd, yn yr un ddysgl, ond yr oedd ac y mae yn arferiad yn y dwyrain. Dyweda Buckingham ei fod ef yn teithio drwy Mesopotamia, ac iddo ddyfod i bentref i letty; tra yr oedd efe yn glanhau ei geffyl, gwelai drigolion y pentref yn ymgynnull hyd tua chant o nifer oddi amgylch lliain, yr hwn a daenwyd ar y ddaear yn lle bwrdd, er iddynt swpperu. Galwyd ar y teithiwr ym mlaen, a gosodwyd ef i eistedd yn yml llywydd y wledd. Yma cafodd yr anrhydedd o gyd-roddi ei ddwylaw âg ef yn y ddysgl, a physgotta y tammeidiau goreu. Yr oedd hyn yn arwydd o'i fod yn cael ei ystyried fel cyfaill neillduol. Trwy adael i Judas gyd-roddi ei law yn y ddysgl â'r Arglwydd Iesu Grist, dangoswyd ffafr, a rhoddwyd

anrhydedd iddo; ac yr oedd ei waith yntau yn bradychu ei Arglwydd, wedi ymddangosiad mor frawdol, yn ei ddangos yn y lliwiau gwaethaf.

Marc 9. 50. "Bid gennych halen ynoch eich hunain."—Dyweda Park mai un o'r danteithion mwyaf a phennaf ym mharthau tufewnol Affrica ydyw halen. Plentyn yno a sugna ddarn o halen megis ped fyddai suwgr. Anaml iawn y mae y tlodion yno yn cael archwaethu halen, fel y mae pawb a'i defnyddiant yn cael eu hystyried yn ddynion cyfoethogion. Gan eu bod yn bwytta cymmaint o lysiau, ni ellir mynegu eu hiraeth am halen.

Luc 5. 8. "A Simon Pedr, pan welodd hynny, a syrthiodd wrth liniau yr Iesu."—Yr oedd cofleidio y gliniau yn yr amseroedd gynt yn arwydd o ufudd-dod, neu yn agwedd a gymmerid er gofyn am nodded. Ac etto yn Affrica, pan fyddo neb wedi troseddu yn erbyn tywysog, ac wedi ei ddedfrydu i farwolaeth, yr arferiad ydyw i rai o swyddogion y tywysog syrthio o'i flaen, a chofleidio ei liniau, i ofyn maddeuant i'r troseddwr, ac weithiau caniatteir hynny.

Luc 14. 13. "Eithr pan wnelych wledd, galw y tlodion, yr efryddion, y cloffion, y deillion."—Buckingham, yn ei deithiau drwy Mesopotamia, a ddywed am wledd, o'r hon y bu efe yn gyfrannogwr. Yr oeddynt wedi ymgynnull yn nhŷ un o hanedigion Mahomet. Aethant yno ychydig cyn machlud haul, a derbyniwyd hwynt yn dra groesawgar i ystafell eang oreuredig. Ym mhlith y gwahoddedigion yr oedd dau Fakir Indiaidd, dillad y rhai oeddynt waelion a llarpiog iawn, ac yn heidio o lau, oblegid ni niwidient eu dillad wedi eu rhoddent unwaith am danynt, hyd oni syrthient ymaith yn ddarnau; ond telid yr un parch i'r rhai hynny ag i'r gwahoddedigion pennaf gwyddfodol. Oblegid bod dynion o'r fath hyn yn cael dyfod i wleddoedd y mawrion, y mae eu tai, medd Buckingham, mor lleuog a'r rhai tlodion.

Luc 15. 29. "Mynn."—Ystyrrid mynn, neu oenig, yn ddanteithfwyd mawr yn y dwyrain. Y mae yn cael ei ystyried yn rhagori ar bob danteithion, ac yn fwy derbyniol gan y gwahoddedigion. Nid rhyfedd felly bod y brawd hynaf yn achwyn na roddodd ei dad fynn iddo ef er bod yn llawen gyda'i gyfeillion. Rhoddai yr Iuddewon weithiau fynnod yn anrhegion. Addawodd Judah fynn i Tamar; ac anfonodd Samson fynn i'w wraig fwriadol. Dyweda Salt am yr Abyssyniaid, eu bod yn hoff iawn o fynn, ac yn aml yn ei drin gyferbyn a'u gwleddoedd, fel y gyfran neu y saig bennaf berthynol iddynt.

Ioan 13. 23. "Ac yr oedd un o'i ddisgyblion yn pwyso ar fynwes yr Iesu, yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu."—Rhydd adroddiad D'Ariveux gryn oleuni ar hyn pan ddyweda am ddull yr Arabiaid yn bwytta. Eisteddant wrth y bwrdd yn y fath fodd, fel y mae ysgwyddau y naill yn cael eu troi at fynwes y llall, a'r dwylaw dehau yn droedig at y dysglau, a'r dwylaw chwith wrthynt er pwyso arnynt: ac felly pwysant pan fyddont gryn nifer wrth y bwrdd ar fynwesau eu gilydd.

## IV. GWISGOEDD.

GEN. 24. 65. "Hi a gymmerth orchudd, ac a ymwisgodd."—Ymddengys bod gorchuddio y pennau yn ddefodol ar dri o achlysuron: mewn achosion o flinder a galar, 2 Sam. 19. 2. fel arwydd o wylder, Gen. 25. 65. ac fel tystiolaeth o barch ac anrhydedd mawr pan ddynesai un isel-radd at un fyddai fwy. Elias, pan glywodd lais Duw ym mynydd Horeb, a roes orchudd dros ei ben. 1 Bren. 19. 43. Yr oedd i briodas-ferch roddi gorchudd am dani, yn hen arferiad; crybwylla y naturiaethwr Pliny a Tertullian am hyn. Yr oedd yn arferiad ym mhlith y paganiaid a'r Cristionogion yn amser Tertullian.

Gen. 27. 27. "Ac a aroglodd arogl ei wisgoedd ef."—Gwnaeth Isaac hyn er mwyn boddloni ei hun mai Esau ydoedd ger ei fron, ac nid Jacob. Y mae yn ddefod gan y dwyreinwyr i berarogli eu gwisgoedd drwy amryw ffyrdd:—taenellant arnynt olewau o aroglau hyfryd; a mwg-darthant hwynt drwy losgi gwahanol goedydd. Trwy un o'r moddion hyn y mae yn debygol yr aroglodd Jacob ei wisgoedd yn gyffelyb i'r dull y gwnai Esau, ac felly y twyllodd yr hen wr, ac y cafodd y fendith.

Gen. 37. 3. "Ac efe a wnaeth siacced fraith iddo ef."—Dyweda Rauwolf bod y Tyrciaid o gyfoeth ac anrhydedd yn Aleppo yn gwisgo eu meibion pan ddelont i ryw faintioli, ac i allu rhodio oddi amgylch, mewn gwisgoedd o amryw liwiau, y rhai a edrychant yn hardd ac yn hyfryd iawn.

Gen. 39. 12. "Yntau a adawodd ei wisg yn ei llaw hi, ac a ffodd ymaith.—Yn yr hanes hon dywedir bod meistres Joseph wedi ymdrechu i'w ddenu i drythyllwch, iddi ymaflyd yn ei wisg, ac iddo yntau ffoi ymaith, a gadael ei wisg yn ei llaw hi. Pan ddaeth i achwyn wrth ei gwr, dangosodd ei wisg fel tystiolaeth, ac ennynodd digofaint ei feistr yn fawr yn ei erbyn, ac a'i bwriodd i'r carchar. Yn awr, ymddengys rhyw beth yn rhyfedd i ni i Putiphar gymmeryd gair ei wraig, oblegid gallasai feddiannu y wisg drwy ryw ffordd arall. Ond os oedd yr un ddefod y pryd hynny yn yr Aipht ag sydd yn awr yn Abyssinia, nid oes dim yn rhyfedd yn yr amgylchiad. Ystyrir ef yn y wlad ddywededig yn brawf sicr o euogrwydd os bydd gwisg dyn yn ei erbyn, ac nid rhaid wrth dystiolaeth arall.

Gen. 45. 22. "I bob un o honynt oll y rhoddes bâr o ddillad."—Ymddengys bod rhoddi anrhegion o ddillad yn beth cyffredin yn y dwyrain ym mhlith pob graddau o bobl; ac y mae yr unrhyw ddefod yn parhau hyd yn bresennol. Dyweda De La Motruge bod Cennadau Ewropaidd mewn neuadd yn nhŷ Vizier Caercystenyn, a phan ddaeth efe i mewn, iddynt gyfodi er ei gyfarch, ac wedi iddo yntau wneuthur ei foes, eisteddodd, a dygwyd y coffi i mewn. Wedi hyn, cyflwynodd un o'r Cennadau y llall iddo, a'r Vizier a'i derbyniodd yn serchog. Wedi myned drwy ryw ddefodau ychwanegol, anrhegwyd hwy â math o wisgoedd gwerthfawr arianaidd, a blodau aur ac arian, yn ol y ddefod gyffredin a wneid â Chennadau y teyrnasoedd.

Ecsod. 35. 35. "Ac i wau, gan wneuthur pob gwaith."—Yng ngwaith y cottwm yn India y mae y gelfyddyd o wau yn dra gwa-

hanol oddiwrth fel y mae gyda ni. Y gwehyddion yno a osodant y gwŷdd dan bren, gan ei sicrhau wrtho, a'r edau a osodir gymmaint a hyd y brethyn. Y mae y gwehyddion yn India o gyfrifiad mawr ac yn dra anrhydeddus; y maent yn nesaf i'r ysgrifenyddion, ac uwchlaw y celfyddydwyr eraill. Y gwehyddion Indiaidd a wnant waith hardd a chywrain, yn llawn o wahanol flodau a lluniau, ym mhell uwchlaw yr hyn a wna gwehyddion Ewropaidd.

Ecsod. 38. 8. "Drychau gwragedd."—Mewn perthynas i ddrychau yr hynafiaid, ymddengys oddiwrth hen awduron eu bod yn cael eu gwneuthur o wahanol ddefnyddiau. Yn gyffredin gwneid hwynt o bres gloyw; eraill a wneid o haiarn caled wedi ei loywi. Yn ol a grybwyllir yn yr adnod hon, ymddengys bod merched a gwragedd Israel yn myned â'u drychau gyda hwynt i babell y cyfarfod. Dyweda Thunberg bod drych mawr yng nghanol y deml yn Japan, yr hwn a fwriedir i gofio y rhai a ddelont yno i addoli, fel ag y dengys y drych bob ffaeleddau allanol, felly hefyd bod ffaeleddau a duwch y galon yn berffaith i'r duwiau anfarwol.

Jos. 5. 15. "Dattod dy esgidiau oddiam dy draed."—Y ddefod y cyfeirir atti yma nid yn unig ydoedd gyffredin, ond y mae yn parhau i fod felly trwy yr holl ddwyrain. Tynnir ymaith y sandalau neu yr esgidiau pan eir i'r temlau Mahometaidd neu i deiau dynion anrhydeddus. Rhoddir hwynt o'r neilldu, neu i wasanaethwr i'w cadw. Dyweda Ives bod sandalau ac esgidiau mor gyffredin wrth deml (pagoda) Indiaidd, ag ydyw cycyllau yn ein haddoldai ninnau. Cyflawnir y ddefod hon gan y Siamiaid pan ddynesant at eu tywysogion a'u llywodraethwyr, i'r rhai y rhoddant barch addoliadol. Un teithiwr a ddyweda, pan yr oedd ef ac eraill yn myned ar neges at ganghellwr Siam, wedi iddynt esgyn grisiau cerrig, iddynt oll dynnu eu hesgidiau a'u gadael o'r neilldu cyn myned i'w bresennoldeb. Yn Asmere yn India y mae bedd sant enwog, (y fath ag ydyw saint India,) wedi ei wneuthur yn dra ardderchog. Tybir bod y fath sancteiddrwydd yn perthyn i'r lle hwn ac i'w amgylchoedd, fel na feiddia neb rodio yn agos atto ond yn droednoeth. Rhaid i bawb a elont i'r llannerchau fod yn droednoeth.

1 Sam. 18. 4. "Ië, hyd yn nod ei wregys."—Ymddiosgodd Jonathan o'i holl addurniadau, ac a'u rhoddes i Ddafydd,—ei fwa, ei gleddyf, a'i wregys. Dyweda Pitts, yr hwn a gymmerwyd gan yr Algeriniaid ac a werthwyd i hen fab gweddw, iddo gael bywioliaeth led dda, ac nad oedd arno eisiau dim. Gwnaed ef yn Fahometydd o'i anfodd. Wedi iddo fyw gyda'i feistr am ynghylch blwyddyn, efe a'i cymmerodd ef gydag ef i bererindod tua Mecca; ond ar y ffordd aeth ei feistr yn glaf, a chan feddwl y buasai farw, tynnodd ei wregys oddiam dano, yn yr hwn yr oedd ei lythyr rhyddhad a llawer iawn o arian, ac efe a'i rhoes i Pitts, gan beri iddo ei osod am dano ei hun. Y mae y cyfryw wregysau yn gyffredinol yn y dwyrain, ac fel arwydd o gyfeillgarwch, rhoddant hwynt y naill i'r llall.

2 Bren. 9. 30. "Ac a golurodd ei hwyneb." Dywediad arall, "Ac a liwiodd ei llygaid."—Jezebel a wnaeth hyn mewn ffordd o ymbarottoad erbyn dyfodiad Jehu i Jezreel. Hi a liwiodd ei llygaid â *stibium* neu *antimony*, defnydd tebyg i fwyn plwm. Y mae hyn yn ddefod yn Asia hyd heddyw. Ystyria y Persiaid lygaid mawrion,

meddalion, a duon, yn berffeithrwydd tegwch; ac oblegid hyn, defnyddia eu benywaid lwch yr *antimony* er eu lliwio. Felly hefyd, yn ol Dr. Russel, y gwna y benywaid yn Barbary, yn neillduol felly eu hamrantau, hyd oni byddo llinell ddu yn amgylchynu y llygaid.

Salm 102. 26. "Fel gwisg y newidi hwynt." Newidir dillad yn aml iawn yn y dwyrain, yn gystal er dangos parch ac er amlygu cyfoeth. Dyweda Thevenot, pan welodd efe y Sultan yn myned i'r deml Fahometaidd, ei fod mewn gwisgoedd tra ardderchog; ond cyn gynted ag yr adroddodd ei weddiau, iddo yn uniongyrchol newid ei ddillad. At y newidiadau aml a arferid yn y dwyrain y mae yn debygol y cyfeiriai Dafydd.

Esay 3. 16. "Gan rodio a rhygyngu wrth gerdded."—Gwneuthur swn clochaidd wrth gerdded, yr hyn a briodolir i'r benywaid. Dyweda Rauwolf bod y benywaid Arabaidd a welodd ef wrth fyned i lawr gyda'r Euphrates, yn gwisgo modrwyau am eu traed a'u dwylaw, ac weithiau lawer iawn o honynt ynghyd; a phan gerddent, fod y rhai hyn yn gwneuthur swn mawr. Yn Persia, gwisga y benywaid fodrwyau am eu meilyngau, a chlychau wrthynt; a bod plant yn rhedeg yn fynych er mwyn eu clywed yn tingcian. At y ddefod hon y mae yn debygol y cyfeirir yn yr adnod a grybwyllwyd ym mhrophwydoliaeth Esay.

Jer. 4. 13. "Er i ti liwio dy wyneb â lliwiau."—Cymmerodd y bendefiges M. W. Montagu sylw neillduol o'r ddefod hon pan oedd yn y dwyrain, a bod yr arferiad yn hen iawn ym mhlith y benywaid. Gelwai yr hynafiaid y sylwedd â pha un y lliwiant, *stibium*, sef *antimony;* ond dyweda Dr. Shaw mai mwyn plwm o'r fath oreu ydyw, wedi ei falu a'i wneuthur yn fân. Lliwiant eu llygaid, megis y crybwyllwyd yn barod, â'r defnydd hwn, fel y gwnai y benywaid Hebreaidd yn yr amserau gynt. Nid ystyria y benywaid, medd Shaw, eu bod wedi tacluso eu hunain yn ddigonol, hyd oni fyddont wedi lliwio eu llygaid. Lliwia y Birmaniaid yn India y meibion a'r merched, eu dannedd, eu hamrantau, a'u heiliau yn dduon; ac ystyriant hyn yn iachus yn gystal a'i fod yn hardd.

Mat. 3. 4. "A'r Ioan hwnnw oedd â'i ddillad o flew camel."—Dyweda y dysgedig Campbell nad oedd dillad Ioan wedi eu gwneuthur o flew teccaf y camel, ond o'r blew garwaf. Mai fel hyn y mae yn rhaid i ni eu deall yn eu perthynas â chymmeriad Ioan ac â'i ddull o fyw.

Mat. 3. 11. "Yr hwn nid wyf deilwng i ddwyn ei esgidiau."—Gorchudd y traed ym mhlith yr Hebreaid, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid, oedd yn unig wadnau, a llinynau yn eu clymmu am y traed; y fath ag sydd gan yr Arabiaid hyd heddyw, ac a elwir wrth yr enw sandalau. Ni ddefnyddir y rhai hyn ond pan rodir allan o'r tŷ: pan ddychwelir adref neu yr eir i mewn i ryw dŷ arall, tynnir hwynt ymaith wrth y drws. Clymmu a dattod sandalau er yr amserau boreuaf ydoedd orchwyl y caethion; a'r caethwas newydd ei brynu a roddid i wneuthur hyn fel un o'i orchwylion cyntaf. Ystyrir y swydd hon mor isel fel nad oes ond y rhai iselaf a gânt ei chyflawni. Dattod sandalau yn y dwyrain, neu eu dwyn ar ol eu perchennog, a arwydda bod y cyfryw un yn y sefyllfa fwyaf darostyngedig a gwasaidd.

Mat. 6. 19. "Lle mae gwyfyn a rhwd yn llygru."—Y mae y niweidiau a'r difrodiadau a achosir gan y rhai hyn yn dra anhyspys ac anadnabyddus i ni; ond nid felly yn y dwyrain. Dyweda Bartolomeo am ddigwyddiad a'i cyfarfyddodd ef yn Pondicherry. Gosododd y nwyfau oedd ganddo mewn coffr yn yr ystafell, ac un diwrnod aeth i'r coffr i ymofyn am lyfr er difyrru ei hun; a phan ei hagorodd, gwelodd ynddo nifer anghredadwy o greaduriaid, a elwir yno morgrug gwynion. Yr oedd y rhai hyn wedi dinystrio agos yr hyn oll oedd yn y coffr, yn ddillad ac yn llyfrau. Yn Japan, y mae rhywogaeth o forgrug gwynion fel yr eira, y rhai a dreiddiant drwy bob peth ond cerrig; ac annichonadwy eu cadw oddiwrth nwyfau, ond trwy daenellu halen danynt ac arnynt. Yn America Ddeheuol, mewn rhai parthau, y mae pryfyn bychan a ddinystria bob peth, ond defnyddiau tra chaledion. Rhyw fath o wyfyn ydyw, ac y mae mor fychan fel braidd y gellir ei weled, ac mor fuan ydyw yng ngorchwylion dinystr, fel na bydd nemmawr o amser yn gwneuthur syppyn mawr o liain yn llwch. Yn Bombay, y mae y morgrug gwynion hyn yn dra dinystriol i nwyfau, oblegid llwyr ddifrodant goffreidiau o lyfrau, sidanau, neu frethynau, mewn ychydig o oriau. Yma, oni osodant goffr mewn ystafell ar gostrelau gwydr, byddant yn sicr o ddinystrio yr hyn oll fyddo ynddo. Ni allant ddringo y gwydr. Gwnant ugeiniau a channoedd o bunnau o golled mewn ychydig amser.

Mat. 22. 12. " Ac efe a ddywedodd wrtho, Y cyfaill, pa fodd y daethost i mewn yma, heb fod gennyt y wisg briodas?"—Dengys yr hanesyn canlynol mor angenrheidiol yn y dwyrain ydyw cael y gwisgoedd a ofynir fod am ddyn er mwyn defod. Dywedir, pan fyddo neges gan un o'r Cristionogion Ewropaidd â'r Sultan, hyspysir hynny i'w fawrhydi, ac mai yr atteb a rydd ydyw, " Gwisgwch a bwydwch ef, yna dygwch ef i mewn." Ar achlysuron neillduol yn y dwyrain, rhaid cael gwisgoedd perthynol i'r achlysur.

Marc 14. 52. "A hwn a adawodd y lliain, ac a ffodd oddi wrthynt yn noeth."—Y teithiwr Pococke, yn ei ddarluniad o wisgoedd yr Aipht, a sylwa, ei bod yn ddefod gyffredinol ym mhlith yr Arabiaid a'r Mahometiaid i wisgo math o wrthban mawr, gwyn neu lwyd, am danynt; ac yn yr haf, un o gotwm glas neu wyn: ac ni fydd gan y tlodion ddim am danynt ond hwn; a thebygol mai mewn gwisg gyffelyb i hon yr oedd y dyn ieuangc a ddilynodd ein Hiachawdwr wedi ymwisgo; a phan ymaflwyd yn y lliain gan y dynion ieuaingc, daeth ymaith yn rhwydd, fel y ffodd ymaith yn noeth. Dyweda Buckingham hefyd, fod yr Arabiaid yn gyffredin yn ymwisgo yn y wedd hon, ac y gallant daflu eu gwisgoedd ymaith mewn munud. Ioan 19. 23. " A'i bais ef oedd ddiwniad, wedi ei gwau o'r cwrr uchaf drwyddi oll." Adrodda yr hanesydd Clarke am wisgoedd yr Arabiaid yn Syria a mannau eraill, ac yn neillduol yn Palestina, ei fod yn syml ac yn unffurf, yn cynnwys math o grys glas, yn disgyn islaw y penliniau. Gwisgir hefyd ganddynt fath o fantell wedi ei gwneuthur o flew camel, a gwniad yn y canol; ond os bydd yn ddiwniad, ystyrir hi yn fwy gwerthfawr o lawer. Efallai mai o'r un defnydd a dull a'r rhai Arabaidd yr oedd pais ein Hiachawdwr, am yr hon y bwriwyd coelbrenau gan y milwyr.

Act. 18. 6. "Efe a ysgydwodd ei ddillad."– Gwnaeth yr Apostol hyn yn wyneb ymosodiadau yr Iuddewon arno, a'u cabl. Y mae hon, yn ol Morier, yn ddefod gyffredinol yn Nhwrci, oblegid ysgwyd y Tyrciaid eu dillad i ddangos eu hanfoddlonrwydd tuag at ryw beth a wneir neu a ddywedir. Dyweda Clarke am un o swyddogion y Tyrciaid, yr hwn a ymaflodd yn ei gleddyf, ac a ysgydwodd odreu ei wisg, pan welodd ryw bobl, gan wneuthur arwyddion i'r teithiwr a'i gymdeithion fod ar eu gwyliadwriaeth, am nad oedd perygl ym mhell. Y mae ysgwyd dillad yn arwydd o ocheliad cyffredinol yn y dwyrain ym mhlith y Tyrciaid.

Act. 19. 12. "Napcynau."—A'r nodwydd yn gyffredin y gwnant luniau ar napcynau yn Arabia, Syria, a Phalestina, yr hyn sydd orchwyl perthynol i'r benywaid. Gwnant hwynt i'w tadau, i'w brodyr, ac mewn ffordd o ragbarottoad i'w gwyr hefyd. Rhoddant napcynau brodiedig yn anrhegion i'w cariadau hefyd. Y mae eu napcynau yn y gwledydd hyn agos yn barhaus yn eu dwylaw, er sychu ymaith y chwys. Adrodda y bendefiges M. W. Montagu iddi hi gael ei anrhegu â napcynau brodiedig gan y pendefigesau Tyrcaidd, a'u bod yn dra hardd.

1 Cor. 11. 14, 15. "Onid yw naturiaeth ei hun yn eich dysgu chwi, os gwallt-laes a fydd gwr, mai ammharch yw iddo? Eithr os gwraig a fydd gwallt-laes, clod yw iddi: oblegid ei llaes-wallt a ddodwyd yn orchudd iddi."—Y pendefigesau dwyreiniol ydynt hynod am wallt llaes; ond gwallt y gwrrywaid sydd fyr. Darlunia y bendefiges M. W. Montagu wallt y gwragedd neu y benywaid yn y wedd ganlynol:—"Eu gwallt a groga yn ei hyd o'r tu ol iddynt, yn rhanedig, ac wedi ei harddu âg ysnodenau a pherlau." Y gwrrywaid yn y gwrthwyneb a eilliant eu gwallt ymaith yn llwyr ond un cydyn, a'r rhai hynny a adawant i'w gwallt dyfu a ystyrir yn fenywaidd.

---

## VII. ANRHEGION AC YMWELIADAU.

Gen. 33. 10. "A Jacob a ddywedodd, Nag ê, attolwg, os cefais yn awr ffafr yn dy olwg, cymmer fy anrheg o'm llaw i."—Defod gyffredin yn y dwyrain, pan wahoddo un wr o uwch gradd nag ef, yw rhoddi iddo anrheg, fel cydnabyddiaeth am ei ddarostyngiad yn ymweled âg ef. Ni wna cydraddolion un amser anrhegion i'w gilydd.

2 Sam. 11. 8. "A saig y brenin a aeth ar ei ol ef."—Pryd o fwyd, —rhyw gymmaint o ymborth, a anfonwyd ar ei ol ef oddiwrth y brenin. Dyweda teithwyr, pan anfonir anrheg yn uniongyrchol gan frenhines yn y dwyrain ar ol rhyw un wedi iddo ymadael, fod yr anrheg hon yn cael ei hystyried yn neillduol werthfawr. Ac yn achos Urias, gan i'r brenin anfon saig o fwyd yn union ar ei ol i'w dŷ, wedi iddo ymadael â thŷ y brenin, dangosai y cyfeillgarwch mwyaf tuag at Urias, a rhoddai anrhydedd mawr iddo. Pwy feddyliasai bod y fath fradwriaeth yn llechu yng nghilfachau ei galon?

Esther 9. 19. "Am hynny, Iuddewon y pentrefydd, y rhai oedd yn trigo mewn dinasoedd heb gaerau, oedd yn cynnal y pedwerydd

dydd ar ddeg o'r mis Adar, mewn llawenydd a chyfeddach, ac yn ddiwrnod daionus, ac i anfon rhannau i'w gilydd."—Darlunia Irby wledd yn yr Aipht fel y canlyn:—Dyweda fod y bwyd yn neillduol flasus, sef cyfran o gig camel a dybid yn oen, ac iddo ef ac eraill fwytta boreu-fwyd tra chysurus o'r dysgleidiau a osodid ger eu bron. Bod pob peth yn cael ei ddwyn ym mlaen yn dra gweddaidd,—y Sheiks yn eistedd wrthynt eu hunain yn rhesau dyblig, a rhaff fawr yn amgylchynnu y gynnulleidfa, fel y rhwystrid y werin i ddyfod attynt a pheri anghyfleusdra iddynt yn eu gwledd. Pan orphenodd y Sheiks, rhannwyd y gweddill rhwng y werin; ac heblaw hyn, anfonwyd rhannau i'r gwahanol bebyll yn y gwersyll, i'r benywaid a'r plant. Yr oedd amryw gamelod wedi eu trin ar yr achlysur, ac ymddangosai pawb megis pe buasent wedi eu hollol foddloni.

Dan. 2. 46. "Gorchymmynodd hefyd am offrymmu iddo offrwm ac arogldarth."—Gorchymmyn brenin Babilon mewn perthynas i Daniel, pan ddeonglodd iddo ei freuddwyd. Ymddengys bod gwneuthur anrheg o beraroglau yn arwydd o barch anghyffredin yn y dwyrain, er yr amserau boreuaf. Gwnaed yr offrwm hwn i Daniel er dangos parch ac anrhydedd iddo am ei wybodaeth a'i ddoethineb goruwch-naturiol.

Mal. 1. 8. "Cynnyg ef yr awrhon i'th dywysog."—Offrymma ef yn awr i'th lywodraethwr. Bwriedir hyn yn gerydd i Israel am offrymmu y fath aberthau yng ngwasanaeth Duw, y rhai oeddynt dra ammherffaith; a'r rhai o'r fath, pe eu hoffrymmasid, a wrthodasid gan un o uwch gradd yn eu plith eu hunain. Anrhegion yn gyffredin ydynt dderbyniol, ond y mae amgylchiadau yn y dwyrain yn gwneuthur gwahaniaeth mawr ar y pen hwn. Yno y mae anrhegion yn anhepgorol angenrheidiol, er ennill ffafr y mawrion. Nid oes y fath beth yno a chael gwrandawiad yn y llys, cefnogrwydd gan swyddog, na'r gymmwynas leiaf gan neb, heb wneuthur anrhegion; ac os na bydd yr anrhegion yn gymmeradwy, drwy fod yn waelion neu yn ammherffaith, gwrthodir hwynt gyda dirmyg, ac ni ddangosir na ffafr na chymmwynas i'r cyfryw un, hyd oni wnelo eu gwell.

---

## VIII. DIFYRWCH.

Ecsod. 15. 20. "A Miriam y brophwydes, chwaer Aaron, a gymmerodd dympan yn ei llaw, a'r holl wragedd a aethant allan ar ei hol hi, â thympannau, ac â dawnsiau."—Dyweda y bendefiges M. W. Montagu, am y dawnsiau dwyreiniol, eu bod yn gyffelyb i'r dull y dywedir bod y dduwies Diana, wedi dawnsio ar lan yr Eurotas. Y bendefiges bennaf ym mhlith y cymdeithasau a flaenora yn y dawns, a'r lleill a'i dynwaredant, a phan gano hon, cyduna y lleill â hi yn y byrdwn. Tebygol, ac y mae yn fwy na thebygol, mai Miriam a flaenorai yn y dawns, a bod y lleill yn gwneuthur yn ol fel y gwnelai hi. Felly hefyd y blaenorai Dafydd frenin yn y dawns o flaen yr Arglwydd, pan symmudwyd yr arch o dŷ Obed-Edom. Cedwir dawns cyffelyb i hwn etto yn yr Aipht, pan eir i lawenhau oblegid rhyw ddigwyddiad neillduol. Dawnsir yn y wlad ddywededig yn

flynyddol ar orlifiad yr afon Nilus, a phan agorir y camlasau er iddi redeg iddynt i ddyfrhau y wlad. Dyweda Irwin yn ei hanes am yr Aipht, iddo ef ac eraill unwaith gael eu dihuno o'u cwsg gan swn offerynnau cerdd, yn gymmysgedig â lleisiau benywaid. Edrychodd allan drwy y ffenestr, a gwelodd tua deg ar hugain o wyryfon yn nesu tuag at y fan lle yr oedd, gan ddawnsio, a gwneuthur gwahanol ystumiau. Disgleiriai y lloer yn dra thanbaid, a gwelai hwynt yn dyfod ymlaen, hyd oni ddaethant ar gyfer y lle yr oedd efe; yma yr arosasant, gan ffurfio eu hunain yn gylch ar gyfer y drws; yma yr adnewyddasant y dawns, a chanasant yn dra bywiog. Wedi iddynt wneuthur hyn am ychydig funudau, symmudasant tua thŷ yr Hakeem, ac oddi yno ym mlaen drachefn, er dihuno pobl y dref i lawenydd a gorfoledd. Wedi i'r teithiwr ymholi i'r achos o'r dawns a'r canu hwn, dywedwyd wrtho, mai yr achlysur ydoedd dechreuad gorlifiad yr afon Nilus. Y tympanau a chwareuid gan Miriam ac eraill pan ddawnsient a ddarlunir gan Neibuhr. Cylch llydan ydyw, a chroen wedi ei roddi drosto, a phlatiau o ddefnydd caled ar ei ymyl, y rhai a dingciant pan chwareuir ef. Delir yr offeryn hwn âg un llaw, a churir ef a bysedd y llaw arall. Yr offeryn cerdd a elwir wrth yr enw *Tambourin*, sydd gyffelyb iddo.

Num. 21. 17. "Yna y canodd Israel y gân hon, Cyfod, ffynnon; cenwch iddi."—Ar lan y ffynnon Beer y canodd Israel y gân hon, pan gawsant ddwfr yn yr anialwch yn wyneb syched mawr. Dyweda teithwyr bod y benywaid Eleusinaidd yng Ngroeg gynt yn dawnsio oddi amgylch ffynnon, ac yn canu caniadau mewn anrhydedd i Ceres: a bod y caniadau hyn i ffynnonau, yn cael eu canu etto mewn rhai parthau yng ngwlad Groeg ac yn Syria. Dyweda De Guys, iddo ef weled y benywaid ieuaingc yn *Prince Island*, yn ymgynnull yn yr hwyr wrth ffynnon gyhoedd, lle y dawnsiai ac y canai y lleill. Yr hen feirdd cyntefig a gyfansoddent bennillion, i'r bobl i'w canu pan fyddent yn tynnu dwfr o'r ffynnonau; a'r pennillion hyn a elwid yn ganiadau y ffynnon. Felly Israel wedi bod yn dioddef oblegid syched, pan gawsant ffynnon, a ganasant, "Cyfod, ffynnon; cenwch iddi."

1 Sam. 16. 17. "A dywedodd Saul wrth ei weision, Edrychwch yn awr i mi am wr yn medru canu yn dda, a dygwch ef attaf fi."—Yr oedd yr yspryd drwg, sef math o wallgofrwydd ofnadwy, yn dyfod ar Saul ar brydiau; a thebygol ei fod yn chwenychu cael cerddor da, er mwyn llonyddu ei yspryd yn amserau ei wylltineb. Ond ymddengys bod cerddorion ac eraill yn llysoedd brenhinoedd y dwyrain. Dyweda Richardson, bod adroddwyr chwedlau yn cael eu cyflogi gan fawrion y dwyrain; a bod un pen ychwaneg, gwrrywaid a benywaid, ym mhlith eu gwasanaethwyr. Swydd y rhai hyn, pan fyddo eu harglwyddi yn brudd, yn ofidus, neu yn anhwylus, ydyw adrodd rhyw hen chwedlau er mwyn eu syfrdanu i gysgu. Dywedir bod eu chwedlau yn neillduol ddifyr, yn neillduol y rhai hynny o darddiad Persiaidd. Ystyriai Mahomet y chwedlau hyn mor niweidiol, fel y gwaharddodd hwynt yn bendant yn y corau. Syr R. K. Porter a ddyweda, bod adroddwyr y chwedlau hyn i'w gweled yn aml yn Persia, yn eistedd mewn

cynteddau a than fwäau, ac amryw yn eu hamgylchynu i wrando arnynt yn adrodd chwedlau yn ddwys a difrifol iawn. Adroddir hwynt gyda gwahanol ystumiau, cyfnewidiad lleisiau, a phob awgrymmau, er eu gwneuthur yn fwy derbyniol. A Jolliffe a ddyweda am y rhai sobraf ym mhlith y Tyrciaid, eu bod ar derfyn y dydd yn myned i'r tai coffi, er gwrando ar ryw un neillduol yn adrodd chwedl. A bod adroddiad y chwedl yn parhau weithiau dros ddwy awr, ac ar ei therfyniad, bod rhyw addysg foesol yn cael ei thynnu oddi wrthi. Adrodda Carne, y gwrendy Twrc, a'i bibell hir yn ei law, chwedl am oriau, a phan byddo rhyw beth neillduol yn cael ei ddywedyd yn awr ac yn y man, lleda ei lygaid, gan waeddi *Allah*, ond heb wneuthur un rhwystr i'r adroddwr. Y mae yn ddefod gyffredinol drwy yr holl ddwyrain.

2 Sam. 11. 2. "A bu ar brydnawn-gwaith gyfodi o Ddafydd oddiar ei wely, a rhodio ar nen tŷ y brenin: ac oddiar y nen efe a ganfu wraig yn ymolchi."—Y mae yr hanesyn canlynol o eiddo Frazer, yn ei hanes am Nadir Shah, yn o gyffelyb i'r hyn a ddywedir am Ddafydd. Dyweda am fenyw o'r enw Nour Jehan, yr hon oedd yn briod âg un o'r enw Sher Afkan Khan, o deulu Turcomanaidd, y rhai a ddaethant o Persia i Hindostan, mewn amgylchiadau tra chyfyng. Gan ei bod yn fenyw mor brydweddol, yr oedd Jehanguire y Sultan, wedi penderfynu i'w mynnu yn wraig iddo ei hun. Anfonodd ei gwr, yr hwn oedd gadarn mewn rhyfel, gyda rhai byddinoedd i Bengal, ac yn fuan anfonodd un arall â byddinoedd lliosoccach er ei ladd. Ar ol hyn efe a briododd ei wraig, gan ei gwneuthur yn ymerodres.

Jer. 31. 4, 5. "Ac a ai allan gyda'r chwareuyddion dawns. Ti a blenni etto winllanoedd ym mynydd Samaria."—Dyweda Dr. Chandler am rai o'r dawnsiau Groeg, eu bod yn cael eu cyflawni yn flynyddol gan ddynion y wlad ar derfyn y cynhauaf gwin. Cyssylltant ddwylaw, gan wneuthur math o orymdaith gyda mulod ac asynod, a phanieri llawn o rawnsypiau, a dyn o'u blaen yn cyhwfanu napcyn. Adrodda Shaw hefyd am y gorymdeithiau hynny o lawenydd ag y tybygir bod y prophwyd yn cyfeirio attynt, y rhai a arferir ym mhlith y Tyrciaid a'r Mooriaid, y rhai a ânt allan i'r meusydd er dawns a llawenydd.

Mat. 14. 7. "O ba herwydd efe a addawodd trwy lw roddi iddi beth bynnag a ofynai."—Y mae y ddefod yn y dwyrain, i'r dawnswyr, mewn gwleddoedd yn nhai y mawrion, i ofyn ewyllys da y cymdeithion. Rhoddir gwobrwyon iddynt mewn darnau bychain o arian, y rhai a sicrhant ar wynebau y dawnswyr. Ac os rhyw un a ragora yn y dawns, gwelir wyneb honno yn llawn o ddarnau arian. Dyweda Thenenot, am Sha Abbas, brenin Persia, ei fod unwaith yn feddw, ac iddo roddi i fenyw a ddawnsiasai o'i flaen y Khan harddaf drwy holl Ispahan. Adgofiodd y Nayar ef y boreu nesaf, a'r brenin a alwodd y rhodd yn ol, gan roddi iddi ryw anrheg fwy cymmedrol yn lle yr un o'r blaen. Mewn perthynas i roddi pen Ioan Fedyddiwr mewn dysgl, dywedir am Sultan Caercystenyn, iddo yn ddiweddar orchymmyn torri pennau rhai o'i swyddogion, ac ar fod i'w pennau gael eu dwyn atto mewn dysglau arian. Trwy hen ddefod yn Persia, yr oedd hawl gan y frenhines ar ddydd cylch-

wyl genedigaeth y brenin, i ofyn iddo unrhyw ffafr a ewyllysiai hi. Amestris y frenhines a anfonodd am gael gwraig Masistus, yr hon y tybiai bod ei gwr yn ormod cyfaill iddi. Pan draddodwyd hi i'r frenhines, gorchymmynodd y genawes felldigedig, am i'w bronnau, ei thrwyn, ei thafod, a'i gwefusau gael eu torri ymaith, a'u taflu i'r cwn, a hyn ger bron llygaid y dioddefydd. Adroddwyd hyn gan Dr. W. Alexander.

1 Cor. 15. 32. "Os yn ol dull dyn yr ymleddais ag anifeiliaid yn Ephesus."—Y ddefod farbaraidd o wneuthur i ddynion ymladd âg anifeiliaid gwylltion sydd hen ddefod yn y dwyrain, ac yn parhau hyd heddyw. Rhydd Anderson hanes am olygfa ryfedd a welodd efe yn Agra, lle y gartrefai y Mogul, yn 1646. Wedi gwneuthur pob peth yn barod, safodd un o swyddogion y Mogul ar ei draed, gan gyhoeddi, mai ewyllys y Mogul mawr, Schah Chorum, os oedd unrhyw wroniaid yn bresennol a ymladdent â'r bwystfilod, wedi arfogi â chleddyf a tharian, am iddynt ddyfod ym mlaen; ac os gorchfygent, yr anrhydeddid hwy yn fawr gan y Mogul. Ar hyn daeth tri dyn ym mlaen er ymladd. Gollyngwyd llew gwangcus allan i'r ardd, ac aeth un o'r tri yn ei erbyn. Y llew pan welodd y dyn, a ymosododd yn ffyrnig arno, a'r dyn yn dra medrus a ymddiffynodd ei hun am gryn amser. Ond pan ydoedd ar gael ei orchfygu gan y llew, tynnodd y dyn ddagr allan, ac a roddes frathiadau angheuol i'r llew. Dywedodd y Mogul dan wenu, "Yr ydwyt yn ddyn grymmus, ond gorchymmynais i ti ymladd â chleddyf a tharian yn unig, ond fel lleidr, ti a laddaist y llew â dagr." Gorchymmynodd i ddau rwygo bol y dyn, fel y bu farw yn y fan. Yn fuan ar ol hyn gollyngwyd dywalgi yn rhydd, a'r dyn a'i gwrthsafodd a gollodd y dydd yn fuan, oblegid y dywalgi a'i gwnaeth yn ddrylliau. Y trydydd dyn a gynddeiriogodd, ac a gymmerodd ei orsaf er ymladd â'r unrhyw ddywalgi, ac yn ymosodiad cyntaf y creadur arno, torrodd y dyn ei ddwy grafangc ymaith, ac yn fuan a'i gwnaeth yn ddrylliau. Oblegid y gorchest hwn, dyrchafwyd y dyn gan y Mogul i fri ac anrhydedd mawr. Y mae yn anhawdd gwybod mewn perthynas i'r anifeiliad y dyweda yr Apostol ei fod wedi ymladd â hwynt yn Ephesus, pa un ai anifeiliaid, neu ddynion anifeilaidd oeddynt. Barna Dr. Whitby mai anifeiliaid oeddynt; a Dr. Doddrige a farna mai dynion anifeilaidd oeddynt, oblegid na chrybwylla Luc yn ei hanes am Paul ddim am hyn, nac yntau ei hun yn 2 Cor. 11. 23. Ond y mae yma gyfeiriad at yr ymladdfeydd a wneid y pryd hwnnw âg anifeiliaid.

---

## IX. LLYFRAU A LLYTHYRAU.

2 Bren. 21. 13. "Golchaf hefyd Jerusalem fel y gylch un gwppan."—Fel y glanha neu y sycha un gwppan. Yn ol y *Vulgate*, *Delebo Jerusalem, sicut deleri solent tabulæ*—Dileaf allan Jerusalem fel y dileir llechau (byrddau) ysgrifenu allan. Cydmariaeth ydyw hon a fenthyciwyd oddiwrth yr hen ddull o ysgrifenu. Gwnaent eu llythyrenau gynt ar fyrddau, dros y rhai y taenid cŵyr gwenyn. Un pen

i'r ysgrifell ydoedd fain, a'r pen arall yn llydan, fel y gallent ddileu allan yr hyn a ysgrifenent, ac addasu y lle er derbyn llythyrenau newyddion. Fel hyn yr ysgrifenodd yr Arglwydd am Jerusalem; ond oblegid ei phechodau a'i hanwireddau, troir pen arall yr ysgrifell atti, ac enw Jerusalem ni cheir mwyach.

Neh. 6. 5. "Llythyr agored."—Enwyd llythyr yn yr Hebraeg, am ei fod yn cael ei blygu ynghyd. Dyweda Niebuhr, bod yr Arabiaid presennol yn plygu *(roll)* eu llythyrau hyd nes y byddont tua modfedd o led, ac yna sycrheir y ddau pen. Yn debyg i hyn y gwna y Persiaid hefyd, plygant eu llythyrau nes y byddont ynghylch chwe' modfedd o hyd, yna gosodant ef mewn papur, yr hwn a sicrheir â *gum*, ac a selir âg ingc tew. Anfonid llythyrau yn gyffredin at ddynion o fri ac anrhydedd mewn cwd neu bwrs; at gyd-raddolion mewn rhyw orchudd, ond at is-raddolion a'r rhai disylw, yn agored. Yn achos Nehemiah, bwriedid rhoi tramgwydd gan Sanbalat, drwy anfon iddo lythyr agored megis pe buasai y distadlaf drwy yr holl wledydd. Anfonodd Fatty Siang swyddog at Mr. Forbes i Dhuboy, a llythyr i'w wahodd i neithior a gedwid yn Brodera. Y llythyr ydoedd wedi ei ysgrifenu ar bapur arian, wedi ei flodeuo âg aur, ei daenellu â saffrwn, ac wedi ei lapio mewn brethyn aur. A chyda y llythyr yr oedd anrheg dra gwerthfawr.

Job 19. 23. "O na ysgrifenid fy ngeiriau yn awr."—Y dull hynaf o ysgrifenu medd Pliny, ydoedd ar ddail y balmwydden. Wedi hynny gwnaed defnydd o risgl tufewnol pren, yr hwn yn Lladin a alwyd *Liber*, (llyfr,) ac yn y Groeg *Biblos*, (Bibl.) Defnyddia y Chiniaid y fath risgl hyd heddyw, fel y dengys eu llyfrau, y rhai a ddygwyd i Ewrop. Ysgrifenai y Groegiaid a'r Rhufeiniaid gynt ar fyrddau wedi ei gorchuddio â chwyr. Ond pan gaed allan y papyrus Aiphtiaidd, rhoddwyd heibio yn fuan i ysgrifenu ar unrhyw ddefnydd arall. Pan aeth Ptolemy Philadelphus brenin yr Aipht at y gorchwyl o gasglu ynghyd lyfr-gell, gorchymmynodd ar i'r holl lyfrau gael eu hail-ysgrifio ar yr papyrus, yr hwn hefyd a drosglwyddwyd i deyrnasoedd eraill. Ond pan aeth Eumenes brenin Pergamus, i sefydlu llyfr-gell yn Pergamus, gwaharddwyd myned â'r papyrus o'r Aipht. Dyfeisiodd Eumenes ar hyn wneuthur llyfrau o femrwn; ond yr oedd y memrwn yn adnabyddus cyn amser Eumenes, oblegid crybwylla Esay, Jeremi, Ezeciel, ac eraill am dano. Y mae yn deilwng o sylw hefyd, yr ysgrifenid gynt ar ddalenau plwm; at yr hon ddefod y cyfeiria Job,—Mewn plwm ac yn y graig, fel nad anghofid hwynt byth.

Esay 60. 8. "Pwy yw y rhai hyn a ehedant fel cwmmwl, ac fel colommennod i'w ffenestri."—Yn ei lythyrau ar yr Aipht, dyweda M. Savary, gyda golwg ar y fuddugoliaeth a ennillodd y Ffrangcod ar yr Aiphtiaid, i golommen gael ei hanfon ymaith o Manseura i Grand Cairo, gyda y newydd o farwolaeth Facr Eddin, ac o ffoedigaeth yr Aiphtiaid; ond y mae y ddefod o drosglwyddo newyddion gyda cholommennod wedi ei diddymu yn y dwyrain. Ond efallai mai gyda golwg ar y ddefod hon, sef buandra ehedfaniad y colomennod, y cyfeiria Esay pan ddyweda am awyddfryd tyrfaoedd y Cenhedloedd i ddyfod i eglwys Crist. Dr. Russel, yn ei hanes am Aleppo, a ddyweda, eu bod yn rhoddi papur dan aden y golommen, rhag iddo

wlychu yn y gwlaw, ac yn trochu eu traed mewn finegr er eu cadw yn oerion, rhag i'r colommennod ddisgyn i yfed ac ymolchi ynddo, ac felly dinystrio y llythyr. Dyweda Morier am dai y colommennod yn Persia, eu bod yn dra ardderchog, ac y gwelid y creaduriaid braidd yn aneirif yn ehedeg iddynt, ac iddo ef gofio am ddywediad y prophwyd Esay pan welodd hwynt.

Ezec. 9. 2. "Ac yr oedd un gwr yn eu mysg hwynt wedi eu wisgo â lliain, a chorn du ysgrifenydd wrth ei glun."—Y drec ysgrifenu yn y dwyrain a wahaniaetha yn fawr oddiwrth y rhai hynny yr ydym ni yn gydnabyddus â hwynt. Dyweda D'Arvieux am yr Arabiaid yn yr anialwch, pan fyddont yn chwennychu rhyw ffafr neillduol gan yr Emir, ceisiant gan ei ysgrifenydd i ysgrifenu gorchymmyn ar i'r cyfryw ffafr gael ei rhoddi iddynt. Dygant y papuryn hwn at yr Emir, ac os efe a ganiatta iddynt eu dymuniad, rhydd ei sel mewn ingc ar y papuryn. Y ddefod o osod y corn wrth yr ystlys sydd yn y dwyrain hyd heddyw; a dyweda Dr. Shaw am y Mwriaid yn Barbary, eu bod yn gosod eu cyrn wrth eu gwregys yn gyffredinol, yn debyg i'r dull a ddarlunir gan Ezeciel. Y mae defod gyffelyb i hon yn Persia hefyd, medd Mr. Hanway. Gesyd yr ysgrifenyddion eu drec ysgrifenu dan eu gwregysau.

Act 8. 30. "A Phylip a redodd atto, ac a'i clybu ef yn darllen y prophwyd Esaias."—Adrodda Jowett, eu bod yn arferiad gyffredinol yn Syria i ddarllen yn uchel, pan fyddont wrthynt eu hunain. Dyweda y teithiwr dywededig, yr ymddangosai iddo ef nad allai pobl y gwledydd ddeall na synied yr hyn a darllenant, oni wnant hynny yn uchel. Ant gan ddarllen yn uchel, a llais megis yn hanner canu, gan ysgogi eu pennau a'u cyrph ar yr un pryd, gan wneuthur y fath acceniad ag a swnia ryw beth yn annifir yng nghlustiau Sais. Darllenant ffwrdd, heb ymorol yn gymmaint am y synwyr, ac arosant yng nghanol darn ymadrodd i gymmeryd eu hanadl, ac yna ymaith â hwynt drachefn ar daith. Ar un achlysur, rhoes y teithiwr crybwylledig iddynt enghraifft o'r dull y darllenid yn Lloegr. Chwarddasant am ben y gwr dieithr a'i ddarlleniad, gan ddywedyd, "Yr ydych yn darllen megis pe byddech yn siarad." Yn ol y ddefod hon y darllenai yr Eunuch pan orchymmynodd yr yspryd i Phylip lynu wrth ei gerbyd.

Dat. 10. 10. "Ac mi a gymmerais y llyfr bychan o law yr angel, ac a'i bwytteais ef."—Arferir y iaith gydmariaethol neu ffigurol hon gan awduron cenhedlig. Adrodda un teithiwr am y Tyrciaid, y dywedant am ryw rai, bod eu dysgeidiaeth a'u gwybodau yn eu llyfrau ond am y Tartariaid, eu bod wedi bwytta eu llyfrau; a bod eu gwybodaeth yn eu mynwesau, a'u bod yn gallu eu dwyn allan y pryd y mynnont.

---

## X. LLETTYGARWCH.

Gen. 18. 6. "Ac Abraham a frysiodd i'r babell at Sarah, ac a ddywedodd, Parottoa ar frys dair phiolaid o flawd peilliaid, tylina, a gwna yn deisennau."—Dywedir bod y cyfarwyddiadau hyn yn gwbl

gysson âg arferiadau y wlad honno yn awr, lle y bu Abraham byw gynt. Cyn gynted y tylina y Bedowiniaid, gwnant y toes yn deisennau teneuon, y rhai a bobant yn union-gyrchol ar y marwor. Yn y dull hwn hefyd y gwna y benywaid deisennau yn Palestina; y rhai yn gyffredin a fwytteir yn boethion. Yn ol y ddefod bresennol y gwnaeth Abraham â'r triwyr a ddaethant heibio pan y pabellai yng ngwastadedd Mamre.

Gen. 18. 7. "Ac Abraham a redodd at y gwartheg, ac a gymmerodd lo tyner a da."—Ymddengys i Abraham gymmeryd ei ran mewn parottoi ar gyfer yr angylion; ond pan ddywedir iddo redeg i ymofyn am lo, nid oes i ni ddeall ei fod yn cyflawni gwasanaeth gwaradwyddus ac islaw iddo ei hun; oblegid nid cywilyddus gan y tywysog mwyaf yn y gwledydd hynny redeg at y praidd i ymofyn oen a'i ladd, tra y byddo y dywysoges yn parottoi er ei drin. Byddai hyn yn rhyfedd yn ein plith ni, ond nid ydyw felly yn rhai parthau o'r dwyrain.

Gen. 24. 16, 17, 18. "A hi a aeth i wared i'r ffynnon, ac a lanwodd ei 'stên."—Dyweda Green, ei fod ef a'i gyfeillion un diwrnod yn marchogaeth yn Affrica, ac iddynt fyned drwy ddyffrynoedd bychain, llawn o wyrdd-lesni a phrydferthwch. Ac mewn ychwanegiad at eu harddwch, yr oeddynt yn llawn ffrydiau bychain, y rhai a ddeillient o ffynnonau a darddent o'r greigiau. Gofynnai y teithiwr yn fynych am ddwfr, er mwyn tynnu ymddiddan â'r benywaid ieuaingc a ddaethent yno i ymofyn am ddwfr. Rhoddid dwfr iddo mewn cwppan deiliog, yn dra llon gan y gwyryfon duon Affricaidd, a phan ddiolchai iddynt, ymddangosent fel wedi eu boddloni yn fawr, a dywedent y naill wrth y llall, "A glywsoch chwi y dyn gwyn yn diolch i mi?"

Barn. 6. 19. "A Gedeon a aeth i mewn, ac a barottodd fynn gafr, ac ephah o beilliaid yn fara croyw: y cig a osododd efe mewn basged, a'r isgell a osododd efe mewn crochan; ac a'i dug atto ef dan y dderwen, ac a'i cyflwynodd."—Yr oedd y dull yma o roesawi yn un tra rhyfedd, ond yn gwbl gysson âg arferiadau y dwyrain hyd y dydd heddyw. Dr. Shaw a ddyweda, mewn perthynas i'r groesawiad a gafodd efe a'i gymdeithion yn rhyw barth o Asia, yn gyffelyb iawn i'r dull a adroddir am Gedeon. Pan gyntaf yr aethant i'r tŷ, dygwyd basgedaid o ffigys, *raisins*, a ffrwythau eraill iddynt, tra y parottoid ymborth mwy sylweddol. Aeth y meistr at y praidd, ac wedi dwyn mynn yn ol gydag ef, triniwyd un hanner o hono drwy ei ferwi yn union-gyrchol gan y wraig, a'r hanner arall a dorrwyd yn ddarnau ac a bobwyd, yr hwn a gadwyd erbyn ciniaw y dydd nesaf. Gyda yr ymborth presennol a roddant yn y dwyrain, y mae eu caredigrwydd y fath tuag at ddieithriaid, fel y rhoddant iddynt ymborth i fyned gyda hwynt i'w teithiau, a'r ymborth ychwanegol hwn a roddir ganddynt mewn basgedau ysgafn.

Job 31. 32. "Ni lettyodd dieithr ddyn yn yr heol; agorais fy nrysau i'r fforddolion."—Mawr ydyw rhinwedd y dwyreinwyr gyda golwg ar lettygarwch, ac yn neillduol felly ym mhlith yr Arabiaid, ym mysg y rhai, ac un o'r rhai, fel y mae yn debygol ydoedd Job. Ymffrostiant yn hyn fel eu gogoniant pennaf. Dyweda Raffles, mai defod y wlad ydyw, bod i bob pentref barottoi lletty ac ymborth i'r

dieithriaid a ddigwyddant ddyfod heibio iddynt. Ac yn ol eu deddf hwy, nid yn unig y maent i roddi bwyd da ger bron y pererin a'r teithiwr, ond ei wneuthur yn flasus drwy ymddygiadau hynaws ac ymadroddion tirion, fel y byddo ei galon yn llawenychu. Y rhai a breswyliant ar y mynyddoedd, pan fyddont yn teithio, ni thalant ddim am eu lletty a'u hymborth. Pan ddelont yn yr hwyr i bentref, disgynnant wrth dŷ cydnabyddiaeth iddynt, a dywedant wrth y perchennog, Yr ydwyf yn westeiwr i chwi heno. Pan na fyddo cydnabyddiaeth gan y dieithr-ddyn yn y pentref, efe a ddisgynna yn ymyl rhyw dŷ, a glymma ei anifail, ac a chwiffia ei bibell, hyd oni dderbynio wahoddiad gan feistr y tŷ i lettya yno y noswaith honno. Job ni adawai ddieithr-ddyn yn yr heol, ond dygai ef i'w dŷ, gan ei lettya a'i roesawi yn y wedd garediccaf. Dyweda Burkhardt, ei fod yn bwngc o anrhydedd yn y dwyrain i beidio cymmeryd dim gan y gwr dieithr am ei letty; ac iddo ef unwaith roddi rhyw gymmaint yn llaw plentyn am ei roesawiad gan deulu tlawd yn Zahomet; ac iddo yn union-gyrchol farchogaeth ymaith, tra gwaeddai y wraig am iddo gymmeryd ei arian yn ol.

Luc 11. 5—8. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Pwy o honoch fydd iddo gyfaill, ac a â atto hanner nos, &c."—Yn yr ymadroddion hyn, dangosir pa beth ydyw llettygarwch yn y dwyrain, er na ddangosir hwynt yma gyda y parodrwydd cyffredinol. Yn hanes ei deithiau yn yr Aipht, adrodda Irby, iddo ef a'i gymdeithion ddwy waith fyned i wersyll yn ddiweddar yn y nos; ac iddynt aros ar gyfer drws pabell, a'r gwr a'r wraig a'r plant newydd fyned i'w gorwedd-leoedd. Cyfodasant oll yn llawen, gan ennyn y tân, a'r wraig yn union-gyrchol a ddechreuodd dylino toes, er crasu teisennau iddynt i swpper. Yn hyn ni wnaethant ond dilyn arferiad gyffredin gwledydd y dwyrain.

Rhuf. 12. 13. "Ac yn dilyn llettygarwch."—Yn yr Hen Destament gwneir crybwylliadau aml am lettygarwch, yr hon rinwedd a arferid ym mhlith yr holl genhedloedd. Ac y mae y rhinwedd o lettygarwch yn cael ei orchymmyn i'r Cristionogion dan y Testament Newydd. Yr oedd y prif Gristionogion mor hynod mewn llettygarwch, fel y synnai y paganiaid o'u plegid. Yr oeddynt felly tuag at bob dieithriaid, ond yn neillduol i deulu y ffydd. Dyweda Volney am y Druzes, y bydd i bwy bynnag a ofynno letty ganddynt, ei gael yn garedig a di-dderbyn wyneb. Gwnant bob ymdrechiadau er ei gysuro a'i ddiflino wedi lludded y daith. Yr Hindwaid a ddangosant eu caredigrwydd gyda golwg ar lettygarwch i'w gelynion ar brydiau, gan ddywedyd, "Nad ydyw y pren yn attal ei gysgod, hyd yn nod rhag y cymmynydd." Elphinstone a ddywed yn ei hanes am deyrnas Caubul, pan fyddo ymwelydd yn dyfod i mewn i'r tŷ, y gwna annerch y teulu drwy ddywedyd, *Assalaum alaikoom*, Heddwch fyddo gyda chwi; i hyn attebant hwythau, *Oalaik assaulaum*, Ac i ti bydded heddwch. Yna arglwydd y tŷ a gyfyd, ac a gymmer law y dieithr rhwng ei ddwylaw ei hun gan ddywedyd, *Sha raughlee, Hurcul raushah;* Y mae i chwi roesaw, a bydded i chwi ddyfod yn fynych.

## XI. TEITHIO.

GEN. 13. 1—3. "Ac efe a aeth ar ei deithiau, o'r dehau hyd Bethel, &c."—Pan fyddai y patrieirch boreuol yn symmud, byddai eu holl wasanaeth-ddynion a'u hanifeiliaid yn symmud gyda hwynt. Tebygol bod yr adroddiad canlynol gan y teithiwr Parsons, yn ddarluniad tra chywir o'r dull y symmudai yr hen batrieirch. Dyweda y teithiwr crybwylledig, mai golwg hyfryd ydoedd gweled llwyth o Arabiaid yn symmud; yn gyntaf elai y defaid a'u bugeiliaid yn wahanol ddosparthiadau, yn ol y cyfarwyddai pennaeth pob teulu; yna y camelod a'r asynod wedi eu llwytho â'r pebyll, y dodrefn, a gwahanol lestri; yna yr hen ddynion, y benywaid, y bechgyn, a'r merched ar draed. Y plant ni fedrent gerdded a gludid ar gefnau y benywaid ieuaingc, a'r ŵyn bychain a gludid dan freichiau y plant. I bob pabell y perthyna amryw gwn, ac o ugain i ddeg ar hugain o bobl. Yn ddiweddaf oll y mae y pennaeth, yr hwn a elwir Emir, neu dywysog; bydd hwn ar gefn ceffyl, yn cael ei amgylchynu gan amryw bennau teuluoedd: ac yn y wedd hon yr ânt o fangre i fangre. Pan fyddo y borfa wedi darfod, symmuda yr Arabiaid eu pebyll a'u diadelloedd o fan i fan, ac y maent yn symmudol drwy yr holl flwyddyn.

Num. 10. 31. "Ac a fyddi yn lle llygaid i ni."—Y mae arweinydd i fyned trwy anialwch yn werthfawr iawn, fel yr ymddengys oddiwrth yr hyn a ddywedir gan Mr. Bruce. Gwaith yr arweinydd ydyw tywys y *carafan* drwy yr anialwch, naill ai i'r Aipht, neu yn ol i oror y môr Coch: ac weithiau i wledydd Sudan, a pharthau gorllewinol Affrica. Yr arweinwyr hyn ydynt ddynion o gryn wybodaeth, ac yn dra adnabyddus o bob amgylchiadau perthynol i'r anialdiroedd. Pa le y mae cael dwfr, y mannau sydd yn agored i'r Simoom, a'r prydiau y mae yr awelon gwenwynig yn dyfod dros yr anialwch.

Num. 20. 17, 18. "Attolwg, gad i ni fyned trwy dy wlad: nid awn trwy faes na gwinllan, ac nid yfwn ddwfr o un ffynnon. A dywedodd Edom, Na thyred heibio i ni."—Adrodda Mac Michel yn hanes ei daith o Moscow i Caercystenyn, am amgylchiad tebyg iawn i'r un a grybwyllir yn yr hanes dan sylw. Un diwrnod anfonasant yspiwr o'u blaen er edrych pa fodd yr oedd pethau yn debyg o droi allan iddynt. Pan ddaeth yr yspiwr yn ol, dywedodd fod y gelynion wedi eu cyfleu ar y ffordd er eu gwrthwynebu, ac yn neillduol er eu rhwystro hwy a'u bugeiliaid rhag cael dim dwfr iddynt eu hunain na'u diadelloedd. Yn wyneb hyn anfonasant gennad at Abou Zeitun, os byddai iddo ganiattau iddynt fyned drwodd, na wnaent gymmaint a chyffwrdd â'r dwfr; ond yr atteb a gawsant, na chaent gymmaint a myned drwy ei dir na chyffwrdd â'i ddwfr. Digwyddodd hyn yn y wlad a breswylid gynt gan yr Edomiaid.

Deut. 18. 10. "Na phlanedydd."—Saesonaeg, "Syllwr ar amserau." Yn ei hanes am Japan, dyweda Kaempher, ei fod yn beth o bwys neillduol gan y trigolion ar ba ddiwrnod y cychwynant i'w teithiau, oblegid y mae yn rhaid iddynt ddewis diwrnod llwyddiannus, er cael yr hwn, defnyddiant daflen, ar yr hon y mae yr holl

ddyddiau aflwyddiannus wedi eu gosod, a'r hon hefyd, yn ol eu barn hwy, sydd ddiwyrni. Ac os cychwyna teithiwr i daith ar un o'r diwrnodau aflwyddiannus, y bydd yn sicr o gyfarfod âg anhawsderau lawer a cholledion mawrion. Y mae gan y Chiniaid hefyd eu dyddiau llwyddiannus ac aflwyddiannus, y rhai a nodir gan swyddog neillduol gyferbyn â phriodasau a braidd pob peth a gymmerant mewn llaw. Ceir y planedyddion braidd ym mhlith pob cenhedloedd, y rhai a ymhonnant i wybodaeth ddyfodol oddiwrth y ser a'r planedau, megis pe byddai holl drefn rhagluniaeth gyda golwg ar ddigwyddiadau oes dyn, wedi eu hysgrifenu yn yr wybren.

Jos. 2. 1. "A hwy a aethant, ac a ddaethant i dŷ putteinwraig a'i henw Rahab, ac a lettyasant yno."—Yn ol yr hyn a ddywedir gan Forbes, y mae un tŷ llettya mawr *(caravansary)* ym mhob dinas ddwyreiniol o leiaf, er derbyn dieithriaid. Ymae rhai hefyd yn llai eu maintioli, wedi eu hadeiladu gan dywysogion, a phersonau neillduol, mewn anialwch, ar fynyddoedd, a gwastattir anghyfanneddol, modd y gallo teithwyr droi iddynt, ac aros yno dros y nos. Yn gyfagos iddynt yn gyffredin y mae ffynnonau, neu bydewau dwfr. Yn y tai hyn y mae Brahmin neu Fakeer yn aros, er rhoddi bwyd ac angenrheidiau eraill i'r pererin. Ym mhlith Indiaid America Ogleddol, meddai Dr. Franklin, y mae ym mhob pentref dŷ gwag, a elwir Tŷ y dieithr-ddyn. Yno yr arweinir y teithiwr gan ddau hen wr, y rhai a ymorolant am ymborth iddo i fwytta, a chrwyn iddo orwedd arnynt. Ym mhlith yr hynafiaid, benywaid a gedwynt y letty-dai; ac y mae Herodotus yn dywedyd mai y benywaid a fasnachent ac a gadwent dafarndai yn yr Aipht, a'r gwyr gartref yn gwau.

Barn. 5. 6. "Yn nyddiau Samgar mab Anath, y llwybrau a aeth yn anhygyrch, a'r fforddolion a gerddasant lwybrau ceimion."—Er bod ffyrdd yng ngwledydd y dwyrain, dywedir bod yn hawdd iawn myned o honynt, a'i bod yn fynych yn fwy diogel i fyned ar hyd y traws-ffyrdd. Yn Barbary, medd Shaw, nid oes cloddiau o ddeutu y ffyrdd fel gyda ni, a gellir troi oddi arnynt pan wel y teithiwr fod yn dda, heb gyfarfod âg un rhwystr. Mewn perthynas i amgylchiad y ffyrdd yn Judea yn amser Samgar, y mae yr hanes a rydd Pococke o'r dull yr arweiniwyd ef i Jerusalem gan Arab, yn rhoddi cryn oleuni ar y peth. Yr oedd yn y nos pan gychwynodd y teithiwr a'i arweinydd, ac nid aeth yr arweinydd âg ef ar hyd y ffordd fawr, ond drwy y caeau, a gochelai fyned yn agos i un pentref. Pan glywai swn, gwrandawai, er barnu o ba le y deilliai. Gwnai fel hyn rhag ofn lladron ac yspeilwyr; a thebygol bod y rhai hyn yn heidiau ar hyd y ffyrdd yn Judea yn nyddiau Samgar, fel yr oedd y teithwyr er eu gochelyd yn gorfod myned ar hyd llwybrau ceimion.

2 Bren. 11. 12. "Curasant hefyd eu dwylaw."—Y ffordd y dangosa benywaid eu llawenydd a'u gorfoledd yn y dwyrain, ydyw trwy osod un o'u dwylaw yn esmwyth ar eu geneuau. Pitts a ddyweda am y llawenydd a ddangosid ar ryw achlysur neillduol, bod y benywaid yn sefyll ar bennau y tai, yn taro pedwar o'u bysedd yn esmwyth ar eu gwefusau, ac yn gwneuthur cryn dwrf ar yr un pryd. Yn ol yr hyn a adroddir gan amryw haneswyr eraill,

dyma fel y gwna y benywaid yn y dwyrain hyd heddyw pan arwyddant eu llawenydd a'u gorfoledd.

Neh. 7. 3. "Nac agorer pyrth Jerusalem nes gwresogi yr haul, a thra fyddont hwy yn sefyll yno, cauant y drysau, a phreniant,"—(Bolltant hwy.) Yng ngwledydd poethion y dwyrain, teithiant yn aml yn y nos, ac yn fynych bydd ynghylch hanner nos cyn y cyrhaeddont y lle amcanedig. Luc 11. 5. Marc 13. 35. Pan ydoedd Doubdan yn dychwelyd oddiwrth afon yr Iorddonen i Jerusalem, yn y flwyddyn 1652, pan ddaeth efe a'i gyfeillion i ddyffryn Jehosaphat, synnwyd hwy yn fawr fod pyrth y ddinas wedi eu cau; oblegid hyn gorfu iddynt lettya ar y llawr, ac aros torriad y dydd. Yr oedd yno amryw filoedd yn yr un amgylchiad, wedi gorfod aros yn yr un dyffryn. Tua phedwar o'r gloch y boreu, gwelid pawb yn cynniwair tua'r ddinas er myned i mewn drwy borth St. Stephan, ond yr oedd hwn yn gauad. Yr oeddid yn methu gwybod yn hir pa beth ydoedd yr achos bod y pyrth yn gauedig fel hyn. Ond ymddangosodd bod y dinasyddion wedi clywed, fod rhai yn bwriadu dyfod i'r ddinas yn y nos er ei hyspeilio, yn absennoldeb y llywodraethwr a'r gwarchawdlu, er rhwystro y rhai cadwent y pyrth yn gauad trwy yr holl nos. Ymddengys nad oedd yn beth cyffredin ganddynt i gauad y pyrth yn y nos, ond ar yr achlysur o ddiogelwch er rhwystro yspeilwyr i mewn i wneuthur drygau.

Job 9. 25. "A'm dyddiau i sydd gynt na rhedegwr."—(Saesonaeg, *Post.*) Y dull cyffredin o deithio yn y dwyrain sydd araf; ac mewn teithiau cyffredin ni yrrir y camel dros ddwy filldir yr awr. Ond y rhai a gludent negeseuau a aent lawer buanach. I'r perwyl o wneuthur brys, defnyddient ddromedariaid, y rhai ydynt greaduriaid cyflym iawn; a dyweda y bendefiges M. W. Montagu, eu bod yn fuanach na'r ceffylau buanaf. Yn y dwyrain, y mae cennadau yn fynych yn myned ar draed, a dywedir y teithiant gant a hanner o filldiroedd mewn pedair awr ar hugain. Dywedai Job am ddyddiau ei lwyddiant, nid iddynt fod yn araf fel ymdeithiad *carafan*, ond iddynt fyned heibio yn gynt na brys-negeseuydd a fyddai yn cludo newyddion.

Job 9. 26. "Aethant heibio megis llongau buain."—Amryw o ddeongliadau sydd wedi cael eu rhoddi i'r ymadrodd llongau buain, a'r hyn a olygai Job wrthynt. Meddylia rhai mai y dromedariaid a olygai, y rhai yn gydmariaethol a alwai yn llongau. Gelwir camelod a dromedariaid gan ysgrifenwyr dwyreiniol yn llongau. Y camelod, medd un, ydynt longau Arabia, a'u hanialdiroedd ydyw y moroedd. Bruce hefyd a ddyweda, fod yr Arabiaid mewn modd neillduol yn galw y camel yn llong yr anialwch. Gyda golwg ar y dromedari, dyweda Morgan, y teithia mewn un noswaith ar dir gwastad gymmaint ag a wna ceffyl mewn deg. Dalia i deithio yn galed am bedair awr ar hugain yn ddidor ac heb ddangos na lludded na blinder.

Salm 121. 5. "Yr Arglwydd yw dy gysgod ar dy ddeheulaw."—Y mae gwasgawd-len *(umbrella)* yn hen offeryn, er diogelu dyn rhag effeithiau pelydron gwresog yr haul yn y gwledydd poethion; a thebygol mai at gysgod cyffelyb i hwn y cyfeiriai y Salmydd. Ymwelodd Niebuhr â pharthau deheuol Arabia, ac y mae y mawr-

ion yn gyffredin yno yn cael eu cludo ar ysgwyddau dynion, a rhyw un ar eu deheulaw yn dal gwasgod-len fawr uwch eu pennau er eu diogelu rhag gwres mawr yr haul. Ac yn Persia, medd Syr R. K. Porter, y mae yr un arferiad yn ffynnu.

Esay 35. 7. "Y crasdir hefyd fydd yn llynn."—Yn ol cyfieithad Esgob Lowth, "Y tywod gloyw hefyd fydd yn llynn." Mewn sylwad ar y geiriau, dyweda yr Esgob dysgedig, bod y gair Arabaidd yn gystal ac yn Hebreaidd, ac yn arwyddo yr un peth, sef tywod gloyw, yr hwn yn y gwledydd poethion, a ymddengys oddi draw fel dwfr. Sylwad Mr. Slate ar y geiriau ydyw, bod y gair Arabaeg *Serab*, yn arwyddo yr ymddangosiad twyllodrus yn y gwledydd dwyreiniol, o lynn o ddwfr mewn cyffro, yr hyn a achosir drwy adlewyrchiadau yr haul. Dyweda Burkhardt am y rhyfeddod hwn yn y wedd ganlynol:—"Daethom i bentref anghyfannedd Utkô, yn gyfagos i lynn lleidiog o'r un enw. Yma y cawsom asynod, a chychwynasom tua Rosetta, ac yr oedd yr anialwch yn ymddangos megis môr mawr o'n blaen. Fel y daethom ym mlaen, gwaeddai yr Arabiaid *Rachid;* a gwelem y tai a'r tyrrau yr ochr draw i lynn o ddwfr a ymddangosai rhyngom a'r ddinas. Nid oeddwn ar y cyntaf mewn un ammheuaeth nad dwfr ydoedd, oblegid gwelwn gysgod tyrrau a thai Rosetta ynddo yn amlwg, ynghyd â chysgod y coedydd a phethau eraill. Ond fel yr oeddwn yn nesu ym mlaen, yr oedd y llynn yn cilio, ac yn y diwedd darfyddodd yn hollol, ac ni chefais erioed gymmaint siomedigaeth." Mewn perthynas i'r llynnoedd hudoliaethol hyn, adroddir etto yr hyn a ddywedir yn llythyrau David Williams, Cymro o Fexico, am danynt. "Pan yn Xalapa, yr oeddym yn barnu fod mynydd Orizaba o fewn ugain milldir i ni, yr oeddym y dydd yma wedi dyfod hanner cant oddi yno, etto heb ddyfod idd ei gyfer. Gwelais hefyd yr un dydd y rhyfeddod y sonia Mr. Bullock am dano. Digwyddodd fy mod ychydig ar ol, ac yn edrych ym mlaen, gwelais (yn ol fy marn) lyn o ddwfr gloyw, ac mor llyfn fel yr oedd y coedydd, a'r mwg oedd yn dyrchafu o'r coedydd, idd eu gweled yn y dwfr mor eglur a phe buaswn yn edrych mewn drych gwydr, yr hyn a barodd lawenydd nid bychan i mi, fel y cawn ddwfr i mi fy hun a'r anifail. Y peth oedd yn fy synnu fwyaf ydoedd gweled dyn yn rhodio trwy ei ganol, a cherllaw iddo awel dro yn cyfodi lluwch o'r llyn i'r awyr. Fel yr oeddwn yn nesu atto, yr oedd y llyn yn diflannu; a phan y daethum i'w ymyl, er fy mawr siomedigaeth nid oedd gennyf ond tir sych." Gelwir yr hudoliaethau hyn *Mirages*, a chyfarfyddir â hwynt yn aml yn y gwledydd poethion.

Esay 62. 10. "Palmentwch brif-ffordd." Saesonaeg, "Cyfodwch y brif-ffordd, neu y ffordd fawr."—Herbert a ddarlunia natur y ffyrdd hyn. Dyweda iddynt deithio drwy yr holl nos, ar ffordd gyfodedig uwch o lawer na'r tir, ar hyd yr hon y gallai deg o geffylau fyned ochr yn ochr; a bod y ffordd hon wedi ei chyfodi drwy draul a thrafferth fawr. Ceir ffordd fawr uchel fel hyn yn Persia, yr hon a adeiladwyd gan Shah Abbas Fawr, tua dechreu y canrif diweddar. Cyrhaedda o Keskar hyd y Caspian, tua thri chant o filldiroedd o hyd. Irwin hefyd a fynega, pan oedd efe yn myned o'r Aipht uchaf i Cairo, wedi iddo adael rhyw ddyffryn, eu bod er mwyn cadw y

ffordd wedi cyfodi cerrig mawrion yma ac accw, er mwyn bod yn gyfarwyddiadau, a bod yn dda iawn iddo ef a'i gymdeithion eu bod wedi eu cyfodi.

Jer. 31. 21. "Cyfod it' arwyddion ffordd, gosod it' garneddau uchel."—Adrodda Hoste, ei bod wedi canol mis Mawrth pan ymadawodd efe o Alexandria tua Rosetta; bod y ffordd dros dir gwastad, ond yn anialwch hollol; a'r gwynt yn cyfodi y tywod, fel nad oedd un argoelion ffordd ganddynt. Wedi iddynt adael y môr, yr oedd cerrig yma ac accw wedi eu gosod yn gyfarwyddiadau iddynt, fel nad oeddynt mewn perygl o'i cholli.

Mat. 5. 41. "A phwy bynnag a'th gymhello."—Ein Harglwydd yn yr ymadrodd hwn sydd yn cyfeirio at y cennadau Persiaidd, y rhai oeddynt âg awdurdod frenhinol ganddynt i gymhell neu beri trwy orfod i geffylau, llongau, a dynion eu cynnorthwyo ym matterion eu Harglwydd. Y mae yn bresennol gennadau yn Persia a elwir Chappars, y rhai pan fyddant ar eu negeseuau o'r llys i'r taleithiau, a gychwynant â cheffyl gyda hwynt; a phan flino hwn, gwnant i'r teithiwr cyntaf a gyfarfyddant ddisgyn oddiar ei geffyl, ac ânt ar ei gefn, gan wneuthur yn yr un modd hyd oni chyrhaeddont ben eu teithiau. Y mae gwrthod ceffyl i un o'r rhai hyn yn drosedd angeuol. Yr oedd yr Iuddewon a chenhedloedd eraill yn amser ein Hiachawdwr yn gorfod rhoddi ceffylau i'r cennadau Rhufeinig, a'u hebrwng hefyd pan berid iddynt wneuthur felly.

Marc 9. 41. "Canys pwy bynnag a roddo i chwi i'w yfed gwppanaid o ddwfr yn fy enw i, ni chyll efe ei obrwy."—Ystyrir rhoddi dwfr i deithwyr mor bwysig, fel y mae y dwyreinwyr wedi myned i draul fawr er gwneuthur hyn yn gyfleus i deithwyr. Cloddiant am ffynnonau a phydewau mewn lleoedd cyfleus. Tybia y Tyrciaid fod cloddio ffynnonau er gwasanaeth teithwyr yn un o'r gweithredoedd goreu a ellir eu cyflawni; oblegid pan yfo y teithiwr o'r ffynnon, efe a gyhoedda fendith ar enw a choffadwriaeth yr hwn a'i cloddiodd. Dyweda Niebuhr am dai yn Kahaira, ym mha rai y rhoddir dwfr yn rhad i'r teithwyr a ofynant am dano. Yn India, â yr Hindŵaid ym mhell iawn i ymofyn dwfr, ac yna berwant ef, fel na byddo yn niweidiol i'r teithwyr yn eu chwys. Safant ar y ffordd fawr o'r bore hyd y nos, er rhoddi dwfr i'r pererinion, a thybiant hyn yn anrhydedd i'w duwiau. Yn Nubia, y mae llestri llawn o ddwfr yn cael eu gosod ar y ffyrdd er disychedu y fforddolion; ac y mae pob pentref yn talu rhyw gymmaint i ddyn am lenwi y llestri crybwylledig.

Luc 2. 7. "Am nad oedd iddynt le yn y lletty." Saesonaeg, *inn.* Yn y dwyrain, *caravansary.* Nid ydyw y *caravansaries* oll yn y dwyrain o'r un dull. Rhai yn unig yn dai yn ymyl ffynnonau, i'r teithwyr droi i mewn iddynt i orphwyso am noson; heb unrhyw ddodrefn ynddynt, na gwelyau, na thân. Yn y lleill y mae dyn neillduol i weini ar y pererinion, yr hwn a dderbyn dâl ganddynt am ei wasanaeth. Eraill drachefn â dynion yn byw ynddynt fel yn ein tafarndai ni, y rhai a wnant bob parottoadau i'r teithwyr. Adeiledir y rhai hyn draw ac yma drwy holl lywodraethau y Twrc, yn unig er gwasanaeth teithwyr. "Am nad oedd iddynt le yn y lletty." Defnyddia yr Ysgrythyrau ddau i arwyddo y *caravansaries* hyn, a'r

ddau yn cael eu cyfieithu yn lletty, *(inn.)* Y gair yn yr adnod grybwylledig ydyw *chatalumati*—lle dattodiad neu ollyngiad yn rhydd; hynny ydyw, i anifeiliaid er gorphwyso. Luc 10. 34. "Ac a'i dug ef i'r lletty,"—*Pandocheion:* a'r ceidwad yn yr adnod nesaf a elwir *Pandocheios,* yr hwn air a arwydda, Agoriad anrhydeddus i bob dyfodedigion.

---

## X. ANRHYDEDD A PHARCH.

Gen. 24. 64. " Rebeccah hefyd a ddyrchafodd ei llygaid; a phan welodd hi Isaac, hi a ddisgynodd oddiar y camel."—Yr oedd yn ddefod yn y dwyrain pan welid un o uwch radd, i ddisgyn oddiar y creadur a farchogid er ei annerch. Dyweda Anderson, pan ydoedd llywodraethwr Mossul yn myned i'r carafan, yr oedd ef a'i gymdeithion gydag ef, eu bod oll yn gorfod disgyn oddiar eu ceffylau a'u hasynod, a'u harwain tra yr elai efe heibio. Dengys benywaid barch yn y wedd hon i'w gwyr yn bresennol.

Gen. 27. 27. " Yna y daeth efe yn nes, ac a'i cusanodd ef."—Dyweda Buckingham ei fod ef wedi myned i eglwys Gristionogol yn y dwyrain, a phan ddaethant allan o honi, bod y gynnulleidfa yn ymgyfarch eu gilydd trwy gusanu; ac iddo ef gael cyfarchiadau lliosog o'r un natur, hyd onid ydoedd braidd wedi blino cyn iddynt roddi y gorchwyl heibio.

Gen. 31. 35. " A hi a ddywedodd wrth ei thad, Na ddigied fy arglwydd, am nas gallaf gyfodi ger dy fron di."—Dengys plant yn y dwyrain y parch mwyaf i'w rhieni; dysgir hwynt felly o'u mebyd. Y meibion, pan fyddo eu tadau yn bresennol, a safant ym mhell ac mewn distawrwydd; ac ni symmudant o'u lleoedd hyd oni arwyddo eu rhieni eu dymuniad i hynny. Nid ydyw hyn yn tarddu oddiar unrhyw sarrugrwydd, ond parch mabaidd yn unig.

Gen. 37. 10. " Ymgrymmu i lawr."—Y gair Hebraeg, a gyfieithir yma " Ymgrymmu i lawr," a arwydda y ddefod gyffredin drwy holl Asia o arwyddo parch i dywysogion a brenhinoedd, drwy blygu y benlin, a gosod y talcen i gyffwrdd â'r llawr. Dyweda Ovington mai y dull y cyferchid y Mogul ydoedd cyffwrdd â'r ddaear yn gyntaf â'r llaw, yna â'r fron, ac wedi hynny ei dyrchafu. Gwneid hyn dair gwaith fel y dynesid atto. Brands hefyd a ddyweda, pan ddynesai efe at orsedd ymerawdwr China, bod yn rhaid iddynt benlinio, a phlygu eu pennau yn araf tua'r ddaear.

Gen. 45. 22. " I bob un o honynt oll y rhoddes bâr o ddillad."—Anrhegion o ddillad sydd beth cyffredin yn y dwyrain. Adrodda un cennadwr a anfonwyd at un o frenhinoedd y dwyrain, i'r brenin anfon i wahodd yr holl gennadon i ddyfod atto ef i ginio unwaith yn ychwaneg. Dywedwyd wrthynt fod yn rhaid iddynt wisgo y dillad goreu a anrhegwyd iddynt gan y brenin ar yr achlysur. Anfonant wisgoedd i ddangos eu cariad a'u hewyllys da i'w deiliaid.

Gen. 41. 42. " A thynnodd Pharaoh ei fodrwy oddi ar ei law, ac a'i rhoddes hi ar law Joseph."—Yn y modrwyau brenhinol yn y dwyrain y mae sel, yn yr hon y mae enw y brenin yn naddedig; a hon, wedi ei throchi mewn lliw, a roir yn argraff ar y gorchymmynion

brenhinol. Pwy bynnag fyddo yn meddiannu y sel hon, gall roddi gorchymmynion yn enw y brenin. Yr hyn a arwyddir yn yr ymadroddion crybwylledig, mewn iaith ddiweddar ydyw, "A Pharaoh a ddyrchafodd Joseph i sefyllfa Grand Vizier." Wedi rhoddiad y sel i Joseph, ni feiddiai neb wrthwynebu ei orchymmynion; fel y mae y Grand Vizier yn rheoli yn Nhwrci, yr hwn a dderbyn y parch nesaf at y Sultan ei hun.

Num. 16. 15. "Ni chymmerais un asyn oddi arnynt."—Yr anrheg gyffredin a wneir yn y dwyrain i'r mawrion yn awr ydyw ceffyl; efallai mai asyn ydoedd yr anrheg gynt. Dyweda Dr. Russel, pan fyddo y Bashaw yn talu ymweliad i ryw un, y rhoir ceffyl neu ryw beth arall iddo ar ei ymadawiad. Ond yr oedd Moses wedi cadw ei bendefigaeth mor bur, ac wedi ymddwyn mor uniawn tuag at wladwriaeth Israel, fel nad ydoedd wedi cymmeryd na gwobr nac anrheg oddiwrth neb.

Num. 22. 15. "A Balac a anfonodd eilwaith fwy o dywysogion, anrhydeddusach na'r rhai hyn."—Dyweda Morier, fel yr oedd efe a'i gymdeithion yn nesu at ddinas Bersiaidd, fod pendefigion yn dyfod i'w cyfarfod, y naill fintai yn anrhydeddusach na'r llall; yr hyn a ddygodd i'w gof y tywysogion a anfonid at Balaam, y rhai a ragorent ar eu gilydd mewn anrhydedd.

1 Sam. 13. 10. "A Saul a aeth allan i'w gyfarfod ef, ac i gyfarch gwell iddo."—Crybwyllir yn yr Ysgrythyrau yn fynych am un yn myned allan i gyfarfod âg ymwelwr. Pan welodd Lot yr angylion, efe a gyfododd i'w cyfarfod, gan ymgrymmu hyd y llawr. Dyweda Thunberg bod defod gyffelyb i hon yn Japan, oblegid pan aeth efe a'i gyfeillion i giniawa at ryw wr mawr, derbyniwyd hwynt yn dra anrhydeddus, yn fwy felly nag unrhyw barth o'r byd yr ymwelodd âg ef. Yn ol defod y wlad, bydd gwr y tŷ yn myned allan i gyfarfod â'r ymwelwyr ran o'r ffordd; ac wedi iddo eu cyfarfod, dengys bob arwyddion fod iddynt roesawiad; yna efe a brysura adref, ac a'u derbyn i'w dŷ drachefn gyda'r un parch. Dyweda Syr William Ouseley yn hanes ei deithiau drwy y dwyrain, ei fod ef ac eraill yn myned i ymweled â rhyw wr mawr ac anrhydeddus yn Ispaham, ac iddo eu derbyn yn roesawus wrth ddrws ei dŷ, pryd y dangoswyd pob parch ac anrhydedd iddynt.

1 Sam. 18. 4. "A Jonathan a ddiosgodd y fantell oedd am dano ei hun, ac a'i rhoddes i Dafydd."—Arferir yn y dwyrain, medd Dunham, i dderbyn buddugoliaethwr drwy floeddiadau uchel, ac amryw wisgoedd a deflir drosto gan yr edrychwyr; a phan benlinio o flaen ei feistr, gwisgir ef gan y caethion mewn gwisg dra gwerthfawr; ac fel arwydd o anrhydedd neillduol, rhoddir gwisg y pennaeth am dano.

1 Sam. 20. 18, 25. "A Jonathan a ddywedodd wrtho ef, y foru yw'r dydd cyntaf o'r mis, ac ymofynnir am danat, o herwydd fe fydd dy eisteddle yn wag."—Ym mhlith y ffurfiau o annerch eu gilydd yn Persia yn yr ail ganrif ar bumtheg, medd Syr William Ouseley, dywedai un wrth y llall, "Yr oedd dy eisteddle yn wag ym mhlith dy gyfeillion." Defnyddid yr ymadrodd hwn tuag at y teithiwr ei hun pan elai i blith ei gydnabyddiaeth, wedi bod am amser yn absennol oddi wrthynt.

1 Sam. 20. 41. "Ac a syrthiodd i lawr ar ei wyneb."—Y mae yr ymgrymiadau hyn yn dra chyffredinol yn y dwyrain. Y teithiwr Steward yn hanes ei daith i Mequinez a ddyweda, iddynt fyned tuag at yr ymerawdwr yn swn peroriaeth eu hofferynau cerdd, hyd oni ddaethant o fewn i bedwar ugain llath atto, pryd y disgynnodd oddi ar gefn ei farch, ac yr ymgrymmodd hyd y ddaear i weddio; a phan ddaeth y cymdeithion atto, gwelent y llwch ar ei drwyn.

1 Sam. 24. 8. "A phan edrychodd Saul o'i ol, Dafydd a ostyngodd ei wyneb tua'r ddaear, ac a ymgrymmodd."—Yn hanes Persia, dyweda Morier bod y cennadwr i fyned o flaen y brenin, yr hwn ydoedd mewn gwisgoedd tra anrhydeddus, yn llawn o berlau, y goron ar ei ben, a'r holl addurniadau brenhinol oddi amgylch iddo. Aethant atto i wneuthur eu moes iddo yn ol defodau eu gwlad eu hunain, ond y Persiaid a ymgrymment iddo yn debyg i'r dull yr ymgrymmodd Dafydd i Saul, gan ostwng eu hwynebau tua'r ddaear.

1 Sam. 30. 21. "A hwy a aethant i gyfarfod Dafydd a'r bobl oedd gydag ef."—Yr oedd hon yn arfer gyffredin tuag at ddynion o fri ac anrhydedd. Dyweda Warington yn hanes ei daith drwy Sheeraz, ei bod yn arferiad cyn y byddai i wr anrhydeddus ddyfod i ddinas, i ryw nifer o bobl fyned allan i gyfarfod âg ef er ei dderbyn a'i roesawi. Os bydd y gwr yn dra anrhydeddus, eir ym mhell o ffordd i gyfarfod âg ef. Anfonwyd mil o bobl i gyfarfod â'r tywysog, y rhai a aethant gan' milldir o ffordd rhwng Ispaham a Sheeraz.

2 Sam. 10. 5 "Arhoswch yn Jericho hyd oni thyfo eich barfau."—Y mae yn ddefod, medd De La Motraye, i eillio y tywysogion Ottomanaidd fel arwydd o'u darostyngiad i'r ymerawdwr fyddo yn teyrnasu. Ym mynyddoedd Yemen, lle ni welir dieithriaid ond yn anaml, y mae yn waradwydd i ymddangos yno wedi eillio. Y mae y farf yn arwydd o awdurdod yn gystal ag o ryddid ym mhlith y Mahometaniaid. Y Persiaid, am y torrant flaen y farf, ac am yr eilliant y wefus uchaf, a ystyrir yn hereticiaid. Y rhai a weinyddant yn y Seraglio a eillir fel arwydd o'u darostyngiad; ni chaniatteir i'w barfau dyfu hyd oni osodo y Sultan hwynt mewn rhyddid. Ym mhlith yr Arabiaid ystyrir ei fod yn fwy gwaradwydd i ddyn gael torri ei farf ymaith na chael ei fflangellu yn gyhoedd. Dewisa rhai angeu yn hytrach na'r gospedigaeth hon.

2 Sam. 16. 13. "Ac a fwriai lwch i'w erbyn ef."—Dyma fel y dirmygai Simei Dafydd yn nydd ei gyfyngder, pan ffoai rhag ei fab Absalom. Dyweda Pococke, pan oedd y Consul yn myned i Cairo, yr elai dyn o'i flaen, gan daenellu dwfr rhag i'r llwch gyfodi. Yn y gwledydd poethion y mae y llwch yn flin iawn i deithwyr; ac os ydoedd yn arferiad i daenellu dwfr ar y llwch cyn amser Dafydd, rhydd ddeongliad ar ymddygiad Simei. Taflodd gerrig a llwch at un ag y byddid yn arferol o wlychu yr heolydd o'i flaen rhag ei flino gan y llwch. Dyweda Chardin ei bod yn arferiad yn y dwyrain i'r rhai hynny a wnaent achwyniadau yn erbyn troseddwr, i daflu llwch atto, er arwyddo mai dan y ddaear y dylai fod; a dull cyffredin y Tyrciaid a'r Persiaid o gyhoeddi melldith ydyw, "Bydd orchuddiedig gan y ddaear." Simei wrth daflu llwch ar Dafydd a ddywedai mewn ymddygiad mai gwr ydoedd yn haeddu marwolaeth.

2 Sam. 17. 13. "Os i ddinas yr ymgasgl efe, yna holl Israel a ddygant raffau at y ddinas honno, a ni a'i tynnwn hi i'r afon, fel na chaffer yno un garregan."—Defnyddir ymadroddlon chwyddedig iawn yn y dwyrain ar rai achlysuron. Dyweda Forbes am ryw lwyth yn y dwyrain yn cyhoeddi clodydd eu crach-dywysog yn y wedd ganlynol:—'Ciliwch nadredd, ffowch locustiaid, a sefwch draw yr holl ledfegynod, tra y mae eich arglwydd yn ymddarostwng i roddi ei droed ar y ddaear.'

2 Sam. 20. 9. "A Joab a ymaflodd ym marf Amasa i'w gusanu ef."—Meddylia Mr. Harmer bod yr ymadroddion hyn yn cyfeirio at y ddefod o ymaflyd yn y farf ei hun er mwyn ei chusanu, yr hyn ydoedd ac sydd yn arferol ym mhlith y dwyreinwyr. Dyweda D'Arvieux am gyfarfod o fân dywysogion Arabaidd mewn gwledd, iddynt oll ddyfod ynghyd a'u cyfeillion gyda hwynt, ac iddynt ymannerch â'u gilydd drwy gusanu barfau a dwylaw eu gilydd, ac yna eisteddent i lawr. Dyweda teithiwr arall bod hon yn ddefod drwy yr holl ddwyrain, a bod yr Indiaid yn ymaflyd ym marfau eu gilydd pan yr ymgyfarchant yn wresog. Llusgant droseddwyr yn y dwyrain o flaen y barnwyr wrth eu barfau; ac yn Arabia cusana y gwragedd farfau eu gwyr, a phlant farfau eu tadau; a phan gyfarfyddo dau gyfaill â'u gilydd, ymannerchant yn y wedd hon.

1 Bren. 14. 3. "A chymmer yn dy law ddeg o fara, a theisenau, a chostrelaid o fel, a dos atto ef."—Pan ymofynid â phrophwyd, yn ol defodau y dwyrain yr oedd yn angenrheidiol cymmeryd anrheg wrth fyned atto; ac ystyrid bod anrheg o bethau bwyttadwy yn fwy derbyniol na dim arall. Dyweda Mailet fod y ddefod o wneuthur anrhegion yn gyffredin pan fyddo y naill yn ymweled â'r llall yn y dwyrain. Nid oes y fath beth yn ddichonadwy ag i un gael siarad âg un a fyddo o uwch radd, heb yn gyntaf wneuthur anrheg iddo; ac âg anrhegion llygrir y barnwyr, fel mai y gwr â'r anrheg fwyaf fydd yn debyg o ennill y dydd. Dyma yr arferiad drwy holl daleithiau y Twrc, yn Persia, yn yr Aipht, ac yn gyffredinol drwy wledydd y dwyrain.

2 Bren. 3. 11. "Y mae yma Eliseus mab Saphat, yr hwn a dywalltodd ddwfr ar ddwylaw Elias."—Ymddengys bod hyn yn rhan o'r hyn a wnaeth Eliseus i'w feistr. Darllenir am yr un ddefod gyda golwg ar amgylchiadau eraill. Dyweda Pitts am y Mahometaniaid, pan fyddont wedi bod yn gwledda, cyn symmud y bwrdd ymaith, a chyn iddynt gyfodi o'u heisteddleoedd, bod y gwas yr hwn a safai yn eu hymyl gyda chwppanaid o ddwfr er eu diodi, yn myned i ganol y cymdeithion gyda llestraid o ddwfr a sebon, ac yn tywallt dwfr ar ddwylaw y naill ar ol y llall. Adrodda Mr. Hanway am swpper Bersiaidd, pan ddygwyd hi ger bron, bod y gwas yn dyfod yno â dwfr, a lliain sychu gydag ef, ac yn tywallt dwfr ar ddwylaw pob un er iddynt ymolchi.

2 Bren. 4. 29. "O chyfarfyddi â neb, na chyfarch iddo; ac o chyfarch neb di, nac atteb ef."—Rhoddes ein Harglwydd Iesu Grist yr un cyfarwyddyd i'w ddisgyblion, yn Luc 10. 4. a dehonglir hyn gan y defodau dwyreiniol. Er bod y dwyreinwyr yn gyffredin yn ansiaradus, etto siaradant lawer pan gyfarfyddont â chydnabyddiaeth ag y cyfarchant ef. Daeth y ddefod hon gyda yr Arabiaid o

Asia, ac y mae wedi ymledu dros holl oror ogleddol Affrica. Dyweda Hornemann bod pobl yn myned ym mhell iawn i gyfarfod â'r *carafan* ar ei ddychweliad, a phan ddeuant o hyd i'w cydnabyddiaeth, ânt dros eu hymgyfarch drachefn a thrachefn, fel nad oes braidd derfyn ar eu hymddiddanion.

Esther 3. 10. "A thynnodd y brenin ei fodrwy oddiam ei law, ac a'i rhoddodd i Haman."—Rhoes y brenin y fodrwy i Haman fel arwydd o serch ac anrhydedd. Ym mhlith y Persiaid y mae i'r brenin roddi modrwy i neb yn arwydd o'i gyfeillgarwch neillduol tuag at y cyfryw un. Tebygol mai â'r sêl hyn y seliodd Haman y llythyrau i ddinystrio yr Iuddewon.

Job 29. 7. "Pan barottown fy eisteddfa yn yr heol."—Eistedd ar glustog sydd ymadrodd a ddengys anrhydedd, a pharottoi eisteddle i berson o fri ac anrhydedd; ac a arwydda, Gwneuthur pob peth yn gyfleus iddo i eistedd. Dyweda Chardin ei bod yn ddefod yn Asia i lawer o bobl beidio myned ynghyd i fasnachdai, oblegid eu bod mor fychain; a bod meingciau wedi eu gosod o'r tu allan er bod yn gyfleus iddynt eistedd: ac os daw rhyw wr anrhydeddus yno, gosodir clustog ar y faingc. Tebygol bod Job, yn ol arferiad y wlad, yn anfon ei weision o'i flaen er parottoi eisteddle iddo, ac mai ar eisteddle o'r fath hyn yr eisteddai Eli yn ymyl y ffordd, 1 Sam. 4. 13. Llefara Job am dano ei hun fel swyddog gwladol, a'i fod yn eistedd er gwrando a phenderfynu dadleuon rhwng pleidiau. Cedwid y llysoedd mewn lleoedd cyhoedd, yn yr heolydd ac yn y pyrth, fel y gallai pawb gael cyfleusdra i glywed cyfiawnder yn cael ei weinyddu. Yr Arabiaid hyd y dydd hwn a gadwant eu llysoedd mewn lleoedd cyhoeddus, yn yr heolydd a'r marchnad-leoedd.

Job 32. 22. "Canys ni fedraf wenieithio." Saesonaeg, "Rhoddi enwau gweniaethgar."—Rhoddid enwau gweniaethgar i ddynion annheilwng er boreu yr oesau; ac fel engraifft o'r rhai hyn yn y dwyrain, rhoddir yr un ganlynol, a ddefnyddid yn amser teyrnasiad y Mogul, Shah Jehan. Gelwid yr ymerawdwr, "Yr haul a oleuai ffurfafen y byd llywodraethol a brenhinol; y lleuad a lewyrchai awyr brenhiniaeth a dedwyddwch; y brenin, yr hwn o ran mawredd a ymdebygai i Gem-Sheed; ei law sydd mor annherfynol a'r môr mewn cyfrannu rhoddion, yn allwedd pyrth cymmwynasau a charedigrwydd."

Salm 2. 12. "Cusenwch y mab, rhag iddo ddigio."—Arwydda yr ymadrodd hwn naill ai gweithred o ymostyngiad neu arwydd o gymmod. Dyweda Irby, yn hanes ei deithiau drwy yr Aipht, ei fod ef a'i gymdeithion un diwrnod yn ymddiddan ynghylch rhyw beth neu gilydd, gwelent amryw yn dyfod i'w gwersyllfa o'r dehau. Arabiaid oeddynt, ac yn marchogaeth gan mwyaf, ac ymddangosai rhai o honynt yn foneddigeiddiach nag eraill. Arweiniai yr Arabiaid eu pendefigion i'r wersyllfa, a phan ddaethant at babell y pennaeth, cusanasant ei durban. Yr oedd hyn yn arwydd o heddwch, a chyhoeddwyd heddwch drwy yr holl wersyllfa.

Salm 23. 5. "Iraist fy mhen âg olew; fy phiol sydd lawn."—Yn y dwyrain y mae yn arferiad gyffredin i iro ymwelwyr â defnydd o arogl hyfryd, a rhoddi iddynt gwppanaid o win detholedig; a thywalltant y gwin iddo hyd oni fyddo yn myned drosodd. Arwydda y

gorchwyl o iro, eu parch a'u cariad i'r cyfryw un; a'r gwin, y cânt gyflawnder o bob peth tra yr arosont yno. Dyweda y Cadpen James Wilson i'r ddefod hon gael ei chyflawni arno ef unwaith yn nhŷ Indiad cyfoethog. Tywalltwyd yr ennaint ar ei ddwylaw a'i freichiau, yr hwn a roddai yr arogl hyfryttaf: rhoddwyd cwppan aur yn ei ddwylaw, a thywalltwyd gwin ynddo hyd oni redai dros yr ymyl; ac ar yr un pryd dywedid wrtho fod pob cyflawnder ar ei fedr tra y gwelai yn dda aros yno.

Esay 40. 3. "Parottowch ffordd yr Arglwydd."—Y mae cyfeiriad yr ymadroddion hyn at y ddefod o anfon dynion ym mlaen i barottoi y ffyrdd i frenhinoedd y dwyrain pan fyddent yn myned i deithiau. Dyweda Caplan Syr Thomas Roe ei fod ef ac eraill yn teithio gyda y Mogul, a bod y ffordd wedi ei pharottoi drwy yr anialwch iddynt deithio, ynghyd â pharottoi lleoedd iddynt i wersyllu hefyd. Gwneir fel hyn yn gyffredinol yn y gwledydd draw; ac yr oedd Ioan Fedyddiwr yn flaen-redegwr i'r Messia, ac yn parottoi y bobl i dderbyn ei deyrnas, megis ag y parottoir y ffordd i frenhinoedd y dwyrain.

Esay 49. 16. "Wele, ar gledr fy nwylaw y'th argreffais."—Y mae yr ymadrodd hyn yn gyfeiriad at arferiad ddwyreiniol o dynnu ar eu dwylaw, nid yn unig enwau, ond llun dinasoedd a lleoedd, ac yna rhwbio y nodau neu yr arlun â math o bowdr, yr hwn a'i gwna yn barhaus. Dyweda Maundrell am nifer liosog o bererinion a osodent yr arwyddion perthynol i Jerusalem ar eu breichiau. Ac yn yr ymadroddion a grybwyllwyd, llefarir am yr Iuddewon fel dinas, muriau yr hon oeddynt megis wedi eu gosod yno, fel na allai y Jehofah lai na'i chofio yn ei holl gyfyngderau.

Mat. 9. 20. "Ac a gyffyrddodd âg ymyl ei wisg ef."—Tebygol fod y fenyw hon wedi gweled amrywiol o arwyddion a rhyfeddodau ein Harglwydd Iesu Grist, ac yn credu ei fod yn berson dwyfol, a bod pob peth a berthynai iddo yn sanctaidd. Ac yn ol y defodau dwyreiniol, y mae cusanu ymyl y wisg yn arwydd o'r parch mwyaf. Er nad ydoedd unrhyw ardderchawgrwydd neu addurniadau yn perthynu i wisg ein Harglwydd Iesu Grist, etto gan yr ystyriai y wraig hon ef yn berson mor oruchel, dangosodd y parch mwyaf iddo, trwy gusanu ymyl ei wisg.

Mat. 14. 6. "Eithr pan gadwyd dydd genedigaeth Herod."—Cedwid dydd genedigaeth tywysog, a dydd ei esgyniad i'r orsedd, gyda rhwysg-fawredd anghyffredin ym mhlith y Cenhedloedd. Yr oedd hyn mewn ymarferiad ym mhlith yr Aiphtiaid a'r Rhufeiniaid, ond nid ym mhlith yr Iuddewon, y rhai a ystyrient y cyfryw gylchwyliau yn dra eilun-addolgar. Dyweda Herodotus bod y ddefod hon yn cael ei chadw ym mhlith brenhinoedd Persia, pryd y gwneid swpper fawr ar derfyn y diwrnod y byddai y brenin wedi ei eni arno. Ac nid oes un Chiniad, gan nad pa mor dlawd fyddo, na cheidw gylchwyl dydd ei enedigaeth gyda phob mawredd galluadwy iddo. Cedwir hwynt gan bob amgylchiad a graddau o fewn i'r ymerodraeth fawr hon.

Marc 7. 3. "Oni bydd iddynt olchi eu dwylaw yn fynych."—Theophylact a gyfieitha y geiriau fel hyn, "Oni olchant hyd y benelin." Dyweda bod y gair *Pugme* yn arwyddo yr holl fraich, o'r benelin hyd flaen y bysedd; ond nid ydyw yr ystyr hwn o'r gair yn

gyffredin, oblegid *Pugme* yn briodol ydyw y llaw, a'r bysedd wedi eu plygu i'w chledr hyd oni byddo yn grwn. Etto y mae cyfieithad Theophylact yn trosglwyddo meddwl yr Efangylwr; oblegid yn ol Macknight, tywelltid dwfr i ddwylaw yr Iuddewon, yr hwn a redai hyd y benelin, ac felly golchid hi hyd y fan honno. Dyweda Hughes, yn hanes ei deithiau drwy Groeg ac Albania, eu bod yn nhŷ y Vizier, ac i fenyw ddyfod â dwfr iddo mewn llestr arian, a napcyn brodiedig yn groes ar ei braich; tywalltai y dwfr ar ei ddwylaw, ac yntau gan dorchi ei lewys a olchai hyd y benelin.

Marc 11. 8. "Ac eraill a dorrasant gangau o'r gwŷdd, ac a'u taenasant ar hyd y ffordd."—Dyweda Morier iddo ef, pan ar ei daith drwy Persia, glywed un diwrnod bod y ffordd i Kaldat Pouspan am o ddeutu tair milldir yn llawn rhosynau, ac wedi ei dyfrhau, yr hyn a wneid mewn ffordd o anrhydedd i bersonau mawreddus. Gwasgaru blodau ydoedd ddefod a gyflawnid ym mynediad Alecsander i Jerusalem.

Luc 7. 38. "Ac a gusanodd ei draed ef."—Gwneid hyn fel arwydd o barch a chariad. Dyweda Xenophon y gwneid fel hyn â Cyrus; y cusenid ei ddwylaw a'i draed, ac y tywalltent ddagrau mewn gorfoledd. Dyweda Syr R. K. Porter, pan ydoedd yn teithio drwy Persia, ei fod yn dwyn ei *lancet* gydag ef bob amser: iddo ei chymmeryd allan o'i logell un diwrnod yng ngolwg rhyw ddyn lled anrhydeddus, yr hwn a edrychai arni gyda y syndod mwyaf; a phan ddywedodd y teithiwr wrtho ei fod yn ei rhoddi iddo ef, yr oedd ei lawenydd yn annarluniadwy. Taflodd ei hun ar y ddaear, ac a gusanodd ei benliniau a'i draed, gan wylo mewn diolchgarwch.

Ioan 1. 15, 23. "Myfi yw llef un yn gwaeddi yn yr anialwch, Uniawnwch ffordd yr Arglwydd."—Morier a ddyweda gyda golwg ar barottoi y ffordd yn y dwyrain, iddo ef a'i gymdeithion, cyn iddynt gyrhaeddyd Mayar, gyfarfod âg amryw a anfonwyd i'w cyfarfod o'r ddinas mewn ffordd o anrhydedd iddynt. Gelwir y rhai hyn yn Persia yn agorwyr y ffyrdd.

Dat. 2. 17. "Enw newydd wedi ei ysgrifenu, yr hwn nid edwyn neb, ond yr hwn sydd yn ei dderbyn."—Pan fyddo y Coosas, llwyth Affricaidd, yn ewyllysio anrhydeddu rhyw un, rhoddant enw newydd arno, arwyddoccad yr hwn ni bydd neb yn ei wybod, ond yr hwn a'i derbyniodd. Yr arwydd hwn o anrhydedd a roir yn gyffredin i'r bobl wynion a ymwelant â hwynt, ac a arosant ryw gymmaint yn eu plith. Bydd y dieithr-ddyn yn adnabyddus yn fuan drwy yr holl wlad wrth yr enw hwn. Y mae yr un ddefod gan lwyth o Indiaid yng ngogledd America: ystyriant hyn yr anrhydedd mwyaf; ac y mae gennym hanes ysgrythyrol am hyn, yn neillduol yn Joseph yn nydd ei ddyrchafiad yn yr Aipht.

Dat. 4. 10. "Ac yn bwrw eu coronau ger bron yr orseddfaingc."—Gellir taflu goleu ar yr amgylchiad hwn, trwy goffau yr hyn a adroddir mewn hanesyddiaeth. Dyweda Josephus am Herod, pan ddaeth o flaen Augustus Cæsar, tynnodd ymaith ei goron, ac wedi gwneuthur ei foes, gorchymmynodd Cæsar iddo ei gwisgo drachefn. Dyweda Malcolm, yn ei hanes am Persia, am Abool Fyze Khan, iddo ef a'i lys fyned at bebyll Nadir Shah, a rhoddi ei goron a'i holl addurniadau brenhinol wrth draed y buddugoliaethwr,

ac ym mhen ychydig ddiwrnodau adferodd Nadir Shah ei goron iddo.

Dat. 19. 10. "Ac mi a syrthiais wrth ei draed ef, i'w addoli ef."—Cyfeirir yma at weithred o ymostyngiad a wneid yn gyffredin yn y dwyrain, a'r hon a wneir etto gyda'r ymostyngiad iselaf mewn rhai parthau. Dyweda Mr. Bruce yn neillduol am y Persiaid a'r Abyssiniaid, pan ymddangosant o flaen eu brenhinoedd, nid yn unig penliniant, ond gorweddant o'u blaen. Os bydd ganddynt ryw ddeisyfiad i'w ofyn, arosant â'u talceni yn cyffwrdd â'r ddaear, hyd oni chaffont attebiad. Dyweda Stewart mai drwy syrthio ar y ddaear yr arfera y Mahometaniaid weddio yn Mequinez.

Dat. 19. 16. "Ac y mae ganddo, ar ei wisg ac ar ei forddwyd, enw wedi ei ysgrifenu, Brenin brenhinoedd, ac Arglwydd arglwyddi.—Ymddengys ei bod yn hen ddefod ym mhlith amrywiol genhedloedd, i addurno delwau eu duwiau, eu tywysogion, ynghyd â phersonau o anrhydedd, âg ysgrifeniadau o'r gorchestion a gyflawnasant yn eu dydd ac yn eu cenhedloedd. Dyweda Herodotus am ddau arlun i Sesostris, brenin yr Aipht, a dorrwyd allan o'r creigiau yn Ionia, a'r ysgrifen ganlynol o ysgwydd i ysgwydd;—'Gorchfygais y wlad hon drwy rym fy arfau.' Gwneid hyn yn gyffredin yn yr amserau gynt ar ddelwau ymerawdwyr a buddugoliaethwyr.

---

## XIII. AMAETHYDDIAETH.

Lef. 23. 10. "Pan ddeloch i'r tir a roddaf i chwi, a medi o honoch ei gynhauaf; yna dygwch ysgub blaenffrwyth eich cynhauaf at yr offeiriad."—Dyweda Buckingham, yn hanes ei deithiau drwy Fesopotamia, i un o'r gweithwyr, pan welodd y *carafan*, redeg oddiwrth ei gymdeithion, a dynesu attynt. Safai ar ei ddwylaw, a'i draed rhyngddo a'r awyr, gan wneuthur pob arwyddion o lawenydd. Cyflwynodd iddynt dywysen o ŷd a blodeuyn, fel offrwm o flaenffrwyth y flwyddyn.

Num. 13. 23. "A daethant hyd ddyffryn Escol; a thorrasant oddi yno gangen âg un swp o rawnwin, ac a'i dygasant ar drosol rhwng dau."—Dyweda Manti, nad ydynt hyd y dydd hwn wedi rhoddi heibio wrteithio y winwydden yn Palestina ac yn y dwyrain; y grawnwin ydynt wynion, ac o gryn faintioli, ond nid yn fwy o lawer na'r rhai a geir yn Ewrop; ond eu bod yn fwy yn ymyl ffrwd ac yn nyffryn Escohol nag mewn mannau eraill. Mewn parthau eraill yn Syria gwelodd y teithiwr rawnwin mawrion iawn, fel ag yr oedd un gangen o honynt yn ddigon o lwyth i un dyn. Amryw deithwyr a roddant glodydd i winwydden Palestina, fel yn rhagori ar bob gwinwydd eraill.

Deut. 25. 4. "Na chau safn yr ych tra fyddo yn dyrnu."—Y Tartariaid a ddyrnant eu hŷd cyn gynted ag y cesglir ef ynghyd. Wedi iddynt ddethol lle gwastad, rhoddant bawl hir yn ei ganol, a gosodant yr ŷd yn gylch oddi amgylch iddo, yna cylymant geffyl wrth reffyn hir wrth y pawl, ac a'i gyrrant dros yr ŷd oddi amgylch

ogylch y pawl, hyd oni fyddo y rheffyn wedi ymddirwyn yn hollol am y pawl. Wedi hyn, troant ben y ceffyl ffordd arall, gan ei yrru drachefn oddi amgylch, hyd oni fyddo y rhaff wedi dyfod i'w hyd. Ond yn gyffredin yn y dwyrain, ychain a ddefnyddir i sathru yr ŷd.

Ruth 2. 4. "Ac wele, Boaz a ddaeth o Bethlehem, ac a ddywedodd wrth y medelwyr, Yr Arglwydd a fyddo gyda chwi. Hwythau a ddywedasant wrtho ef, Yr Arglwydd a'th fendithio."—Sylwa yr Esgob Patrick, mai y fath ydoedd duwioldeb yr amserau gynt, fel y byddid arferol o weddio ar yr Arglwydd am lwyddo gorchwylion y gweithwyr; a gwneid yr un gweddiau gan y rhai hynny y dangosid y cyfryw ewyllys da iddynt.

2 Sam. 24. 18. "Llawr dyrnu."—Y lloriau dyrnu ym mhlith yr Iuddewon oeddynt gylchoedd o ddaear wastad, allan, ac nid dan gysgod, lle y sethrid yr ŷd allan gan ychain. Llawr dyrnu fel hyn ydoedd gan Gedeon, ac Arafnah y Jebusiad, amgen ni buasai yn lle cyfleus i gyfodi allor arno. Darllenir yn Hosea 13. 3. am us yn cael ei chwythu gan gorwynt o'r llawr dyrnu.

1 Bren. 4. 25. "Ac yr oedd Juda ac Israel yn preswylio yn ddiogel, bob un dan ei winwydden a than ei ffigysbren."—Y mae planigfeydd coed oddi amgylch tai mewn gwledydd poethion yn dra gwasanaethgar, am y cysgodant y trigolion rhag gwres angherddol yr haul. Yr Israeliaid gynt a blannent goedydd yn ymyl eu tai, ac efallai goed ffrwythlon yn hytrach nag unrhyw goedydd eraill. Carant eistedd yng nghysgodau coedydd drwy holl India a Phersia, ac y mae y pentrefydd yn yr Aipht yn llawn o goed cysgodfawr, dan y rhai y gwelir yr Aiphtiaid yn fynych yn eistedd.

2 Bren. 6. 25. "Tom colommennod."—Dyweda Syr R. K. Porter y cymmerid trafferth fawr i fagu a meithrin colommennod yn yr amserau gynt, am yr ystyrid eu dom yn dra gwerthfawr. Un defnydd neillduol tom colommennod ydyw ei osod yn y gwelyau lle y codir y ffrwythau a elwir *melons;* a dywedir bod y ffrwythau hyn yn Ispahan yn rhagori, am mai y gwrtaith yn unig ydyw dom colommennod. Gwneid *saltpetre* o hono hefyd yn yr amserau gynt. Morier hefyd a ddyweda mai dom colommennod ydyw y gwrtaith neu yr achles gwerthfawroccaf yn Persia, a'u bod yn cael pris mawr am dano. Diau mai er bod yn achles i ddwyn rhyw ffrwythau neillduol y prynid ef yn Samaria, ac nid er ei fwytta, fel y mae rhai wedi tybied.

Salm 1. 4. "Fel mân us yr hwn a chwal y gwynt ymaith."—Rhaid cofio mai allan y mae y lloriau dyrnu dwyreiniol, ac nad ydyw yr ŷd yn cael ei ddyrnu yno fel gyda ni, ond ei sathru gan draed ychain, neu ei osod dan fath o fenn ddanneddog. Nithiant yr ŷd trwy ei daflu i'r awyr â rhawiau, a'r us a gludir ymaith gan y gwynt, a'r pur ŷd a syrthia i'r llawr.

Salm 128. 5, 6. "Yr hwn sydd yn myned rhagddo, ac yn wylo, gan ddwyn had gwerthfawr."—Dyweda un ysgrifenydd, yn ei hanes am weddillion Balbec, ei bod yn sefyll mewn dyffryn, lle nad oes ond ychydig goed; gan ychwanegu nad oes ond ychydig o blannu coed yn Nhwrci a Phalestina, a bod dyn arfog yn myned gyda'r hauwr, rhag iddo gael ei yspeilio o'i had ar y maes. Yr Israeliaid a ddychwelasant o Babilon wrth gyhoeddiad Cyrus, oeddynt yn y

peryglon a than yr anhawsderau mwyaf wrth hau, rhag ofn lladron ac yspeilwyr. Yr oedd ail adeiladu y ddinas a'r deml yn debyg i un a fyddai yn hau, oblegid yr oedd eu gwrthwynebwyr mor lliosog.

Diar. 11. 26. "Y neb a attalio ei ŷd, y bobl a'i melldithia; ond bendith fydd ar ben y neb a'i gwertho."—Crybwylla Morier am un yn Persia o'r enw Mirza Ahady, yr hwn mewn cyssylltiad â mam y tywysog a brynodd yr ŷd trwy yr holl wlad. Cyn gynted ag y cyrhaeddodd Shiraz, cyfododd y pris ar yr ŷd, ac mewn canlyniad i hyn cyfododd y pris ar y bara. Aeth y bobl yn dra chythryblus yn eu cyfyngder,—cauasant eu masnachdai, ac aethant at Sheik-el-islam, pennaeth y cyfreithwyr, i ymofyn ysgrifen er cyfreithloni y weithred o ladd Mirza Ahady, a dau neu dri eraill, y rhai oeddynt yn y cyngrair o'u gwasgu. Aethant yn un gynnulleidfa at balas y tywysog; ac wedi gwneuthur cryn gynnwrf, gofynasant am Mirza Ahady, ac ar fod iddo gael ei roddi i fynu iddynt hwy. Achubwyd ef, ond fflangellwyd holl bobyddion y dref yn llymdost. Dyweda Malcolm, yn ei hanes am Persia, am un dyn, yr hwn oedd wedi llanw ei dŷ âg ŷd, i'r bobl ei rwymo wrth bawl yng nghanol ei ŷd, a'i adael i newynu i farwolaeth.

Esay 1. 30. "Ac fel gardd heb ddwfr iddi."—Yng ngwledydd poethion y dwyrain y mae dwfr parhaus yn angenrheidiol anhepgorol i hanfodaeth gardd; oblegid heb hwn, sychai a dinystrid pob llysieuau a choedydd. Y mae dwfr ym mhob gardd yn y gwledydd hyn; a dywedir gan Mr. Maundrell yn neillduol am Damascus, ei bod yn cael ei hamgylchynu gan erddi, am ynghylch deng milldir ar hugain oddi amgylch. Y mae yn gyforiog o goed ffrwythlon, am eu dyfrheir oll gan yr afon Barrady. Rhennir yr afon yn ei hymarllwysfa o agen y mynydd yn dair cangen, un o'r rhai a reda yn uniongyrchol i Damascus, er llanw ffynnonnau a phydewau y ddinas. Y ddwy gangen arall a rennir yn ffrydiau bychain er rhedeg drwy a dyfrhau y gerddi; ac felly llyngcir y Barrady agos yn hollol yng nghymmydogaeth Damascus.

Esay 18. 2. "Yr hon yr yspeiliodd yr afonydd ei thir."—Gwnaed colledion mawrion yn aml i diroedd a derfynent ar afonydd, a'r rhai y byddai afonydd yn myned drwyddynt. Amryw ddigwyddiadau o'r natur hyn a grybwyllir gan deithwyr a haneswyr, yn neillduol gan Sonnini, o'r hyn yr oedd efe yn dyst wrth fyned i lawr ar hyd yr afon Nilus. Digwyddodd i lifeiriant disymmwth ddyfod, yr hwn nid yn unig a osododd eu bywydau mewn enbydrwydd, ond a ymruthrai yn nerthol yn erbyn y ceulannau, gan eu bwrw i lawr, ac felly dinystrio y tir er colled nid bychan.

Esay 47. 14. "Wele, hwy fyddant fel sofl; yntau a'u llysg hwynt." —Y mae yn beth cyffredin iawn yn y dwyrain i losgi y sofl a'r borfa, er mwyn dinystrio y pryfaid. Dyweda Hanway am drigolion anialdiroedd Tartari, eu bod yn arferol o losgi y porfeydd ar brydiau, y rhai a dyfant i uchder mawr. Tebygol bod ymadroddion ein Hiachawdwr yn cyfeirio at hyn pan ddyweda, "Am hynny os dillada Duw felly lysieuyn y maes, yr hwn sydd heddyw, ac y foru a fwrir i'r ffwrn."

Hosea 2. 6. "Am hynny wele, mi a gauaf i fynu dy ffordd di â drain." Gwneid cloddiau drain mewn ffordd o ymddiffynfa, fel

yr oedd yn anhawdd iawn myned drwyddynt; ac y mae yn amlwg bod yr ymadroddion yn Hosea wedi eu sylfaenu ar ddefod ddwyreiniol. Crybwylla Du Tott am y ffigysbren Indiaidd, o ba rywogaeth y gwneid cloddiau, yn ddiogelwch hollol i'r maesydd. Teithiwr arall a ddyweda, iddo weled sefydliad o ddeg a deugain o anneddau, oddi amgylch y rhai yr oedd llwyni wedi eu plannu, y rhai yr oedd yn annichonadwy i neb fyned drwyddynt, heb i ryw rai o'r tu fewn ddangos y ffordd.

Mat. 13. 4. "Ac fel yr oedd efe yn hau, peth a syrthiodd ar fin y ffordd; a'r adar a ddaethant ac a'i difasant."—Ymddengys bod yr adar yn gwneuthur mwy o ddifrodiadau yn y dwyrain gyda golwg ar had nag yn ein gwlad ni. Dyweda Theolnot, pan ydoedd ef ar ei daith, iddo unwaith weled amrywiol ddynion yn rhedeg i'r maesydd, gan waeddi, ysgrechain, a gwneuthur pob nadau er tarfu yr adar a ddisgynasant ar y maes i fwytta yr had. Pan welont yr adar yn ehedeg uwch eu maesydd, gwnant leisiau ac ebychiadau dychrynllyd, er mwyn eu rhwystro i ddisgyn.

Mat. 24. 41. "Dwy a fydd yn malu mewn melin; un a gymmerir a'r llall a adewir." Y teithiwr Shaw a ddyweda am y dwyreinwyr, fod pob teuluoedd agos yn malu eu gwenith gartref, a bod ganddynt ddau faen i'r perwyl hwn. Troir yr un uchaf â haiarn wedi ei sicrhau yn ei ymyl. Pan fyddo y maen yn fawr, neu fod brys am falu, rhoir dau i'w droi. Y benywaid yn gyffredin ydynt wrth y gorchwyl hwn, y rhai a eisteddant y naill ar gyfer y llall, gan droi y maen rhyngddynt.

Iago 5. 7. "Nes iddo dderbyn y gwlaw cynnar a diweddar."—Yn ein gwlad ni, lle y mae yn gwlawio ym mhob tymmor o'r flwyddyn, ni all fod gennym dyb am y cynnar a'r diweddar wlaw. Ym Mhalestina, nid ydyw yn bwrw ond yn anaml iawn ym misoedd yr haf. Tua diwedd yr hydref, pryd y byddai yr Iuddewon yn hau, y disgynai yr hyn a alwent y cynnar wlaw, a'r diweddar wlaw ym misoedd Mawrth ac Ebrill, ynghylch amser eu cynhauaf hwynt. Dyweda Korte am y gwlaw ym misoedd Hydref, Tachwedd, a Rhagfyr, yr hwn a elwir y cynnar wlaw, ei fod yn meithrin yr had yn y tir, ac am y gwlaw ym misoedd Mawrth ac Ebrill, mai am ychydig oriau, neu am hanner diwrnod bob dydd, y gwlawiai weithiau, a bod hwn yn cynnorthwyo yn anghyffredin i addfedu y cynhauaf.

---

## XIV. ANIFEILIAID A BWYSTFILOD.

Gen. 13. 2. "Ac Abram oedd gyfoethog iawn o anifeiliaid, ac o arian, ac aur."—Yn gymmaint a bod Abraham mor gyfoethog mewn anifeiliaid, mewn aur, ac mewn arian, gallasai gael pob danteithion a chwennychai, fel y gall y tywysogion Arabaidd. Dyweda Dr. Russel am bobl Aleppo, eu bod yn cael y rhan fwyaf o'u hymenyn, eu caws, a'u hanifeiliaid gan yr Arabiaid, y rhai a deithiant y gwledydd gyda eu hanifeiliaid, fel y gwnelai y patrieirch yn oesau boreuol y byd. Ac yn gymmaint a bod yr Arabiaid yn byw heb brynu nemmawr o ddim, y maent yn dra chyfoethog mewn aur ac arian,

Gen. 22. 3. "Ac a gyfrwyodd ei asyn."—Nid ydym i feddwl bod cyfrwyau yr hynafiaid yn debyg i'r eiddom ni. Cyfrwyau rhai o'r dwyreinwyr yn bresennol ydynt fath o glustogau, a thebygol nad oedd cyfrwyau yr hynafiaid ond math o frethynau geirwon. Y rhai hyn oeddynt gyfrwyau yr hen Rufeiniaid a'r Groegiaid.

Gen. 41. 2. "Ac wele yn esgyn o'r afon saith o wartheg teg yr olwg."—Y gair Hebraeg *Icor* a gyfieithir yma afon, (gan Luther, dwfr,) sydd yn briodol am dir Aiphtaidd, yn arwyddo afon, ond yn cael ei ddefnyddio yn hollol at yr afon Nilus, ac nid at unrhyw afon arall. Y cydmariaethau dan ba rai y gwelodd y brenin y saith mlynedd o lawnder, a'r saith mlynedd o newyn, oeddynt yn gwbl naturiol. Arwyddai yr ych, yn arwyddion cyssegredig yr Aipht, amaethyddiaeth, fel y dyweda Clemens o Alexandria. Gwelodd Pharaoh y gwartheg yn dyfod o'r afon Nilus, oblegid bod ffrwythlondeb yr Aipht yn ymddibynnu yn hollol ar y Nilus, fel yr ydym wedi crybwyll yn barod.

Ecsod. 3. 1. "Ac efe a yrrodd y praidd o'r tu cefn i'r anialwch."—Y bobl hynny sydd ofalus am eu maesydd a'u tiroedd, ni allant lai na synnu bod y patrieirch boreuol yn cael myned â'u hanifeiliaid i'r lleoedd hynny y gwelent fod yn dda; ond y mae yr hen ddefod hon yn parhau o hyd yn Palestina, ac er ei bod yn ammhoblogaidd, ef allai bod ei threfydd yn awr yn cynnwys cymmaint o bobl ag yn amser Abraham. Y mae amryw yn Barbary yn ymsymmud yn bresennol o fan i fan; felly hefyd y mae rhai yn yr Aipht, sef yr Arabiaid Bedowinaidd, y rhai a gyfrifir yn ddwy filiwn. Rhai ydynt ar y mynyddoedd, ym mhell o ddinasoedd a threfydd, ond yn agos i ddyfroedd. Wedi aros am ryw yspaid yn yr un fan, symmudant drachefn, ac yn y wedd hon crwydrant drwy y flwyddyn.

Ecsod. 23. 19. "Na ferwa fynn yn llaeth ei fam."—Seilir y gwaharddiad hwn ar egwyddor amlwg o ddynoliaeth, ac a fwriadwyd i ddiddymmu arferiad annaturiol, yr hon a fabwysiadwyd gan Israel, neu yr hon yr oeddynt mewn perygl o'i mabwysiadu. Arferai y Cenhedloedd ferwi mynn yn llaeth ei fam, yr hyn ydoedd yn greulondeb.

Barn. 14. 5, 6. "Yna Samson a aeth i waered, ac wele genaw llew yn rhuo yn ei gyfarfod. Ac Yspryd yr Arglwydd a ddaeth yn rymmus arno ef; ac efe a holltodd y llew fel yr holltid mynn, ac nid oedd dim yn ei law ef."—Dyweda Poiret am un yn Barbary a gynnygiodd ymladd â llew heb arfau. Mewn gwersyll o'r Bedowiniaid Arabaidd, rhuthrodd llew ieuangc ar fuwch: Mŵriad ieuangc a neidiodd at y bwystfil er mwyn cymmeryd ei ysglyfaeth oddi arno, ond ni ollyngai y llew y fuwch yn rhydd. Yna rhedodd tad y dyn ieuangc atto, â math o offeryn tebyg i raw ganddo, ac wrth geisio taro y llew, tarawodd law ei fab, gan dorri tri o'i fysedd ymaith, a chafwyd trafferth fawr i gymmeryd y fuwch o'i grafangau. Dyweda Theolnot am yr Arabiaid, nad ydynt yn ofnus o lew, ond y rhedant ar ei ol weithiau, ac a'i lladdant â'u ffyn. Lladdodd Samson ei hun lew, ond yr oedd Yspryd yr Arglwydd arno.

1 Sam. 6. 4. "Llygod."—Llygod, er eu bod yn fychain, ydynt wedi bod weithiau yn dra dinystriol, ac felly yn Palestina. Yn hanes William, Archesgob Tyrus, dywedir i newyn mawr fod yn nheyrnas

Jerusalem yn y deuddegfed canrif, yr hwn a achoswyd gan locustiaid a llygod, y rhai am bedair blynedd a ddifasant gynnyrch y tir.

1 Sam. 9. 3. "A dywedodd Cis wrth Saul ei fab, Cymmer yn awr un o'r llangciau gyda thi; a chyfod, dos, a chais yr asynod."—Dyweda Du Tott fod nod gan bob meddiannwr ar ei anifeiliaid, yr hwn a wneid drwy losgiad ar forddwydydd ceffylau, ychain, a dromedariaid, â lliwiau ar wlan y defaid. Pan elo rhai o'r anifeiliaid ar goll, anfonir un ar geffyl ac ymborth gydag ef drwy y gwastadedd ar eu hol, yr hwn a sylwa ar nodau pob anifeiliaid a wel; ac wrth ymholi â'u gilydd, cânt afael ynddynt, ac a'u dychwelant adref.

1 Chron. 12. 8. "Ac megis iyrchod ar y mynyddoedd o fuander oeddynt hwy."—Dyweda Dr. Russel am ddau rywogaeth o antelopiaid oddi amgylch Aleppo, yn Syria, y rhai ydynt mor fuain fel mai anaml y gall y milgwn eu dal, oddieithr iddynt gael rhyw gynnorthwyon neu gilydd. Y mae yr Arabiaid yn hoff iawn o'r creaduriaid hyn, a chrybwylla Parsons iddo ef brynu un bychan gan eneth Arabaidd, er mwyn ei ladd ac ymborthi arno. Daeth yr eneth i edrych am yr antelop bychan gyda'r hwyr, a phan ddangoswyd ef wedi ei ladd iddi, torrodd allan mewn wylofain, taflodd yr arian a dderbyniodd am dano i wyneb y dyn, ac a redodd ymaith.

Job 30. 1. "Ond yn awr y rhai sy ieuangach na mi sydd yn fy ngwatwar, y rhai y diystyraswn eu tadau i'w gosod gyda chwn fy nefaid."—Arferir y dull dirmygus hwn o siarad hyd y dydd heddyw yn y dwyrain, ac y mae Syr Wiliam Ouseley wedi rhoddi engraifft neillduol o hono. Dyweda am dywysog o'r enw Fateh Ali Shah, wedi iddo ymrafaelio â'i weinidogion, iddo ymdrech tywallt allan ei lidiawgrwydd arnynt drwy ddywedyd wrthynt, y rhoddai efe eu henwau, sef y rhai a berthynent i'w swyddau, ar ei gwn.

Salm 9. 15. "Yn y rhwyd a guddiasant y daliwyd eu troed eu hun."—Y gyffelybiaeth hon a gymmerwyd oddi wrth y dull o ddala creaduriaid â rhaffau ac â rhwydau. Lichtenstein a grybwylla am lwyth o Affriciaid, y rhai a ddaliant greaduriaid gwylltion â'r pethau uchod. Gwnant ddau glawdd ar gyfer eu gilydd yn y coedydd, am filldiroedd o hyd, a rhwng y cloddiau hyn gosodant rwydau; ac wrth ymlid y creaduriaid, ciliant rhwng y rhai hyn er mwyn diengyd; ond yn lle hynny, delir hwynt yn sicr yn y rhwydau. Llewod ac elephantiaid a ddelir yn y dull hwn. Yr asynod gwylltion ydynt fuain anghyffredin; etto dywedir y marchoga rhai ar eu hol ac y taflant raff am eu gyddfau, a thrwy hynny gwnant hwynt yn garcharorion. Arferir y dull yma o ddal creaduriaid er yr amseroedd boreuaf; ac ym mhlith yr hen haneswyr, y mae Justin a Herodotus yn crybwyll am hyn.

Salm 22. 13. "Agorasant arnaf eu genau, fel llew rheibus a rhuadwy."—Dyweda Burchell, yn hanes ei deithiau drwy Affric Ddeheuol, am nosweithiau tymhestlog, bod y llewod yn gwneud mantais o honynt drwy ysglyfaethu y creaduriaid yn eu dychryn. Ar un noswaith yn neillduol yr oeddynt wedi gwersyllu, ac aeth yn noswaith gynhyrfus a thymhestlog anghyffredin. Pan oeddynt yn gorwedd yn eu pedrolfenni, dechreuodd y cwn gyfarth ac udo, a'r ychain i wneuthur pob ymdrechiadau er myned yn rhyddion, yr hyn

oeddynt amlygiadau digonol er dangos bod llew yn gyfagos. Yr oedd eu tân agos wedi diffodd, a'r llew o ganlyniad yn fwy hyf ac eofn. Saethwyd amryw ergydion ar amcan, a chafodd hyn yr effaith o'i gadw draw, a gwelodd fod yn dda i adael y fangre, er mawr gysur i bawb.

Salm 22. 16. "Canys cwn a'm cylchynasant."—Dywedir fod cwn yn y dwyrain yn fyr o'r cyfeillgarwch hwnnw tuag at ddyn a welir ynddynt gyda ni. Yn Barbary, nid ydyw y ci yn greadur teuluaidd, hynaws, a chyfeillgar i'w feistr. Cwn yr Arabiaid ydynt yn greulon, gwaedlyd, newynllyd, a phob amser yn sarrug. Y mae yr olwg arnynt yn fwystfilaidd, ac y maent yn gorfod darbod drostynt eu hunain am luniaeth, oblegid ni roddir nemmawr iddynt gan neb. Os dieithr-ddyn a nesha at y pebyll Arabaidd, rhuthrant arno gan gyfarth mor enbyd, fel y maent yn ddigon i ddychrynu unrhyw ddyn; ac os na all dyn amddiffyn ei hun, byddant yn debygol o'i larpio a'i fwytta yn y fan. Y cwn yn Syria a'r Aipht ydynt yn finteioedd heb neb braidd yn eu harddel, ac annedwydd y dyn hwnnw a amgylchynnir, oblegid eu creulondeb a'u ffyrnigrwydd. Y mae yn berygl bywyd i neb fyned allan yn y nos, yn neillduol heibio i'r mannau lle y mae y cwn yn arferol o fod.

Salm 59. 6. "Dychwelant gyda'r hwyr, cyfarthant fel cwn, ac amgylchant y ddinas."—Efallai bod cyfeiriad yr ymadroddion hyn at udiad cwn yn hytrach nag at eu cyfarthiad. Ystyrir udiad cwn er yr amserau boreuol fel yn rhag-ddarogan rhyw niweidiau. Crybwylla Virgil i'r cwn udo ar farwolaeth Julius Cæsar, a gwna Ovid grybwylliad o'r un peth. Dyweda Mr. Park am y cwn yn Affrica, eu bod yn udo yn anghyffredin yn y nos, pan fyddo y bleiddiaid a'r hyæniaid yn dynesu attynt. Yn y llyfrau Iuddewig, a gyfansoddwyd gan rai o'r Rabbiniaid, dywedir bod y cwn yn y dinasoedd yn udo pan fyddo angel marwolaeth yn neshau attynt; ond pan fyddont yn chwareu, bod Elias yn dyfod i'r gyfryw ddinas; ac ym mhellach mai arferiad cwn ydyw udo pan fyddo cennad angeu yn nesu at ryw fangre. Y mae yn anhawdd iawn penderfynu pa un ai oddiwrth yr Iuddewon at y Cenhedloedd, neu oddiwrth y Cenhedloedd at yr Iuddewon, y daeth y dyb o fod cwn yn udo cyn marwolaeth rhyw un; o leiaf y mae y dyb a'r traddodiad dywededig wedi cyrhaeddyd i blith yr holl genhedloedd.

Salm 144. 13. "A'n defaid yn dwyn miloedd a myrddiwn yn ein heolydd."—Y mae defaid yn neillduol am eu ffrwythlondeb mawr, ac oblegid hynny dywedir eu bod yn dwyn eu miloedd a'u myrddiwn, a bod y dolydd wedi eu gwisgo â defaid. Crybwylla Bochart am y defaid dwyreiniol, eu bod yn gyffredin yn dwyn dau, weithiau dri a phedwar, a hynny ddwy waith yn y flwyddyn. Syr Thomas Brown a sylwa hefyd, nad ydym ni i farnu am ddefaid Palestina wrth ein defaid ni, oblegid bod y rhai hynny yn dwyn dau, a thri, ac weithiau pedwar o rai ieuaingc.

Diar. 22. 13. "Medd y diog, Y mae llew allan; fo'm lleddir yng nghanol yr heolydd."—Y mae y diogyn yn hoff o gysgu, ac er esgusodi ei ddiogi i beidio cyfodi yn foreu, dyweda fod arno ofn syrthio yn ysglyfaeth rhwng dannedd rhyw fwystfil a fyddo heb fyned i'w loches ar ol bod allan yn y nos. Pan fyddo y nos yn estyn ei llenni

eraill ydynt tua'r wythfed ran o filltir oddiwrth y lleill, pa rai a'i cynnwysant yn nhymhor ei gorlifiadau. Y cyfwng hwn rhwng y ceulannau sydd wastad, ac yn llawn o lwyni o wahanol goedydd, fel mai annichonadwy gweled dyfroedd yr Iorddonen heb fyned drwyddynt i'w hymyl. Yn y llwyni crybwylledig gynt, ac yn bresennol hefyd medd rhai, llecha amryw greaduriaid gwylltion, ac yn eu plith y llewod; a phan lifo yr afon dros ei cheulennydd, cilia y creaduriaid rhag y dyfroedd i'r wlad, ac yn eu plith gwelir y llew yn dyfod i fynu o ymchwydd yr Iorddonen. Y llewod ydynt liosog iawn ym mhrysg-lwyni glennydd afonydd Mesopotamia. Heblaw yr hanes a rydd Mr. Maundrell am yr Iorddonen, cyttuna y teithwyr Buckingham a Thomson âg ef.

Hab. 1. 8. "A'u meirch sydd fuanach na'r llewpardiaid."—Dofir a dysgir llewpardiaid i hela yn y dwyrain, a dywedir yr ymruthrant ar yr ysglyfaeth yn chwimmwth iawn. Sonia Le Bruyn iddo ef yn fynych weled Bashaw Gaza yn myned i hela jacaliaid â llewpard a ddysgwyd at y gwaith. Yr heliwr a'i ceidw o'i flaen ar y ceffyl, a phan welo un o'r jacaliaid, gollwng y llewpard i lawr, yr hwn a ymlusga yn ddistaw hyd oni thybio ei fod yn ddigon agos i'r jacal, yna efe a neidia yn ddisymmwth arno, o bumtheg i ddeunaw troedfedd o lam. Dyweda Parsons eu bod yn nheyrnas Guzaret yn hela antelopiaid â llewpardiaid, y rhai er eu buander a ddelir ganddynt, a sugnant eu gwaed yn union-gyrchol, a rhaid i'r heliwr daflu cig i'r llewpard, amgen efe a rwygai yr antelop yn ddrylliau yn y fan.

Seph. 2. 14. "A diadellau a orweddant yn ei chanol hi, holl anifeiliaid y cenhedloedd: y pelican a'r dylluan hefyd a lettyant ar gap y drws."—Ymddengys bod adar yn y dwyrain yn aml yn gwneuthur eu trigfa yn nhrigfa dyn. Gwelir hwynt yn sefyll ar nennau y tai, ac yn heolydd dinasoedd gwledydd y dwyrain yn fynych, ac heb gael eu tarfu gan neb, oblegid eu bod o wasanaeth mawr i'r trigolion drwy gadw yr heolydd yn lân. Ond ef allai bod y brophwydoliaeth hon yn golygu anghyfannedd-dra, a'r adar yn cymmeryd meddiant o'r tai anghyfannedd i breswylio ynddynt.

Luc 2. 8. "Ac yr oedd yn y wlad honno fugeiliaid yn aros yn y maes, ac yn gwylied eu praidd liw nos."—Pobl y dwyrain yn gyffredin a gorlannent eu praidd yn y nos, am fod y creaduriaid ysglyfaethus yn rhodio oddi amgylch er eu hysglyfaethu. Dyweda Lichtenstein, bod pobl Affrica Ddeheuol yn y nos yn corlannu eu defaid a'u holl ddiadelloedd, rhag i'r creaduriaid ysglyfaethus ymosod arnynt a'u niweidio. Nid ydyw gwylied y praidd yn beth dieithr yn y dwyrain, oblegid y mae yn angenrheidiol iddynt wneuthur felly am eu bod mor agored i'r creaduriaid hynny a arferant fyw ar ysglyfaeth.

Ioan 10. 3. "Ac y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw."—Rhydd Dr. Henderson ddehongliad neillduol i'r ymadroddion hyn, yn hanes ei deithiau drwy y dwyrain. Pan ydoedd efe yn teithio, neu yn hytrach yn difyrru ei hun un prydnawn wrth rodio ym mhlith y corlannau, gwelai ddwy eneth yn godro defaid. Sylwai eu bod dros ddeg a deugain mewn nifer, a bod y rhai oedd wedi eu godro yn myned ar gyfrgoll ym mhlith y lleill, a gofynodd pa fodd yr oedd yn alluadwy iddynt adnabod y rhai hynny oddiwrth

y lleill. Attebent hwythau, eu bod yn eu hadnabod oll wrth eu henwau; yr hyn, medd y teithiwr, a ddygodd i'w gof ymadroddion yr Iachawdwr mawr, ei fod ef yn galw ei ddefaid wrth eu henwau, ac yn eu hadnabod.

Ioan 10. 11. "Myfi yw'r bugail da."—Ymddengys bod yr ymadroddion hyn yn dra pherthynasol i'r wlad, ac i amgylchiadau y wlad lle y llefarwyd hwynt. Yn y dwyrain ystyrir y defaid yn gyfoeth mawr, ac y mae hanes Dafydd, heblaw y patrieirch boreuol, yn profi nad ydoedd bugeilio y diadelloedd yn swydd ammharchedig. Pennau teuluoedd yn Asia a'i hystyriant yn fri ac yn anrhydedd i ofalu am ac edrych ar ol eu diadelloedd: ac oblegid hyn yn ddiau y gelwir brenhinoedd yn fugeiliaid y bobl a lywodraethant, yn enwedigol gelwir Crist yn fugail ei bobl a'i eglwys. Ond y mae y swydd fugeilaidd yn ei holl amgylchiadau yn dra gwahanol yn y dwyrain oddiwrth yr hyn ydyw yn ein plith ni: yno y mae efe yn adnabod ei braidd, yn eu galw, ac yn cael ei adnabod ganddynt; ond y mae y pethau hyn braidd yn anwybodus ac anadnabyddus i ni. Y mae trigolion Affric Ddeheuol wedi dysgu eu hychain a'u gwartheg i adnabod eu chwibaniad. Tua machlud haul gwelir y gwastadedd yn orchuddiedig gan ddiadellau, y rhai yn finteioedd a ddeuent o bob man ynghyd wrth lais y bugail. Gelwir hwynt ynghyd i'w godro drwy chwibaniad neillduol, gelwir hwynt ynghyd yn y bore, a gelwir hwynt i'w corlannau yn yr hwyr drwy arwyddion neillduol; ac y mae yr anifeiliaid megis pe byddent yn deall eu gilydd yn hollol.

---

## XV. ADAR, PRYFED, AC YMLUSGIAID.

Gen. 49. 17. "Dan fydd sarph ar y ffordd, a neidr ar y llwybr; yn brathu sodlau'r march, fel y syrthio ei farchog yn ol."—Gyda golwg ar sarph ar y ffordd, dyweda Henniken ei fod ef unwaith yn teithio, ac yn ymdrechu gyrru ei anifail ym mlaen, sef y camel, ond iddo aros yn ddisymmwth, ac ni fynnai fyned ym mlaen. Rhoddodd y teithiwr ei ierthi yn ei ystlysau yn esmwyth, ond yn ofer; tarawodd ef o'r diwedd, ac yn union-gyrchol syrthiodd ar ei ochr, gan ymdrechu taflu ei farchogwr ymaith. Rhedodd yr arweiniwr atto yn fuan, nid yn gymmaint er edrych pa fodd yr oedd y dyn wedi ymdaro, ond rhag ofn bod y camel wedi cael ei niweidio. Dywedodd hefyd, os ydoedd y camel wedi ei niweidio, y byddai yn rhaid i'r teithiwr dalu am hynny, am fod bywyd camel yn fwy gwerthfawr na bywyd Cristion. Ac erbyn edrych, yr achos i'r camel ballu myned ym mlaen ydoedd, bod neidr wedi ymdorchi ar ei ffordd, fel eu gwelir yn ymyl ffyrdd a llwybrau yn aml yn y dwyrain.

Deut. 1. 44. "Ac a'ch ymlidiasant fel y gwnai gwenyn."—Y mae y wenynen yn elynes enbyd weithiau, ac yn peri i gryfion ffoi o'i blaen. Dyweda Pliny y naturiaethwr am y gwenyn yn Crete gynt, eu bod mor enbyd, fel y gorfyddai y trigolion ymadael â'u teiau o'u plegid. Crybwylla Aelian am amryw ardaloedd yn Scythia wedi eu diboblogi gan wenyn. Ac yn Affrica mewn rhai mangreoedd y

# SYLWADAU

AR

# YSGRYTHYRAU YR HEN DESTAMENT.

## *Ieithoedd gwreiddiol yr Ysgrythyrau.*

### I. HYNAFIAETH YR IAITH HEBRAEG.

Y mae gwybodaeth o'r ieithoedd gwreiddiol, ym mha rai yr ysgrifenwyd yr Ysgrythyrau, yn angenrheidiol anhepgorol er iawn synied gwir a phriodol ystyr y gyfrol sanctaidd. Meddylir am yr iaith Hebraeg, yn yr hon yr ysgrifenwyd Ysgrythyrau yr Hen Destament, oddigerth ychydig eiriau o darddiad Caldeaidd, ei galw felly oddiwrth Heber, un o hanedigion Sem. Gen. 21. 25. a 11. 14, 16, 17. Eraill a dybiant iddi gael ei galw oddiwrth y gair Aber, myned drosodd, ac mai o herwydd hyn y galwyd Abraham yn Hebread, am iddo fyned dros yr Iorddonen tua thir Canaan. Tybia rhai mai yn yr iaith Hebraeg yr ymddiddanai Duw âg Adda yn Eden, ac iddi gael ei dysgu ganddo ef i'w hiliogaeth. Cymmaint a hyn a ellir ei ddywedyd, Mai yr iaith Hebraeg ydyw yr hynaf o holl ieithoedd y byd hyd y mae neb yn gwybod, ac ymddengys mai yr iaith hon ydyw gwreiddyn pob ieithoedd ac ymadroddion drwy yr holl greadigaeth. Y geiriau a'i cyfansoddant ydynt fyrion; enwau lleoedd ydynt ddarluniadol o'u natur, eu sefyllfaoedd, a'r amgylchiadau perthynol iddynt; enwau anifeiliaid hefyd ydynt arwyddoccaol o'u natur; ac enwau yr holl genhedloedd ydynt o darddiad Hebreaidd. Yr Assyriaid a alwyd felly oddiwrth Asur; yr Elamiaid oddiwrth Elam; y Lydiaid oddiwrth Lyd; ac y mae yn amlwg hefyd bod enwau y duwiau paganaidd oll o ddeilliad paganaidd, Satwrn oddiwrth Satan, (bod yn guddiedig,) Iau oddiwrth Jehofah, a Vulcan oddiwrth Tubal-Cain. Gwasgarwyd yr iaith Hebraeg ym mhell ac yn agos gan y masnachwyr Phœnisiaidd, oblegid ymddengys o leiaf bod y fath berthynas rhwng yr iaith Hebraeg a'r iaith Phœnisiaidd, fel y deallai yr Hebreaid y Canaaneaid heb angenrheidrwydd cyfieithiwr rhyngddynt. Ystyrir yr yspaid o Moses hyd Ddafydd fel oes am yr iaith Hebraeg; ac o amser Dafydd i amser Hezeciah, collodd yr iaith hon lawer iawn o'i phurdeb, drwy i amrywiol eiriau estronol gael eu cymmeryd iddi drwy berthynasau masnachol a gwladol yr Israeliaid â'r Assyriaid ac â'r Babiloniaid. Ac yn amser deng mlynedd a thrugain caethiwed y genedl ym Mabilon, collodd ei hiaith, fel na ddeallid gan y werin wedi eu dychweliad yn ol, ond y peth nesaf i ddim o'r hen iaith Hebraeg. Ar y cyfrif hyn, yr oeddid dan yr angenrheidrwydd o beri i'r bobl ddeall y gyfraith drwy gyfieithwyr, yr hyn a wneid yn barhaus yn y Syn-

Jerusalem yn y deuddegfed canrif, yr hwn a achoswyd gan locustiaid a llygod, y rhai am bedair blynedd a ddifasant gynnyrch y tir.

1 Sam. 9. 3. "A dywedodd Cis wrth Saul ei fab, Cymmer yn awr un o'r llangciau gyda thi; a chyfod, dos, a chais yr asynod."—Dyweda Du Tott fod nod gan bob meddiannwr ar ei anifeiliaid, yr hwn a wneid drwy losgiad ar forddwydydd ceffylau, ychain, a dromedariaid, â lliwiau ar wlan y defaid. Pan elo rhai o'r anifeiliaid ar goll, anfonir un ar geffyl ac ymborth gydag ef drwy y gwastadedd ar eu hol, yr hwn a sylwa ar nodau pob anifeiliaid a wel; ac wrth ymholi â'u gilydd, cânt afael ynddynt, ac a'u dychwelant adref.

1 Chron. 12. 8. "Ac megis iyrchod ar y mynyddoedd o fuander oeddynt hwy."—Dyweda Dr. Russel am ddau rywogaeth o antelopiaid oddi amgylch Aleppo, yn Syria, y rhai ydynt mor fuain fel mai anaml y gall y milgwn eu dal, oddieithr iddynt gael rhyw gynnorthwyon neu gilydd. Y mae yr Arabiaid yn hoff iawn o'r creaduriaid hyn, a chrybwylla Parsons iddo ef brynu un bychan gan eneth Arabaidd, er mwyn ei ladd ac ymborthi arno. Daeth yr eneth i edrych am yr antelop bychan gyda'r hwyr, a phan ddangoswyd ef wedi ei ladd iddi, torrodd allan mewn wylofain, taflodd yr arian a dderbyniodd am dano i wyneb y dyn, ac a redodd ymaith.

Job 30. 1. "Ond yn awr y rhai sy ieuangach na mi sydd yn fy ngwatwar, y rhai y diystyraswn eu tadau i'w gosod gyda chwn fy nefaid."—Arferir y dull dirmygus hwn o siarad hyd y dydd heddyw yn y dwyrain, ac y mae Syr Wiliam Ouseley wedi rhoddi engraifft neillduol o hono. Dyweda am dywysog o'r enw Fateh Ali Shah, wedi iddo ymrafaelio â'i weinidogion, iddo ymdrech tywallt allan ei lidiawgrwydd arnynt drwy ddywedyd wrthynt, y rhoddai efe eu henwau, sef y rhai a berthynent i'w swyddau, ar ei gwn.

Salm 9. 15. "Yn y rhwyd a guddiasant y daliwyd eu troed eu hun."—Y gyffelybiaeth hon a gymmerwyd oddi wrth y dull o ddala creaduriaid â rhaffau ac â rhwydau. Lichtenstein a grybwylla am lwyth o Affriciaid, y rhai a ddaliant greaduriaid gwylltion â'r pethau uchod. Gwnant ddau glawdd ar gyfer eu gilydd yn y coedydd, am filldiroedd o hyd, a rhwng y cloddiau hyn gosodant rwydau; ac wrth ymlid y creaduriaid, ciliant rhwng y rhai hyn er mwyn dianc; ond yn lle hynny, delir hwynt yn sicr yn y rhwydau. Llewod ac elephantiaid a ddelir yn y dull hwn. Yr asynod gwylltion ydynt fuain anghyffredin; etto dywedir y marchoga rhai ar eu hol ac y taflant raff am eu gyddfau, a thrwy hynny gwnant hwynt yn garcharorion. Arferir y dull yma o ddal creaduriaid er yr amseroedd boreuaf; ac ym mhlith yr hen haneswyr, y mae Justin a Herodotus yn crybwyll am hyn.

Salm 22. 13. "Agorasant arnaf eu genau, fel llew rheibus a rhuadwy."—Dyweda Burchell, yn hanes ei deithiau drwy Affric Ddeheuol, am nosweithiau tymhestlog, bod y llewod yn gwneud mantais o honynt drwy ysglyfaethu y creaduriaid yn eu dychryn. Ar un noswaith yn neillduol yr oeddynt wedi gwersyllu, ac aeth yn noswaith gynhyrfus a thymhestlog anghyffredin. Pan oeddynt yn gorwedd yn eu pedrolfenni, dechreuodd y cwn gyfarth ac udo, a'r ychain i wneuthur pob ymdrechiadau er myned yn rhyddion, yr hyn

oeddynt amlygiadau digonol er dangos bod llew yn gyfagos. Yr oedd eu tân agos wedi diffodd, a'r llew o ganlyniad yn fwy hyf ac eofn. Saethwyd amryw ergydion ar amcan, a chafodd hyn yr effaith o'i gadw draw, a gwelodd fod yn dda i adael y fangre, er mawr gysur i bawb.

Salm 22. 16. "Canys cwn a'm cylchynasant."—Dywedir fod cwn yn y dwyrain yn fyr o'r cyfeillgarwch hwnnw tuag at ddyn a welir ynddynt gyda ni. Yn Barbary, nid ydyw y ci yn greadur teuluaidd, hynaws, a chyfeillgar i'w feistr. Cwn yr Arabiaid ydynt yn greulon, gwaedlyd, newynllyd, a phob amser yn sarrug. Y mae yr olwg arnynt yn fwystfilaidd, ac y maent yn gorfod darbod drostynt eu hunain am luniaeth, oblegid ni roddir nemmawr iddynt gan neb. Os dieithr-ddyn a nesha at y pebyll Arabaidd, rhuthrant arno gan gyfarth mor enbyd, fel y maent yn ddigon i ddychrynu unrhyw ddyn; ac os na all dyn amddiffyn ei hun, byddant yn debygol o'i larpio a'i fwytta yn y fan. Y cwn yn Syria a'r Aipht ydynt yn finteioedd heb neb braidd yn eu harddel, ac annedwydd y dyn hwnnw a amgylchynnir, oblegid eu creulondeb a'u ffyrnigrwydd. Y mae yn berygl bywyd i neb fyned allan yn y nos, yn neillduol heibio i'r mannau lle y mae y cwn yn arferol o fod.

Salm 59. 6. "Dychwelant gyda'r hwyr, cyfarthant fel cwn, ac amgylchant y ddinas."—Efallai bod cyfeiriad yr ymadroddion hyn at udiad cwn yn hytrach nag at eu cyfarthiad. Ystyrir udiad cwn er yr amserau boreuol fel yn rhag-ddarogan rhyw niweidiau. Crybwylla Virgil i'r cwn udo ar farwolaeth Julius Cæsar, a gwna Ovid grybwylliad o'r un peth. Dyweda Mr. Park am y cwn yn Affrica, eu bod yn udo yn anghyffredin yn y nos, pan fyddo y bleiddiaid a'r hyæniaid yn dynesu attynt. Yn y llyfrau Iuddewig, a gyfansoddwyd gan rai o'r Rabbiniaid, dywedir bod y cwn yn y dinasoedd yn udo pan fyddo angel marwolaeth yn neshau attynt; ond pan fyddont yn chwareu, bod Elias yn dyfod i'r gyfryw ddinas; ac ym mhellach mai arferiad cwn ydyw udo pan fyddo cennad angeu yn nesu at ryw fangre. Y mae yn anhawdd iawn penderfynu pa un ai oddiwrth yr Iuddewon at y Cenhedloedd, neu oddiwrth y Cenhedloedd at yr Iuddewon, y daeth y dyb o fod cwn yn udo cyn marwolaeth rhyw un; o leiaf y mae y dyb a'r traddodiad dywededig wedi cyrhaeddyd i blith yr holl genhedloedd.

Salm 144. 13. "A'n defaid yn dwyn miloedd a myrddiwn yn ein heolydd."—Y mae defaid yn neillduol am eu ffrwythlondeb mawr, ac oblegid hynny dywedir eu bod yn dwyn eu miloedd a'u myrddiwn, a bod y dolydd wedi eu gwisgo â defaid. Crybwylla Bochart am y defaid dwyreiniol, eu bod yn gyffredin yn dwyn dau, weithiau dri a phedwar, a hynny ddwy waith yn y flwyddyn. Syr Thomas Brown a sylwa hefyd, nad ydym ni i farnu am ddefaid Palestina wrth ein defaid ni, oblegid bod y rhai hynny yn dwyn dau, a thri, ac weithiau pedwar o rai ieuaingc.

Diar. 22. 13. "Medd y diog, Y mae llew allan; fo'm lleddir yng nghanol yr heolydd."—Y mae y diogyn yn hoff o gysgu, ac er esgusodi ei ddiogi i beidio cyfodi yn foreu, dyweda fod arno ofn syrthio yn ysglyfaeth rhwng dannedd rhyw fwystfil a fyddo heb fyned i'w loches ar ol bod allan yn y nos. Pan fyddo y nos yn estyn ei llenni

yn y dwyrain, y mae y bobl yn ymgadw o fewn caerau eu hanneddau, rhag eu hysglyfaethu gan y creaduriaid rheibus. Yn Abyssinia ni welir neb allan o'u teiau yn y nos, rhag ofn y creaduriaid gwylltion, canys y mae y wlad yn llawn o honynt.

Esay 1. 3. "Yr ych a edwyn ei feddiannydd."—Yn Lithuania a Muscovy, cyn gynted ag y cyfodo yr haul, chwytha y bugail yn ei gorn; a'r ceffylau, y mulod, yr asynod, y geifr, y teirw, a'r ychain yn uniongyrchol a ddeuant o'r beudai atto, gan ei ddilyn i'r dolydd a'r maesydd y byddo efe yn eu rhoddi i bori. Gyda'r un arwydd deuant i'r dwfr, a dilynant y bugail adref drachefn pan chwytho efe yn ei gorn.

Esay 32. 20. "Gwyn eich byd y rhai a hauwch gerllaw pob dyfroedd, y rhai a yrrwch draed yr ych a'r asyn yno."—Dyweda Chardin bod yr ymadroddion hyn yn atteb yn gyflawn i'r dull o hau *rice*. Pan fyddo y dwfr yn gorchuddio y tir, anfonant geffylau, asynod, ac ychain yno, er mwyn ei sathru, a chymmysgu y llaid, ac yna hauant ef yn y dwfr. Dr. Clark a ddyweda bod y maesydd lle y cyfodir *rice* yn yr Aipht agos dan ddwfr, o'r pryd yr heuir ef hyd y cynhauaf. Pan fyddo y planhigion *rice* ynghylch dwy droedfedd o hyd, tynnir hwynt er mwyn ei ail blannu. Hauir *rice* yn yr Aipht Isaf o fis Mawrth hyd fis Mai; a phan lifio yr afon Nilus, gorchuddir y maesydd lle y byddo yn hollol â dwfr, ac ymdrechir cadw y dwfr arnynt, er bod yr afon yn dychwelyd o fewn i'w cheulannau.

Esay 63. 13, 14. "Yr hwn a'u harweiniodd hwynt trwy'r dyfnderau, fel march yn yr anialwch, fel na thramgwyddynt? Fel y disgyn anifail i'r dyffryn, y gwna Yspryd yr Arglwydd iddo orphwys: felly y tywysaist dy bobl, i wneuthur it' enw gogoneddus." —Y gydmariaeth hon, a ddefnyddiwyd gan y prophwyd, a gymmerwyd oddiwrth ymddygiad yr Arabiaid gwylltion yn ffoi ac yn gochelyd eu gelynion. Y mae y ceffylau Arabaidd yn neillduol am eu buandra, ac mewn ychydig amser dianga y marchogion allan o gyrhaeddyd y rhai a'u canlyno. Dywedir am gaseg neillduol o eiddo Emir Mynydd Carmel, iddi deithio dano dri diwrnod a thair noswaith, ac iddi drwy hynny allu diengyd rhag ei elynion ac achub ei fywyd. Pan ddelo y gelynion er ymosod ar yr Arabiaid, gwnant ddefnydd union-gyrchol o'u ceffylau a'u camelod, ac amryw fyddinoedd, a ryfygasant fyned ar eu hol, a ddinystriwyd yn hollol gan newyn a syched yn y diffeithleoedd.

Jer. 4. 7. "Y llew a ddaeth i fynu o'i loches."—Dywed Burchell, yn ei deithiau drwy Affrica, ei fod ef ac eraill yn myned ym mlaen drwy y coed bychain a'r llwyni, ac i'r arweinydd aros yn ddisymmwth, gan ddangos iddo ol llew mawr ar y ddaear, yr hwn a fuasai yn yr afon ychydig cyn hynny. Yr oedd y fangre yn llawn o lochesau llewod.

Jer. 49. 19. Wele, fel llew y daw i fynu oddiwrth ymchwydd yr Iorddonen, i drigfa y cadarn."—Y gydmariaeth a ddefnyddir gan y prophwyd yn yr ymadroddion hyn, a ddehonglir gan y teithiwr enwog Maundrell. Mewn perthynas i'r Iorddonen, dyweda efe fod iddi geulannau dyblig; y ceulannau blaenaf ydyw y rhai hynny o fewn pa rai y rheda yr afon yn ei threigliad naturiol; y ceulannau

eraill ydynt tua'r wythfed ran o filltir oddiwrth y lleill, pa rai a'i cynnwysant yn nhymhor ei gorlifiadau. Y cyfwng hwn rhwng y ceulannaù sydd wastad, ac yn llawn o lwyni o wahanol goedydd, fel mai annichonadwy gweled dyfroedd yr Iorddonen heb fyned drwyddynt i'w hymyl. Yn y llwyni crybwylledig gynt, ac yn bresennol hefyd medd rhai, llecha amryw greaduriaid gwylltion, ac yn eu plith y llewod; a phan lifo yr afon dros ei cheulennydd, cilia y creaduriaid rhag y dyfroedd i'r wlad, ac yn eu plith gwelir y llew yn dyfod i fynu o ymchwydd yr Iorddonen. Y llewod ydynt liosog iawn ym mhrysg-lwyni glennydd afonydd Mesopotamia. Heblaw yr hanes a rydd Mr. Maundrell am yr Iorddonen, cyttuna y teithwyr Buckingham a Thomson âg ef.

Hab. 1. 8. "A'u meirch sydd fuanach na'r llewpardiaid."—Dofir a dysgir llewpardiaid i hela yn y dwyrain, a dywedir yr ymruthrant ar yr ysglyfaeth yn chwimmwth iawn. Sonia Le Bruyn iddo ef yn fynych weled Bashaw Gaza yn myned i hela jacaliaid â llewpard a ddysgwyd at y gwaith. Yr heliwr a'i ceidw o'i flaen ar y ceffyl, a phan welo un o'r jacaliaid, gollwng y llewpard i lawr, yr hwn a ymlusga yn ddistaw hyd oni thybio ei fod yn ddigon agos i'r jacal, yna efe a neidia yn ddisymmwth arno, o bumtheg i ddeunaw troedfedd o lam. Dyweda Parsons eu bod yn nheyrnas Guzaret yn hela antelopiaid â llewpardiaid, y rhai er eu buander a ddelir ganddynt, a sugnant eu gwaed yn union-gyrchol, a rhaid i'r heliwr daflu cig i'r llewpard, amgen efe a rwygai yr antelop yn ddrylliau yn y fan.

Seph. 2. 14. "A diadellau a orweddant yn ei chanol hi, holl anifeiliaid y cenhedloedd: y pelican a'r dylluan hefyd a lettyant ar gap y drws."—Ymddengys bod adar yn y dwyrain yn aml yn gwneuthur eu trigfa yn nhrigfa dyn. Gwelir hwynt yn sefyll ar nennau y tai, ac yn heolydd dinasoedd gwledydd y dwyrain yn fynych, ac heb gael eu tarfu gan neb, oblegid eu bod o wasanaeth mawr i'r trigolion drwy gadw yr heolydd yn lân. Ond ef allai bod y brophwydoliaeth hon yn golygu anghyfannedd-dra, a'r adar yn cymmeryd meddiant o'r tai anghyfannedd i breswylio ynddynt.

Luc 2. 8. "Ac yr oedd yn y wlad honno fugeiliaid yn aros yn y maes, ac yn gwylied eu praidd liw nos."—Pobl y dwyrain yn gyffredin a gorlannent eu praidd yn y nos, am fod y creaduriaid ysglyfaethus yn rhodio oddi amgylch er eu hysglyfaethu. Dyweda Lichtenstein, bod pobl Affrica Ddeheuol yn y nos yn corlannu eu defaid a'u holl ddiadelloedd, rhag i'r creaduriaid ysglyfaethus ymosod arnynt a'u niweidio. Nid ydyw gwylied y praidd yn beth dieithr yn y dwyrain, oblegid y mae yn angenrheidiol iddynt wneuthur felly am eu bod mor agored i'r creaduriaid hynny a arferant fyw ar ysglyfaeth.

Ioan 10. 3. "Ac y mae efe yn galw ei ddefaid ei hun erbyn eu henw."—Rhydd Dr. Henderson ddehongliad neillduol i'r ymadroddion hyn, yn hanes ei deithiau drwy y dwyrain. Pan ydoedd efe yn teithio, neu yn hytrach yn difyrru ei hun un prydnawn wrth rodio ym mhlith y corlannau, gwelai ddwy eneth yn godro defaid. Sylwai eu bod dros ddeg a deugain mewn nifer, a bod y rhai oedd wedi eu godro yn myned ar gyfrgoll ym mhlith y lleill, a gofynodd pa fodd yr oedd yn alluadwy iddynt adnabod y rhai hynny oddiwrth

y lleill. Attebent hwythau, eu bod yn eu hadnabod oll wrth eu henwau; yr hyn, medd y teithiwr, a ddygodd i'w gof ymadroddion yr Iachawdwr mawr, ei fod ef yn galw ei ddefaid wrth eu henwau, ac yn eu hadnabod.

Ioan 10. 11. "Myfi yw'r bugail da."—Ymddengys bod yr ymadroddion hyn yn dra pherthynasol i'r wlad, ac i amgylchiadau y wlad lle y llefarwyd hwynt. Yn y dwyrain ystyrir y defaid yn gyfoeth mawr, ac y mae hanes Dafydd, heblaw y patrieirch boreuol, yn profi nad ydoedd bugeilio y diadelloedd yn swydd ammharchedig. Pennau teuluoedd yn Asia a'i hystyriant yn fri ac yn anrhydedd i ofalu am ac edrych ar ol eu diadelloedd: ac oblegid hyn yn ddiau y gelwir brenhinoedd yn fugeiliaid y bobl a lywodraethant, yn enwedigol gelwir Crist yn fugail ei bobl a'i eglwys. Ond y mae y swydd fugeilaidd yn ei holl amgylchiadau yn dra gwahanol yn y dwyrain oddiwrth yr hyn ydyw yn ein plith ni: yno y mae efe yn adnabod ei braidd, yn eu galw, ac yn cael ei adnabod ganddynt; ond y mae y pethau hyn braidd yn anwybodus ac anadnabyddus i ni. Y mae trigolion Affric Ddeheuol wedi dysgu eu hychain a'u gwartheg i adnabod eu chwibaniad. Tua machlud haul gwelir y gwastadedd yn orchuddiedig gan ddiadellau, y rhai yn finteioedd a ddeuent o bob man ynghyd wrth lais y bugail. Gelwir hwynt ynghyd i'w godro drwy chwibaniad neillduol, gelwir hwynt ynghyd yn y bore, a gelwir hwynt i'w corlannau yn yr hwyr drwy arwyddion neillduol; ac y mae yr anifeiliaid megis pe byddent yn deall eu gilydd yn hollol.

---

## XV. ADAR, PRYFED, AC YMLUSGIAID.

**Gen. 49. 17.** "Dan fydd sarph ar y ffordd, a neidr ar y llwybr; yn brathu sodlau'r march, fel y syrthio ei farchog yn ol."—Gyda golwg ar sarph ar y ffordd, dyweda Henniken ei fod ef unwaith yn teithio, ac yn ymdrechu gyrru ei anifail ym mlaen, sef y camel, ond iddo aros yn ddisymmwth, ac ni fynnai fyned ym mlaen. Rhoddodd y teithiwr ei ierthi yn ei ystlysau yn esmwyth, ond yn ofer; tarawodd ef o'r diwedd, ac yn union-gyrchol syrthiodd ar ei ochr, gan ymdrechu taflu ei farchogwr ymaith. Rhedodd yr arweiniwr atto yn fuan, nid yn gymmaint er edrych pa fodd yr oedd y dyn wedi ymdaro, ond rhag ofn bod y camel wedi cael ei niweidio. Dywedodd hefyd, os ydoedd y camel wedi ei niweidio, y byddai yn rhaid i'r teithiwr dalu am hynny, am fod bywyd camel yn fwy gwerthfawr na bywyd Cristion. Ac erbyn edrych, yr achos i'r camel ballu myned ym mlaen ydoedd, hod neidr wedi ymdorchi ar ei ffordd, fel eu gwelir yn ymyl ffyrdd a llwybrau yn aml yn y dwyrain.

**Deut. 1. 44.** "Ac a'ch ymlidiasant fel y gwnai gwenyn."—Y mae y wenynen yn elynes enbyd weithiau, ac yn peri i gryfion ffoi o'i blaen. Dyweda Pliny y naturiaethwr am y gwenyn yn Crete gynt, eu bod mor enbyd, fel y gorfyddai y trigolion ymadael â'u teiau o'u plegid. Crybwylla Aelian am amryw ardaloedd yn Scythia wedi eu diboblogi gan wenyn. Ac yn Affrica mewn rhai mangreoedd y

maent mor aml, fel os ymosodir arnynt er eu hyspeilio o'u mel, ymgynnullant yn finteioedd, a gwnant y gorchwyl yn edifarus i'r rhai hynny a ymaflant ynddo.

1 Sam. 26. 20. "Megis un yn hela petris yn y mynyddoedd."—Dyweda y teithiwr Irby ei fod ef wedi gwersyllu unwaith yn yr Aipht, ac iddo gael golygfa neillduol gyda golwg ar hela petrisod. Yr oedd y genethod ieuaingc yn canu, a'r plant yn rhedeg ar ol y petrisod ieuaingc er mwyn eu dala, a'r cwn yn cyd-redeg gyda hwynt. Dalient amryw o honynt am eu bod yn methu ehedeg.

Job 39. 13. "Neu adenydd a phlu i'r estrys."—Plu yr estrys mewn gwisgoedd yn y dwyrain a ystyrir yn addurniadau rhagorol, yn neillduol mewn amser o lawenydd a gorfoledd; ac y mae yn dra thebygol eu bod yn cael eu defnyddio ar y cyfryw achlysuron mor foreu ag amser Job. Y Tyrciaid a'u gwisgant yn bresennol pan fyddont yn ymddangos ar achosion neillduol o lawenydd a gorfoledd; ac y mae y Sultan yn eu gosod yn ei durban weithiau pan fyddo yn rhodio drwy heolydd Caercystenyn. Y mae plu yr estrysod yn erthygl o fasnach yn y dwyrain, ac yn cael eu hystyried yn dra gwerthfawr. Cludir hwynt o wahanol deyrnasoedd, ac er bod yr estrys yn dra anhawdd i'w dal, etto y fath ydyw diwydrwydd yr Arabiaid ac eraill, fel y gwnant eu dal, ac y danfonant eu plu agos i holl deyrnasoedd y byd.

Esay 36. 15. "Y fylturiaid a ymgasglant yno hefyd, pob un gyda'i gymhar."—Sonia Burchell iddo ef, pan ar ei deithiau drwy Affric Ddeheuol, weled amryw fylturiaid yn ymborthi ar eidion wedi trengu, a chyda hwynt amryw frain; a bod y gynnulleidfa hon yn dra heddychol wrth eu gorchwylion. Y fylturiaid ydynt adar ysglyfaethus, a'r olwg arnynt sydd drymion, a medrant arogli abo ym mhell o ffordd, fel yr ymgynniweiriant ugeiniau o filldiroedd at gyrph trengedig er mwyn ymborthi arnynt.

Jer. 8. 7. "Yr aran."—Y mae dyfodiad a mynediad adar yn dangos grym greddf y Creawdwr mewn creaduriaid, ynghyd â llywodraeth ei ragluniaeth yn neillduol arnynt. Crybwylla Richardson yn neillduol am yr aran yn ei hanes am ororau Mor y Canoldir. Ehedant drwy yr awyr yn gylchoedd ehang, gan osod y rhai gweiniaid ac ieuaingc yn y canol. A phan fyddo y blaenaf wedi blino, efe a dry yn ei ol, ac felly cymmerant y gorchwyl o dorri yr awyr bob yn ail, fel y byddont yn cymmeryd pwys y gwaith y naill ar ol y llall. Dyweda y teithiwr eu bod gyda hyfrydwch mawr yn edrych ar eu ehedfaniad drwy yr awyr, am eu bod mor gysson yn eu mynediad, ac am eu bod mor gysson yn heidio drwy yr uchelderau.

Dat. 9. 3. "Ysgorpionau."—Yr ysgorpion yn y gwledydd poethion sydd ynghylch troedfedd o hyd. Nid oes, yn ol pob tebygolrwydd, unrhyw greadur y fewn i holl gylch natur mor annofadwy. Pan gymmerir hwynt, ant i'r fath gynddeiriogrwydd, fel yr ymdrechant dorri pob peth yn ddrylliau a fydd o'u hamgylch. Brathant y coed a estynir attynt, a'r creaduriaid a roddir gyda hwynt heb unrhyw gyffroad, ac y maent yn ffyrnig-wyllt a gelynol yn erbyn y naill y llall. Rhoddodd un naturiaethwr o'r enw Maupertius gant o ysgorpionau yn yr un gwydr, ac erioed ni bu y fath ryfel ac ysgelerderau ag a welwyd rhwng y rhai hyn. Ymosodasant yn erbyn

eu gilydd, fel, ym mhen ychydig o ddiwrnodau, nid oedd ond pedair ar ddeg o honynt yn fyw. Pan roir yr ysgorpion o fewn cylch o dân, dywedir yr ymffyrniga gymmaint, fel y bratha ei hun, a'r canlyniad fydd marwolaeth union-gyrchol iddi. Y mae yr ysgorpion i'w chael yn Ffraingc, ac eraill o wledydd Ewrop, ond nid ydyw ei brathiad mor angeuol ag yn Asia.

Dat. 9. 3. "Locustiaid."—Er bod y locust a cheiliog y rhedyn yn debyg iawn i'w gilydd mewn dull, maintioli, a lliw, etto y mae y locustiaid lawer yn fwy niweidiol na cheiliogiod y rhedyn. Y mae y locust yn gyffredin ynghylch tair modfedd o hyd, a chanddo ddau gorn o ddeutu modfedd o hyd. Ei ben a'i gyrn ydynt lwyd, ond yn las o amgylch ei enau, ac o'r tu mewn i'w goesau. Nid oes unrhyw greaduriaid o'r tu fewn i'r greadigaeth yn lliosogi mor fuan a'r locustiaid yn y gwledydd hynny lle mae'r haul yn boeth iawn. Pan fyddont yn lliosog iawn, cyfodant ac ehedant ymaith fel cwmmwl mawr gan wneuthur y dydd yn nos. Pan ddisgynnant, bwyttant yr holl laswellt, gan ddinystrio pob peth y ffordd yr elont. Weithiau byddant feirw yn heidiau mawrion, a'u drewi mewn canlyniad sydd dra niweidiol. Dyweda teithiwr diweddar, iddo weled haid anferth o locustiaid o fewn deuddeg milldir i Ephesus, yr hon ydoedd filldiroedd o hyd a lled, a phan ddisgynnent ar y ddaear bwyttaent holl gynnyrch y llannerch yn dra buan. Dyweda Dr. Shaw, pan ydoedd efe yn Barbary yn y flwyddyn 1724, iddo weled y fath heidiau o locustiaid, fel y tywyllent yr haul ganol dydd. Anhawdd iawn eu dinystrio trwy unrhyw ddyfais ddynol. Gwynt nerthol a'u cluda yn fynych ymaith.

# SYLWADAU

AR

# YSGRYTHYRAU YR HEN DESTAMENT.

## *Ieithoedd gwreiddiol yr Ysgrythyrau.*

### I. HYNAFIAETH YR IAITH HEBRAEG.

Y mae gwybodaeth o'r ieithoedd gwreiddiol, ym mha rai yr ysgrifenwyd yr Ysgrythyrau, yn angenrheidiol anhepgorol er iawn synied gwir a phriodol ystyr y gyfrol sanctaidd. Meddylir am yr iaith Hebraeg, yn yr hon yr ysgrifenwyd Ysgrythyrau yr Hen Destament, oddigerth ychydig eiriau o darddiad Caldeaidd, ei galw felly oddiwrth Heber, un o hanedigion Sem. Gen. 21. 25. a 11. 14, 16, 17. Eraill a dybiant iddi gael ei galw oddiwrth y gair Aber, myned drosodd, ac mai o herwydd hyn y galwyd Abraham yn Hebread, am iddo fyned dros yr Iorddonen tua thir Canaan. Tybia rhai mai yn yr iaith Hebraeg yr ymddiddanai Duw âg Adda yn Eden, ac iddi gael ei dysgu ganddo ef i'w hiliogaeth. Cymmaint a hyn a ellir ei ddywedyd, Mai yr iaith Hebraeg ydyw yr hynaf o holl ieithoedd y byd hyd y mae neb yn gwybod, ac ymddengys mai yr iaith hon ydyw gwreiddyn pob ieithoedd ac ymadroddion drwy yr holl greadigaeth. Y geiriau a'i cyfansoddant ydynt fyrion; enwau lleoedd ydynt ddarluniadol o'u natur, eu sefyllfaoedd, a'r amgylchiadau perthynol iddynt; enwau anifeiliaid hefyd ydynt arwyddoccaol o'u natur; ac enwau yr holl genhedloedd ydynt o darddiad Hebreaidd. Yr Assyriaid a alwyd felly oddiwrth Asur; yr Elamiaid oddiwrth Elam; y Lydiaid oddiwrth Lyd; ac y mae yn amlwg hefyd bod enwau y duwiau paganaidd oll o ddeilliad paganaidd, Satwrn oddiwrth Satan, (bod yn guddiedig,) Iau oddiwrth Jehofah, a Vulcan oddiwrth Tubal-Cain. Gwasgarwyd yr iaith Hebraeg ym mhell ac yn agos gan y masnachwyr Phœnisiaidd, oblegid ymddengys o leiaf bod y fath berthynas rhwng yr iaith Hebraeg a'r iaith Phœnisiaidd, fel y deallai yr Hebreaid y Canaaneaid heb angenrheidrwydd cyfieithiwr rhyngddynt. Ystyrir yr yspaid o Moses hyd Ddafydd fel oes am yr iaith Hebraeg; ac o amser Dafydd i amser Hezeciah, collodd yr iaith hon lawer iawn o'i phurdeb, drwy i amrywiol eiriau estronol gael eu cymmeryd iddi drwy berthynasau masnachol a gwladol yr Israeliaid â'r Assyriaid ac â'r Babiloniaid. Ac yn amser deng mlynedd a thrugain caethiwed y genedl ym Mabilon, collodd ei hiaith, fel na ddeallid gan y werin wedi eu dychweliad yn ol, ond y peth nesaf i ddim o'r hen iaith Hebraeg. Ar y cyfrif hyn, yr oeddid dan yr angenrheidrwydd o beri i'r bobl ddeall y gyfraith drwy gyfieithwyr, yr hyn a wneid yn barhaus yn y Syn-

agogau. Er bod ysgrifau gwreiddiol yr Hen Destament wedi eu trosglwyddo i ni heb eu llygru, etto ni throsglwyddwyd hwynt i ni heb gamsyniadau, rhag yr hyn ni allesid braidd ochelyd, am mai ysgrifenu yr oeddid yn yr amserau gynt, ac nid argraffu; ac oblegid y tebygolrwydd mawr rhwng rhai llythyrenau Hebraeg a'u gilydd. Er prawf bod ychydig gamsyniadau wedi diengyd i mewn, nid rhaid ond sylwi, bod rhai ysgrifau o'r Ysgrythyrau yn wahanol yn eu darlleniadau; ond drwy lafur dysgedigion a beirniaid yn cydmaru ysgrifau â'u gilydd, y mae yr Ysgrythyrau gyda ni yn y fath burdeb, fel na ellir cael unrhyw gamsyniadau o bwys ynddynt. Yr oedd yr Iuddewon fel ysgrifenwyr yn dra gofalus, etto yn nhreigliad oesau heibio, diengai gwall yn awr ac yn y man; ond er pan ddaeth y gelfyddyd o argraffu, nid oes achos petruso na throsglwyddir hwynt i'r oesau pellaf yn ol fel y maent yn bresennol. Llyfrau Moses oeddynt y rhannau cyntaf o'r Ysgrythyrau a ysgrifennid, a rhaid i'r ysgrifenwyr gymmeryd copiau cymmeradwy i ysgrifio o honynt. Ysgrifennid yr Ysgrythyrau ar grwyn creaduriaid glân, a chlymmid y crwyn hyn ynghyd â charreiau a dorrid o grwyn creaduriaid glân, gan ymdrechu yn y wedd hon i ymgadw at bob purdeb seremoniol, rhag i'r gair sancteiddiaf gael ei halogi.

---

## II. YSGRIFENIADAU GROEGAIDD O'R YSGRYTHYRAU.

O'R holl Ysgrythyrau yn yr iaith Roeg, y Septuagint, neu fel y gelwir hwynt yn gyffredin, y Deg a Thrugain, ydyw y gwerthfawrocaf; ac mor werthfawr yr ystyrid hwn gan yr Iuddewon a'r Cristionogion unwaith, fel mai efe a ddarllenid yn y Synagogau a'r Eglwysi. Crybwyllid am hwn yn gyffredin gan y tadau boreuol Groegaidd a Lladinaidd. Gelwid y cyfieithad hwn o'r Ysgrythyrau wrth yr enw uchod am i ddeuddeg a thrugain o Iuddewon, yn ol fel y dywedant hwy, ei gyfieithu o'r Hebraeg; neu am i'r cyfieithad gael ei gymmeradwyo gan y Sanhedrim, yr hon a gynnwysai ddeg a thrugain o aelodau: ond y mae tywyllwch ac ansicrwydd mawr yn hanes cyfieithad y Deg a Thrugain, fel, wedi i ddysgedigion hen a diweddar wneuthur pob olrheiniadau ag a allent, nid oes dim wedi ei benderfynu yn sicr. Dyweda rhai mai Ptolemy Philadelphus, brenin yr Aipht, a fu yn achos o'r cyfieithad hwn, er ei roddi yn y llyfr-gell fawr a gasglodd efe ynghyd yn Alecsandria, yn ol cyfarwyddyd ei lyfr-gellwr, Demetrius Phalereus. Er mwyn cael yr Ysgrythyrau yn yr iaith Roeg, dywedir iddo anfon dau wr i Jerusalem, o'r enwau Aristeas ac Andreas, y rhai oeddynt swyddogion uchel yn y llys. Aeth y rhai hyn at Eleazar yr arch-offeiriad dros y brenin, er mwyn cael copi Hebraeg o'r Ysgrythyrau, ac i erfyn arno am ddanfon deuddeg gwr a thrugain, chwech o bob llwyth, y rhai oeddynt adnabyddus yn yr ieithoedd Hebraeg a Groegaidd, er mwyn ei gyfieithu i'r Groeg. Ar gais y brenin, anfonwyd hwynt i'r Aipht, ac wedi cyrhaedd yno, cauwyd arnynt yn ynys Pharos; ac wedi cyttuno ynghylch cyfieithad pob darn ymadrodd, ysgrifennid ef gan Demetrius, a'r gwaith a orphenwyd mewn deuddeg a thrugain

o ddiwrnodau. Dyma yr hanes a roddir gan rai, ond y mae yn cael ei ammeu a'i anghredu gan nifer liosog o feirniaid a dysgedigion. Ni wyddai Philo, yr Iuddew, ddim am yr hanes hon mewn perthynas i'r Septuagint, ond nid yw yr hanes a rydd efe yn llai rhyfeddol am y peth hwn. Dyweda Philo i Ptolemy Philadelphus, brenin yr Aipht, anfon am wyr i Judea, er mwyn cyfieithu yr Ysgrythyrau o'r Hebraeg i'r Groeg; ni enwai Philo nifer y rhai hyn, ond iddynt gyrhaedd yr Aipht, ac wedi myned i ynys Pharos, iddynt oll wneuthur cyfieithad o hono, a bod eu gwahanol gyfieithadau yn cyttuno air yng ngair, mewn ystyr, ymadroddion, a geiriau. Crybwylla Justin Martyr, yr hwn a flagurodd ynghylch can' mlynedd ar ol Philo, yr un hanes, gyda'r ychwanegiad o fod y cyfieithwyr wedi eu cau mewn gwahanol gelloedd, ac iddynt bob un yn ei gell wneuthur cyfieithad cyflawn o'r Ysgrythyrau, ac erbyn eu cydmaru, eu bod oll yn cyttuno i'r iota leiaf. Dyweda Epiphanius bod y cyfieithwyr wedi eu cau yn ynys Pharos bob yn ddau, modd y gallasent gael cyd-ymgynghori, er mwyn bod yn berffeithiach yn eu gorchwylion. Yn y wedd hon, gwelir bod yr hanes ynghylch cyfieithad y Deg a Thrugain yn amrywio yn fawr iawn, ac y mae yn anhawdd i benderfynu gyda manylrwydd yn ei gylch. Yn ol y rhai sydd wedi ystyried y pwngc hwn gyda'r manyldra mwyaf, ymddengys i gyfieithad y Deg a Thrugain gael ei wneuthur yn amser cyddeyrnasiad Ptolemy Lagus a'i fab Philadelphius, o ddeutu y flwyddyn 285 neu 286 cyn geni Crist, ac iddo gael ei wneuthur gan yr Iuddewon mewn ffordd o gymmwynas i'r genedl, y rhai oeddynt yn wasgaredig yn yr Aipht, a thrwy Asia, a'r rhai ni wyddent ond yr iaith Roeg. Meddylir bod y cyfieithwyr wedi eu dwyn i fynu yn yr Aipht, oblegid bod ynddo gymmaint o eiriau Cophtaidd, megis *Oiphi, Achi, Rempham, &c.*, a rhoddant ddrych-feddyliau Hebreaidd yn hollol mewn dull Aiphtaidd. Mynegant am greadigaeth y byd, nid wrth y gair Groeg priodol *Ktesis*, ond wrth *Genesis*, yr hwn air a ddefnyddid gan y philosophyddion Alecsandriaidd er arwyddo dechreuad y bydysawd. Ymddengys bod cyfieithwr pum' llyfr Moses yn rhagori ar y cyfieithwyr eraill, oblegid y mae yn amlwg i'r Bibl Groeg gael ei gyfieithu gan wahanol gyfieithwyr. Y nesaf at lyfrau Moses mewn cyfieithad ydyw llyfr y Diarhebion; ac yr oedd cyfieithwr y llyfr hwn yn dra chydnabyddus â'r ddwy iaith. Y mae Michaelis o'r farn mai llyfr y Diarhebion o holl lyfrau y Septuagint sydd ragoraf yn ei iaith a'i ymadroddion. Iaith llyfr Job hefyd sydd ragorol, ond ymddengys nad ydoedd y cyfieithydd yn berffaith yn yr Hebraeg, oblegid y mae yn fynych yn wallus, ac amryw adnodau cyfain wedi eu gadael allan. Diwygiodd Origen lawer ar y llyfr dan sylw allan o gyfieithad Theodotion. Ni chyfieithwyd llyfr Esther dan drugain mlynedd o leiaf wedi amser Ptolemy Lagus, oblegid yn pen. 8. 18. y mae y cyfieithwr wedi defnyddio gair o darddiad Galileaidd, sef *Gaisos*, piccell fer, ac ni wnaeth y Galileaid eu rhuthr i wlad Groeg hyd y flwyddyn 278 cyn geni Crist. Y diben yn cyfieithu yr Ysgrythyrau i'r Groeg, fel y crybwyllwyd, ydoedd er gwasanaeth i'r Iuddewon Aiphtaidd, ond daeth yn raddol i fod yn werthfawr gan Iuddewon Palestina. Ac y mae yn amlwg ei fod yn uchel yng ngolwg ysgrifenwyr y Testament

Newydd, am mai y cyfieithad hwn a goffaent pan grybwyllent am Ysgrythyrau yr Hen. Tadau a Doctoriaid boreuol yr eglwys Gristionogol a roddent barch mawr i'r cyfieithad hwn, y rhai gan mwyaf, oddieithr Origen a Jerome, oeddynt yn hollol anwybodus yn yr iaith Hebraeg. Y Septuagint a esponid gan Chrysostom a Theodoret; ac yn hwn y myfyriai Athanasius, Nazianzen, a Basil. O'r Bibl Groeg y cyfieithwyd yr Ysgrythyrau i wasanaeth yr eglwys Ladinaidd, yr hwn gyfieithad hyd heddyw sydd adnabyddus wrth yr enw y *Vulgate*; ac felly am oesau cyntaf Cristionogaeth, y Deg a Thrugain, naill ai yn y Groeg neu y Lladinaeg, yn unig a ddefnyddid. Yn fuan wedi sefydlu Cristionogaeth, ac yn neillduol wedi i'r grefydd hon helaethu ym mysg y Cenhedloedd, rhoddodd yr Iuddewon heibio ddarllen y Septuagint yn eu Synagogau, am fod y Cristionogion yn eu trechu mewn dadleuon gyda golwg ar ymddangosiad yr Arglwydd Iesu Grist. Yn wyneb hyn, dechreuasant ddywedyd bod y Septuagint yn wallus, ac yn anghyttunol â'r Ysgrythyrau Hebraeg: rhoddasant ef heibio, a melldithiasant ef. Wrth ysgrifenu ac ail ysgrifenu y Septuagint, aeth ym mhen amser yn dra gwallus, yr hyn a dueddodd Origen yn gynnar yn y trydydd canrif i'w ddiwygio. Cydmarodd y tad dysgedig hwn amrywiol gopiau Groegaidd â'u gilydd, y rhai hefyd a gydmarodd efe â'r Ysgrythyrau Hebraeg, ac a ddiwygiodd y Septuagint yn fawr iawn. Bu Origen wyth mlynedd ar hugain wrth y gorchwyl; dechreuodd y gorchwyl yn Cesarea yn y flwyddyn o oed Crist 231, ac a'i gorphenodd yn Tyrus, ond y mae y flwyddyn yn anadnabyddus. Gelwir y gwaith gorchestol hwn wrth wahanol enwau gan yr hen ysgrifenwyr, megis *Tetrapla, Hexapla, Octapla,* ac *Enneapla.* Cynnwysai y *Tetrapla* bedwar cyfieithad Groeg o eiddo Acwila, Symmachus, y Septuagint, a Theodotion, wedi eu cyfleu mewn pedair colofn. Ychwanegodd yr Hebraeg at y rhai hyn mewn llythyrenau gwreiddiol, ac mewn llythyrenau Groeg, ac ychwanegiad y ddwy golofn hyn at y pedair eraill a ffurfiai yr *Hexapla.* Ar ol hyn, cafodd ddau gyfieithad Groegaidd eraill, y rhai a ychwanegodd at y rhai blaenorol, a'r ychwanegiad hyn a alwyd *Octapla.* Rhoddwyd cyfieithad o'r Salmau at y cwbl, a'r holl waith a alwyd *Enneapla.* Hwn ydoedd y casgliad gwerthfawroccaf o'r Ysgrythyrau y mae yn debygol a fu yn y byd erioed, ond y mae wedi myned ar ddifancoll er ys oesau, a'r unig enghraifft o hono a roddir gan Montfaucon. Yn wyneb bod y Bibl Groegaidd yn agored o hyd i wallau, diwygid ef yn awr ac yn y man gan y dysgedigion. Ynghylch y flwyddyn 300, cymmerodd Eusebius a Phamphilius y gorchwyl o wneuthur copi diwygiedig o hono. Darllenwyd hwn yn holl eglwysi Palestina, a rhoddwyd copi o hono agos ym mhob llyfrgell. Yn yr un amser diwygiodd Lucian, presbyter o eglwys Antioch, ryw gopi o'r Ysgrythyrau Groegaidd, a derbyniwyd hwn gan yr eglwysi o Gaercystenyn hyd Antioch. Ar yr un amser cymmerodd Hesychius, Esgob Aiphtaidd, yr unrhyw orchwyl mewn llaw, a derbyniwyd y copi diwygiedig hwn gan yr eglwysi Aiphtaidd. Yr holl ysgrifeniadau o'r Ysgrythyrau Groegaidd, yn gystal a'r rhai argraffedig yn bresennol, ydynt wedi deillio oddiwrth y tri uchod.

## III. Y CYFIEITHADAU LLADINAIDD O'R YSGRYTHYRAU.

Yng nghychwyniad y grefydd gristionig, yr oedd y iaith Ladin yn dechreu myned dan wraidd yr iaith Roeg, fel iaith gyffredinol, a gellir dywedyd mai hi yn fuan ydoedd iaith yr eglwys orllewinol: ac yn ol tystiolaeth Augustin, yr oedd gan yr eglwys Ladinaidd amryw gyfieithadau o'r Ysgrythyrau, cyfansoddwyr y rhai oeddynt anadnabyddus iddo ef. Yn wyneb bod y cyfieithadau yn amlhau, yr oedd y gwallau ynddynt yn cynnyddu; ond yr oedd un o honynt yn fwy anrhydeddus na'r lleill, yr hwn a elwid *Vetus Itala*, neu yr hen Italaeg; rhagorai hwn mewn eglurdeb a ffyddlondeb. Y cyfieithad hwn yn amser Jerome a dderbynid fel un canonaidd, ac a elwid ganddo ef y *Vulgate*. Gwnaed y cyfieithad hwn o'r Hen Destament Groeg, ac o'r Testament Newydd Groeg, oblegid ychydig nifer yn yr eglwys orllewinol a ddeallent yr Hebraeg. Tybir bod yr Hen Destament wedi ei gyfieithu i'r hen Italaeg yng nghanrif gyntaf y grefydd gristionogol, a thebygol i'r Testament Newydd gael ei gyfieithu o'r Groeg i'r unrhyw iaith yn gynnar yn yr ail ganrif, o leiaf crybwylla Tertullian am dano cyn diwedd yr ail ganrif. Ond cyn diwedd y bedwaredd ganrif, yr oedd hwn fel y Septuagint wedi myned yn llawn gwallau, fel yr oedd yn gyflawn bryd ei ddiwygio. Er meddyginiaethu y niwed hwn, Jerome, ar ddeisyfiad y Pab Damasus, a gymmerodd mewn llaw y gorchwyl o ddiwygio y cyfieithad hwn, a'i wneuthur yn fwy cydymffurfiol â'r Groeg. Diwygiodd yr Hen Destament yn ol *Hexapla* Origen, a'r Testament Newydd yn ol y Groeg gwreiddiol. Cwblhaodd ei orchwyl yn y flwyddyn 394. O'r diwygiad hwn gan Jerome, nid oes yn awr ond llyfrau Job, y Salmau, y Chroniclau, y Diarhebion, y Pregethwr, a Chaniad Solomon, i'w cael yn awr, aeth y lleill ryw fodd ar goll. Ond cyn i Jerome orphen y diwygiad hwn, dechreuodd ar gyfieithad newydd o'r Ysgrythyrau Hebraeg i'r Lladinaeg, modd y gallai y Cristionogion gorllewinol, y rhai ni ddeallent ond yr iaith hon yn unig, wybod meddwl yr Ysgrythyrau Hebraeg, ac i ddadleu yn fwy grymmus â'r Iuddewon. Yr oedd y cyfieithad hwn yn rhagori ym mhell ar unrhyw gyfieithadau eraill, a dyweda Augustine iddo gael ei ddwyn yn raddol i'r eglwysi, a hynny er peidio rhoddi tramgwydd i feddyliau gweiniaid; ond o'r diwedd rhoddwyd awdurdod neillduol arno trwy gymmeradwyaeth y Pab Gregori I.; ac er y seithfed ganrif y mae mewn bri a pharch mawr gan yr eglwys Babaidd; a thrwy orchymmyn Cynghor Trent, hwn yn unig sydd i gael ei ddefnyddio fel yr unig gyfieithad Lladinaidd.

Wrth amlhau copiau cyfieithad Jerome drwy yr eglwys ddwyreiniol, daeth lliosogrwydd o wallau i mewn i hwn, a hynny yn bennaf oblegid diofalwch yr ysgrifenwyr. Ac er i'r dysgedig Alcuin, drwy orchymmyn Charlemagne, o Ffraingc, ei ddiwygio, etto yr ydoedd yn parhau yn wallus er holl ymdrechiadau Lanfranc, Archesgob Caergaint, y Cardinal Nicholas, a duwinyddion eraill; yr oedd gwahaniaeth mawr rhwng y copiau ysgrifenedig a'r argraffiadau cyntaf. Robert Stephens ydoedd y cyntaf a gynnygodd ddiwygio y cymmysgedd olaf hwn o'r *Vulgate* yn y blynyddau 1528, 1532, 1534, 1540, 1545, a 1546. Yr un yn y flwyddyn 1546 a gondemn-

iwyd gan Ddoctoriaid y Sorboune, a rhoddwyd John Hentenius, diweinydd o Louvain, i barottoi argraffiad newydd o'r *Vulgate*. Gwnaed amryw argraffiadau o hwn olynol; ac yn y pedwerydd argraffiad, a gyhoeddwyd gan Lucas Brugensis a duwinyddion Louvian, rhoddwyd sylwadau beirniadol Brugensis a'r duwinyddion i mewn, ond anghymmeradwywyd ef gan y Pab Sixtus V. oblegid rhyw bethau. Gwnaed argraffiadau newydd dan olygiad neillduol y Pab ei hun, yr hwn ydoedd mor ddysgedig a neb yn ei oes, a chyhoeddwyd ef yn Rhufain yn un plyg yn y flwyddyn 1590. Wedi cyhoeddi yr argraffiad, Sixtus a'i barnodd yn awdurdodol, gan ei bennodi i gael ei ddefnyddio drwy yr holl Eglwys Babaidd. Ond er holl lafur ac ymdrechiadau y Pab dywededig, cafwyd ei fod yn lliosog mewn gwallau, a'r Pab Clement VIII. a'i rhoes dan waharddiad, ac a orchymmynodd ar fod i un arall gael ei gyhoeddi. Yn y wedd hon yr oedd y naill Bab anffaeledig yn gweled beiau eu gilydd, ac yn sicr yn ymwneuthur â Gair y Goruchaf yn rhy ysgafn, drwy ei droi a'i wrthdroi i atteb eu mympwy eu hunain, ac yn neillduol er cynnal athrawiaethau cyfeiliornus Rhufain. Ac y mae y Protestant Konthold wedi gwneuthur defnydd o'u hanghyssonderau er dymchwelyd honiadau Bellarmine gyda golwg ar y *Vulgate*.

---

## IV. Y CYFIEITHADAU DWYREINIOL.

Gellir rhannu hen gyfieithadau o'r Testament Newydd i dri dosparth, sef y Dwyreiniol, y Lladinaeg, a'r Gorllewinol. Y cyfieithadau Dwyreiniol pennaf ydynt y Syriaidd, yr Aiphtaidd, yr Arabaidd, yr Ethiopaidd, yr Armenaidd, a'r Persiaidd. Yr hen gyfieithad Syriaidd a gynnwysa y pedair Efengyl, Actau yr Apostolion, Epistolau Paul, yr Epistol at yr Hebreaid, Epistol cyntaf Ioan, Epistol cyntaf Pedr, ac Epistol cyntaf Iago; yr holl sectau Cristionogol yn Syria a ddefnyddient y cyfieithad hwn yn unig, ac a berchid yn fawr ganddynt. Dyweda Michaelis am y cyfieithad hwn, ei fod yn rhagorol, a'r goreu yn ol ei farn ef a wnaed erioed o'r Groeg. Meddylir i'r cyfieithad hwn gael ei wneuthur yn y ganrif gyntaf neu yr ail o'r oes Gristionogol. Y mae amryw gyfieithadau yn awr o'r Testament Newydd Syriaeg, a chyhoeddwyd un yn neillduol yn Llundain yn y flwyddyn 1816, er gwasanaeth y Syriaid Cristionogol yn India, yr hwn a dderbyniwyd yn ddiolchgar ganddynt. Parottowyd hwn i'r argraff-wasg cyn belled a'r Actau gan y diweddar ddysgedig Dr. Buchanan, ac a orphenwyd gan y Parch. Samuel Lee, A. M. o brif ysgol Caergrawnt. Cyflawnwyd y gorchwyl ar draul Cymdeithas y Biblau. Y mae dau gyfieithad o'r Testament Newydd yn yr iaith Aiphtaidd ar gael, un yn Coptic, neu hen iaith yr Aipht Isaf, a'r llall yn y Sahidic, neu iaith yr Aipht Uchaf. Cyhoeddwydd y cyfieithad Coptaidd yn Rhydychen yn y flwyddyn 1716. Meddylir i hwn gael ei gyfieithu yn y bummed ganrif. Gyda golwg ar y cyfieithad Sahidicaidd, nid ydyw dysgedigion a beirniaid yn cyttuno mewn perthynas i'w oed, ond yn ol pob tebygolrwydd, gwnaed y cyfieithad hwn yn yr ail ganrif. Y

mae amryw gyfieithadau Arabaidd o'r Testament Newydd i'w cael heblaw y rhai a argraffwyd. Meddylir i'r cyfieithadau Arabaidd hyn gael eu gwneuthur ar wahanol amserau rhwng y seithfed a'r unfed ganrif ar ddeg. Argraphwyd y pedair Efengyl yn Arabaeg yn Rhufain, yn y blynyddau 1590 a 1591. Cyhoeddwyd y Testament Newydd Arabaeg yn Leyden yn y flwyddyn 1616, ac un arall yn Rhufain gan y gynnulleidfa De Propaganda Fide, yn 1716, a chyhoeddwyd Testament Newydd Arabaeg yn Llundain dros y Gymdeithas er taenu Gwybodaeth Gristionogol, yn 1727. Mewn perthynas i awdwr y cyfieithad Ethiopaidd, nid ydys yn sicr pwy ydoedd; tybia rhai mai Frumentius ydoedd, yr hwn a bregethodd Gristionogaeth gyntaf yn Ethiopia, yn y flwyddyn 330. Y mae y cyfieithad hwn yn y Gheez, yr iaith berthynol i grefydd yn Abyssynia, a chyhoeddwyd ef yn gyntaf yn Rhufain, yn 1548, ac ailargraffwyd ef yn y *London Polyglott*, rhwng y blynyddau 1752 a 1755. Y cyfieithad Armenaidd a briodolir yn unfryd i Miesrob, dyfeisydd y llythyrenau Armenaidd, ac i'r patriarch Isaac, rhwng y bedwerydd a'r bummed ganrif. Y mae dau gyfieithad Persiaidd o'r pedair Efengyl, yr hynaf a'r gwerthfawroccaf o'r rhai a gyhoeddwyd yn y *London Polyglott*, gan Esgob Walton, o ysgrif ym meddiant Dr. Pocoke, dyddiedig yn y flwyddyn 1314.

---

### V. Y CYFIEITHADAU GORLLEWINOL.

Y cyfieithad Gothaidd o'r Testament Newydd a wnaed o'r Groeg gan Uphilas, Esgob y Maeso-Gothiaid, yr hwn a fu yn cynorthwyo yng Nghynghor Caercystenyn, yn y flwyddyn 359, ac a anfonwyd ar neges at yr ymerawdwr Valens, yn 378. Dywedir mai Ariad ydoedd, ac iddo bregethu Ariaeth i'w gyd-wladwyr. Y cyfieithad Sclafonaidd, neu yr hen Rwssiaeg, a wnaed o'r Groeg gan ddau frawd, yn y nawfed ganrif, sef Cyril a Methodius, y rhai a gyfieithasant yr Hen Destament. Argraffwyd y Bibl Sclafonaidd yn Prague, yn 1570, ac yn Ostrog, yn 1581; argraffwyd ef wedi hynny yn Moscow, yn Kiow, a mannau eraill.

---

### VI. Y CYFIEITHAD SAESONAEG.

Meddylir i Adhelm, Esgob cyntaf Serborn, gyfieithu y Salmau i iaith y Sacsoniaid yn y flwyddyn 706, ac ar ei ddymuniad, i Egbert neu Eadfrid, Esgob Lindisfasne, yn fuan gyfieithu y pedair Efengyl i'r unrhyw iaith. Ychydig flynyddau wedi hyn, cyfieithodd yr anrhydeddus Bede yr holl Fibl i'r iaith ddywededig. Ym mhen tua dau can' mlynedd wedi Bede, cyfieithodd y Brenin Alfred y Salmau, am fel y tybir i gyfieithad Adhelm gael ei golli yn y rhyfeloedd Danaidd. A dywedir i Elfric neu Elfred, Arch-esgob Caergrawnt, gyfieithu rhyw rannau o'r Ysgrythyrau i'r Saesonaeg. Y mae adwy fawr yn yr hanes, yn yspaid pa amser ymddengys bod

yr Ysgrythyrau wedi eu gadael heibio, a'u claddu mewn anghof, oblegid gwaherddid eu darllen gan y Pab yn yr ieithoedd cyffredin. Y cyfieithad Saesonaeg cyntaf o'r Ysgrythyrau a wyddis am dano, a wnaed gan berson anadnabyddus, yn ol barn Arch-esgob Usher, yn y flwyddyn 1290. Y mae tair ysgrif o'r copi hwn wedi eu cadw yn y *Bodleian Library*, ac mewn dau Goleg yn Rhydychen. Dywedir bod un John de Trevisa, ynghylch 1300, o leiaf yn y ganrif hon, wedi cyfieithu yr holl Fibl i'r Saesonaeg, ond nid ydyw ar gael yn bresennol. Cyfieithodd yr enwog John Wickliffe yr holl Fibl o'r *Latin Vulgate* i'r Saesonaeg ynghylch y flwyddyn 1380; yr oedd yn anghydnabyddus â'r ieithoedd Hebraeg a Groeg. Yr oedd y Bibl yn brin iawn, ac yn anhawdd iawn i'w gael, fel, yn ol William Alnewick, Esgob Norwich, yr oedd pris ysgrif o Destament Newydd Wickliffe yn y flwyddyn 1429 yn bedwar marc a deugain ceiniog, sef dwy bunt, un swllt ar bumtheg, ac wyth ceiniog, yn gyfartal yn awr i fwy na deugain punt. Cyfodwyd yn erbyn y Bibl, a dygwyd ysgrif i Dŷ yr Arglwyddi er ei osod dan waharddiad; ond gwrthodwyd yr ysgrif am y tro hwnnw drwy ymdrechiadau Dug Lancaster. Diwygiwyd cyfieithad Wickliffe yn y flwyddyn 1408, ond mewn cymmanfa a gynnaliwyd yn Westminster gan yr Arch-esgob Arundel, penderfynwyd, "Nad ydoedd neb o hynny allan i gyfieithu yr Ysgrythyrau sanctaidd i'r Saesonaeg, nac i ddarllen yr un a gyfieithwyd gan y diweddar John Wickliffe, neu a gyfieithwyd wedi ei farwolaeth." Ar ol y ddeddf hon, cospwyd rhai â marwolaeth am ddarllen yr Ysgrythyrau; ond yn Lloegr, yn gystal ag mewn parthau eraill o Ewrop, pan dywynodd gwawr y diwygiad, cafwyd cyfieithadau newyddion o'r Ysgrythyrau i'r ieithoedd cyffredin. William Tindal ydoedd y cyntaf a argraffodd gyfieithad o'r Ysgrythyrau i'r iaith Saesonaeg. Tindal, wedi penderfynu cyfieithu y Testament Newydd o'r Groeg, a symmudodd i Antwerp, yn Flanders, er ei ddwyn oddi amgylch. Cynnorthwywyd ef gan y dysgedig John Fry, yr hwn a losgwyd yn Smithfield, a chan William Roye, yr hwn yntau a roddwyd i farwolaeth yn achos crefydd ym Mhortugal. Argraffwyd y Testament hwn, naill ai yn Antwerp neu Hamburgh, heb un enw wrtho. Anfonwyd amryw gopiau o'r Testament hwn drosodd i Loegr, ac er mwyn rhwystro ei ymledaniad, prynodd Tonstal, Esgob Llundain, y gweddillion o'r copiau, ac â'r arian hyn galluogwyd Tindal i roddi ail argraffiad allan, yn yr hwn y diwygiwyd gwallau yr un cyntaf. Cyhoeddwyd amryw argraffiadau o hono cyn y flwyddyn 1530, y rhai ni pherthynent yn uniongyrchol i Tindal, a gwerthwyd niferi lliosog o honynt. Cyfieithodd Tindal bum' llyfr Moses o'r Hebraeg i'r Saesonaeg, ym mha orchwyl y cynnorthwywyd ef gan Miles Coverdale. Collodd yr ysgrif mewn mordaith i Hamburgh, ac ni roddwyd y llyfrau hyn yn y wasg mewn canlyniad hyd y flwyddyn 1530. Yn 1531, cyhoeddodd yr un gwr gyfieithad o'r Prophwyd Jonah. Yn y flwyddyn hon daliwyd Tindal wrth ddychwelyd i Antwerp, drwy ystrywiau y brenin Harri; condemniwyd ef i farwolaeth yn Augsburgh; ac yn y flwyddyn 1536 tagwyd ef yn Villefort, yn agos i Brussels, ac wedi hynny llosgwyd ei gorph. Yn 1535, yr holl Fibl, wedi ei gyfieithu i'r Saesonaeg, a gyhoeddwyd, ac a gyflwynwyd i'r brenin mewn llythyr gan Miles

Coverdale. Dyrchafwyd Coverdale i esgobaeth Exeter gan Edward VI. Yn 1537, cyhoeddwyd argraffiad arall o'r Bibl (fel y meddylia rhai) yn Hamburgh; ac yn 1539, argraffwyd ef, yr hwn argraffiad a alwyd Bibl Taverner. Amryw argraffiadau a gyhoeddwyd yn y blynyddoedd canlynol, y rhai nid oes angenrheidrwydd eu henwi yn bresennol; ond y cyfieithad diweddaraf o'r Bibl a wnaed drwy awdurdod y brenin Iago, yr hwn a elwir Bibl y brenin Iago. Pennodwyd pedwar ar ddeg a deugain o ddynion dysgedig at y gorchwyl hwn. Yr oedd deg i gyfarfod yn Westminster, ac i gyfieithu o Genesis hyd ddiwedd Ail Lyfr y Brenhinoedd. Wyth i gyfarfod yng Nghaergrawnt, saith yn Rhydychain, ac wyth arall yn yr un lle gyda golwg ar y Testament Newydd. Rhoddwyd yr Epistolau, &c. i saith wyr eraill yn Westminster, a'r Apocrypha i rai pennodedig yng Nghaergrawnt.

---

## VII. Y CYFIEITHAD CYMREIG.

Gyda golwg ar gyfieithad yr Ysgrythyrau Sanctaidd i'r iaith Gymraeg, annichonadwy rhoddi dim mewn perthynas i hynny yn fwy cynnwysfawr na'r casgliad dan y gair Bibl yng Ngeiriadur Ysgrythyrol y diweddar Barch. Thomas Charles, B. A. o'r Bala; a'r erthygl hynny a gyfleir yma.

"Fod y Bibl wedi ei gyfieithu i'r iaith Gymraeg yn y prif oesoedd, nid oes le i ammeu: y mae y Dr. Richard Davies, Esgob Menyw, yn ei lythyr argraffedig gyda Thestament William Salesbury, yn rhoddi rhesymau cadarn i brofi hynny. Ond nid oedd dim o hono i'w gael yn yr oesoedd hynny, heb ei adgyfieithu. Dywed, 'Yn He gwir, ni ffynnodd cennyfi irioet gael gwelet y Bibl yn Gymraeg: eithr pan oeddwn fachgen, côf yw cennyf welet pump Llyfr Moysen yn Gymraeg, o fewn tuy ewythr im' oedd ŵr dysgedig: ond nid ydoedd neb yn ystyr y llyfr nac yn prisio arno. Peth amhëus ydyw (ir a wn i) a ellit gwelet yn oll Cymru un hen Fibl yn Gymraeg, i'r penn golledwyt ac y speliwyt y Cymry oi oll lyfray. Eithr diammau yw cennyf fot cyn hynny y Bibl yn ddigon cyffredin yn Gymraeg. Perffeithrwydd ffydd y merthyron, eglwyswyr a llëigien, sydd brawf cadarn fot yr ysgrythyr Lân centhynt yn i iaith eu hunain.—Hefyd y mae cenym ni yn Gymraeg amryw ymadroddion a diarhebion yn aros fyth mewn arfer, a dynwyt o berfedd yr Ysgrythyr Lân ac o ganol Efengyl Crist. Yr hyn sydd brofedigaeth ddigonawl fot yr Ysgrythyr Lân yn mhen pob math ar ddyn, pan y dechreuwyt hwynt, a phan y dygwyt i arfer gyffredinawl: megys, A Duw a digon, heb Dduw heb ddim.—A gair Duw yn uchaf.—Y Map rhad.—Ni lafur, ni weddia, nid teilwng iddo ei fara.—Eglwys pawb yn ei galon.—Cyn wired a'r efengyl.—Pan nad rhyfedd na thyf post aur trwy nen tŷ yr anwir.—Drwg y ceidw diawl ei was.—I Dduw y diolchwn gael bwyt, a gallu i fwytta.—Rhad Duw ar y gwaith; ac eraill o'r fath hyn. Y mae llawer o enwau arferedig gynt yn mhlith y Cymry yn brawf ychwanegol o hynny: megys, Abraham, Esgob Menyw; Adda Fras, un o'r beirdd; Aaron, un o bennaethiaid gwlad

Morgan; Asaph, Esgob Llanelwy; Daniel, yr Esgob cyntaf yn Bangor; Iago ab Idwal; Ioseph, Esgob Menyw; Samuel Beulan, offeiriad dyscedig; Samson, y chweched Esgob ar ugain, a'r diweddaf yn Menyw; a'r cyfryw eraill a goffeir yn fynych yn yr hen achau. Y mae hyn yn dangos fod yr Ysgrythyr Lân yn wybodidic iawn gan ein henafieit ni gynt. Y mae prydyddiaeth Taliesin, ben-beirdd, yn gwiriaw yn yr un peth, yr hwn oedd yn byw yn amser Maylgywn Gwynedd, yn y chweched ganrif.'—Yn yr oesoedd diweddaf, cyfieithwyd rhyw rannau o'r Bibl yn Gymraeg yn amser Edward y chweched. Cyhoeddwyd traethawd bychan, yn A. D. 1551, a gyfenwyd, 'Rhannau o'r Ysgrythyr, gosodedig i'w darllen yn yr eglwysi yn amser y Cymmun, a'r addoliad cyhoeddus,' &c. gan W. S. —Er gwneud ordinhad gan yr Uchel-lys y Parliament, yn y flwyddyn A. D. 1563, am gyfieithu yr Hen Destament a'r Newydd, a'r Llyfr Gweddi Gyffredin, a'u hargraffu yn yr iaith Gymraeg, dan olygiad Esgobion Henffordd, Llanelwy, Tŷ Ddewi, Llandaff, a Bangor, erbyn Mawrth y cyntaf, 1566, tan ddirwy, os pallent, o £40. i'w talu gan bob un o'r Esgobion uchod; etto, nid wyf yn deall i ddim gael ei wneud yn ganlynol i'r gyfraith hon o'r 5 o Eliz. cap. 28.—Yn A. D. 1567, argraffwyd y Testament Newydd yn Gymraeg. O'r cyfieithad hwn, cyfieithwyd y Dadguddiad gan T. H. C. M. hwyrach, Thomas Huet, Chantor of Menyw. Yr ail Epistol at Timotheus, yr Epistol at yr Hebreaid, Epistol Iago, a dau Epistol Petr, a gyfieithwyd gan D. R. D. M. sef Dr. Richard Davies, Menevensis, sef Esgob Tŷ Ddewi. Y cwbl arall o'r cyfieithad hwn a wnaed gan W. Salesbury, o'r Cae-du, yn Llansannan, swydd Ddinbych; gwr enwog yn ei ddydd am ddiwydrwydd, dysgeidiaeth, a duwioldeb. Argraffwyd y Testament hwn yn Llundain, A. D. 1567, gan Henry Denham, trwy draul Humphrey Toy. Rhagddodwyd iddo y Calendar, a chyflwyniad Saesonaeg i'r Frenhines Elizabeth, a llythyr maith at y Cymry, gan Esgob Tŷ Ddewi. Gwnaed y cyfieithad hwn, meddant, o'r Groeg, wedi ei gymharu â'r Lladin, gyda ffyddlondeb a diwydrwydd. Cafodd W. Salesbury arolygu y cwbl, trwy drefniad Esgobion Cymry. Ymddengys llawer o ddysg, ffyddlondeb, a manylrwydd, yn y cyfieithad boreuol hwn; er bod yr orgraff yn wrthun, yr iaith yn anystwyth, ac, hefyd, yn anneallus yn ein dyddiau ni, yn aml. Argraffwyd ef mewn llythyrenau duon, wedi ei rannu yn bennodau, ond heb ei ddosparthu yn adnodau, oddieithr ychydig o'r Actau, ac o ddechreu Epistolau Paul at Timotheus hyd ddiwedd y Datguddiad.—Ni chyhoeddwyd un cyfieithad o'r Hen Destament yn yr iaith Gymraeg nes dros ugain mlynedd wedi y cyhoeddiad hwn o'r Newydd. Ymddengys hyn yn o ryfedd, gan fod gorchymmyn i hynny gwedi ei roddi gan yr Uchel-lys. O'r diwedd, y gwr duwiol a dysgedig Dr. W. Morgan a ymroddodd i hynny. Gwr o enedigaeth oedd o Wybr-Nant, ym mhlwyf Dolwyddelen. Cafodd ei ddwyn i fynu yn Ysgoldŷ *(College)* St. Ioan, yn Caergrawnt. Bu yn gyntaf yn Beriglor *(Vicar)* yn y Trallwm, gwedi hynny cafodd Llanrhaiadr-Mochnant. Gwnaed ef yn Esgob Llandaff, A. D. 1595, a symmudwyd ef i Lanelwy, A. D. 1601, lle y bu farw A. D. 1604. —Cafodd ei gymhell i'r gwaith pwysfawr o gyfieithu y Bibl i'r iaith Gymraeg yn bennaf yn ei feddwl ei hun, oddiwrth yr Arglwydd:

nid yw yn crybwyll am un gorchymmyn na chymhelliad a gafodd oddiwrth ddynion. Pa bryd y dechreuodd ar y gwaith sydd anhyspys. Yng nghyflwyniad y gwaith i'r Frenhines Elizabeth, coffa yn ddiolchgar am y cynnorthwyon a gafodd i ddwyn y gwaith ym mlaen, a'i orphen, gan yr Archesgob Whitgift—Esgobion Llanelwy a Bangor (Dr. Hughes, a Dr. Bellot, tebygol)—Dr. Gabriel Goodman—Dr. David Powel—Mr. Edmund Pryse, Archdïacon Meirionydd—a Mr. Richard Vaughan, y pryd hwnnw periglor Lutterworth, ac wedi hynny Esgob Bangor, Caer, a Llundain. Yn y flwyddyn nodedig, A. D. 1588, y cyhoeddwyd ef yn Llyfr unplyg, mewn llythyrenau duon—yn cynnwys yr Hen Destament, yr Apocrypha, a'r Testament Newydd—cynnwysiad pob pennod—wedi eu rhannu yn adnodau, ac â rhai cyfeiriadau ar ymyl y ddalen—Calendar—a chyflwyniad o hono yn Lladin i'r Frenhines Elizabeth. Pa nifer a argraffwyd sydd ansicr; ond y mae yn ddilys nad mwy, os cynnifer, nag oedd o eglwysi plwyfol yn y dalaith, y rhai ydynt 800. Y mae llawer o wallau yn yr argraffiad hwn; ond gan nad ydyw yn arferedig yn bresennol, nid oes achos coffhau am danynt yma. Cyfnewidiodd lawer ar gyfieithad W. S. o'r Testament Newydd.

Y nesaf a ddarparodd Duw i ofalu am Fiblau i'r Cymry, ydoedd yr enwog Richard Parry, D. D. o dref Ruthin, yr hwn a wnaed yn Esgob Llanelwy, ar ol marwolaeth y Dr. Morgan. Yn y flwyddyn 1620, cyhoeddodd y Bibl yn yr un fath blygiad a'r cyntaf; ond wedi cyfnewid y cyfieithad gymmaint, fel y petrusa y Dr. Parry ei alw yr un a chyfieithad y Dr. Morgan; a hwn yw y cyfieithad arferedig yn bresennol. Bu yr enwog Dr. J. Davies yn gynnorthwy nid bychan i Dr. Parry yn niwygiad y cyfieithad o'r Bibl. Yr oedd yn Gaplan i'r Esgob, ac yn treulio llawer o'i amser gydag ef. Y mae yr holl argraffiadau canlynol yn atteb i hwn yn gyffredinol, oddieithr ychydig gyfnewidiadau yn yr orgraff, a'r prif lythyrenau yn nechreu geiriau.—Ar ol cael Biblau i'r eglwysi, yr oedd y tlodion etto yn amddifad o Fiblau yn eu cartrefi, hyd nes y cynhyrfodd yr Arglwydd galonnau dau wr enwog, sef, Syr Thomas Middleton o Gastell y Waun, a Mr. Rowland Heylin, i argraffu y Bibl. Daeth y Llyfr Gweddi Gyffredin, yr Apocrypha, a'r Psalmau Cân gydag ef, yn wythplyg bychan allan, yn y flwyddyn 1630; hwn, tebygol, yw yr argraffiad cyntaf o Psalmau Mr. Edmund Pryse.—Fel yr oedd crefydd yn ymledu o fôr i fôr yng Nghymru, daeth cri mawr am Fiblau drachefn; yna darfu i ddau bregethwr teithiol, sef, Mr. Walter Cradock, a Mr. Vavasor Powell, roddi chwe' mil yn yr argraffwasg; daethant allan yn y flwyddyn 1654, y ddau Destament a'r Psalmau Cân yn unig. Gelwir hwn Bibl Cromwel gan rai.

Y nesaf oedd Mr. Thomas Gouge a Mr. Stephen Hughes, y cyntaf yn Sais, a'r diweddaf yn Gymro, tra hyddysg yn ei iaith gynhwynol. Yr oedd y naill yn gynnorthwyol neillduol i'r llall; un ym mhlith y Saeson yn hel cynnorthwyon i ddwyn y gwaith ym mlaen, a'r llall ym mhlith y Cymry yn llafurio i'r un perwyl. Argraffodd Mr. Thomas Gouge y Testament Newydd a'r Psalmau yn rhyddiaith ac ar gân yn 1672. Yn A. D. 1677, cyhoeddwyd, trwy ei lafur ef yn bennaf, er nad heb gynnorthwy eraill, argraffiad newydd o'r Bibl, a'r Llyfr Gweddi Gyffredin; y nifer oedd 8000; rhoddwyd

yn rhad 1000 o honynt, a dosparthwyd y lleill am bris isel, llai na'r draul o'u hargraffu, sef 4 swllt y llyfr. Diwygiwr yr argraff-wasg yn argraffiad Thomas Gouge o'r Bibl, oedd Mr. S. Hughes, gwr duwiol a llafurus, a drowyd allan o'r eglwys ym Meidrym, yn swydd Gaerfyrddin, am anghydffurfiad. Y mae gofal a diwydrwydd Mr. Stephen Hughes yn ganmoladwy iawn, yn diwygio y Bibl Cymraeg o lawer o wallau oedd yn y tri argraffiad blaenorol o'r cyfieithad presennol; ac y mae, er nad heb rai gwallau, etto, mor ddiwall ag un argraffiad a ymddangosodd wedi hynny, os nid yn fwy. Y mae yr orgraff a'r attaliadau mor addas, os nid yn fwy, nag un argraffiad o'r Biblau Cymreig. Dilynodd yr argraffiad yn 1654, yn rhoddi y llythyren Seisnigaidd *j* i mewn, yr hon oedd o'r blaen yn ddieithr i'r iaith Gymraeg. Bu Mr. S. Hughes byw i weled eisiau Biblau drachefn, a rhag-barottôdd tuag at gael argraffiad arall; ond bu farw cyn gorphen y gwaith, ynghylch A. D. 1687. Ond er i'r Arglwydd ei alw ef ymaith cyn cwblhau ei amcan haelionus tuag at y Cymry, etto nid anghofiodd yr Arglwydd mo honynt; llafuriodd un Mr. Dafydd Jones, yr hwn a drowyd allan o eglwys Llandisilio, i gael argraffiad helaeth arall o Fiblau iddŷnt, drwy gynnorthwy yn bennaf yr Iarll Wharton, medd Dr. Llewelyn, yr hwn oedd Brotestant awyddog, ac a fu yn was ffyddlon i'r brenin William III. a'r frenhines Ann, yn y rhan mwyaf blodeuog o'i theyrnasiad. Cafodd Mr. Jones lawer o gynnorthwyon heblaw hyn at y gwaith hwn, ac i argraffu llyfrau buddiol eraill, gan amrywiol weinidogion yr efengyl, a dinasyddion duwiol yn Llundain. Yr argraffiad hwn o'r Bibl a ddaeth allan yn A. D. 1690. Dywed Calamy fod yr argraffiad hwn yn cynnwys 10,000 o Fiblau, ond nid yw cystal a'r argraffiad yn 1678, o ran llythyren a phapur.

Gan fod Biblau mawr yr eglwysi wedi dryllio, darfu i'r Gwir Barchedig William Lloyd, Esgob Llanelwy, fynnu argraffu rhai mewn llythyrennau cyffredin; a daethant allan yn y flwyddyn 1690, yn unplyg mawr. Argraffwyd hwn, meddant, dan olygiad Mr. Pierce Morris, gwr o swydd Môn, y pryd hwnnw yn Ysgoldŷ yr Iesu yn Rhydychain. Yr amseryddiaeth a'r cyfeiriadau ydynt waith Esgob Lloyd. Y mae hwn yn llyfr golygus, ond nid heb wallau; a'i orgraff yn wahanol i'r lleill mewn llawer o eiriau.

Yr argraffiad nesaf a ddaeth allan dan olygiad y Parch. Moses Williams, Ficar Dyfynog, yn Mrecheiniog. Y Bibl hwn a argraffwyd ar draul y Gymdeithas anrhydeddus yn Llundain,[2] yn y flwyddyn 1718, yn llyfr wythplyg. Daeth argraffiad arall o'r Bibl allan, yn y flwyddyn 1727, heb gynnwysiad y pennodau, na phrofiadau ar ymyl y ddalen, dan olygiad yr un gwr. Fel yr oedd crefydd ac ysgolheigion yn amlhau, daeth prinder am Fiblau drachefn; yna y Parchedig Mr. Griffith Jones, o Landdowror, a wnaeth hynny yn hyspys i'r Gymdeithas uchod; ac argraffwyd y Bibl drachefn yng Nghaergrawnt, yn y flwyddyn 1746. Daeth argraffiad arall allan trwy haelioni yr un Gymdeithas, yn y flwyddyn 1752;—y ddau hyn dan olygiad Risiart Morris."

O'r pryd hwnnw hyd yn bresennol, cyhoeddwyd amryw argraffiadau o'r Bibl mewn gwahanol fannau; ond gwnelem anghyfiawnder â choffadwriaeth Mr. Charles ei hun, pe na choffhaem mai i'w ym-

drechiadau ef, mewn modd arbennig, y mae y Cymry yn ddyledus am y cyflawnder o Fiblau sydd yn awr yn eu plith. Bu y gwr duwiol hwn yn dra llafurus yn taenu gwybodaeth grefyddol ym mysg ei gydwladwyr, ac yn offeryn neillduol i sefydlu Ysgolion Sabbothol drwy y wlad; ac yn wyneb lliosogiad y darllenwyr, ymddangosai prinder Biblau yn cynnyddu yn barhaus, yr hyn a barai ofid mawr i'w feddwl. Mewn canlyniad i hyn, rhoddodd ei fryd ar gael allan ryw ffordd er diwallu angenrheidiau ei gyd-genedl; a "thrwy ei waith ef, (fel y sylwa Cyhoeddwr yr ail argraffiad o'i Eiriadur,) yn ymorol yn Llundain âg ewyllyswyr da i grefydd a duwioldeb, pa fodd y gellid cael argraffiad helaeth o'r Bibl, am bris gweddol, yn yr iaith Gymraeg, ac, os byddai bossibl, i drefnu trysorfa barhaus o honynt, fel na byddai un amser mwy brinder o Fiblau i'r Cymry tlodion, y rhoddodd yr Arglwydd y meddwl carûaidd ardderchog y'nghalonau rhai o'r gwyr duwiol yr oedd yn ymddiddan â hwynt, o ffurfio Cymdeithas i ddosparthu Biblau, nid yn unig yn ein gwlad ein hunain, ond hefyd yn y gwledydd pellenig tramor, pa un bynnag ai Cristionogol, Mahometanaidd, neu Baganaidd; fel na byddo un genedl dan y nefoedd, nac un person neillduol yn y byd, heb y trysor gwerthfawr hwn, a ewyllysiai ei feddiannu." Sefydlwyd y Gymdeithas hon yn Llundain, yn y flwyddyn 1804, dan yr enw, "Y Fibl Gymdeithas Frutanaidd a Thramor;" a'r gorchwyl cyntaf a wnaeth oedd gwneuthur argraffiad o Fiblau a Thestamentau Cymreig, yr hwn a ddaeth allan yn ddioed; ac o hynny hyd yn awr, y mae miloedd ar filoedd o Fiblau a Thestamentau wedi eu gwasgaru ganddi yn y Dywysogaeth.

Er na wnaed nemmawr o gyfnewidiad yng nghyfieithad y Bibl wedi amser yr Esgob Parry, etto y mae yr orgraff, neu y dull o silliadu, wedi bod yn wahanol mewn gwahanol argraffiadau; ac yn ddiweddar bu cryn ddadleu, yn neillduol rhwng gweinidogion yr Eglwys Sefydledig, ynghylch y priodoldeb o ddefnyddio dull newydd o silliadu yn y Bibl Cymraeg; ond er fod y ddwy blaid yn dra gwresog dros eu gwahanol farnau ar y pwngc, etto y mae y cythrwfl yn awr wedi ei ostegu, drwy i'r Esgobion Cymreig benderfynu ar fod i'r Bibl gael ei argraffu rhagllaw yn ol cynllun yr argraffiad wythplyg yn Rhydychain, yn y flwyddyn 1809, yr hwn a wnaed ar draul y Gymdeithas Anrhydeddus er taenu Gwybodaeth Gristionogol. Gyda golwg ar yr argraffiad hwn, dyweda Mr. Charles fel y canlyn:—"Cafodd yr argraffiad hwn ei olygu a'i ddiwygio o wallau yr argraffiadau eraill, gan amryw o eglwyswyr Cymru, trwy annogaeth Esgobion Tŷ-Ddewi a Bangor. Y mae hwn yn o gywir, er nad yn berffaith: anhawdd i blant dynion gyrhaedd perffeithrwydd mewn un gorchwyl a wnelont, er yr ymdrechiadau mwyaf ffyddlawn."

Ystyririr y cyfieithad Cymreig o'r Bibl yn un tra rhagorol o herwydd ei gywirdeb; ac y mae yn goffadwriaeth oesol o ddysgeidiaeth a ffyddlondeb yr enwogion parchedig a gymmerasant y gorchwyl mewn llaw o wneuthur y gymmwynas werthfawr hon i'w cydwladwyr.

## VIII. TAFLENAU O GYFIEITHADAU YR YSGRYTHYRAU.

YN gymmaint a bod yr Ysgrythyrau wedi eu cyfieithu i gynnifer o ieithoedd, rhoddir Taflennau o'r nifer liosocaf o honynt, y pryd y gwnaethpwyd hwynt, enwau y cyfieithwyr, a'r lleoedd yr argraffwyd hwynt.

### TAFLEN I.

### *Cyfieithadau i ieithoedd presennol Ewrop.*

| Cyfieithad. | T.N. | Bibl. | Awdwr. | Lle ei argraffwyd. |
|---|---|---|---|---|
| Ellmynaeg | 1522 | 1534 | Martin Luther. | Wittemberg. |
| Saesonaeg | 1526 | 1535 | Tindal a Coverdale. | Ansicr. |
| Ffrangaeg | | 1535 | Robert Olivetan. | Geneva. |
| Swedaidd | 1534 | 1541 | Olaus Petri. | Upsal, Sweden. |
| Danaidd | 1524 | 1550 | Palladius ac eraill. | Copenhagen. |
| Dutch | | 1560 | [cioli. | |
| Italaidd | | 1562 | Diwygiad o Antonio Bru- | Geneva. |
| Yspaenaidd | 1556 | 1569 | Cassiodorus de Reyna. | Ffrankfort neu Basil |
| Rwssiaidd | 1519 | 1581 | Cyril a Methodius. | Ostrog. |
| Helfesiaidd | 1525 | 1529 | | Zurich. |
| Sacsoni Isaf | | 1533 | | Lubeck. |
| Ffinnaidd | 1548 | 1642 | | Stockholm. |
| Croasiaidd | 1533 | | | Tubingen. |
| Bascuaidd | 1571 | | | Rochelle. |
| Cymraeg | 1567 | 1588 | Amryw. | Llundain. |
| Hungariaidd | 1574 | 1589 | | Vienna. |
| Wendiaidd | | 1584 | | Wittemberg. |
| Icelandaidd | | 1584 | Thorlack. | Holum, Iceland. |
| Pomeranaidd | | 1588 | | Barth. |
| Pwylaidd | 1505 | 1596 | Amryw. | |
| Bohemiaidd | | 1593 | Amryw. | Cralitz, Morafia. |
| Hebraeg | 1599 | | Elias Hutter. | Nuremberg. |
| Groeg presennol | 1638 | | Maximus Calliergi. | Geneva. |
| Wallasiaidd | 1548 | | | Belgrade. |
| Romanaidd | | 1657 | | Schuol. |
| Lithuanaidd | | 1660 | Chylinsky. | Llundain. |
| Tyrcaidd | 1666 | | Lazarus Seaman. | Rhydychain. |
| Gwyddelaeg | 1602 | 1685 | Dr. Daniel, esgob Bedel. | Llundain. |
| Lifonaidd | 1685 | 1689 | | Riga. |
| Esthonaidd | 1685 | 1689 | | Riga. |
| Esthonaidd etto | 1686 | | | Riga. |
| Dorpasiaidd | 1727 | | | |
| Grisonaidd | | 1719 | | Coire. |
| Lusasia Uchaf | 1706 | 1728 | Amryw. | Bautzen. |
| Lapponaidd | 1755 | | [desley. | |
| Maugaidd | | 1763 | Esgobion Wilson a Hil- | |
| Gaelaidd | 1767 | 1802 | James Stuart ac eraill. | Edinburgh. |
| Portugiaidd | 1712 | 1748 | Ferreira d' Almeida. | Amsterdam. |
| Yspaenaidd | | 1793 | Padre Scio. [nolo. | Madrid |
| Maltaidd | 1820 | | W. Jowett a Signor Can- | Malta. |

| Cyfieithad. | T.N. | Bibl. | Awdwr. | Lle ei argraffwyd. |
|---|---|---|---|---|
| Samogitiaidd | 1820 | | | Petersburgh. |
| Iuddewon Poland | 1821 | | N. Solomon. | Llundain. |
| Ieithoedd Rwssia, | | | | |
| Carelian, | 1820 | | | |
| Mordwasaan, | 1821 | | Bibl Gymdeithas Rwssia. | Petersburgh. |
| Teheremissin, | 1821 | | | |

## TAFLEN II.

### *Cyfieithadau i ieithoedd presennol Asia.*

| Iaith. | Testament Newydd, neu lyfrau neillduol o hono | | Y Bibl, neu Lyfrau neillduol o hono. | | Awdwr. | Lle ei argraffwyd. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | T.N. | Llyfrau neillduol. | Bibl. | Llyfrau neillduol. | | |
| 1. ARABAEG, a'i ieithoedd deilliedig. | | | | | | |
| Arabaeg | 1816 | | | | N. Sabat, &c. | Calcutta |
| Persiaidd | | 4Ef.1804 | | | M. Colebroke | Calcutta |
| Pushtoo | 1818 | | | Gen.Lef. | Dr. Leyden | Serampore |
| Bulocha | | 4Ef.1816 | | | | |
| 2. SANSCRIT, a'i ieithoedd deilliedig. | | | | | | |
| Sanscrit | 1808 | | 1811 | | | |
| Sikh | 1811 | | | Ll.Moses | | |
| Assamese | 1819 | | | | | |
| Kashmiree | 1819 | | | | | |
| Wutch | 1819 | | | | Cenhadau y | Serampore |
| Guzerattee | 1820 | | | | Bedyddwyr | |
| Bickaneer | 1819 | | | | | |
| Kunkuna | 1818 | | | | | |
| Maruwar | 1822 | | | | | |
| Oojavinee | 1822 | | | | | |
| Bundelkundee | 1832 | | | | | |
| Nepaulese | 1822 | | | | | |
| Mahratta | 1807 | | | Llyf.Mos | | |
| Hindee | 1812 | | | Llyf.Mos | | |
| Hindoostanhee | | | | | Ben. Schultz. | Halle |
| Bengalee | 1808 | | 1801 | | Cen. y Bed. | Serampore |
| Orissa | 1807 | | 1809 | | | |
| Canarese | 1820 | | | | Wm. Hands | Tranquebar |
| Tamul | 1715 | | 1723 | | | |
| Teling[illegible] | | | | | Des Granges | Vizagapatam |
| Ci[illegible] | 1820 | | | Gen.Ecs. | W. Solfrey | Colomba |

| Iaith. | Testament Newydd, neu lyfrau neillduol o hono | | Y Bibl, neu Lyfrau neillduol o hono. | | Awdwr. | Lle ei argraffwyd. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | T.N. | Llyfrau neillduol. | Bibl. | Llyfrau neillduol. | | |
| Malay | 1668 | | | | Amryw. | Amsterdam |
| 3. CHINIAIDD | 1809 | | 1815 | | Dr. Marshman | Serampore |
| Chiniaidd etto | 1811 | | 1815 | | Dr. Morrison | Canton |
| 4. CYFIEITHADAU ASIAIDD ERAILL. | | | | | | |
| Formosan | | Mat. a Io. | | | Robert Junius | Amsterdam |
| Tartar | 1813 | | | | Cym. Gennad. | Harus |
| Orenburg Tartar | 1820 | | | | Edinburgh | Astrachan |
| Calmuc Tartar | 1815 | | | | Cym. Moraf- | Petersburgh |
| Mong. Tartar | | Mat. a Lu. | | | aidd. | Petersburgh |
| Georgian | | | 1743 | | Anadnabydd. | Moscow |
| Tahitan | 1818 | | | | C.G. Llundain | Eimeo. |

## TAFLEN III.

### *Cyfieithadau i ieithoedd presennol Affrica ac America.*

| Iaith. | Testament Newydd, neu Lyfrau neillduol o hono | | Y Bibl, neu Lyfrau neillduol o hono. | | Awdwr. | Lle ei argraffwyd. |
|---|---|---|---|---|---|---|
| | T.N. | Llyfrau neillduol. | Bibl. | Llyfrau neillduol. | | |
| AFFRICAIDD. | | | | | | |
| Bullom | | Ef. Mat. | | | G. Nylander. | Llundain. |
| Amharic | 1822 | 1816 | | | M. Asselin de Cherville. | Llundain. |
| INDIA AMERICA. | | | | | | |
| Virginiaidd | 1661 | | 1663 | | John Eliot. | Cam. Ll. N. |
| Delaware | | 3Ep. Ioan | | | C. F. Dencke | New York. |
| Massachusset | | Ef. Ioan | | | Exp. Mayhen | Boston. |
| Mohawk | | Mar. a Io. | | | Freeman, &c. | Llundain. |
| Escwimô | 1809 | | | | Cen. Moraf. | Llundain. |
| Greenlandaidd | 1799 | | | | Yr un. | Llundain. |
| INDIA ORLLEWIN. | | | | | | |
| Creolese | 1781 | | | | Anadnabydd. | Copenhagen |

# LLYFRAU YR APOCRYPHA.

Llyfrau yr Apocrypha ydynt hen iawn; ond gwrthodir hwynt fel llyfrau canonaidd gan y Protestaniaid, er bod y rhan amlaf o honynt yng nghanon y Pab. Y mae rhai o honynt yn gwbl anghredadwy fel hanes, eraill yn cynnwys athrawiaethau cyfeiliornus, ac eraill wedi eu tadogi i awdwyr ar nas cyfansoddasant hwynt. Ond gan eu bod yn hen lyfrau, nid anfuddiol mewn casgliad o natur hwn fyddai taflu golwg arnynt.

## I. LLYFR CYNTAF ESDRAS.

Ni wyddys pa bryd yr ysgrifenwyd Llyfr Cyntaf Esdras; nid ydyw i'w gael ond yn y Groeg yn unig, ac yn yr Ysgrif Alecsandraidd y mae wedi ei roddi o flaen llyfr canonaidd Ezra, ac a elwir yno, Llyfr Cyntaf Ezra, am ei fod yn crybwyll am bethau a ddigwyddasant cyn dychweliad y gaethglud o Fabilon. Awdwr y llyfr hwn sydd anadnabyddus, ond y mae yn amlwg iddo gael ei gasglu o lyfrau Ezra a Nehemiah, ond y llyfr hwn a'u gwrthwyneba mewn amrywiol fannau. Llyfr cyntaf Esdras sydd y rhan fwyaf o hono yn hanesiol, am ddychweliad yr Iuddewon o Babilon, adeiladaeth y deml, a sefydliad y gwasanaeth dwyfol. Yn y Groeg y mae wedi ei ysgrifenu mewn iaith dra phur ac ardderchog. Er y crybwyllir y llyfr hwn yn fynych gan y tadau, etto gwrthodid ef fel un canonaidd gan Jerome, gwrthodir ef hefyd gan Eglwys Rhufain. Nid oes lithiau o'r llyfr hwn yn cael eu darllen yng ngwasanaeth Eglwys Loegr. Y mae cyfieithad Syriaidd o'r llyfr hwn i'w gael.

## II. AIL LYFR ESDRAS.

Tybir bod Ail Lyfr Esdras wedi ei ysgrifenu yn wreiddiol yn yr iaith Roeg, er nad ydyw yn bresennol i'w gael ond yn y Lladinaeg, o'r hwn y mae cyfieithad Arabaidd, ond yn dra gwahanol oddiwrth yr un Lladinaeg. Awdwr y llyfr hwn sydd anadnabyddus, ond y mae yn cymmeryd arno mai Ezra ydyw. Ymddengys bod yr awdwr yn ddiweddarach o lawer na'r diwygiwr mawr Iuddewig. Honna i weledigaethau a datguddiedigaethau; ond y maent yn dra dychymmygol, ac mor wrthun, fel y mae yn amlwg na roddwyd hwynt dan gyfarwyddiadau yr Yspryd Glân. Credai awdwr y llyfr

hwn bod dydd y farn yn agos, ac y gwaredid eneidiau dynion da a drwg o uffern wedi dydd y farn. Y mae yn llawn o chwedlau Rabinaidd, yn neillduol am chwe' diwrnod y greadigaeth, a'r Behemoth a'r Lefiathan, ar y rhai y gwledda yr etholedigion, yn ol ei dyb ef, wedi yr adgyfodiad. Crybwylla am Iesu Grist a'i Apostolion mor amlwg, fel y mae Moldenhawer a beirniaid eraill wedi barnu, mai Iuddew dychweledig at Gristionogaeth ydoedd ei awdwr.

---

### III. LLYFR TOBIT.

Mewn perthynas i Lyfr Tobit, a'r amser y blagurodd, nid oes gennym wybodaeth awdurdodol. Cymmera arno adrodd hanes Tobit a'i deulu, y rhai a gaethgludwyd i Ninefeh gan Shalmaneser; ond y mae yn cynnwys cymmaint o chwedlau Rabinaidd, a chyfeiriadau at y gyfundraeth Fabilonaidd gyda golwg ar ysprydion, fel y mae yn gwbl annichonadwy i ddyn yn ei synwyrau gredu yr hanes fel gwir. Cyfieithodd Jerome y llyfr hwn i'r Lladinaeg, a dyweda y tad hwn iddo gael ei ysgrifenu yn y Galdeaeg gan Iuddew Babilonaidd. Y mae cyfieithad Groeg o'r Llyfr hwn, yn hŷn o lawer na chyfieithad Lladinaeg Jerome, oblegid cyfeirir atto gan Polycarp, Clement o Alecsandria, ynghyd â thadau eraill; ac o'r cyfieithad Groeg y gwnaed y cyfieithad Syriaeg. Gwrthodir lle iddo yn y canon, oblegid y mae yr angel ynddo yn dywedyd celwydd, a hanes gorchwylion yr yspryd drwg mor anghredadwy, fel nad oes ond ychydig debygid a all ei gredu. Y mae yn dra digrif, ac yn cael darlleniad helaeth.

---

### IV. LLYFR JUDITH.

Proffesa Llyfr Judith roddi hanes am fuddugoliaeth yr Iuddewon ar yr Assyriaid, drwy offeryngarwch gwraig weddw brydweddol o'r enw dywededig. Ystyriai Luther a Grotius y llyfr hwn fel dammeg; ond Dr. Prideaux a'i hystyriai yn hanes gywir yn y pethau mwyaf nodedig, a'i fod yn wallus mewn pethau eraill. Tebygol nad ydyw yr hanes yn gywir, oblegid pe felly, y mae yn rhyfedd na buasai Josephus yr hanesydd Iuddewig yn crybwyll am y fuddugoliaeth hon, canys y mae efe yn nodi pob peth ag a dueddo i ddyrchafu bri ac anrhydedd ei genedl ei hun. Y mae yn anhyspys pa bryd yr ysgrifenwyd y llyfr hwn. Meddylia Dr. Prideaux iddo gael ei ysgrifenu yn amser Manasseh, a Jahn yn amser y Maccabeaid. Meddyliai Grotius mai dammeg ydyw, wedi ei hysgrifenu yn amser Antiochus Epiphanes. Yn ol ei dyb ef, arwydda Judith, Judea; Bethulia, tŷ neu deml Duw; y cleddyf, gweddiau y saint; Nebuchodonosor, y diafol; Assyria, ei deyrnas, hynny ydyw balchder; ac Olophernes, Antiochus Epiphanes. Ysgrifenwyd llyfr Judith yn wreiddiol yn y Galdeaeg, ac a gyfieithwyd i'r Lladinaeg ac ieithoedd eraill hefyd.

## V. PENNODAU ERAILL LLYFR ESTHER.

Ni cheir y rhai hyn yn yr Hebraeg na'r Galdeaeg, ond ysgrifenwyd hwynt yn y Groeg, o'r hon iaith y cyfieithwyd hwynt i'r Lladinaeg. Cyssylltwyd hwynt â'r llyfrau canonaidd, a derbyniwyd hwynt fel rhai canonaidd; ond gwrthodwyd hwynt gan Jerome yn ei gyfieithad, am nad oeddynt yn yr Hebraeg. Bernir mai Iuddew Helenistaidd oedd awdwr y rhai hyn, ond gwrthodir hwynt gan y Protestaniaid fel rhan o'r canon.

---

## VI. DOETHINEB SALOMON.

Priodolir y llyfr hwn i Salomon, am fod yr awdwr yn ymdrechu dynwared Salomon, ac weithiau yn llefaru yn ei berson. Y mae yn sicr mai nid Salomon ydoedd ei awdwr, oblegid ni bu y llyfr hwn ar gael yn yr Hebraeg; ac ni dderbyniwyd ef i'r canon Hebreaidd, ac nid ydyw y dull yn debyg i eiddo Salomon. Y mae ei gynnwysiad hefyd o'r fath, fel y mae yn annichonadwy i Salomon fod yn awdwr iddo; oblegid y mae yn crybwyll am ymadroddion o brophwydoliaethau Esay a Jeremiah, y rhai a flagurasant yn hir wedi amser Salomon. Y mae llawer o bethau godidog yn y llyfr hwn, a dylai gael mwy o ddarlleniad oblegid ei deilyngdod. Ystyriai Jerome a'r tadau y llyfr hwn yn Apocryphaidd, etto parchent ef fel traethawd dynol, a chymmeradwyent ef i sylw Cristionogion. Cyhoeddwyd ef gan drydydd cynghor Carthage, yn y flwyddyn 397, yn llyfr canonaidd, dan yr enwad o Bedwerydd Llyfr Salomon; a chadarnhawyd y penderfyniad hwn gan gymmanfa Trent, ac y mae yng nghanon y Pab hyd heddyw. Gwrthodwyd ei dderbyn i'r canon Protestanaidd.

---

## VII. DOETHINEB JESUS MAB SIRACH.

Er tybied o rai mai Salomon ydoedd awdwr y llyfr hwn, ac er ei dderbyn i ganon eglwys Rhufain, etto y mae yn dra amlwg na allasai efe fod yn awdwr o hono, oblegid cyfeirir ynddo at y caethiwed, yr hyn a gymmerodd le ym mhell wedi marwolaeth Salomon. Dywedir yn y llyfr mai Jesus mab Sirach ydoedd ei awdwr, ac i hwn deithio i ymofyn gwybodaeth. Ysgrifenwyd y llyfr hwn yn yr Hebraeg, neu yn hytrach yn y Galdeaeg Syriaidd, yr hon wedi y caethiwed a siaredid yng ngwlad Judea gan yr Iuddewon. Cyfieithwyd hwn i'r Groeg gan ŵyr Jesus, at wasanaeth yr Iuddewon Alecsandriaidd. Tybia rhai iddo gael ei ysgrifenu ynghylch y flwyddyn 232 cyn Crist, a chyfieithwyd ef ym mhen tua thrugain mlynedd wedi hynny. Perchir y llyfr hwn yn fawr yn yr eglwys orllewinol, a chrybwyllir am dano yn barchus gan rai o dadau boreuol yr eglwys. Heblaw y cyfieithad Groegaidd, y mae cyfieithad Lladinaidd, Syriaidd, ac Arabaidd o hono; ac mewn gwirionedd y mae yn dra theilwng o ddarlleniad, am y cynnwysa lawer o addysgiadau buddiol.

## VIII. LLYFR BARUCH.

Mewn perthynas i Lyfr Baruch, y mae yn ansicr hollol pwy ydoedd ei awdwr, nac ym mha iaith yr ysgrifenwyd ef yn wreiddiol. Amheuir yn fawr bod ei gynnwysiad yn gywir a gwirioneddol fel hanes. Cymmera yr awdwr arno ei fod wedi ei ysgrifenu ym Mabilon, ac i'r darlleniad o hono effeithio yn neillduol ar yr Iuddewon a gaethgludasid yno. Y peth pennaf yn llyfr Baruch ydyw y llythyr a yrrwyd gan Jeremi i'r Iuddewon yn Babilon; ond y mae yn amlwg mai nid Jeremi ydoedd ei awdwr, amgen, cyfleuasid ef yn ei brophwydoliaethau ei hun, oblegid y mae llyfr y prophwyd Jeremi yn hanesiol yn gystal ac yn brophwydoliaethol. Fel holl lyfrau'r Apocrypha gan mwyaf, parcha y Pabyddion y llyfr hwn, ond gwrthodir ef gan y Protestaniaid, yn unol â phenderfyniadau boreuol tadau yr eglwys.

---

## IX. CAN Y TRI LLANGC.

Gosodir y Gân hon yn y cyfieithad Groegaidd, a'r *Vulgate Latin* o'r Ysgrythyrau, rhwng y drydedd a'r bedwaredd adnod ar hugain o lyfr Daniel: ond nid ydyw y Gân hon yn yr Hebraeg, ac nid ymddengys iddi fod erioed yn yr iaith ddywededig. Cynnwysa feddyliau a syniadau dyrchafedig am Dduw; cydnabydda ei oruwchlywodraeth ar holl elfennau natur, a galwa ar yr holl greadigaeth i fynegu ac i gyhoeddi ei glodydd ef. Ond amheuir ar sail dda iddi gael ei chyfansoddi gan y llangciau yn y ffwrn dân ym Mabilon, ac ni dderbyniwyd hi i'r canon, hyd oni thueddwyd y Pabyddion yng Nghyngor Trent i'w derbyn fel cyfran o'r Ysgrythyr Lân.

---

## X. HANES SUSANNA.

Gyda golwg ar Hanes Susanna, bernir mai cyfansoddiad rhyw Iuddew Helenistaidd ydyw, ac heb ond y peth nesaf i ddim o wirionedd ynddi. Dengys yr awdwr lawer iawn o gywreinrwydd a dyfais yn y cyfansoddiad dan sylw; ac efallai i'r chwedl gael ei ffurfio, er dynoethi barnwyr llygredig Israel ym mhlith y Cenhedloedd y gwasgarwyd hwynt yn eu plith. Yn y *Vulgate Version*, y mae yr hanes hon yn ffurfio y drydedd bennod ar ddeg o lyfr Daniel; ond dywedir yn y rhagymadrodd, "Ei fod wedi ei neillduo oddiwrth ddechreu Daniel, o herwydd nad ydyw yn yr Hebraeg."

---

## XI. HANES BEL A'R DDRAIG.

Gwrthodir Hanes Bel a'r Ddraig gan yr Iuddewon trwy yr holl oesau; ac nid ydoedd i'w chael yn yr Hebraeg na'r Galdeaeg. Gelwir yr hanes dan sylw gan Jerome, "Y chwedl am Bel a'r Ddraig;" ac yn wir, y mae yn dra anhawdd credu yr hanes, ond gallodd y

Pabyddion yng Nghyngor nodedig Trent ddarbwyllo eu hunain i'w chredu, o leiaf mynnid i eraill ei chredu, oblegid penderfynasant i'w chyfleu yn y canon, ac y mae yn gwneuthur i fynu ran o'u hysgrythyrau hwynt hyd heddyw. Amcan y chwedl am Bel a'r Ddraig ydyw dangos ynfydrwydd eilun-addoliaeth, ac i ddyrchafu anrhydedd a gogoniant y gwir Dduw. Ond dinystriodd yr awdwr ei hanes, trwy drosglwyddo i Babilon addoliad creaduriaid, na roddid gwasanaeth crefyddol iddynt yn y wlad ddywededig.

---

## XII. GWEDDI MANASSEH.

Nid ydyw y Weddi hon mewn un modd yn annheilwng o'r amgylchiad y dywedir iddi gael ei chyfansoddi, sef gan Manasseh, brenin Judah, yn ei gyfyngder a'i drallod mawr, pan yn gaeth ym Mabilon. Y mae ynddi gydnabyddiaeth barchus o fawredd, gallu, a llywodraeth yr Hollalluog Dduw; a chydnabyddiaeth o'r sefyllfa druenus y mae dyn yn awr ynddi drwy fyned ar ddidro ac ar gyfeiliorn allan o derfynau deddfau uniawn y nefoedd. Ac y mae yma gyfaddefiadau neillduol o bechodau mawrion a lliosog, ynghyd âg erfyniadau am faddeuant ac am ymwared o drallod a chyfyngder. Ond y mae hyd yn nod y Pabyddion eu hunain yn ei hystyried yn anghanonaidd, ac nid ydyw yn gyfran o'u hysgrythyrau hwynt.

---

## XIII. DAU LYFR Y MACCABEAID.

Gelwir y Llyfrau hyn dan yr enw Maccabeaid, am eu bod yn cynnwys hanes y Maccabeaid, y rhai a ystyrir y gwladgarwyr a'r gwroniaid pennaf a flagurasant erioed ym mhlith y genedl Iuddewig. Y mae y ddau lyfr wedi eu derbyn i'r canon Rhufeinig.

1. Cynnwysa y Llyfr Cyntaf hanes yr Iuddewon o ddechreuad teyrnasiad Antiochus Epiphanes, hyd farwolaeth Simon, yspaid o bedair blynedd ar ddeg ar hugain. Ysgrifenwyd y llyfr hwn, y mae yn debygol, yn amser Ioan Hyrcanus, pan derfynwyd y rhyfel Maccabeaidd, a thybia llawer mai Hyrcanus ei hun ydoedd ei awdwr. Y mae y llyfr hwn yn dra gwerthfawr fel hanes, ac yn deilwng o gael ei ddarllen, am ei fod yn cynnwys llawer iawn o hanesion Iuddewig.

2. Nid ydyw Ail Lyfr y Maccabeaid yn gyfartal mewn gwerth i'r Llyfr Cyntaf, ac y mae yn angenrheidiol i'r darllenydd fod yn dra gwyliadwrus wrth ei ddarllen, oblegid os gwna ei gredu oll, lled debygol y creda ryw bethau nad ydynt wir. Ei awdwr sydd anadnabyddus, a chynnwysa hanes am ynghylch pumtheg mlynedd. Y mae dau hen gyfieithad o'r llyfr hwn ar gael, un yn Syriaidd a'r llall yn Lladinaidd. Cyfieithwyd ef i'n iaith ni o'r Groeg.

# LLYFRAU Y TESTAMENT NEWYDD.

## PENNOD I.

### *Ar Ddosparthiad Llyfrau y Testament Newydd.*

Y MAE llawer o ddulliau wedi eu mabwysiadu o bryd i bryd gyda golwg ar gyflead llyfrau y Testament Newydd; ac nid ydyw y drefn yn yr hon y ceir hwynt mewn ysgrifeniadau, yn cydweddu â'r drefn yn y llyfrau argraffedig a'r cyfieithadau diweddar. Yn nyddiau Ignatius, yn y flwyddyn 107, ystyrid y Testament Newydd yn ddau ddosparth, sef yr Efangylau a'r Epistolau; ond Athanasius, yn ol fel y dywed rhai, a'i rhannai yn wyth dosparth:—Y pedair Efengyl; y pummed llyfr, Actau yr Apostolion; y chweched, y saith Epistol cyffredinol; y seithfed, pedwar Epistol ar ddeg Sant Paul; a'r wythfed, Datguddiad Ioan y Duwinydd. Eithr y rhaniad diweddar o'r Testament Newydd, a'r mwyaf cyfleus hefyd, ydyw y tri canlynol; sef y dosparth hanesiol, athrawiaethol, a phrophwydoliaethol.

Y llyfrau hanesiol a gynnwysant yn bennaf hanes gwirioneddol am bethau, er bod erthyglau ffydd ac athrawiaethau wedi eu cydwau â hwynt yn fynych. Gellir rhannu y llyfrau hanesiol i ddau ddosparth; yn gyntaf, y pedair Efengyl, yn y rhai y rhoddir hanes am yr Arglwydd Iesu Grist; yr ail ddosparth hanesiol ydyw Actau yr Apostolion, yn yr hwn lyfr y rhoddir hanes gorchwylion yr Apostolion, yn neillduol eiddo Paul a Phedr. Y llyfrau athrawiaethol ydynt Epistolau Paul, a'r Epistolau cyffredinol; a Datguddiad Sant Ioan a wna i fynu y trydydd dosparth, sef y dosparth prophwydoliaethol o lyfrau y Testament Newydd.

Mewn perthynas i'r drefn yn ol yr hon y cyfleir llyfrau neillduol, megis Epistolau Paul, y mae barnau dysgedigion yn amrywio, am y gwahaniaethant yn eu tybiadau ynghylch y pryd yr ysgrifenwyd hwynt. Digon ar hyn o bryd ydyw dywedyd, bod y drefn bresennol o'u cyflead yn hen drefn. Hon ydoedd y drefn a fabwysiadwyd gan Eusebius yn nechreuad y pedwerydd canrif, ac efallai iddo yntau ei chymmeryd oddiwrth Ignatius. Efallai y byddai y daflen ganlynol o ddosparthiadau y Testament Newydd yn ddefnyddiol ac yn dderbyniol gan y darllenydd.

I. HANESOL,
- 1. Hanes Iesu Grist, Pen yr Eglwys ...... Matthew, Marc, Luc, Ioan.
- 2. Hanes Eglwys Crist ......... Actau yr Apostolion.

II. ATHRAWIAETHOL
- 1. Epist. Cyffred. Paul at y
  - Rhufeiniaid,
  - I Corinthiaid,
  - II Corinthiaid,
  - Galatiaid,
  - Ephesiaid,
  - Phillipiaid,
  - Colosiaid,
  - I Thessaloniaid,
  - II Thessaloniaid,
- 2. Neillduol at bersonau,
  - I Timotheus,
  - II Timotheus,
  - Titus,
  - Philemon.
- 3. Cyffredinol ..............
  - Hebreaid,
  - Iago,
  - I Pedr,
  - II Pedr,
  - I Ioan,
  - II Ioan,
  - III Ioan,
  - Judas.

III. PROPHWYDOLIAETHOL .......................... Datguddiad.

---

## PENNOD II.

### *Ar Lyfrau Hanesol y Testament Newydd.*

---

## YR EFENGYL YN OL SANT MATTHEW.

MATTHEW, yr hwn a gyfenwid Lefi, ydoedd fab Alpheus, ond nid yr Alpheus neu y Cleopas hwnnw y dywedir ei fod yn dad Iago yn Mat. 10. 3. Yr ydoedd ef yn enedigol o Galilea, ond o ba ddinas neu ddosparth o'r wlad sydd anhyspys, ac i ba lwyth o Israel y perthynai ni fynegir i ni. Cyn ei ddychweliad at y grefydd Gristionogol yr ydoedd yn bublican, neu yn gasglwr trethi dan y Rhufeiniaid, a gasglai y tollau ar bob nwyfau a drosglwyddid o Capernaum, neu a dderbynid yno, yr hon ydoedd dref ar lan môr Galilea. Pan ydoedd ef wrth y dollfa, galwodd yr Arglwydd Iesu Grist arno er bod yn dyst o'i eiriau a'i weithredoedd ef, ac felly a'i gosododd yn y swydd anrhydeddus o fod yn Apostol. O'r amser hwnnw allan, efe a ddilynodd yr Arglwydd Iesu Grist; ac wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, arosodd yn Jerusalem gyda'r Apostolion eraill, a

chyda hwynt ar ddydd y Pentecost a dderbyniodd ddawn neillduol yr Yspryd Glân. Pa hyd yr arosodd efe yn Judea wedi hyn sydd anhyspys: dyweda yr haneswyr boreuol iddo fyned i bregethu i India, ac iddo gael ei goroni â merthyrdod yn Naddabar neu Naddever, dinas yn y wlad grybwylledig; ond y mae hyn yn cael ei wrthwynebu gan eraill, yn enwedig gan Heracleon, yr hwn a flagurodd yn yr ail ganrif, a'r hwn a ddyweda bod Matthew ym mhlith yr Apostolion y rhai ni ferthyrwyd.

Ystyrir Matthew y cyntaf o'r rhai a ysgrifenasant hanes yr Arglwydd Iesu Grist, a'i Efengyl ef a osodir flaenaf o'r dechreuad hyd yr awr hon gan holl athrawon y grefydd Gristionogol. Yr amser yr ysgrifenodd efe ei Efengyl sydd anhyspys; dyweda rhai ar ol Junius iddi gael ei hysgrifenu yn y flwyddyn 61; Dr. Hales yn y flwyddyn 63; ac eraill yn y blynyddau 41, 43, 48, a 57. Ymddengys bod Efengyl Matthew wedi cael ei hysgrifenu yn dra boreu, oblegid nid ydyw yn debygol i'r Cristionogion gael eu gadael yn hir heb hanes gwirioneddol am weinidogaeth yr Arglwydd Iesu Grist, swm a sylwedd yr athrawiaeth a bregethid iddynt. Mewn perthynas i'r iaith yn yr hon yr ysgrifenodd Matthew ei Efengyl, y mae dysgedigion yn dra gwahanol yn eu barnau; y mae llu o honynt yn barnu i'r Efengyl hon gael ei hysgrifenu yn yr iaith Hebraeg; eraill mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifenwyd hi; ac eraill iddi gael ei hysgrifenu yn yr ieithoedd Hebraeg a Groeg. Tra thebygol i Matthew ysgrifenu ei Efengyl yn yr iaith Roeg, oblegid yr iaith honno ydoedd y fwyaf gyffredin yn nyddiau ein Hiachawdwr; a chan ei bod wedi ei hamcanu er daioni i'r holl genhedloedd, ysgrifenwyd hi yn ddiau yn yr iaith a ddeallid oreu ganddynt.

Gyda golwg ar awdurdod Efengyl Matthew, diau ei bod dan ysprydoliaeth, ac mai Matthew ei hun a'i hysgrifenodd, yr hyn a gredid ac a gydnabyddid gan yr holl dadau boreuol yn oesau cyntaf y grefydd Gristionogol. Etto y mae rhai yn y dyddiau presennol wedi ammeu rhai o'r pennodau, ac yn haeru iddynt gael eu cyfleu yn yr Efengyl gan ddynion eraill. Y rhai a wadant genhedliad gwyrthiol yr Arglwydd Iesu Grist a fynnant dynnu y ddwy bennod gyntaf allan, oblegid, meddynt, nad ydynt yn perthyn i Efengyl Matthew; ond y mae gennym dystiolaethau anwadadwy eu bod yn perthynu i'r Efengyl dan sylw, a'u hysgrifenu hefyd gan Matthew, os efe ydoedd ysgrifenydd yr Efengyl.

Yn y lle cyntaf, y mae dechreuad y drydedd bennod, (*En de tais hemerais eceinais*—Ac yn y dyddiau hynny,) yn dangos yn amlwg bod rhyw beth wedi blaenori yr hyn y cyfeiria y geiriau crybwylledig am danynt; ac y mae mor amlwg bod eu cyfeiriad at ddiwedd yr ail bennod. Yn yr ail le, y mae yn deilwng o sylw, fod y ddwy bennod gyntaf o Efengyl Matthew i'w cael yn yr holl hen ysgrifeniadau sydd ar gael yn bresennol, ac y mae yr hen gyfieithadau oll heb un alleiriad. Y mae hyn yn milwrio yn effeithiol yn erbyn tybiadau y rhai a fynnant wadu urddas person yr Iesu mawr.

Dechreua Matthew ei Efengyl gyda llinach ein Harglwydd, yn ol y dull Iuddewig. Y llinach hon a rydd trwy ei dad tybiedig Joseph, gan ei chanlyn o Abraham i Dafydd, er dangos ei hawl i frenhiniaeth Juda. A chan yr ystyrid Bethlehem yn lle ei enedigaeth gan yr

Iuddewon, crybwylla yr Efangylwr yn neillduol am hynny, gan ddangos cywirdeb cyflawniad y prophwydoliaethau, ac mai yr Iesu ydoedd y Messia addawedig.

Cynnwysa Efengyl Matthew wyth ar hugain o bennodau, a 1071 o adnodau, a gellir eu rhannu yn bedair rhan.

RHAN I. A rydd hanes babandod yr Arglwydd Iesu Grist.

Dosp. 1. Llinach yr Arglwydd Iesu. Pen. i. 1—17.
2. Genedigaeth Crist. Pen. i. 18—25.
3. Addoliad y Magi, a llofruddiaeth y plant ym Methlehem a'i chymmydogaeth. Pen. ii.

RHAN II. A gynnwysa ymadroddion a gweithredoedd Ioan Fedyddiwr, mewn ffordd o barottoad i weinidogaeth gyhoedd ein Harglwydd Iesu Grist. Pen. iii. iv. 1—11.

Dosp. 1. Pregethiad Ioan Fedyddiwr, a bedyddiad ein Harglwydd Iesu Grist ganddo. Pen. iii.
2. Profedigaethau Crist yn yr anialwch. Pen. iv. 1—11.

RHAN III. A rydd hanes am ymadroddion Crist a'i weithredoedd yn Galilea, trwy y rhai y profai mai efe ydoedd y Messia. Pen. iv. 12—25.

Dosp. 1. Crist yn myned i Galilea, yn galw Pedr, Andreas, a Iago, ac yn gwneuthur amryw wyrthiau mewn ffordd o iachau y bobloedd. Pen. iv. 12—25.
2. Ei bregeth ar y mynydd. Pen. v. 6, 7.
3. Hanes amryw wyrthiau a gyflawnwyd gan Grist, a galwad Matthew. Pen. viii. a ix.
4. Gorchymmyn Crist i'w apostolion, y rhai a anfonodd efe i bregethu i'r Iuddewon. Pen. x.
5. Effeithiau gweinidogaeth a gwyrthiau Crist. Pen. xi—xvi.
6. Ymddiddanion a gweithredoedd Crist, mewn perthynas uniongyrchol â'r apostolion. Pen. xvi—xx.

RHAN IV. Hanes dioddefiadau ac adgyfodiad Crist. Pen. xx—xxviii.

Dosp. 1. Ymddiddanion a gwyrth Crist ar ei ffordd i Jerusalem. Pen. xx.
2. Ei helyntion yn Jerusalem hyd ei ddioddefaint. Pen. xx —xxvi.
3. Ei helyntion ar Sabbath y Pasg. Pen. xxvii.
4. Yr helyntion wedi ei adgyfodiad. Pen. xxviii.

Heblaw Ioan, cafodd Matthew y cyfleusdra i ysgrifenu hanes bywyd yr Arglwydd Iesu Grist, yn ol trefn digwyddiadau ei fywyd. Ei ddull yn ysgrifenu sydd oleu iawn, ac y mae wedi bod yn ofalus neillduol yn ei adroddiadau o ymddiffyniadau ei Feistr yn wyneb y gwaradwyddiadau a fwrid arno gan ei elynion. O'r holl efangylwyr efe yn unig a roddodd hanes o'r darluniad a rydd yr Arglwydd Iesu o'r farn fawr; ac y mae yr hanes crybwylledig yn effeithiol uwchlaw pob peth.

# YR EFENGYL YN OL SANT MARC.

Nid oedd yr efangylwr Marc yn apostol nac yn gydymaith i'r Arglwydd Iesu Grist yn amser ei weinidogaeth, er bod Epiphanes ac eraill o'r tadau yn haeru ei fod yn un o'r deg disgybl a thrugain. Yr hyn yr ydym ni yn ei ddysgu o'r Testament Newydd mewn perthynas iddo ydyw, ei fod yn nai fab chwaer i Barnabas, Col. 4. 10. ac yn fab i Mair, yn nhŷ yr hon yr ymgynnullai yr apostolion a'r Cristionogion cyntefig yn fynych yn Jerusalem. Ei enw Hebraeg oedd Ioan, a meddylia Michaelis iddo fabwysiadu yr enw Marc pan adawodd efe Jerusalem, er pregethu ym mhlith y cenhedloedd. Oddiwrth waith Pedr yn ei alw yn fab, yn ei epistol cyntaf, pen. 5. 13. y mae rhai yn meddwl iddo gael ei ddychwelyd i'r ffydd drwy weinidogaeth Pedr; a phan ryddhawyd Pedr ym mlwyddyn ein Harglwydd 44, yr hyn a adroddir yn Act. 12. 12. aeth Marc o Jerusalem gyda Paul a Barnabas drwy y gwledydd er gweini iddynt; ond gwrthododd fyned gyda hwynt drwy eu holl deithiau, a dychwelodd i Jerusalem. Wedi hynny yr ydym yn cael Marc gyda Paul a Barnabas yn Antioch, ac yn barod i fyned gyda hwynt i'w teithiau. Aeth gyda Barnabas i Cyprus y tro hwn, Act. 15. 37. ac wedi hynny aeth gyda Timotheus i Rufain, ar ddymuniad neillduol Paul, 2 Tim. 4. 11. O Rufain y mae yn debygol iddo fyned i Asia, o ba le y dychwelodd yn ei ol i Rufain; a meddylir mai yma yr ysgrifenodd ac y cyhoeddodd ei Efengyl. Y pethau crybwylledig mewn modd byr a ddywedir am hanes Marc gan dadau canrifoedd cyntaf y grefydd Gristionogol.

Mai Marc ydoedd awdwr yr efengyl a elwir ar ei enw, a brofir drwy gydsyniad y Cristionogion cyntefig, ac yn neillduol Papius, Justin Martyr, Irenius, Origen, ac eraill. Eithr fel y mae wedi digwyddo i rannau eraill o'r Ysgrythyrau, ac yn wir i'r holl Ysgrythyrau hefyd, y mae rhai wedi ammeu rhyw rannau o Efengyl Marc, yn enwedig y deuddeg adnod olaf o'r unfed bennod ar bumtheg; ond y maent i'w cael yn y rhan amlaf o'r hen ysgrifeniadau. Y mae ansicrwydd mawr gyda golwg ar yr amser pan ysgrifenwyd yr Efengyl hon. Caniatteir gan yr holl hen awduron i Marc ei hysgrifenu yn Rhufain, a meddylia rhai mai ar archiad Pedr ac mai o enau Pedr yr ysgrifenodd hi; a thybir iddi gael ei hysgrifenu rhwng y blynyddau 56 a 65. Y mae yn dra amlwg oddiwrth Marc 16. 20. nad ysgrifenodd ei Efengyl hyd nes oedd yr Apostolion wedi ymwasgaru er pregethu ym mhlith y cenhedloedd. Tybir mai ar ddymuniad amryw Gristionogion y cymmerodd efe mewn llaw y gorchwyl o ysgrifenu; ac wedi iddo gyflawni y gorchwyl, iddo draddodi y cyfansoddiad iddynt. Ymddengys i Marc fwriadu ei Efengyl yn bennaf i'r Cenhedloedd, oblegid y mae yn fynych yn rhoddi deongliadau, y rhai ni fuasent yn angenrheidiol pe i'r Hebreaid yr ysgrifenasai efe ei Efengyl. Iddo ei hysgrifenu yn yr iaith Roeg sydd amlwg, oblegid dyweda farn yr holl hynafiaid, oddieithr

ychydig o Babyddion, y rhai a haerent iddo ei hysgrifenu yn y Lladinaeg. Cynnwysa Efengyl Marc un ar bumtheg o bennodau, y rhai a ellir rannu yn y wedd ganlynol:—

RHAN I. Yr helyntion o fedydd Crist, hyd oni ddechreuodd efe weinidogaethu yn gyhoeddus. Pen. i. 1—13.

II. Ymadroddion a gweithredoedd Crist hyd ei fyned i fynu i Jerusalem erbyn y pasg diweddaf. Pen. i—x.

III. Dioddefaint, marwolaeth, ac adgyfodiad Crist. Pen. xi—xvi.

Oddiwrth debygoliaeth Efengyl Marc i Efengyl Matthew, tybia rhai i Marc gyfansoddi o Matthew. Haerai Augustine mai felly y bu, ac y mae amryw o dduwinyddion diweddar o'r un farn ag ef; ond y mae hyn yn hollol groes i farn yr hynafiaid, ac y mae yn amlwg hefyd bod Marc yn amrywio oddiwrth Matthew gyda golwg ar drefn amser, ac hefyd yng nghyflead ei hanes. Y mae Marc yn fyr iawn yn ei hanes am Grist wedi ei adgyfodiad; ond pe buasai wedi cymmeryd ei Efengyl o ysgrifen Matthew, diau y rhoddasai yr hanes yn gyflawn.

## YR EFENGYL YN OL SANT LUC

MEWN perthynas i'r efangylwr Luc, nid oes gennym ond ychydig o wybodaeth sicr; ond yr hyn a adroddir am dano yn yr Ysgrythyrau a chan yr ysgrifenwyr boreuol cyntefig, ydynt y pethau canlynol. Yn ol Eusebius, yr oedd Luc yn enedigol o Antioch, wrth ei gelfyddyd yn feddyg, ac yn gydymaith neillduol i'r apostol Paul. Meddylia Dr. Lardner ac eraill mai Iuddew ydoedd; a meddylia Origen, Epiphanius, ac eraill, ei fod yn un o'r deg disgybl a thrugain. Yr oedd Michaelis o'r farn mai cenedl-ddyn ydoedd, oddiwrth yr hyn a ddywedir gan Paul yn Col. 4. 10, 11, 14. Ymddengys nad ydoedd Luc yn llygad-dyst o weithredoedd yr Arglwydd Iesu Grist. Tra thebygol mai cenedl-ddyn ydoedd Luc, ond iddo yn ieuangc gofleidio y grefydd Gristionogol. Ymddengys bod ei wybodaeth yn ehang yn holl ddosparthiadau y grefydd Iuddewig; a'i phurdeb ac ardderchawgrwydd ei iaith a awgryma iddo ddeillio oddiwrth rieni cenhedlig. Y tro cyntaf y crybwyllir am yr efangylwr hwn yn y Testament Newydd sydd yn ei hanes ef ei hun am Weithredoedd yr Apostolion. pen. 16. 10, 11. Yr ydym yno yn ei gael gyda Paul yn Troas; oddi yno aeth gydag ef i Jerusalem, a arosodd yn ei holl drallodion gydag ef yn Judea, ac a hwyliodd yn yr un llong ag ef pan anfonwyd Paul yn garcharor o Cæsarea i Rufain, lle yr arosodd am y ddwy flynedd y carcharwyd Paul yno. A chan na chrybwylla un o'r tadau boreuol i Luc ddioddef merthyrdod, tebygol iddo farw o farwolaeth naturiol.

Mewn perthynas i'r amser yr ysgrifenwyd yr efengyl hon, y mae

barnau dysgedigion yn wahanol. Tybia Dr. Owen, ac eraill, i Luc ei hysgrifenu yn y flwyddyn 53; a Jones, Michaelis, Lardner, ac yn wir y nifer amlaf o'r beirniaid ysgrythyrol, a farnant i'r Efengyl hon gael ei hysgrifenu naill ai yn y flwyddyn 63 neu 64. Y mae yn anhawdd iawn penderfynu y lle yn yr hwn yr ysgrifenwyd yr Efengyl hon; Dr. Lardner, wedi ystyried yr amryw farnau, a dybiai iddi hi a Gweithredoedd yr Apostolion gael eu cyfansoddi, neu o leiaf gael eu cyhoeddi yng ngwlad Groeg, i'r hon wlad yr aeth yr apostol wedi iddo ymadael â Paul. Ysgrifenodd Luc ei Efengyl er lleshad y Cristionogion a'r dychweledigion cenhedlig, o leiaf cadarnheir hyn gan yr holl dadau boreuol; ac oddiwrth waith yr efangylwr yn cyflwyno ei Efengyl i un o'r dychweledigion Iuddewig, tebygol ei fod wedi ei hamcanu yn neillduol i'r Cenhedloedd. Ei amcan wrth ysgrifenu ei Efengyl ydoedd rhoddi hanes gwirioneddol am ein Harglwydd Iesu Grist, er lleshad i'r eglwys, yn neillduol i'r eglwys ym mhlith y Cenhedloedd. Cynnwysa bedair ar hugain o bennodau, y rhai a rennir gan Rosenmuller i bump o raniadau.

Rhan I. A gynnwysa hanes genedigaeth Crist, ynghyd â'r amgylchiadau blaenorol, cyd-fynedol, a chanlynol i'w enedigaeth. Pen. i. ii. 1—10.

Rhan II. A gynnwysa hanes neillduol am fabandod ein Harglwydd Iesu Crist. Pen. ii. 41—52.

Rhan III. A gynnwysa weinidogaeth Ioan Fedyddiwr, a bedydd yr Arglwydd Iesu Grist. Pen. iii.

Rhan IV. A gynnwysa ymddiddanion, gwyrthiau, a gweithredoedd Iesu Grist yng nghorph tair blynedd ei weinidogaeth. Pen. iv—ix.

Rhan V. A gynnwysa hanes taith ddiweddaf ein Hiachawdwr i Jerusalem, ynghyd âg amgylchiadau ei ddioddefaint, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, a'i esgyniad i ogoniant. Pen. ix. 51—62. a x. 1—24.

## YR EFENGYL YN OL SANT IOAN.

Ioan, yr Efangylwr a'r Apostol, ydoedd fab Zebedeus, pysgottwr o ddinas Bethsaida, yn ymyl môr Galilea, ac yr ydoedd hefyd yn frawd i Iago yr hynaf. Er mai pysgottwr ydoedd Zebedeus, ymddengys ei fod mewn amgylchiadau cysurus, oblegid yr oedd yn berchennog ar long, a chanddo weision cyflog. Marc 1. 20. Ymddengys yn dra thebygol bod Ioan a'i frawd Iago yn hyddysg yn Ysgrythyrau yr Hen Destament, ac fel yr Iuddewon yn gyffredinol, yn disgwyl am ymddangosiad y Messiah, ac mai teyrnas dymhorol fyddai y deyrnas a sefydlid ganddo ef. Ni chrybwylla Ioan am ei alwedigaeth ei hun i'r apostoliaeth, ond dywedir gan y tri efangyl-

wr arall i hyn gymmeryd lle pan ydoedd efe a'i frawd Iago yn pysgotta ar fôr Galilea. Dyweda Marc, pan grybwylla ac yr enwa y deuddeg apostol, am Iago ac Ioan, iddynt gael eu cyfenwi gan ein Harglwydd, Boanerges, yr hwn enw a arwydda, Meibion y Daran. Rhoddwyd iddynt y cyfenw hwn y mae yn debygol, nid am fod dim yn ddychrynllyd ynddynt, ond i'r enw gael ei roddi iddynt, fel y sylwa Dr. Lardner, mewn ffordd brophwydoliaethol, i arwyddo eu gwrolder yng nghyhoeddiad gwirioneddau yr efengyl. Er pan alwyd Ioan a'i frawd i ganlyn Crist, hwy a'u dilynasant mewn ffyddlondeb mawr; gwrandawsant ar ei ymadroddion, a buont yn llygaid-dystion o'i wyrthiau a'i weithredoedd nerthol, a gwnaed hwynt yn apostolion gan Ben yr Eglwys.

Anhawdd gwybod pa beth ydoedd oedran Ioan pan alwyd ef i ganlyn yr Arglwydd. Tybia Dr. Lardner nad oedd yr un o'r apostolion uwchlaw deg ar hugain oed pan bennodwyd hwynt i'r apostoliaeth. Yr oedd Ioan yn wrthddrych neillduol o sylw yr Arglwydd, a sonir am dano fel y disgybl anwyl, a'r disgybl yr hwn yr oedd yr Iesu yn ei garu. Yr oedd efe yn bresennol gyda'r Iesu mewn rhai mannau, lle nid oedd yr holl apostolion wedi cael caniattad i ddyfod. Cymmerwyd Ioan gan wendid unwedd a'r apostolion eraill, pan ydoedd ein Hiachawdwr yn ei wasgfa ddiweddaf, ond ymwrolodd, ac efe yn unig o'r holl apostolion a'i dilynodd i'r groes, ac a fu yn dyst o'i farwolaeth ar Galfaria. Yr oedd Ioan hefyd yn bresennol ar wahanol ymddangosiadau Crist wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, ac yr oedd pob peth yn ei wneuthur yn un tra addas i ysgrifenu hanes yr Arglwydd a'r Iachawdwr.

Yn un o gyfeillachau Crist gyda'i apostolion wedi ei adgyfodiad, rhag-ddywedodd y gorfucheddai yr Apostol hwn ddinystr Jerusalem, ac arwyddodd i Pedr mewn ymadroddion tywyll, y byddai iddo gael ei groeshoelio. Wedi esgyniad Crist a thywalltiad yr Yspryd Glân, daeth Ioan i fod yn un o apostolion pennaf yr enwaediad, gan weinidogaethu yn Jerusalem a'i chyffiniau; ac yr oedd yn bresennol yn y cynghor a gynnaliwyd yn y ddinas grybwylledig o ddeutu y flwyddyn 49 neu 50. Dywedir gan yr hen haneswyr eglwysig i Ioan fyned tuag Asia Leiaf wedi marwolaeth Mair, mam yr Arglwydd, a sefydlodd saith o eglwysi mewn saith o wahanol ddinasoedd, ond yn Ephesus yr oedd ei arosfa bennaf. Alltudiwyd ef oddi yno i ynys Patmos, tua therfyn teyrnasiad Domitian, ym mha le yr ysgrifenodd efe lyfr y Datguddiad. Wedi iddo gael ei ryddhau o'i alltudiaeth pan esgynodd Nerva i'r orsedd ymherodrol, dychwelodd i Ephesus, lle yr ysgrifenodd ei efengyl a'i epistolau. Bu farw yn y ganfed flwyddyn o'i oedran, ac ynghylch y flwyddyn o oed Crist 100, a'r drydedd flwyddyn o deyrnasiad Trajan.

Er y cydnabyddir mai yn Ephesus yr ysgrifenodd Ioan ei efengyl, etto y mae yr amser yr ysgrifenodd efe hi yn ansicr. Tybia rhai iddo ei hysgrifenu cyn dinystr Jerusalem; ond y nifer amlaf o'r hen dadau boreuol oeddynt o'r farn mai wedi dinystr prif-ddinas yr Iuddewon yr ysgrifenwyd yr efengyl hon gan Ioan. Y mae yr holl efengyl yn brawf bod ei hysgrifenydd yn llygad-dyst o'r ymadroddion a'r amgylchiadau a adroddir. Dyweda Ioan mai ei amcan yn ysgrifenu ei efengyl ydoedd profi mai yr Iesu ydoedd y Messiah,

mab Duw, fel y gallem ni drwy gredu, gael bywyd yn ei enw ef. Heblaw y diben hwn, dyweda Irenæus bod gan Ioan ddau ddiben arall wrth gyfansoddi ei efengyl, sef dymchwelyd heresiau Cerinthus a'r Nicolaiaid, ynghyd â gwneuthur yn hyspys rai amgylchiadau na chrybwyllwyd am danynt gan yr efangylwyr eraill.

Gyda golwg ar yr heresiau a wrthwynebir yn efengyl Ioan, gellir eu dosparthu yn dair rhan.

RHAN I. Yn cynnwys athrawiaethau gwrthwynebol i gyfeiliornadau Cerinthus. Pen. i. 1—18.

1. Mai Crist ydyw y Logos neu Air Duw.
2. Nad dau fod gwahanol ydyw y Logos a Monogenes, ond un person. Pen. i. 1—14.
3. Nad bod israddol ydyw Crist, neu y Logos, ond Duw.
4. Ei fod yn berffaith adnabyddus o'r Duw Goruchaf, am ei fod bob amser gydag ef yn y nefoedd.
5. Nad ydoedd efe i'w wahaniaethu oddiwrth y Creawdwr am mai efe ydyw Creawdwr yr holl fyd. Pen i. 3—10.
6. Nad ydyw bywyd a goleuni yn ysprydion neillduol a gwahanol, ond yr un a'r Logos, neu Grist; o ganlyniad, nad ydyw Crist, y Logos, y Bywyd, y Goleuni, a'r Unig-anedig oddiwrth y Tad, yn wahanol ysprydion, ond yr un Person Dwyfol.
7. Nad aeth unrhyw yspryd neillduol i mewn i Ioan Fedyddiwr o'r enw Goleuni, er mynegu iddo wybodaeth oruwch-naturiol o'r ewyllys ddwyfol, ond mai dyn yn unig ydoedd, ac er wedi ei ysprydoli, ei fod islaw Iesu Grist, ac yn rhag-flaenor iddo. Pen. i. 6, 8, 15.
8. Nad ydoedd y Duw Goruchaf yn hollol anadnabyddus cyn ymddangosiad Crist, oblegid bod dynion wedi derbyn y fath oleuni ar y pen hwn dan y gwahanol oruchwyliaethau y buont danynt, fel mai eu bai eu hunain ydoedd eu bod yn aros mewn anwybodaeth. Pen. i. 9, 10.
9. Nad pobl neillduol Duw israddol ydoedd yr Iuddewon, ond pobl i Grist ei hun, yr hwn ydoedd unig-anedig Fab Duw. Pen. i. 11.
10. I Fab Duw yng nghyflawnder yr amser gymmeryd natur ddynol, a dyfod yn ddyn.
11. I ddileu cyfraith Moses, yr hon ydoedd gysgod o ddaionus bethau i ddyfod, ac yn ei lle a ddygodd sylwedd i mewn, neu y gwir bethau a arwyddid gan y gyfraith. Pen. i. 17.
12. Nad oes mwy o hawl gan yr Iuddew i'r Person Dwyfol hwn, ac i'r breintiau a gafwyd trwyddo ef, na'r cenedl-ddyn, oblegid pwy bynnag a gredo ynddo ef, sydd yn dyfod yn blentyn i Dduw, a thrwy y mabwysiad hwn gwneir ef yn etifedd o'r nefoedd. Pen. i. 12, 13.

RHAN II. A rydd brofion o'r athrawiaethau blaenorol mewn dull hanesiol, Pen. i. 19.—xx. 29. fel yn gynnwysedig yn ymddiddanion Iesu Grist.

RHAN III. A gynnwysa hanes ysgrifenydd yr efengyl hon, a'i amcan yn ei hysgrifenu. Pen. xx. xxi.

Ymddengys yn amlwg i bob un a ddarllena efengyl Ioan gydag ychydig sylw, bod Ioan yn gadael braidd yn ddisylw yr hyn a grybwyllwyd gan yr efangylwyr eraill, a phan y sylwa, gwna hynny mewn modd byr. Dengys hyn bod hanes yr efangylwyr eraill yn wirioneddol, ac mai anfuddiol fyddai iddo ef eu crybwyll drachefn. Ynghylch dioddefaint, marwolaeth, ac adgyfodiad Crist, y mae gan Ioan ryw bethau neillduol iddo ei hun i'w ddywedyd, ac y mae wedi gadael pethau eraill heb gymmaint a'u crybwyll. Helaetha yn fawr ar yr ymadroddion a draddodwyd gan yr Arglwydd Iesu Grist, a gellir dywedyd, bod yr efengyl hon yn rhagori mewn melusderau nefol.

## HYNODION YR EFANGYLWYR.

### I. LLINACH CRIST.

RHODDWYD yr addewid yn foreu yr ymddangosai yr Arglwydd Iesu Grist yn y byd, er bod yn iechydwriaeth yr Arglwydd i'r rhai oll a gredent yn ei enw ef. Pan ymddangosodd y Messiah, yr oedd yn angenrheidiol anhepgorol i gael gwir brofion mai efe ydoedd y Crist, ac nid rhyw un arall; oblegid er gwyrthiau, nerthoedd, a rhyfeddodau, ni allasai neb wneuthur ei hun yn Fessiah, na'i ystyried yn wir Fessiah, oni allasai ddilyn ei achau drwy y llwyth a'r teulu y rhag-ddywedwyd am dano. Dywedwyd yn Eden am 'Had y wraig,' yr hwn ydoedd i fuddugoliaethu ar holl alluoedd y tywyllwch; ac yn yr addewid o hono torrodd y wawr o'r nefoedd ar ein byd, ac attaliwyd llifeiriant y dialeddau rhag ein hysgubo ymaith i golledigaeth dragywyddol. A chan fod yr holl Ysgrythyrau yn yr Hen Destament a'r Newydd yn dwyn eu tystiolaeth am y Person gogoneddus hwn, bu yr efangylwyr, o leiaf dau o honynt, yn dra gofalus mewn perthynas i'r linach berthynol iddo yn ol y cnawd, modd na byddai amheuaeth nad efe ydoedd Crist yr Arglwydd, a'r Brenin yr hwn ydoedd i deyrnasu yn dragywydd ar dŷ Jacob. Y mae rhyw debygoliaeth bod Adda ei hun yn disgwyl am ymddangosiad Had y wraig yn ei ddyddiau ef, er gwneuthur yr ymwared addawedig, ac uniawnu dyn i'w gysur blaenorol, a'r byd i'w sefyllfa gyntefig. Pan aned y mab cyntaf iddo, galwodd ef Cain, (meddiant,) am y meddyliai bod yr Had addawedig wedi dyfod, ac y rhoddid achos llawenydd tragywyddol iddo ynddo. Tebygol mai oblegid iddo gael ei siomi yn hyn y galwodd y mab nesaf, Abel, (gwagedd,) am nad ydoedd yn gweled arwyddion bod paradwys i gael ei hail sefydlu ar y ddaear. Erbyn i'r trydydd mab gael ei eni, ymddengys i Adda feddwl yn sicr mai efe ydoedd Had y wraig ei hun, neu mai o hono ef y deilliai, oblegid galwodd ei enw ef Seth, (yr hwn a osodwyd.) Ymddengys bod graddau o ysprYd prophwyd-

oliaeth wedi disgyn ar y patrieirch cyn y diluw, oblegid yn yr enwau a roddent ar eu cyntaf-anedigion, rhag-ddywedent bethau dyfodol, ac yr oedd y rhai hyn oll yn gyffion i'r Messiah. Seth, yn rhag-weled y gwyrni a gymmerai le mewn crefydd, a chynnydd drygau ar y ddaear, a alwodd enw ei fab, Enos, (galarus,) am y byddai agwedd pethau yn ei amser ef yn achos o ofid a galar i'r rhai a ofnent yr Arglwydd ac a rodient yn ei lwybrau ef. Fel y gwelir etto, yr oedd y gadwyn yn gyflawn o Adda hyd Noah, ac o Noah hyd Abraham, yr hwn a fwriadwyd gan Dduw i fod yn dad y ffyddloniaid, ac yn gyff i'r genedl enwoccaf fu ar y ddaear erioed. Galwyd hwn allan o Ur y Caldeaid, diogelwyd ef yn ei holl deithiau gan warcheidwadaeth neillduol yr Hollalluog Dduw, rhoddwyd iddo addewidion a'i gwnaethant i orfoleddu, a chafodd o bell weled dydd Crist, a llawenychodd yn wyneb y drem arno. Y nesaf yn y gadwyn ydoedd Isaac, a'r nesaf atto ef ydoedd Jacob, i'r hwn yr oedd deuddeg mab, ac o'i feibion, Judah a neillduwyd i fod yn llwyth brenhinol, o'r hwn nid ydoedd y deyrnwialen i ymadael, na deddfwr oddi rhwng ei draed, hyd oni ddeuai y Siloh, at yr hwn yr oedd y Cenhedloedd i ymgynnull.

Pan alwyd Dafydd oddiwrth braidd ei dad er bod yn frenin ar y llwythau etholedig, ac i fod yn offeryn yn llaw yr Arglwydd er dyrchafu Israel i fri ac anrhydedd mawr fel cenedl, rhoddodd yr Arglwydd arwyddion neillduol o'i foddlonrwydd a'i ewyllys da arno, gan addaw iddo na phallai ei had na'i lywodraeth byth, yr hyn a gynnwysai y Brenin Iesu a'i lywodraeth ysprydol, yr hon fyddai i gael ei sefydlu ar y ddaear. Gelwir Crist yn Llew o lwyth Juda, yn Wreiddyn Jesse, ac yn Fab Dafydd, oblegid ei berthynas neillduol â'r llwyth ac â'r teulu hwn. Rhoddir taflen o'r llinach berthynol i Iesu Grist, yn ol y ddau efangylwr, Matthew a Luc, gan ddangos cyssondeb y naill a'r llall o honynt.

DUW.

1. Adda.
2. Seth.
3. Enos.
4. Cainan.
5. Mahalaleel.
6. Jared.
7. Enoch.
8. Methuselah.
9. Lamech.
10. Noah.
11. Sem.
12. Arphacsad.
18. Selah.
14. Eber.
15. Peleg.
16. Reu.
17. Serug.
18. Nahor.
19. Terah.

} Yn hon y mae Luc yn dilyn y llinach ei hun, gan ddringo ugain gradd yn uwch na Matthew.

*Y pedair cenhedlaeth ar ddeg gyntaf.*

| | | |
|---|---|---|
| 1. 20. ABHAHAM. | | |
| 2. 21. Isaac. | | |
| 3. 22. Jacob. | | |
| 4. 23. Judah. | | |
| 5. 24. Pharez. | | |
| 6. 25. Hezron. | | |
| 7. 26. Aram. | } | Y ddau Efangylwr a gyd-ddilynant y linach hon, o ddisgyniad naturiol ein Hargl. Iesu Grist o Abraham i Dafydd. |
| 8. 27. Aminadab. | | |
| 9. 28. Nason. | | |
| 10. 29. Salmon. | | |
| 11. 30. Boaz. | | |
| 12. 31. Obed. | | |
| 13. 32. Jesse. | | |

14. 33. DAFYDD.

*Yr ail bedair cenhedlaeth ar ddeg.*

| Y mae Iesu Grist wrth y gyfraith yn etifedd i'r rhai hyn. | Deilliodd yr Arglwydd Iesu Grist wrth naturiaeth oddiwrth y rhai canlynol. |
|---|---|
| 1. Salomon. | 34. Nathan. |
| 2. Rehoboam. | 35. Mattatha. |
| 3. Abia. | 36. Menan. |
| 4. Asa. | 37. Melea. |
| 5. Josaphat. | 38. Eliacim. |
| 6. Joram. | 39. Jonan. |
| * Achasiah. | 40. Joseph. |
| Joas. | 41. Judah. |
| Amasiah. | 42. Simeon. |
| 7. Ozïas. | 43. Lefi. |
| 8. Joatham. | 44. Matthat. |
| 9. Achaz. | 45. Jorim. |
| 10. Ezecïas. | 46. Elïezer. |
| 11. Manasses. | 47. Jose. |
| 12. Amon. | 48. Er. |
| 13. Josïas. | 49. Elmodam. |
| † Jehoiachim. | 50. Cosam. |
| ‡14. Jechonïas. | 51. Adi. |
| | 52. Melchi. |
| | 53. Neri. |

* Ni chrybwyllir am Achasiah, Joas, nac Amasiah gan Matthew.

† Ni chrybwylla Matthew am Jehoiacim.

‡ Jer. 22. 30. "Ysgrifenwch y gwr hwn yn ddiblant;" a bu farw, fel y crybwyllir etto, yn ddiblant. A'r rhai a'i canlynasant nid oeddynt mewn gwirionedd yn blant naturiol iddo, ond ei etifeddion nesaf, a'r rhai a'i canlynasant yn ei awdurdod.

Darfu llinach Salomon gyda Jeconïas, a chyfrif o dad i fab; a'r awdurdod frenhinol a drosglwyddwyd i'r cyfneseifiaid nesaf, y rhai oeddynt,

1. Salathiel.
2. Pedaiah.
3. Zorobabel.

Wrth Salathiel mab Jeconïas, fel ei gelwir gan Matthew, y mae i ni ddeall ei etifedd nesaf; a'r Salathiel mab Neri a grybwyllir gan Luc ydoedd yn fab naturiol i Neri.

| Y mae Iesu Grist wrth y gyfraith yn etifedd i'r rhai canlynol. | Deilliodd yr Arglwydd Iesu Grist wrth natur o'r rhai canlynol. |
|---|---|
| 4. *Abihud. | 57. †Rhesa. |
| | 58. Joanna. |
| 5. Eliacim. | 59. Judah. |
| | 60. Joseph. |
| 6. Azor. | 61. Simei. |
| | 62. Mattathïas. |
| 7. Sadoc. | 63. Maath. |
| | 64. Nagge. |
| 8. Achim. | 65. Essi. |
| | 66. Naum. |
| 9. Elihud. | 67. Amos. |
| | 68. Mattathïas. |
| 10. Elïezer. | 69. Joseph. |
| | 70. Janna. |
| 11. Matthan. | 71. Melchi. |
| | 72. Lefi. |
| 12. Jacob. | 73. Matthat. |
| | 74. ‡Heli. |
| 13. Joseph. | 75. Mair. |

IESU GRIST,

Iachawdwr y byd, yn yr hwn y terfyna y drydedd bedair cenhedlaeth ar ddeg.

Gorphenodd teulu Salomon yn Jeconiah, yn ol dywediad y prophwydi, a gwnaed Zorobabel o deulu Nathan yn dywysog Judea. Ac yn awr y mae hawl Crist i orsedd Dafydd yn cael ei phrofi mewn dwy ffordd gan yr efangylwyr. Matthew a brofa ei hawl drwy y gyfraith, o Salomon, Jechonïas, Abihud, a Joseph; a Luc drwy ddeilliad naturiol o Mair, Heli, Rhesa, a Nathan, ac esgyna i Adda er profi mai Crist ydoedd yr Emmanuel, yr Had y dywedwyd am

* Cyfrifa Matthew gyndadau Joseph yn y llinach hon.

† Cyfrifa Luc gyndadau Mair yn y llechres hon.

‡ Gelwir Joseph gan Luc yn fab Heli, oblegid ei fod yn fab-yng-nghyfraith iddo.

dano yn Eden. Ond i'r diben i ddangos cyssondeb pethau ym mhellach, y mae yn angenrheidiol dangos pa fodd y daeth Salathiel i fod yn fab Jechonïas drwy y gyfraith, oblegid gelwir ef gan Luc yn fab Neri. Dyweda Matthew, pen. 1. 12. i Jechonias genhedlu Salathiel wedi y symmudiad i Babilon. Eithr y mae yn amlwg yn ol dywediad Jeremi, pen. 22. 30. i Jechonïas farw yn ddiblant ym Mabilon; ac yn wyneb yr amgylchiad hwn, i'w awdurdod gael ei throsglwyddo i'r etifedd nesaf, yr hwn ydoedd Salathiel. Yr oedd hyn yn hollol gysson â'r gyfraith, oblegid yn Num. 27. 8—11. dywedir, "Pan fyddo marw un, ac heb fab iddo, troswch ei etifeddiaeth i'w ef ferch. Ac oni bydd merch iddo, rhoddwch ei etifeddiaeth i'w frodyr. Ac oni bydd brodyr iddo, yna rhoddwch ei etifeddiaeth ef i frodyr ei dad. Ac oni bydd brodyr i'w dad, yna rhoddwch ei etifeddiaeth ef i'w gâr nesaf o'i dylwyth, a meddianned hwnnw hi; a bydded hyn i feibion Israel yn ddeddf farnedig, megis y gorchymmynodd yr Arglwydd wrth Moses." Yn y sefyllfa grybwylledig yn union-gyrchol yr oedd Jechonïas, heb fab, heb ferch, heb frawd, ac heb ewythr, neu frawd ei dad, a chyhoeddwyd ef gan Jeremi yn ddi-blant. Yn hollol yn ol y gyfraith, cyhoeddwyd Salathiel, ei dras agosaf, yn ganlyniedydd iddo yn ei awdurdod, ac yn yr ystyr hwnnw gelwir ef yn fab Jechonïas, er mai mab naturiol Neri ydoedd Salathiel, wedi ei wneuthur fel hyn yn fab Jechonïas; dywedir am ei ganlyniedydd yntau, ei fod yn fab iddo, sef Zorobabel, er mewn gwirionedd mai ŵyr Salathiel ydoedd Zorobabel, a mab Pedaiah, yn ol 1 Chron. 3. 19. Bu Pedaiah farw ym Mabilon, cyn i'w dad gael ei fabwysiadu; ac wedi i Zorobabel gael ei wneuthur yn dywysog y bobl, gelwir ef yn fab Salathiel, ac oblegid hyn ni chrybwyllir am Pedaiah yn llyfrau Ezra, Nehemiah, a Haggai, ac y mae yr efangylwyr wedi dilyn yr un distawrwydd yn ei gylch. Fel y sylwyd yn barod, ni esgynna Matthew yn ei linach yn uwch nag Abraham, i'r hwn y gwnaed yr addewidion mewn modd neillduol, sef y bendithid holl dylwythau y ddaear yn ei had ef. Yn awr, yn Isaac y galwyd yr had, ac yn Judah y sefydlwyd y frenhiniaeth; a chyhyd ag y cadwodd y llwythau o fewn rheolau y nefoedd, yr oedd y frenhiniaeth hon yn ogoniant yr holl greadigaeth. Eithr pan ddymchwelwyd crefydd, diflannodd gogoniant y frenhiniaeth, a syrthiodd ei hanrhydedd hyd lawr; ac o ychydig i ychydig, syrthiodd ei thywysogion i anenwogrwydd; a thra yr oedd tywysog Idumeaidd ar yr orsedd, yr oedd etifedd y goron yn saer tlawd yn Israel.

Diben Matthew, fel y crybwyllwyd, yn ysgrifenu ac yn nodi llinach y Gwaredwr, ydoedd profi mai y brenin a addawyd i Abraham, ac a gaed gan y doethion, ydoedd Iesu, yr hwn a aned yn Bethlehem, ei fod o Judah a Dafydd, ac yn fab Salomon drwy ddilyniad, ond nid yn union-gyrchol o waed ei ganlynwyr annuwiol. Amcan Luc ydoedd profi i Dduw ymddangos yn y cnawd, yn ol yr addewid a wnaed ym Mharadwys, yr hwn a gredwyd ynddo gan y tadau, y dywedwyd am dano gan y prophwydi, ac yng nghyflawnder yr amser a wnaethpwyd o wraig, ac a welwyd ym mhlith dynion. Yn ol Matthew, y mae yn amlwg bod yr Arglwydd Iesu Grist yn etifedd gorsedd Dafydd drwy hawl gyfreithlon, sef mai efe ydoedd y gwir frenin drwy y gyfraith. Luc yntau a brofa ddynoliaeth y Gwaredwr

drwy olrhain ei linach o Mair hyd Adda, y dyn cyntaf. Dangosir y Messiah gan y ddau efangylwr yn ei natur ac yn ei swyddau, a gwneir yn amlwg ganddynt mai efe ydyw yr Emmanuel, Duw gyda ni, a bod dymuniant yr holl genhedloedd wedi ymddangos, ac mai iddo ef fel gwir etifedd y perthynai coron a gorsedd Dafydd, ac iddo hefyd lyngcu y deyrnas a'r llywodraeth yn dragywydd iddo ei hun. Gyda golwg ar Iesu Grist fel etifedd coron Dafydd, gellir sylwi, i Dduw addaw, ym mhlith pethau eraill, i Abraham deyrnas ddaearol, yr hon a feddiennid gan ei hiliogaeth. Gwnaed addewid i Abraham y byddai i holl wlad Canaan gael ei mheddiannu gan ei had ef; ac yn amser da Duw sefydlwyd y deyrnas hon yn nheulu Dafydd, ac a barhaodd am oesau yn y teulu dywededig, weithiau mewn llwyddiant ac ardderchawgrwydd, a phryd arall yn isel ac mewn gwarth. Pan ymddangosodd Crist, disgwyliai y rhai a gredent ynddo, am amser maith, mai teyrnas dymhorol a sefydlid ganddo, a hyn oedd disgwyliad yr holl Iuddewon pan ddeuai y Messiah. Ac am ei fod yn wir etifedd gorsedd Dafydd, gelwir ef yn fynych, "Brenin yr Iuddewon."

---

## II. AMSER GENEDIGAETH CRIST, &c.

Y MAE gwahanol farnau gan wahanol amseryddion mewn perthynas i'r amser o ymddangosiad ein Harglwydd Iesu Grist yn y cnawd; ond cyn dyfod i sylwi yn union-gyrchol ar yr amser dywededig, nid anfuddiol fyddai gwneuthur rhai crybwylliadau gyda golwg ar y prif-nodau, neu yr amserau hynod oddiwrth ba rai y cyfrifai amrywiol o'r gwledydd dwyreiniol a gorllewinol eu blynyddoedd.

Gellir crybwyll yn flaenaf am yr Olympiadau. Cynnwysai pob Olympiad yr yspaid o bedair blynedd, ac yn ol y dull hwn o gyfrif yr oedd deg Olympiad yn cynnwys deugain mlynedd, ugain Olympiad bedwar ugain mlynedd, &c. Cafodd y dull hwn o gyfrif amser ei enw oddiwrth Olympia, dinas enwog yn Peloponnesus, yng ngwlad Groeg. Yng nghymmydogaeth Olympia y cedwid chwareuyddiaethau enwog gan y Groegiaid, at y rhai y cyfeirir yn fynych gan yr Apostol Paul yn neillduol yn ei epistolau. Cynniweiriai amryw o holl daleithiau Asia braidd i Olympia ar amserau y chwareuon, y rhai a gedwid ar ddechreuad pob pum' mlynedd. Ymddengys bod y flwyddyn gyntaf o'r Olympiad yn cyfatteb i'r flwyddyn 776 cyn Crist; ac am oesoedd lawer cyfrifai y Groegiaid eu blynyddoedd wrth yr Olympiadau.

Y prif-nod nesaf a ellir grybwyll, oddiwrth yr hwn y cyfrifid amser a blynyddoedd, yn neillduol gan y Rhufeiniaid, ydoedd er adeiladu neu sylfaenu dinas Rhufain. Mewn perthynas i'r cyfrif hwn o sylfaeniad y ddinas ddywededig, y mae yn ddau gyfrifiad. Yn ol y *Fusti Capitolini*, y llyfr yr hwn a gynnwysai gofrestr o amseroedd a gedwid yn y Capitol, yn Rhufain, sylfaenwyd dinas Rhufain yn y flwyddyn 752 cyn geni yr Arglwydd Iesu Grist, a'r hon ydoedd yr ail flwyddyn o'r chwechfed Olympiad. Dyweda yr

hanesydd Varro mai yn y flwyddyn 753 cyn geni Crist y sylfaenwyd dinas Rhufain, a chyfrif Varro a gymmeradwyir yn fwyaf gan haneswyr ac amseryddion. Yn ol cyfrif yr hanesydd hwn, y flwyddyn gyntaf o enedigaeth Crist, yn ol y cyfrif cyffredin, oedd y flwyddyn 754 er sylfaenu dinas Rufain. Y Rhufeiniaid a'r gwledydd dan eu hawdurdod a'u llywodraeth a arferent gyfrif eu blynyddoedd o'r prif-nod crybwylledig. Pan ddiwygiwyd y Calendar Rhufeinig gan Julius Cæsar, yn y flwyddyn 45 cyn geni Crist, yr oedd amryw ysgrifenwyr a haneswyr yn cyfrif y blynyddoedd er y diwygiad a wnaed gan Julius Cæsar, ac yn ol yr hen ddull hefyd.

Prif-nod arall o gyfrifiad amser ydoedd eiddo Nabonasar, neu Belesis, yr hwn yn gyntaf a fu yn llywodraethwr Babilon; ac wedi llwyddo mewn gwrthryfel yn erbyn ei arglwydd, gwnaed ef yn frenin Babilon, Caldea, ac Arabia; ac efe ydyw y Baladan, tad Merodac-Baladan, yr hwn a anfonodd gennadwyr at Hezeciah, brenin Judah. Dechreua prif-nod Nabonasar gyda y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad, yr hon ydoedd y flwyddyn 747 cyn geni Crist. Blynyddoedd o 365 o ddyddiau ydoedd amseriad Nabonasar; a chan na wneid cyfrif o'r oriau ychwanegol, yr oedd diwrnod yn cael ei ennill bob pedair blynedd oblegid y gwall hwn. Amseriad Nabonnasar a arferid gan Ptolemy, i'r hwn yr ydym yn ddyledus am lawer o hyfforddiadau er iawn ddeall amseryddiaeth.

Amseriad y Seleucidæ, yr hwn a ddechreuwyd yn amser Seleucus Nicator, a sefydlwyd ynghylch y flwyddyn 312 cyn geni Crist. Defnyddiwyd yr amseriad hwn am lawer iawn o oesoedd drwy holl wledydd y dwyrain, gan Baganiaid, Iuddewon, Cristionogion, a Mahometiaid. Arferir yr amseriad hwn etto gan yr Arabiaid a rhai Iuddewon. Pennodir amserau yn ol yr amseriad hwn yn llyfrau y Maccabeaid ac yn hynafiaethau Iuddewig Josephus.

Amseriad Dioclesian, neu y merthyron, a achoswyd oblegid y dinystr a'r difrod ofnadwy a wnaed gan yr ymerawdwr Dioclesian ar y Cristionogion, yr hwn yn anghenfilaidd a gyfododd y degfed erledigaeth yn erbyn eglwysi y saint. Arferwyd yr amseriad hwn gan y Cristionogion boreuol er cadw coffadwriaeth o'r anrheithiad a'r gelanedd drychinebus a wnaed ar y Cristionogion gan yr ymerawdwr creulon crybwylledig. Dechreua yr amseriad hwn yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Dioclesian, yr hon ydoedd y flwyddyn 284 o oed Crist. Parhawyd i gyfrif yn ol yr amseriad hwn am ynghylch 247 o flynyddoedd, sef hyd y flwyddyn o oed Crist 532, pryd y rhoddwyd amseriad newydd i'r Cristionogion.

Yr achos o ddechreu cyfrif blynyddoedd o enedigaeth Crist a roddir gan Dionysius Exiquis, Scythiad o genedl, a llywydd Mynachlog yn Rhufain, mewn llythyr at un Petronius, yr hwn ydoedd esgob:—"Wedi gorphen y flwyddyn 247, ac yn nechreu y flwyddyn 248 o amseriad Dioclesian, nid oeddwn foddlawn i gadw coffadwriaeth am ormesdeyrn creulon ac erledigaethus; ond dewisais yn hytrach gyrchu yn ol at amser cnawdoliaeth ein Harglwydd Iesu Grist, i gyfrif y blynyddoedd oddiyno, fel y byddai i ddechreuad ein gobaith gael ei wneuthur yn fwy hyspys i ni; ac fel y byddai i achos adferiad dynolryw, sef dioddefaint ein Prynwr, ymddangos yn fwy eglur." Yn awr, ganed yr Arglwydd Iesu Grist ynghylch y

flwyddyn pedair mil a phedair o oed y byd, yn ol barn Archesgob Usher; a'r chweched flwyddyn ar hugain o deyrnasiad Augustus Cæsar, ymerawdwr Rhufain; ac yn y drydedd flwyddyn ar ddeg ar hugain o deyrnasiad Herod, a elwir Herod Fawr, brenin Judea. A'r farn gyffredin ydyw, fod cyfrifiad yr amser a gedwir yn ein plith ni yn dechreu ychydig fisoedd yn fwy na phedair blynedd i'r amser cywir y ganed ein Harglwydd Iesu Grist. Byddai yr offeiriaid Iuddewig bob amser yn dechreu eu gweinidogaeth gyhoeddus pan yn ddeg ar hugain oed, Num. 4. 3; o ganlyniad y mae gennym sail i farnu i Ioan Fedyddiwr ddechreu ei weinidogaeth tua'r un oedran ag y gwnaeth ein Harglwydd ei hun. Luc 3. 23. Dyweda Luc am y flwyddyn y dechreuodd Ioan Fedyddiwr weinidogaethu, mai y bumthegfed flwyddyn o deyrnasiad Tiberius, yr ymerawdwr Rhufeinig, ydoedd. Luc 3. 1, 2; ac y mae yn dra sicr mai chwech mis oedd ein Harglwydd yn ieuangach na Ioan. A chymmeryd fod ein Harglwydd heb ei eni hyd yr amser cyffredin, ni aned ef dan yr unfed flwyddyn ar ddeg ar hugain o deyrnasiad Augustus, ac o ddeutu tair blynedd wedi marwolaeth Herod; yr hyn a wrthddywedai Matthew yn pen. 2. 1. Meddylir i'r cyfryw gamgymmeriad ddyfod i ymarferiad am na chyfrifid yr amser o'r dechreuad, yn yr eglwys Gristionogol, yn ol y dull presennol. Tybir i Dionysius yr Abad wneuthur y camgymmeriad cyntaf, ac i'r lleill ei ddilyn yn hyn. Dechreuodd yr Abad gyfrif ei amser o'r pryd y daeth Tiberius i feddiant unigol o'r orsedd; a'r efangylwr Luc yntau a ddechreua ei bumtheg mlynedd o'r amser y daeth Tiberius i fod yn gydfeddiannydd ag Augustus, yr hyn ydoedd ychydig fisoedd yn fwy na thair blynedd yn nes yn ol na phan ddechreuodd Dionysius gyfrif ei amser. Dyweda Dr. Hales, i Beda ein cydwladwr, yr hwn a ddygodd y drefn hon o gyfrif yr amser gyntaf i Frydain, fyned flwyddyn yn nes yn ol na Dionysius yr Abad, yr hyn sydd yn gwneuthur y gwahaniaeth i gyd yn fwy na phedair blynedd, ac y mae y gwall hwn heb ei ddiwygio hyd yn bresennol.

Pe gwybyddid ar ba amser o'r flwyddyn y ganed Ioan Fedyddiwr, byddai yn hawdd penderfynu yr amser y ganed ein Harglwydd Iesu Grist. Barnai hen dadau yr eglwysi Lladinaidd a Groegaidd, mai archoffeiriad ydoedd Zacharias tad Ioan, a'i fod yn gweini ar ŵyl mawr y cymmod yn y deml, y degfed dydd o'r seithfed mis, sef Tisri, o ddeutu diwedd Medi, pan gafodd y weledigaeth a grybwyllir yn Luc 1. 11; a chan iddynt farnu i Elizabeth feichiogi tua'r pummed ar hugain o fis Medi, sefydlasant amser genedigaeth Ioan ar y pedwerydd ar hugain o Fehefin, yn y flwyddyn ganlynol; a genedigaeth Crist ar y pummed ar hugain o Ragfyr, yn yr un flwyddyn. Ond y mae gwyr dysgedig yn ddiweddar wedi gallu penderfynu yr amser yn fwy cywir, a hynny trwy chwilio i mewn i'r amserau y gweinyddai y pedwar dosparth ar hugain yn y deml, yn ol gosodiad Dafydd, 1 Chron. 24. 7—18. a 28. 13; ac yn gymmaint ag nad oedd yr archoffeiriaid yn perthyn i un o'r pedwar dosparth ar hugain, y mae yn amlwg nad ydoedd Zacharias yn archoffeiriad, oblegid yr oedd o ddyddgylch neu ddosparthiad Abia. Dechreuodd y pedwar dosparth ar hugain o offeiriaid ar eu gwasanaeth pan gyssegrwyd teml Salomon ar ŵyl y pebyll, ym mis Ethanim neu Tisri, yn y

ddeuddegfed flwyddyn o'i deyrnasiad. Ymddengys i Salomon oedi cyssegriad y deml am agos i flwyddyn oblegid achosion neillduol, ac am ei fod, efallai, yn rhagweled yr ymgnawdolai Mab Duw ar gyfer gŵyl y pebyll. Yr oedd yr holl ddosparthiadau yn gweini gyda eu gilydd ar y tair gŵyl arbennig; ac fel y bernir, yn yr wythnos ym mha un yr oedd gŵyl y cymmod yn digwydd: ac ar y Sabbath cyntaf ar ol gŵyl y pebyll yr oedd y dosparthiad cyntaf, sef eiddo Jehoiarib, yn dechreu gweinyddu yn y deml; a'r ail ddosparth yn dyfod yn ei le ar yr ail Sabbath. Ac fel hyn, cylchynai y dosparthiadau eu gilydd hyd ŵyl y pasg, pan fyddai y pedwar ar hugain wedi bod yn gweini. Ar y Sabbath cyntaf ar ol y pasg, yr oedd dosparth Jehoiarib yn dyfod i mewn eilwaith; a pharhaodd trefn y dosparthiadau hyn hyd pan rwystrwyd hwynt trwy y trosglwyddiad i Babilon. Pan ddychwelodd plant y gaethglud yn ol, ni ddaeth o'r caethiwed ond pedwar dosparth o'r dosparthiadau crybwylledig, Ezra 2. 36—39. Rhannodd pob un o'r dosparthiadau hyn yn chwe' dosparth, a'r dosparthiadau newyddion a gymmerasant enwau yr hen ddosparthiadau: wedi hynny parhaodd y dosparthiadau i weinyddu yn ddidor hyd ddinystr Jerusalem gan y lluoedd Rhufeinig, oddieithr pan rwystrid hwynt gan ryfeloedd a therfysgoedd gwladol. Yn awr, er mwyn gwneuthur amseryddiaeth yr efangylwyr yn gysson â'u hanesyddiaeth, y mae yn angenrheidiol barnu bod Zecharias o ddyddgylch neu ddosparthiad Abia, sef yr wythfed dosparth, ac yn gweini yn ei swydd yr wythfed wythnos ar ol gŵyl y pasg, yn y chweched flwyddyn cyn geni Crist, yn ol y cyfrif cyffredin, yr hwn ydoedd ei ail dro i weini yn ei ddyddgylch er gŵyl y pebyll yn y flwyddyn o'r blaen, ac yn digwydd o ddeutu diwedd Mehefin. Yn ganlynol i hyn, ganed Ioan Fedyddiwr o ddeutu gŵyl y pasg, yn y flwyddyn 50 o flaen y cyfrif cyffredin; a Christ ym mhen y chwe' mis wedi hynny. Dyweda Luc bod yr Arglwydd Iesu Grist yn ddeg ar hugain oed pan fedyddiwyd ef; ac ar ol bod ddeugain niwrnod yn yr anialwch, dychwelodd at Ioan i Bethabara; casglodd ddisgyblion, daeth i Cana Galilea, ac oddiyno i Capernaum, lle yr arosodd rai dyddiau cyn myned i ŵyl y pasg, sef y gyntaf o'i weinidogaeth gyhoeddus. Gan na allai yr holl hethau hyn gymmeryd lle mewn fawr llai o amser na chwe' mis, y mae yn canlyn bod Crist yn ddeng mlwydd ar hugain oed a chwe' mis y pasg hwn; ac yn ol hynny sefydlir amser ei enedigaeth ar neu o ddeutu gŵyl y pebyll, (diwedd Medi,) a genedigaeth Ioan Fedyddiwr o ddeutu gŵyl y pasg, yn y bummed flwyddyn o flaen y cyfrif cyffredin. Fel ag yr oedd Crist yn sylwedd i ŵyl y pasg drwy ei farwolaeth, felly hefyd drwy ei gnawdoliaeth a'i enedigaeth, cyflawnodd un rhan o arwyddocead ysprydol gŵyl y pebyll, pan wnaethpwyd y gair yn gnawd ac y trigodd yn ein plith ni.

---

## III. IOAN FEDYDDIWR.

MEWN perthynas i Ioan Fedyddiwr, y mae amryw dduwinyddion yn dra gwahanol yn eu barnau gyda golwg arno, ac yn neillduol o dan ba oruchwyliaeth i'w gyfleu. Barna rhai mai dan yr hen oruch-

wyliaeth ydoedd, ac eraill mai dan yr oruchwyliaeth efangylaidd y gweinyddai, a bod ei weinidogaeth a'i weinyddiadau yn gwbl Gristionogol. Ond cyn gwneuthur unrhyw benderfyniad ynghylch hyn, y mae yn angenrheidiol sylwi ar yr hyn a ddywedir gan Ioan am dano ei hun. Yn wyneb gweinidogaeth, pregethiadau, a gweinyddiad Ioan, yr Iuddewon yn methu dyfod i benderfyniad yn ei gylch, a anfonasant Lefiaid atto i'r diben o'i holi, a chael gwybod pwy a pha beth ydoedd. Gofynodd y rhai hyn iddo, Pwy wyt ti? Ac efe a gyffesodd, ac ni wadodd, Nid myfi yw'r Crist. Pan ofynasant iddo, Ai y prophwyd ydoedd? Efe a attebodd, Nage. Wedi hyn gofynasant iddo, Pwy wyt ti? fel y rhoddom atteb i'r rhai a'n danfonodd; beth yr wyt yn ei ddywedyd am danat dy hun? Ioan a attebodd, gan ddywedyd, "Myfi yw llef un yn gwaeddi yn y diffeithwch, Unionwch ffordd yr Arglwydd." Ymddengys yn amlwg bod gweinidogaeth Ioan yn weinidogaeth neillduol iddo ei hun; yr oedd yn rhagflaenor i'r Messiah, ac yn parottoi y bobl er derbyn y deyrnas a'r oruchwyliaeth yr hon ydoedd efe ar ei sefydlu. Ni allasai ei weinidogaeth na'i fedydd, yn ol natur pethau, fod yn weinidogaeth ac yn fedydd Cristionogol, oblegid yr oedd Cristionogaeth heb gael ei sefydlu, a chommissiwn i weinyddu y bedydd Cristionogol heb gael ei roddi. Nid y prophwyd na'r Crist ydoedd. Disgwylid am ymddangosiad rhyw brophwyd neillduol y mae yn debygol gan yr Iuddewon, a diau fod cyfeiriad yn y gofyniad at y prophwyd neillduol; ond nid y prophwyd hwnnw ydoedd; ac yn yr ystyr fanylaf o'r gair, nid ydoedd Ioan yn brophwyd; ac er hynny, yn ol dywediad ein Harglwydd Iesu Grist, yr oedd efe yn fwy nag un prophwyd a fu o'i flaen ef, er hynny y lleiaf yn nheyrnas nefoedd ydoedd fwy nag ef. Yr oedd swydd Ioan a'i weinidogaeth yn rhagori ac uwchlaw eiddo yr holl brophwydi a fu o'i flaen ef; yr oedd y prophwydi ym mhell oddiwrth Grist, ac yn llefaru yn dywyll am dano; ond yr oedd Ioan yn ei ymyl, ac yn dywedyd am dano, "Wele Oen Duw, yr hwn sydd yn tynnu ymaith bechodau y byd." Ond er bod Ioan uwchlaw ac yn rhagori ar yr holl brophwydi, etto nid ydoedd ei weinidogaeth mor oleu, eglur, ac ardderchog am yr Iachawdwr mawr a gweinidogaeth y lleiaf o weinidogion ein Harglwydd Iesu Grist. Nid yr un peth ydoedd gweinidogaeth Ioan a gweinidogaeth Crist, ac nid yr un peth ydoedd bedydd Ioan a bedydd Crist; oblegid dywedai Ioan am Grist a'i weinidogaeth, mai rhaid ydoedd iddo ef gynnyddu; ond am dano ei hun a'i weinidogaeth, mai rhaid ydoedd iddo leihau. Crist oedd sylfaenydd yr oruchwylaeth efangylaidd; ac os gweinidogaeth efangylaidd ydoedd gweinidogaeth Ioan, yr oedd Cristionogaeth wedi ei sefydlu cyn Crist, yr hyn sydd yn anghyssondeb o'r mwyaf. Yr oedd gweinidogaeth Ioan yn derfyniad ar yr hen oruchwyliaeth, ond ym mhell yn ol o ogoniant ac ardderchawgrwydd yr un newydd. Dywedir ym Mat. 3. 1, 2. "Ac yn y dyddiau hynny y daeth Ioan Fedyddiwr, gan bregethu yn niffeithwch Judea, a dywedyd, Edifarhewch, canys neshaodd teyrnas nefoedd." Nid y mae y deyrnas wedi ei sefydlu, a'r oruchwyliaeth wedi ei gosod i fynu; ond y mae wedi neshau, y mae wrth y drws, ac ar gael ei gosod i fynu mewn grym a gogoniant mawr gan yr hwn y mae awdurdod ganddo i wneuthur pob cyfnewidiadau a wel efe

fod yn dda ar y ddaear. "Myfi yn ddiau ydwyf yn eich bedyddio chwi â dwfr i edifeirwch; eithr yr hwn sydd yn dyfod ar fy ol i sydd gryfach na myfi, yr hwn nid wyf deilwng i ddwyn ei esgidiau; efe a'ch bedyddia chwi â'r Yspryd Glân ac â thân." Yn ol tystiolaeth Ioan ei hun, yr oedd un cryfach nag ef i ddyfod ar ei ol ef; un mwy, un rhagorach, ac un o awdurdod mwy na Ioan, i ddyfod ar ei ol ef, i'w ganlyn ef, ac i wneuthur mwy gwaith nag ef, sef gosod i fynu deyrnas ddisigl, ac i sefydlu goruchwyliaeth na fyddai i gael ei symmud; o ganlyniad ni sefydlodd Ioan oruchwyliaeth yr efengyl, ac annichonadwy iddo fod dan y gyfryw oruchwyliaeth cyn iddi gael ei sefydlu gan y Brenin yr hwn sydd i deyrnasu yn dragywydd ar fynydd Sïon. Yr oedd gweinidogaeth Ioan yn rhy oleu i fod yn Iuddewig, ac yn rhy dywyll i fod yn Gristionogol; ond fel y crybwyllwyd yn barod, yr oedd yn weinidogaeth neillduol iddo ei hun; yr oedd yn rhag-redegwr i'r Messiah, yn arloesi y ffordd o'i flaen, yn fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y preniau, ac yn cyfeirio y bobloedd i gredu yn yr hwn a ddeuai ar ei ol ef. Yr oedd efe yn fwy na'r mwyaf o'r holl brophwydi gynt, ac yn llai na'r lleiaf o holl weinidogion y Testament Newydd. Yr oedd Ioan yn gyfaill i'r Priodfab, yn myned o'i flaen ef, gan alw ar y bobloedd, a chymhell yr holl dyrfaoedd i'w dderbyn ac i lynu wrtho pan gymmerai efe ei weinidogaeth i fynu. Yr oedd Ioan yn gennad neillduol o flaen y Brenin Iesu, yn cyhoeddi ei fod yn dyfod i gymmeryd meddiant o'i orsedd, ac i osod i fynu ei deyrnas; o ganlyniad pan gyssegrwyd Crist i'w weinidogaeth, darfu Ioan, ac efe a annogai bawb i ganlyn Oen Duw, yr hwn biau yr awdurdod a'r llywodraeth.

---

## IV. BEDYDD CRIST.

Er mwyn bod yn Iachawdwr i bechaduriaid, ac i adferu y golled fawr yn ol i deulu dyn, yr oedd yn angenrheidiol iddo weinyddu mewn tair swydd, er mwyn dyrchafu dynion i ogoniant meibion Duw yn y nef byth. Yr oedd yn angenrheidiol iddo fod yn Frenin er mwyn llywodraethu ei bobl, a gorchfygu ei holl elynion; yr oedd yn angenrheidiol iddo fod yn Brophwyd er mwyn eu dysgu yn nyfnion bethau Duw, a'u goleuo yn eu llwybrau tuag anfarwoldeb; ac yr oedd yn angenrheidiol iddo fod yn Offeiriad er gwneuthur Iawn, ac er gorphen camwedd ei bobl yn dragywydd. Yr oedd Crist i fod yn Offeiriad, ond nid oedd o dylwyth na theulu Aaron, o ganlyniad ni allasai fod yn Offeiriad yn ol urdd Aaron, oblegid hyspys ydyw mai o Judah y cyfododd ein Harglwydd ni, am yr hwn lwyth ni ddywedwyd dim gyda golwg ar yr offeiriadaeth. Nid ydoedd Crist yn Offeiriad, ac ni allusai fod yn Offeiriad yn ol urdd Aaron, am hynny dywedir am dano, 'Ti wyt Offeiriad yn dragywydd yn ol urdd Melchisedec,' yr hwn ydoedd heb dad, heb fam, (yn perthyn i'r offeiriadaeth) heb ddechreu dyddiau na diwedd einioes. Yn awr, pan ydoedd Crist ynghylch deg ar hugain, yr oedran y byddai yr offeiriaid yn myned i'w swyddau, aeth at Ioan, modd y byddai iddo gael ei neillduo drwy weinyddiad neillduol i'w

swydd; ac wedi ei fedyddio, cymmerodd y gorchwyl yn uniongyrchol o ddysgu y bobloedd yn nirgelion teyrnas Dduw. Aeth Crist at Ioan, ac nid at yr offeiriaid a weinyddent yn y deml, am fod Ioan yn rhagflaenor iddo, ac am fod ei weinyddiad yn neillduol, ac yn perthynu yn neillduol i Ioan. Y mae yn amlwg bod ein Harglwydd Iesu Grist yn dilyn y defodau Iuddewig, oblegid arosodd hyd onid ydoedd yn ddeg ar hugain oed cyn cymmeryd i fynu ei weinidogaeth. Mewn perthynas i oed y Lefiaid, fel y mae yn canlyn y dywedir yn Num. 8. 24, 'Dyma'r hyn a berthyn i'r Lefiaid; o fab pum' mlwydd ar hugain ac uchod, y deuant i filwrio milwriaeth yng ngwasanaeth pabell y cyfarfod;' ac yn pen. 4. 3, 23, 30, 35, 43, 47. dywedir bod yn rhaid i'r offeiriaid fod yn ddeg ar hugain oed cyn y byddai iddynt gael eu gosod yn gyflawn yn eu swyddau, a'u bod o bump i ddeg ar hugain yn cael eu dysgu yn y gwahanol ddefodau perthynol i'w swyddau. Gyda golwg ar gyssegriad y Lefiaid, y mae yn deilwng neillduol o sylw y dywedir yn Num. 8. 7. y byddent ym mhlith pethau eraill yn cael eu taenellu â dwfr, yr hwn ddwfr a elwid dwfr puredigaeth; a dios bod y taenelliad hwn ym mhlith yr amryw fedyddiadau a grybwyllir gan yr Apostol yn Heb. 6. 2. Yr oedd bedydd Crist yn weinyddiad perthynol a neillduol iddo ef ei hun, oblegid nad ydoedd yn ufudd-dod i fedydd efangylaidd, oblegid efe ei hun a roes y commissiwn i weinyddu hwnnw wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. Nid ydoedd bedydd Ioan yn cael ei weinyddu yn enw'r Yspryd Glân, oblegid dywedai y rhai a fedyddid gan Ioan na chlywsant hwy ddim cymmaint a son am yr Yspryd Glân; a pha fodd y gallasai bedydd efangylaidd Cristionig gael ei weinyddu heb grybwyll am y Tri Pherson yn ol gosodiad y ddeddf gan y Pen mawr ei hun wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. Os bedydd Cristionogol a weinyddid gan Ioan, yr oedd holl Jerusalem a Judea yn Gristionogion cyn i'r Arglwydd Iesu Grist bregethu teyrnas nefoedd yn ei gogoniant iddynt; ond ni chyd-wedda hyn â'r darluniad a roir o'u hymddygiadau at yr Arglwydd Iesu Grist, oblegid er eu bedyddio gan Ioan, yr oeddynt mor bell oddiwrth Gristionogaeth ag unrhyw ddynion ar wyneb y ddaear. Ni all cyssegriad Crist gan Ioan, yr hwn a elwir yn fedydd, fod yn siampl i ni, oblegid os ydoedd y bedydd yn siampl i ni, yr oedd holl amgylchiadau y bedydd hefyd yn siampl i ni. Yr oedd Crist yn gyflawn ddeg ar hugain oed yn cael ei fedyddio, ac os ydyw i gael ei ddilyn yn ei fedydd, dylid hefyd ei ddilyn gyda golwg ar yr amser y bedyddiwyd ef; a'r canlyniad ydyw, mai deg ar hugain oed ydyw yr oed i ddyn gael ei fedyddio, ac ni all fod ei fedydd yn gyffelyb i fedydd Crist heb i'r ordinhad gael ei gweinyddu iddo ar yr oedran dywededig. Annichonadwy i fedydd Crist fod yn siampl i ni, oblegid yn un peth, yr oedd y commissiwn heb ei roddi; ni allasai Crist rodio mewn newydd-deb buchedd, am na bu ei fuchedd yn aflan erioed; ac ni fedyddiwyd ef i edifeirwch, oblegid erioed ni chaed twyll yn ei enau. Yn yr holl bethau a enwyd, ni allasai fod yn siampl i ni; oblegid pe felly, rhaid mai siampl i ni ydoedd yn ei oedran; ond gan nad ydoedd, fel y dangoswyd, yn siampl i ni yn ei oedran, nac mewn un peth arall yn ei fedydd, nid dilyn Crist yr ydym wrth gael ein bedyddio, ond ein cyflwyno i'r Tri Pherson

drwy ddwfr, yn ol y commissiwn, pa un bynnag ai mewn babandod neu yn ddynion mewn oedran. Sefydlodd Crist y bedydd Cristionogol ac efangylaidd wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, ac wedi iddo dderbyn pob awdurdod yn y nefoedd ac ar y ddaear. Hwn ydyw bedydd y Testament Newydd, a'r bedydd hwn sydd i'w weinyddu ym mhob gwlad, ac ym mhlith pob cenedl, hyd pan na byddo amser mwyach.

---

## V. TEMTIAD CRIST.

Ymddengys cryn anhawsderau i ddeongli temtiad Crist a'r amgylchiadau perthynol i hynny, ac y mae barnau dynion yn wahanol ynghylch yr amgylchiad dan sylw. Dywedir i'r Iesu gael ei arwain i fynu i'r anialwch gan yr yspryd, i'w demtio gan ddiafol. Dyweda yr Esgob Porteus am yr anialwch hwn, ei fod yn debygol mai yr anialwch mawr yn ymyl yr Iorddonen ydoedd; ac mewn perthynas i'r anialwch hwnnw, dyweda Mr. Maundrell ei fod yn lle sych, diffrwyth, a dychrynllyd, yn llawn creigiau mynyddig, yn ymddangos megis pe buasent wedi eu chwilfriwio gan ryw gynnwrf neillduol mewn natur. Yma y bu ein Harglwydd Iesu Grist mewn ympryd am ddeugain niwrnod a deugain nos; ac ar derfyniad yr amser crybwylledig, dyweda yr efangylwr i'r temtiwr ddyfod atto, a chyfleu ei faglau a'i rwydau o'i flaen, er mwyn ei ddal a'i gaethiwo. Y ddadl fwyaf sydd ynghylch y temtiwr, Pwy ydoedd, a pha fodd y cyfleodd ei brofedigaethau i Fab y dyn? Y nifer amlaf o dduwinyddion a deonglwyr yr Ysgrythyrau Sanctaidd a farnant mai y diafol, neu yr yspryd aflan yn bersonol ac yn wyddfydol weledig, a ymosododd ar yr Iachawdwr er mwyn ei ddadymchwelyd megis y dadymchwelodd yr Adda cyntaf yn Eden. Y mae Dr. Hales, ym mhlith eraill, o'r farn hon; ond dyweda y gwr dysgedig hwn i'r diafol ymosod ar Grist yn agweddiad a ffurf angel y goleuni, ar lun dyn. Tybia y Doctor mai fel hyn yr oedd, oblegid yr ymddiddan a ddywedir a gymmerodd le ar yr achlysur rhwng Crist a'r diafol. O'r tu arall, barna rhai nad oedd y diafol yn bresennol gyda Christ, nac yn weledig i Grist pan demtiwyd ef; oblegid buasai ei fod yn bresennol ac yn neillduol yn wyddfodol, yn difinio y temtasiynau, ac yn peri iddynt beidio â bod yn brofedigaethau. Dywedir gan yr apostol i Grist gael ei demtio ym mhob peth yr un ffunud a'i frodyr, ond ei fod ef yn ddibechod; ac os temtiwyd ef yr un ffunud a'i frodyr, rhaid bod y diafol yn cyfleu ei brofedigaethau yn bersonol ac yn yspryd gweledig i bawb gwir dduwiol, amgen ni themtir hwynt fel y temtiwyd Crist. O'r tu arall, os trwy weithrediadau meddylgar y temtir y duwiolion yng ngwahanol oesoedd y byd, trwy weithrediadau meddylgar hefyd y temtiwyd Crist, oblegid temtiwyd ef yr un ffunud a'i frodyr. Ond heb grybwyll ym mhellach gyda golwg ar ddull y temtasiynau: diau eu bod yn rhai mawrion, ac i Fab y dyn fod yn ffwrneisiau poethaf y gelyn; profwyd ef i'r eithaf, ac ymosodwyd yn ei erbyn gyda holl angerdd llid, a chyda chyfrwysdra digyffelyb uffern. Wedi ymprydio ddeugain niwrnod, cymmerodd y temtiwr y

fantais oddiwrth wendid ei natur i gyffroi chwant y cnawd, trwy erchi iddo orchymmyn ar i'r cerrig fod yn fara. Gallasai y Cyfryngwr wneuthur hynny, fel y gallodd droi y dwfr yn win; ond pe gwnaethai hynny ar archiad y temtiwr, collasai y dydd, a chawsai uffern ei gwynfyd mewn cyflawn fuddugoliaeth arno. Yn yr attebiad a roed gan Fab Duw i'r temtiwr, dangosodd ei fod yn drech nag uffern, a bod cleddyf y gelyn yn ddifin gyda golwg ar wneuthur unrhyw effaith arno ef: "Nid ar fara yn unig y bydd byw dyn," &c. Ystyr yr attebiad y mae yn debygol ydyw hyn,—Efe yr hwn a'm dygodd i'r anialwch, ac a'm darostyngodd i'r temtasiynau a'r profedigaethau mawrion hyn, sydd ddigonol i'm cynnal dan bwys fy holl feichiau, er mor drymion y pwysant ar fy ysgwyddau. A diau bod ganddo ef fodd i wneuthur hyn, heblaw drwy y ffordd gyffredin o fara; a chan fy mod i wedi fy narostwng i'r wasgfa hon, disgwyliaf wrth fy Nhad yr hwn sydd yn y nef am ymwared a diangfa o'r angenoctid presennol. Cymhellodd y temtiwr ef i daflu ei hun i lawr o nen y deml, gan ragarwyddo y byddai i weithred o'r natur hyn ei gyfodi i fri ac anrhydedd mawr yng ngolwg y bobl. A chan fod Crist wedi defnyddio ysgrythyr er ei wrthwynebu yn y brofedigaeth gyntaf, defnyddiodd yntau ysgrythyr er mwyn cymhell yr ail atto. Gwrthwynebwyd y temtiwr yn hyn etto gan y Cyfryngwr, oblegid pan gymhellwyd ef i fwrw ei hun i lawr, ac y cedwid ef rhag niwed, dywedodd Crist yn uniongyrchol, bod y gorchymmyn yn bendant am beidio temtio yr Arglwydd; a buasai y gorchwyl o neidio o le mor uchel yn rhyfyg o'r mwyaf, ac yn gellwair â'r nodded hwnnw a wneir gan yr Arglwydd tuag at ddynion yn eu cyfyngderau. Y brofedigaeth olaf ydoedd cyfleu ein Ceidwad bendigedig ar fynydd mawr ac uchel, oddiar ben yr hwn y gwelodd lawer o ddinasoedd a thaleithiau y byd hwn. Dyweda yr esgob Porteus, allan o waith haneswyr a theithwyr drwy y dwyrain, bod mynydd uchel heb fod ym mhell o Jerusalem, oddiar ben yr hwn y gellir gweled amryw deyrnasoedd,—mynyddoedd Arabia, gwlad Gilead, gwlad yr Ammoniaid, gwastattir Moab, dyffryn Jericho, ac afon yr Iorddonen. Cynnygiodd y temtiwr hyn i Grist, os addolai efe y temtiwr. Y pryd hwn y dywedodd Crist wrth y temtiwr pwy ydoedd, gan ei orchymmyn i ymadael, ac felly y gwnaeth, hyd oni ymfyddinodd uffern ar Galfaria, lle y gwelwyd y ddraig â'i phen yn friw, a'i holl elynion wedi eu gorchfygu. Y mae Crist wedi ei demtio, ac er cyssur i'r ffyddloniaid ym mhob oes ac ym mhob gwlad, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a demtir.

---

## VI. GWEINIDOGAETH CRIST.

Amrywiol oedd y dulliau a fu gan Dduw o ymwneud â'r byd dan wahanol oruchwyliaethau; ac o radd i radd y dygwyd dirgelion bethau byd tragywyddol i'r amlwg, yn ol y gwelai yr Hollalluog Dduw fod yn dda i hyspysu i'w sanctaidd weision, y prophwydi. "Duw, wedi iddo lefaru lawer gwaith, a llawer modd, gynt wrth y tadau trwy y prophwydi, yn y dyddiau diweddaf hyn a lefarodd

wrthym ni yn ei Fab;" o ganlyniad, nid oes i ni ddisgwyl datguddiad pellach oddiwrth Dduw, oblegid y mae y Pen Athraw mawr ei hun wedi bod yn gweinidogaethu yn y byd, a thrwy ei weinidogaeth wedi ymlid y cysgodau ymaith, a dwyn bywyd ac anllygredigaeth i'r goleuni trwy yr efengyl. Gyda golwg ar yr Arglwydd Iesu Grist, cyfyngodd ei weinidogaeth o fewn cylch yr Iuddewon a gwlad Judea, er ei fod wedi ei fwriadu i fod yn iechydwriaeth Duw hyd derfynau eithaf y ddaear. Ni pharhaodd ei weinidogaeth ond am yspaid fer, ychydig fisoedd gyda thair blynedd; ac er i'r Arglwydd Iesu Grist ei chadarnhau drwy wyrthiau a rhyfeddodau mawrion, etto ychydig a gredasant ei dystiolaeth; daeth at yr eiddo ei hun, a'r eiddo ei hun nis derbyniasant. Fel y crybwyllwyd, yr oedd gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu yn weinidogaeth oleu ac eglur, ac nid yn dywyll, fel y mae yr Hen Destament i'r rhai sydd yn anadnabyddus o'r Testament Newydd. Dyweda yr apostol Paul am yr hen oruchwyliaeth, ei bod dan niwl a chaddug, ac mai yn yr efengyl y datguddiwyd gogoniant pethau nefol ac ysprydol. "Eithr hyd y dydd heddyw, pan ddarllenir Moses, y mae'r gorchudd ar eu calon hwynt. Ond pan ymchwelo at yr Arglwydd, tynnir ymaith y gorchudd. Eithr yr Arglwydd yw'r Yspryd; a lle mae Yspryd yr Arglwydd, yno y mae rhyddid. Eithr nyni oll ag wyneb agored, yn edrych ar ogoniant yr Arglwydd megis mewn drych, a newidir i'r unrhyw ddelw, o ogoniant i ogoniant, megis gan Yspryd yr Arglwydd." Dywedodd yn oleu iawn am y Duw anfeidrol yn ei gymmeriad, ei nodweddiad, ac yn ei briodoliaethau gogoneddus. Dywedodd yn oleu iawn am ei lywodraeth, ac am yr ufudd-dod dyledus i'w awdurdod fel Arglwydd ac fel Duw. Dywedodd am drueni dyn, a dyfnderoedd y sefyllfa resynol y mae wedi myned iddi drwy bechu yn erbyn y nef. Dywedodd am dano ei hun fel Mab Duw, a'r Messiah addawedig, gan ddwyn y tystiolaethau egluraf mai efe ydoedd yr hwn y rhag-ddywedwyd am dano gan holl brophwydi Duw erioed. Dywedodd yn amlwg am ddyledswydd dyn, a'r angenrheidrwydd o edifeirwch union-gyrchol a gwirioneddol ger bron Duw. A dywedodd am yr adgyfodiad, ac am y farn fawr, fel y gellir dywedyd am dano, iddo agoryd y nefoedd, a'n bod ni trwy yr efengyl yn cael edrych megis i'r Cyssegr Sancteiddiolaf ei hun. Yr oedd ei weinidogaeth yn dra ysprydol, ac felly yn groes hollol i gnawdolrwydd yr athrawon Iuddewig, y rhai ni synient ac ni ddeonglent bethau yn eu hysprydolrwydd. Yn ei bregeth ar y mynydd y dangosodd ysprydolrwydd y ddeddf, ac mor fanwl ac mor bell y gofyna, gan sylwi hyd yn nod ar y galon ac ar y meddwl. Yr oedd gweinidogaeth Crist yn neillduol lym yn erbyn pechod, ac yn erbyn pob rhagrith. Yn eu hwynebau ceryddai yr Iuddewon am eu holl bechodau, am eu balchder, ac am eu rhagrith; ac yn neillduol edliwiai i'r Phariseaid eu rhagrith gyda phethau allanol crefydd, megis degymmu y mintys a'r anis, a gadael pethau trymach y gyfraith heibio, gan eu cwbl esgeuluso. Gellir sylwi hefyd bod gweinidogaeth yr Arglwydd Iesu Grist yn un bersonol; gwthiai efe yr hoel adref, a threfnai gyflyrau ei wrandawyr ger gwydd eu llygaid. Ni thaflai ei saethau i'r awyr, ond anelai hwynt i'r galon, gan ddywedyd wrth bob sefyllfa ac amgylchiadau am eu

beiau, a chan eu hannog i fyned yn bersonol at yr Arglwydd, er mwyn cael adnabyddiaeth bersonol o hono. Yn y wedd hon bu y Pen Athraw mawr yn ein byd ni yn llawn o Yspryd yr Arglwydd, yr hwn oedd arno; pregethodd ac efangylodd i ddynion; gwnaeth fwriadau Duw yn amlwg; dygodd ddirgelion i'r goleuni, ac ym mhelydron yr haul disglaer hwn y mae nifer tywod y môr wedi myned adref, gan wenu ar angeu ac ar y wlad sy tu draw i'r bedd.

Ar swm a sylwedd ei weinidogaeth ef y mae yr eglwys wedi ei hadeiladu, ac yn cael ei hadeiladu ym mhob oes ac ym mhob gwlad. Y mae yn parhau yn afon ddihysbydd, a'i ffrydiau gloyw yn llawenhau holl ddinasoedd Israel; y mae yn gwmmwl dyfradwy, ac yn diferu yn barhaus ar ardd y pomgranadau; ac y mae yn wledd lawn o'r danteithion melusaf i breswylwyr yr anialwch ar eu ffordd i wlad y gogoniant tragywyddol. Hon ydyw y weinidogaeth mwy rhagorol, am yr hon y crybwylla yr apostol; hon ydyw gweinidogaeth gogoniant; a hon ydyw yr unig weinidogaeth y gellir ymddibynnu arni ei bod yn dangos ac yn cyfarwyddo i'r bywyd a bery yn dragywydd.

---

## VII. MAI CRIST YDYW Y MESSIAH ADDAWEDIG.

Ymddangosodd amryw dwyllwyr yn y byd erioed, y rhai a wnaethant broselytiaid lawer, gan dwyllo y bobloedd am oesau a chenhedlaethau i gredu eu bod o anfoniad y Goruchaf, i ddysgu ffordd yr iechydwriaeth i ddynion. Yr ydym ni y Cristionogion yn cymmeryd arnom ein bod yn dilyn Crist, yr hwn a ymddangosodd yng ngwlad Judea ychydig gyda deunaw can' mlynedd yn ol, gan broffesu ei hun y Messiah, anfonedig y Tad, ac un wedi ei bennodi er bod yn iechydwriaeth yr Arglwydd hyd derfynau eithaf y greadigaeth. Yn awr y mae o bwys mawr i ymddiried bywyd tragywyddol i neb, oni fydd gennym y seiliau cadarnaf i gredu fod y cyfryw un yn gwbl yr hyn a broffesa ei fod, ac yn alluog i waredu ac achub y rhai oll a ymddiriedant ynddo. Yr ydym ni, fel y crybwyllwyd, yn credu mai'r Iesu yw'r Crist, ond y mae yr Iuddewon yn anghredu hynny; dywedent mai twyllwr ydoedd, a dywedant yr un peth am dano hyd y dydd heddyw, ym mhob lle y maent ynddo dan yr holl nefoedd. Y mae o'r pwys mwyaf i ni i wybod, ai yr Iesu a ymddangosodd yng ngwlad Judea ac a groeshoeliwyd yno ydoedd y gwir Fessiah, ai nid ê; oblegid os efe ydoedd Crist, y mae pob peth yn dda, y mae sail ein gobaith yn gadarn, y mae ein hiechydwriaeth yn ddiysgog, ac y mae holl gyfundraeth Cristionogaeth yn gorphwyso ar seiliau na ellir eu dymchwelyd byth ac yn dragywydd. O'r tu arall, os nad efe ydoedd y Crist, yr ydym ni wedi cael ein twyllo mewn perthynas i'n hiechydwriaeth, ac wedi ymddiried i un na all ein gwrando na'n gwaredu yn nydd trallod a chyfyngder. Yn awr, gyda golwg ar yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a berchir ac a anrhydeddir gennym ni fel Iachawdwr ein heneidiau, a'r hwn a gredir hefyd gennym ei fod yn Dduw bendigedig yn oes oesoedd, sylwer,

Fod y fath un wedi ei addaw, a bod prophwydi y Goruchaf wedi dywedyd am dano dan yr hen oruchwyliaeth. Dywedwyd yn y bygythiad ar y sarph yn Eden, y byddai i Had y wraig ysigo ei phen; yr hyn a gynnwysai, y byddai i ryw un neillduol gyfodi o'r hiliogaeth ddynol, ac y darostyngid awdurdod a gallu y tywyllwch gan y person hwn. Fel yr oedd y temtiwr wedi cael pen dyn i lawr ac wedi ei ddarostwng dan ei awdurdod, felly hefyd y byddai i Had y wraig gael pen y temtiwr dan ei droed, ei ddarostwng i'r llwch, ac i gael cyflawn fuddugoliaeth arno. Ystyria Cristionogion yr ymadrodd, Had y wraig, fel yn perthynu yn uniongyrchol i'r Messiah ac i'r deyrnas a osodid i fynu ganddo ar y ddaear; a chyfaddefa yr esponwyr Iuddewig mwyaf cymmeradwy hefyd, mai at y Messiah y mae cyfeiriad uniongyrchol yr ymadrodd hwn, yn neillduol y Targum o Jerusalem a Thargum Jonathan. Ac felly, y mae yn ddios ac anwadadwy bod y fath un i ymddangos, a bod galluoedd y tywyllwch i gael eu darostwng ganddo, er mwyn adferu y golled fawr yn ol i ddyn, a'i ddwyn yn rhydd o bob cadwynau a gafaelion. Dywedodd y patriarch Jacob wrth fendithio Judah, na ymadawai y deyrnwialen o Judah na deddfwr oddi rhwng ei draed ef, hyd oni ddeuai y Siloh, ac mai atto ef y byddai cynnulliad pobloedd. Bernir gan Gristionogion mai wrth y Siloh y deallir y Messiah, anfonedig y Tad, a Christ yr Arglwydd; ac oddiwrth y brophwydoliaeth hon, dadleuant fod Crist wedi ymddangos, oblegid nad oes awdurdod frenhinol yn perthynu i lwyth Judah er oesau a chenhedlaethau. Yr oedd y Siloh, y Messiah, neu Grist yr Arglwydd, i ymddangos cyn i'r deyrnwialen ymadael o Judah, a chyn i ddeddfwr fyned ymaith oddi rhwng ei draed ef; ond yn awr y mae y deyrnwialen wedi ymadael, a'r deddfwr wedi myned ymaith; o ganlyniad rhaid bod y Siloh wedi ymddangos a Christ wedi dyfod i'r byd yn ol y rhagddywediadau am dano. Ymdrecha y Rabbiniaid âg eithaf eu galluoedd i wyrdroi y brophwydoliaeth nodedig hon, oblegid os cyfaddefant hi yn ei hystyr wirioneddol a phriodol, rhaid iddynt hefyd gredu ei bod yn barod wedi ei chyflawni. Cyfaddefa Onkelos mai y Messiah a olygir yn y geiriau;—ei ymadroddion ydynt, "Ni chymmerir ymaith o Judah un â thywysogaeth ganddo, na'r ysgrifenydd oddiwrth feibion ei feibion, hyd oni ddel y Messiah;" ac âg ef y cyttuna Targum Jerusalem a Jonathan. Wrth *Shebet* (teyrnwialen) y deallant dywysogaeth; ac wrth Siloh y deallant y Messiah. Ac felly, yn ol deongliadau yr awduron a'r Rabbiniaid Iuddewig eu hunain, y mae y Siloh wedi dyfod, ac nid oes un arall i'w ddisgwyl. Ym mhlith y prophwydoliaethau am yr Arglwydd Iesu Grist, y mae eiddo Balaam yn nodedig; "Gwelaf ef, ac nid yr awr hon; edrychaf arno, ond nid o agos: daw seren o Jacob, a chyfyd teyrnwialen o Israel, ac a ddryllia gonglau Moab, ac a ddinystria holl feibion Seth." Y Targum a ddeongla y brophwydoliaeth hon am y Messiah, ac felly hefyd y gwna Onkelos; ac y mae i'w sylwi, bod y Targumiaid yn gosod yr ymadrodd, Holl feibion Seth, yn Holl feibion dynion; oblegid wedi y diluw, holl feibion dynion ydynt holl feibion Seth, a holl feibion Seth ydynt holl feibion dynion. Dengys hyn, mai nid teyrnas neillduol ydoedd teyrnas y Messiah i fod, a hynny ar yr Iuddewon yn unig, ond ar holl drigolion y ddaear yn gyffredinol.

Dyweda Esay am y Messiah mewn geiriau nodedig neillduol, 'Canys bachgen a aned i ni, mab a roddwyd i ni, a bydd y llywodraeth ar ei ysgwydd ef;' ac nid yn unig barn y Cristionogion ydyw, bod y brophwydoliaeth hon â'i chyfeiriad yn uniongyrchol at y Messiah, ond dyma farn Targum Jonathan, ac eraill o'r Rabbiniaid Iuddewig. Dywedwyd yn y prophwydoliaethau am dano, rhoddwyd darluniad o hono, mynegwyd am le ac amgylchiadau ei enedigaeth, ynghyd â phob peth a berthynai i'w enedigaeth, ei fywyd, ei farwolaeth, ei adgyfodiad, ei esgyniad, ynghyd â llwyddiant ac amgylchiadau ei deyrnas yn y byd. Yn awr, gyda golwg ar y prophwydoliaethau yn eu perthynas â genedigaeth, bywyd, marwolaeth, adgyfodiad, esgyniad, a theyrnas y Messiah, y maent wedi eu cyflawni i'r iota leiaf; oblegid pan ymddangosodd, daeth i'r byd yn ol llinellau y prophwydoliaethau; ac y mae yn rhaid fod dallineb o dywyllwch ysprydol ar lygaid yr Iuddewon pan freuddwydient am ei ymddangosiad rhagllaw, pryd y mae yn annichonadwy bellach i'r rhagddywediadau am dano gael eu cyflawni, am fod amserau, pethau, ac amgylchiadau wedi hollol newidio. Y mae yn amlwg, os nad ydyw Crist wedi ymddangos yn y byd, mai annichonadwy iddo ymddangos yn ol prophwydolaethau yr Hen Destament; a chan fod y rhai hynny oll yn eirwir—dynion sanctaidd Duw wedi llefaru megis y cynnyrfwyd hwynt gan yr Yspryd Glân, y mae Crist wedi ymddangos, a Christ y Testament Newydd ydyw hwnnw, oblegid y mae y prophwydoliaethau yn gystal a'r addewidion yn ïe ac yn amen ynddo ef. Sylwer ar y rhai canlynol, a gweler eu cyflawniad.

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Esay | 7. 14. | ...................... | Matthew | 1. 25. |
| Micah | 5. 2. | ...................... | ——— | 2. 6. |
| Esay | 11. 1. | ...................... | ——— | 2. 15. |
| Jeremi | 31. 15. | ...................... | ——— | 2. 18. |
| Barn. | 13. 5. | ...................... | ——— | 2. 23. |
| Esay | 40. 3. | ...................... | ——— | 3. 2. |
| Esay | 9. 1. | ...................... | ——— | 4. 15. |
| Lef. | 14. 4. | ...................... | ——— | 8. 4. |
| Esay | 53. 4. | ...................... | ——— | 8. 17. |
| Esay | 61. 1. | ...................... | ——— | 11. 4. |
| Esay | 42. 1. | ...................... | ——— | 12. 17. |
| Jonah | 1. 17. | ...................... | ——— | 12. 40. |
| Esay | 6. 9. | ...................... | ——— | 13. 14. |
| Salm | 78. 2. | ...................... | ——— | 13. 35. |
| Esay | 35. 5, 6. | ...................... | ——— | 15. 30. |
| Esay | 62. 11. | ...................... | ——— | 21. 5. |
| Zech. | 9. 6. | ...................... | ——— | 21. 5. |
| Jeremi | 7. 11. | ...................... | ——— | 21. 13. |
| Salm | 8. 2. | ...................... | ——— | 21. 14. |
| Esay | 5. 8. | ...................... | ——— | 21. 13. |
| Salm | 118. 22. | ...................... | ——— | 22. 44. |
| Salm | 110. 1. | ...................... | ——— | 22. 44. |
| Esay | 8. 14. | ...................... | ——— | 21. 44. |
| Esay | 53. 10. | ...................... | ——— | 26. 54. |
| Zech. | 13. 7. | ...................... | ——— | 16. 31. |
| Galar. | 4. 20. | ...................... | ——— | 25. 56. |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Esay | 50. 6. | ..................... | Matthew | 26. 67. |
| Zech. | 11. 13. | ..................... | ——— | 27. 9. |
| Salm | 22. 18. | ..................... | ——— | 27. 35. |
| Salm | 22. 2. | ..................... | ——— | 27. 46. |
| Salm | 69. 12. | ..................... | ——— | 27. 48. |

Gormod gorchwyl yw sylwi ar y prophwydoliaethau bob yn un ac un, ynghyd â'r cyflawniad o honynt; ond o'r holl efangylwyr, Matthew ydyw y manylaf; ac aml y dyweda, Fel y cyflawnid yr Ysgrythyr. A chan y cydnabyddir fod buddioldeb mawr yn deilliaw drwy chwilio yr Ysgrythyrau, cydmarer y prophwydoliaethau crybwylledig â'r cyflawniad o honynt yn efengyl Matthew, ac yna nis gall nac Iuddew na chenedl ddyn, nac un gwrthgredwr, siglo ei ffydd mewn perthynas i'r hwn sydd yn ddigonol Iachawdwr i'w enaid. Gorphwysa seiliau ein Cristionogaeth ni ar sylfeini cyn gadarned, fel er ymosod o byrth uffern yn eu herbyn, gallant wneuthur llawer o dwrf, ond yn dragywydd ni ddymchwelant hwynt.

---

## VIII. GWYRTHIAU CRIST.

Gwyrth ydyw effaith neu ddigwyddiad, croes i gyfansoddiad a dull sefydledig pethau, neu attaliad, llywodraethiad, neu wyrad oddiwrth ddeddfau adnabyddus natur, yn cael eu dwyn oddi amgylch drwy weithrediad uniongyrchol, neu trwy gynnorthwyon a chaniattad Duw, er profi gwirionedd rhyw athrawiaeth neillduol, neu er cadarnhau awdurdod ddwyfol rhyw berson neillduol. Y mae yn rhaid cael chwech peth yn gydfynedol â gwyrth cyn y gellir ei hystyried felly a'i chydnabod megis gwyrth. 1. Rhaid bod iddi ddiben mawr, yn deilwng o'i hawdwr. 2. Rhaid iddi gael ei chyflawni yn uniongyrchol ac yn gyhoedd. 3. Rhaid iddi fod yn deimladwy ac yn hawdd i'w chanfod. 4. Rhaid iddi fod yn anymddibynol ar ail achosion. 5. Rhaid i ryw weithredoedd gael eu cyflawni yn feunyddiol, mewn coffadwriaeth o'r wyrth a wnaed yn gyhoedd. 6. Rhaid i'r cyfryw goffadwriaethau gael eu sefydlu yn uniongyrchol pan gyflawnwyd y cyfryw wyrthiau, ac i barhau yn ddidor er y pryd hynny. Un peth perthynol i wyrth, fel y crybwyllwyd, ydyw diben pwysig a theilwng o'i hawdwr. Nid yw yn debygol y gwnai yr Hollalluog gyfryngu ac attal y deddfau a lywodraethant y byd, heb un angenrheidrwydd am hynny, ac yn anghysson â'i ddoethineb, yn gystal ag yn annheilwng o'i fawredd. Rhaid bod diben daionus i wyrth, yr hyn ni ellir ei gyrhaeddyd drwy ail achosion, megis awdurdodi prophwyd neu gadarnhau datguddiad. Y mae y diben yn fawr ac yn bwysig yn yr holl wyrthiau a goffheir, y rhai a gyflawnwyd gan Moses a chan Iesu Grist. Nid ar achosion bychain y cyflawnwyd un o honynt; ac yr oedd digon o dystion iddynt, eu bod wedi eu gwneuthur er mwyn cadarnhau rhyw wirioneddau neillduol. Peth arall perthynol i wyrth ydyw, ei bod yn cael ei gwneuthur yn uniongyrchol, yn gyhoedd, a cher gŵydd tystion credadwy. Ni ellir ystyried yr hyn a wneir mewn ystafell, ac o flaen hydig bersonau, ond mewn golwg amheus, eithr am waith neu

orchwyl a wneir yn gyhoedd, fel gwyrthiau Moses a Iesu Grist, y rhai a wnaed yng ngwydd tystion, nad oedd unrhyw fuddioldeb i ddeilliaw iddynt drwy gam-dystiolaethu yn eu cylch. Rhaid i wyrth fod yn union-gyrchol, nid ydyw i gymmeryd lle yn raddol fel gweithrediadau natur, fel toriad y wawr, neu ymledaniad y cysgodau hwyrol. Dywedodd Duw, 'Bydded goleuni,' ac yn union-gyrchol bu goleuni; nid yn raddol y daeth, ond yn hollol ac ar unwaith; daeth y goleuni yn gyflawn ac yn gwbl. Ym mhellach, rhaid i wyrth fod yn deimladwy, ac yn hawdd i'w deall; neu mewn geiriau eraill, rhaid i'r hyn a dybir fod yn wyrthiau, fod o'r fath natur, fel ag y deallo ac y gwelo y synwyrau dynol bod y digwyddiad yn sylweddol, a'r tarddiad yn oruwch-naturiol. Rhaid i wyrth droi ar ddeddfau a adnabyddir yn gyffredinol, ac nid ar rai nad oes gennym ond ychydig, neu yn hytrach ddim gwybodaeth am danynt; o ganlyniad, y mae arwyddion o'r ddaear yn fwy dewisol nag arwyddion o'r nefoedd. Pan droed yr afon Nilus yn waed,—pan borthwyd miloedd â manna,—pan gyfodwyd dyn oddiwrth y meirw,—a phan borthwyd miloedd ac ychydig fara, ni allasai bod yma dwyll, oblegid yr oedd synwyrau dynion yn farnwyr addas, ac yr oedd ganddynt gyfryngau addas i farnu. Rhaid i wyrth fod yn anymddibynol ar ail achosion, neu i gael ei chyflawnu heb gyfrwng offeryn naturiol. Os bydd gweithred allanol, neu ryw amgylchiad pellenig yn cyd-fyned â hi, nid oes gan y weithred neu yr amgylchiad un cyssylltiad naturiol â'r effaith a ddygir. Gyda golwg ar wyrth, rhaid i ryw weithredoedd gael eu cyflawnu yn feunyddiol mewn ffordd o goffadwriaeth am y wyrth, ac i'r cyfryw gofnodau gael eu gosod i fynu a'u sefydlu ar y pryd y cymmerodd y cyfryw wyrthiau le, ac i barhau yn ddidor wedi hynny, er amlygu y gallu goruwch-naturiol a'u cyflawnodd.

Efallai mai nid anfuddiol fyddai gwneuthur rhyw grybwylliadau am wyrthiau Moses, cyn dyfod i son am wyrthiau Crist yn union-gyrchol. Yr oedd holl genedl Israel yn dystion o blaäu yr Aipht, a theimlwyd hwynt gan holl genedl yr Aiphtiaid. Aeth Israel drwy y Môr Coch, a gwelsant drangcedigaeth yr Aiphtiaid. Porthwyd cenedl Israel am ddeugain mlynedd âg ymborth o'r nef. Rhoddwyd iddynt ddwfr droion o'r graig gallestr; a thrwy eu holl deithiau yr oedd cwmmwl o niwl y dydd, a cholofn o dân y nos yn eu harwain. Pan aethant drwy yr Iorddonen, safodd y dyfroedd yn bentwr yng ngolwg yr holl lwythau; yr oedd pob peth yn amlwg; ni thwyllwyd synwyrau neb; ac yr oedd mil myrddiwn o ddynion mewn cyflawn feddiant o'u synwyrau yn dystion iddynt. Ysgrifenwyd am wyrthiau yr Aipht yn fuan wedi eu gwneuthur, pryd yr oedd ynghylch dwy filiwn o dystion yn fyw, o wirioneddau y pethau a adroddid. Yn awr, onid oedd y rhai hyn yn wyrthiau, y mae y peth nesaf o bob peth i wyrth i gynnifer o ddynion gael eu twyllo gan un dyn allan o'u synwyrau. Gyda golwg ar borthiant yr Israeliaid yn yr anialwch, dywedir i hyn gael ei wneuthur yn wyrthiol, ac oni wnaed hyn drwy wyrth, rhyfedd i'r holl lwythau gael eu twyllo am tua deugain mlynedd, a mwy rhyfedd bod un dyn yn gallu parottoi angenrheidiau i'r fath nifer, am gynnifer o flynyddoedd mewn anialwch gwag erchyll! Ond yr oedd tystion lliosog o

hyn, ac yr oedd y crochan aur a'r manna yn dyst byw drwy yr holl oesau o wiredd y wyrth fawr hon.

Mewn perthynas i wyrthiau Crist, y rhai a goffeir yn y Testament Newydd, y maent yn nodedig, a hynny yn eu nifer, yn eu hamrywiaeth, yn eu mawredd, yn gystal ag yn y personau drwy ba rai, y personau o flaen pa rai, y dull y cyflawnwyd hwynt, yr effeithiau a ddygwyd oddi amgylch ganddynt, a'r gwirionedd anwadadwy o honynt, yr hyn ni feiddiodd neb ei ammeu. Y mae hyn yn brawf cadarn a sicr o wiredd y grefyd Gristionogol. Pe gwyrth neu ddwy a gyflawnwyd, gallasid meddwl mai drwy ddigwyddiad y cymmerodd y cyfryw bethau le; neu pe eu gwnaethid yn ddirgelaidd, ac o flaen ei ddisgyblion ei hun, buasai lle i ammheuaeth, ond wele wyrthiau wedi eu cyflawni yng ngoleu yr haul, ac yng ngolwg miloedd o dystion;—rai o honynt. Yr oedd nifer gwyrthiau Crist yn dra lliosog. Y mae y rhai a adroddir ynghylch deugain o nifer, fel, pe buasai twyll wedi ei arferyd, yr oedd y cyfleusderau yn ddigon lliosog i'w gael allan. Ond y mae yn amlwg bod gwyrthiau Crist yn fwy lliosog nag y crybwyllir, oblegid dywedir bod tyrfaoedd yn cynniwair at yr Arglwydd Iesu Grist, y rhai a flinid gan wahanol anhwylderau, a thu hwnt i feddyginiaeth ddynol, ac i'r rhai hyn gael eu hiachau ganddo. Y mae yr efengyl yn llawn o wyrthiau Crist, ac y mae un o'r efangylwyr yn neillduol yn dywedyd ei fod wedi cyflawnu mwy nag a adroddir am danynt. Y mae yn deilwng o sylw hefyd, bod amrywiaeth mawr yn y gwyrthiau a gyflawnwyd gan ein Harglwydd Iesu Grist, a'r rhai a adroddir yn y Testament Newydd. Y mae hyn yn gwbl mor deilwng o sylw a'u nifer. Twyllwyr yn gyffredin a gyfyngant eu hunain i un math o ffug wyrthiau. Lliosogrwydd gwyrthiau Moses a ddyrysodd yr Aiphtiaid. Nid un afiechyd a wellhawyd gan Grist, ond pob afiechyd, er dangos ei awdurdod ar y cwbl oll; ac nid yn unig dangosodd Mab y dyn ei awdurdod ar yr afiechyd hwn neu arall, gweision angeu, ond dangosodd ei awdurdod ar frenin dychryniadau ei hun. Rhoddai hwn i fynu ei ysglyfaeth, ni allai ei gadw, oblegid bod yr adgyfodiad a'r bywyd yn ei alw allan. Rhoddai ei olwg i ddyn a anesid yn ddall; iachai y gwahan-glwyfus anfeddyginiaethol; gwnelai i gloffion rodio; uniawnai y rhai oeddynt wedi cammu; mewn gair, yr oedd yn alluog mewn gair a gweithred. Nid llai na phedair gwaith yr yspeiliodd efe angeu, yr ydoedd yn amlwg ac yn oleu drwy yr holl dir. Unwaith yn neillduol, pan oeddid yn myned â bachgen ieuangc i'w gladdu, digwyddodd i Emmanuel ddyfod heibio,—parodd i'r rhai a'i cludai aros,—galwodd ar y bachgen, yr hwn a gyfododd yn fyw yn eu gwydd hwynt oll. Gwnaed y gwyrthiau hyn yn amlwg ar wahanol amserau, bob wythnos a phob dydd. Yr oedd dibenion gwyrthiau yr Arglwydd Iesu Grist yn dra phwysig, ac ym mhob ystyr yn deilwng o nerth yr Hollalluog. Eu diben pennaf ydoedd sefydlu a chadarnhau cyfundraeth o grefydd deilwng ym mhob ystyriaeth i gael ei derbyn gan yr holl hiliogaeth ddynol. Crefydd a ddatguddiwyd mewn rhan er yn fore iawn, oblegid rhag-efangylodd yr Arglwydd i Abraham; crefydd am yr hon y dywedodd prophwydi Duw yn dra melus, a chrefydd na chlywyd am eu bath erioed yn y byd. Daeth Crist i'r byd, gan

ddwyn y dystiolaeth nefol gydag ef, a chadarnhaodd hi ger gwydd llygaid miloedd o dystion, drwy nerthoedd a rhyfeddodau mawrion. Ac yr oedd holl wyrthiau y Messiah o ryw duedd ddaionus i ddyn; nid gwneuthur rhyw arwyddion yn yr haul, y lloer, a'r bodau wybrennol, ond diosg braich ei allu ar y ddaear, ym mhlith dynion, a dwyn oddi amgylch bethau a fyddai yn llesiol iddynt. Ni ymwelai â bro nac â chymmydogaeth, na thref, na thŷ, na theulu, heb wneuthur rhyw ddaioni ym mhob man, a gadael ar ei ol golofnau byw o'i serchawgrwydd a'i ewyllys tuag at ddyn. Mewn perthynas i ddinystr y genfaint foch, a goffheir yn Mat. 8. 28. a Marc 5. 12—17. y mae yn deilwng o'n hystyriaeth, na orchymmynodd Crist i'r cythreuliaid fyned i'r moch, ond yn hytrach caniattau a dioddef iddynt fyned i'r moch. Dioddefodd Crist iddynt fyned i'r moch, ef allai er mwyn dangos llid mawr yr ysprydion aflan, a maint y drygau a wnaent oni byddai eu bod yn cael eu hattal gan fraich yr Hollalluog Arglwydd. Os yr Iuddewon oedd meddianwyr y moch, efallai i'r cythreuliaid gael caniattad i fyned iddynt er mwyn cospi yr Iuddewon am droseddu cyfraith Moses, yr hon a waherddai i'r Iuddewon fwytta cig moch. O leiaf, yn a thrwy y wyrth nodedig hon, dangosodd Mab y dyn ei fod yn Arglwydd ar byrth uffern, ac na allai yr ysprydiou aflan fyned i greaduriaid aflan heb ei ganiattad ef. Dangosodd y wyrth hon yn neillduol bod Crist yn Arglwydd ac yn Dduw, a phob awdurdod ganddo.

Yr oedd mawredd neillduol yng ngwyrthiau Crist. Yng Nghana Galilea, pan ydoedd y gwin wedi prinhau, trodd y dyfroedd yn y llestr yn win; gwnaeth hyn ger gwydd y gweision, a phrofasant o hono, ynghyd â'r gwesteion oll. Porthodd bum' mil heb law gwragedd a phlant yn yr anialwch, a hynny âg ychydig fara, yr hyn a ddangosodd ei drugaredd a'i allu mawr. Credodd y bobl yn y wyrth, a mynnent ei wneuthur yn frenin. Gwellhaodd y cleifion, cyfododd y meirwon; mewn gair, y mae argraph o fawredd ar ei holl wyrthiau. Wele Oen Duw, wele yr hwn y rhag-fynegwyd am dano gan sanctaidd brophwydi Duw wedi dyfod i'r byd, a thra yn y byd wedi cyflawnu gwyrthiau a rhyfeddodau a fyddant yn enw ac yn glod iddo hyd yn oes oesoedd. Ond er mor amlwg y dystiolaeth a dystiolaethodd efe, er maint y gwyrthiau a wnaeth efe, ac er holl alwadau yr efengyl ar ol dynion i gredu ynddo, gwrthodir ei dystiolaeth, anufuddheir i'w orchymmynion, ac ni pherchir ei awdurdod gan nifer liosog o honynt, y rhai drwy eu hymddygiadau yn wirfoddol a ddewisant angeu o flaen bywyd.

---

## IX. DAMMEGION CRIST.

Yng ngweinidogaeth gyhoeddus ein Harglwydd Iesu Grist, pan lefarai a phan athrawiaethai wrth y bobloedd, gwnai hynny yn fynych trwy ddammegion, y rhai a ysgrifenwyd gan yr efangylwyr, ac ydynt yn parhau hyd heddyw yn wydrau gloyw er dangos dirgelion teyrnas nefoedd. Yr oedd ac y mae y dull o lefaru a throsglwyddo gwybodaeth ac addysg trwy ddammegion, yn lled gyffred-

inol hyd y dydd heddyw, o leiaf cyd-dystiolaetha yr holl ddefodau dwyreiniol yn hyn. Dywedwyd am Grist gan un o'r prophwydi, y byddai iddo ef agoryd ei enau mewn dammegion. Dammeg ydyw cyffelybiaeth neu ddychymmyg, yn yr hon y gosodir allan wirionedd mewn cyffelybiaeth, neu unrhyw beth dan rith peth arall. Mewn dammeg cymhwysir rhyw ddywediad ffugiol at wirionedd diffuant, yr hyn sydd yn ei wneuthur yn fwy hynod ac yn fwy boddhaol na phe llefarid ef mewn iaith eglur. Y gair Groeg *Parabole*, a arferir gan yr efangylwyr, sydd â'r un ystyr helaeth iddo a'r gair Hebraeg *Meshel*, yn yr Hen Destament. Arwydda nid yn unig yr hyn a alwn ni dammeg, ond hefyd unrhyw gyffelybiaeth neu ddiareb, neu ragddywediad, neu unrhyw beth a draddodir yn ffugurawl neu yn farddonawl. Weithiau arwydda unrhyw addysg fuddiol, megis yn Luc 14. 7. Cyfieithwyd y gair gan ein cyfieithwyr ni, weithiau diareb, Luc 14. 23; cyffelybiaeth, Heb. 9. 9. a 11. 19. Yn ol ystyr cyffredin y gair, math o gyffelybiaeth ydyw dychymmyg: gwahaniaetha oddiwrth gynllun neu siampl, yn mha un nid oes yn briodol un gyffelybiaeth, ond peth o'r un fath; felly y mae hanes y Pharisead a'r Publican; y gwr goludog a Lazarus; y Samariad trugarog; a'r ynfyd y cynnyddwyd ei olud i raddau tra mawr. Nid pob math o gyffelybiaeth ychwaith sydd yn addas i'w galw yn ddammeg, megis cyffelybiaeth teyrnas nefoedd i ronyn o had mwstard, i lefen, &c. Mwy addas i'w galw yn ddammeg os bydd wedi ei chymmeryd oddiwrth bethau byw. Hefyd, rhaid i'r peth yn y gyffelybiaeth fod yn weithredadwy, ac â dichoniad iddo: ac y mae gwahaniaeth hefyd rhwng dammeg ac alegori. Y mae dammegion ein Hiachawdwr yn rhoddi siamplau o bob math, ac nid yw yn gwneuthur dim gwahaniaeth pa un a fyddo y ddammeg yn wir neu yn ffugiol. Bu ymofyniadau yn cael eu gwneuthur cyn hyn pa un ai bod dammegion ein Hiachawdwr wedi eu hamcanu i wneuthur ei athrawiaethau yn eglur i'r werinos, ynte i'w cadw hwynt yn guddiedig oddiwrth eu llygaid; a hynny o herwydd dywedyd o Grist yn Luc 8. 10. "Fel yn gweled na welant, ac yn clywed na ddeallant." Etto, er hyn, mwy rhesymol ydyw meddwl mai er addysg i'r anwybodus y maent wedi eu hamcanu; nid yn unig am fod yr holl rai a ysgrifenasant ar natur dammeg yn cyttuno mai ffordd eglur o lefaru ydyw, wedi ei haddasu at ddeall y rhai gwaelaf, ond o herwydd bod ein Hiachawdwr yn dywedyd yn Mat. 13. 13. "Yr ydwyf yn llefaru wrthynt hwy ar ddammegion, canys a hwy yn gweled, nid ydynt yn gweled; ac yn clywed, nid ydynt yn clywed, nac yn deall." Hynny yw, nid oeddynt yn ystyried, nac yn gofalu am wybod yr hyn ag oedd efe, mewn ffordd gyffredin, eglur, a goleu, yn ei ddywedyd wrthynt; ac yn ganlynol, nid oeddynt yn ei ddeall; ac o herwydd hynny, efe a lefarodd wrthynt mewn dammegion, neu trwy gyffelybiaethau, wedi eu benthycca oddiwrth bethau yr oedd y rhai mwyaf anwybodus yn eu deall, er egluro iddynt ryw bethau nad oeddynt yn eu deall. Ac er fod rhai o'r rhai hyn nad oedd yr apostolion eu hunain yn eu hamgyffred y pryd y llefarid hwynt, oblegid yr hyn rhyfeddai ein Harglwydd, a dywedai, "Oni wyddoch chwi y ddammeg hon, a pha fodd y gwyddoch yr holl ddammegion?" Etto, efe a'u heglurodd iddynt drachefn. Er y gallai y dammegion

hyn fod yn eglur ac yn ddeallus i'r rhan fwyaf o ddynion yr amseroedd hynny, oblegid bod ein Hiachawdwr yn fynych ynddynt yn cyfeirio at bethau yn eu gŵydd ac yn gwbl adnabyddus iddynt; etto am fod y gwrthddrychau hyn wedi eu symmud oddiwrthym ni, nid ydyw pawb yn bresennol yn canfod eu grym a'u gogoniant. Nid ydyw y dammegion yn seiliau athrawiaethau yn eu holl aelodau, o herwydd pe dilynid hwynt felly, hwy a'n harweinient i'r cyfeiliornadau mwyaf ysgeler; ond diben pennaf y dammegion ydyw egluro a gwneuthur yn amlwg wahanol athrawiaethau perthynol i efengyl ein Harglwydd Iesu Grist.

Ardderchogrwydd cyntaf dammeg ydyw, ei bod yn troi ar wrthddrych hollol adnabyddus, ac yn gymhwysiadol i'r pwngc mewn llaw, meddwl yr hwn sydd amlwg ac yn taro at y matter yn uniongyrchol. Fel hyn y mae dammegion ein Harglwydd Iesu Grist; a gwelir hyn yn neillduol yn nammeg y deng morwyn, yn yr hon yr oedd cyfeiriad at bethau ac arferion hollol adnabyddus i'r Iuddewon, fel arferion a defodau perthynol i'w priodasau. Mewn gair, y mae cyfeiriadau y dammegion gan mwyaf at bethau hollol adnabyddus, megis yr efrau, y gronyn had mwstard, y rhwyd a fwriwyd i'r môr, ynghyd âg eraill a ellid eu coffhau. Mewn dammeg, nid yn unig rhaid i'r gwrthddrych fod yn gydnabyddus, ond yn ardderchog a hardd ynddo ei hun, a rhaid i'r holl rannau fod yn amlwg ac i'r perwyl. Dyma fel y mae dammegion yr Ysgrythyrau, ac yn neillduol rhai ein Harglwydd Iesu Grist. Dangosant natur y deyrnas a'r oruchwyliaeth oedd efe ar ei sefydlu, dangosant sefyllfa yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, ynghyd â gwaith gras yn cael ei ddwyn ym mlaen yng nghyflwr ac enaid dyn. Y bai cyffredin wrth ymdrin â'r dammegion ydyw, adeiladu gormod ar eu gwahanol rannau, a gadael y cnewyllyn ar ol; neu mewn geiriau eraill, eu hysprydoli, ac felly gwneuthur iddynt lefaru a gosod allan dybiadau estronol ac ammherthynasol i'w gwir gynnwysiad. Dylid cymmeryd gofal neillduol gyda dammeg, sef chwilio i'r achos oblegid pa un ei llefarwyd, yr arferiad at ba un y cyfeiria, ynghyd â'r pwngc neu yr athrawiaeth a eglura neu a gadarnha. Pwy bynnag a elo i adeiladu ar ddarn o ddammeg, y mae yn sicr o dywyllu cynghor; oblegid y mae yn angenrheidiol cymmeryd yr holl ddammeg, a dilyn y brif athrawiaeth, amgen gosodir hwynt ar yr arteithglwyd, a gwneir cam â hwynt.

## ACTAU YR APOSTOLION.

Llyfr Actau yr Apostolion ydyw y pummed a'r diweddaf o lyfrau hanesol y Testament Newydd, ac y mae yn cyssylltu yr Efangylau a'r Epistolau ynghyd. Y mae amrywiol enwau o bryd i bryd wedi eu rhoddi i'r llyfr hwn; ond yn gyffredin gelwir ef 'Gweithredoedd yr Apostolion,' a 'Gweithredoedd yr Apostolion Sanctaidd.' Mai Luc

ydoedd awdwr Actau yr Apostolion sydd ddiamheuol, o herwydd y mae yr arweiniad i mewn yn profi hyn, ynghyd â thystiolaeth gydunol yr hynafiaid. Cyfarwyddir yr Efengyl a'r Actau at Theophilus, a chyfeirir yn yr adnod gyntaf at yr Efengyl, dan yr enw, 'Y traethawd blaenorol.' Y mae Dr. Benson ac eraill wedi sylwi, ei fod yn dra thebygol i Luc ysgrifenu yr Efengyl a'r Actau yn un llyfr, a'i rannu yn ddwy ran drachefn. Ymddengys bod Luc yn llygad-dyst o'r rhan fwyaf o'r helyntion a adroddir ganddo. Aeth Luc gyda Paul o Troas i Philippi, gydag ef drachefn i Jerusalem, ac wedi hynny i Rufain, lle yr arosodd ddwy flynedd, tra bu yr Apostol yn garcharor. Crybwyllir am enw Luc mewn dau o'r epistolau a ysgrifenwyd gan Paul o Rufain. Dilynir hanes yr Actau hyd derfyniad yr ail flwyddyn o garchariad Paul, o ganlyniad ni allai bod y llyfr hwn wedi ei ysgrifenu hyd y flwyddyn o oed ein Harglwydd 63; a chan na chrybwyllir ynddo am farwolaeth yr Apostol Paul, tebygol iddo gael ei gyfansoddi cyn hynny, yr hyn a dybir ddigwyddo yn y flwyddyn 65.

Gyda golwg ar wiredd ac awdurdod y llyfr hwn, y mae tadau boreuol yr eglwys oll yn ei ganiattau, ac wedi ei dderbyn yn ddibetruso i'r canon. Heb nodi tadau yr oes gyntaf, y mae Irenæus a Tertullian, yn yr ail ganrif, yn priodoli y llyfr hwn i Luc, ac felly y gwna y tadau olynol. Nid ymddengys bod Luc wedi golygu ysgrifenu hanes cyflawn yr eglwys Gristionogol, o herwydd ni chrybwylla nemmawr am hanes yr eglwys Gristionogol ym mhlith yr Iuddewon; hanes llwyddiant yr efengyl yn y dwyrain, yn yr Aipht, sylfaeniad eglwys Crist yn Rhufain, taith Paul i Arabia, ynghyd â llaweroedd o bethau eraill. Wrth edrych yn graff ar lyfr yr Actau, ymddengys bod gan Luc ddau beth neillduol mewn golwg; yn gyntaf, Adrodd y dull a'r modd y cyfranwyd doniau yr Yspryd Glan ar ddydd y Pentecost, a'r gwyrthiau mawrion a nerthol a wnaed mewn canlyniad i hynny, trwy yr hyn y cadarnhawyd gwirionedd y grefydd Gristionogol. Yr oedd hanes gwirioneddol o'r amgylchiad nodedig hwn yn dra angenrheidiol, oblegid bod Crist mor fynych wedi addaw i'w ddisgyblion dderbyn yr Yspryd Glân. Yr ail beth oedd gan Luc mewn golwg ydoedd profi hawl y Cenhedloedd i gael eu derbyn i eglwys Crist. Amheuid a dadleuid yn erbyn hyn gan yr Iuddewon yn yr amser yr ysgrifenodd Luc lyfr yr Actau; a'r amgylchiad hwn a gynhyrfodd ddigofaint yr Iuddewon yn erbyn Paul, ac a fu yn achos o'i garchariad yn Rhufain. Hyn mae yn debygol ydoedd yr achos iddo grybwyll am ddychweliad y Samariaid, hanes Cornelius, ynghyd â phenderfyniad y cynghor cyntaf a gynnaliwyd yn Jerusalem mewn perthynas i'r ddeddf seremoniol. Sylwa Michaelis, bod Actau yr Apostolion wedi cael ei ysgrifenu gan Luc yn dra rheolaidd, yn ol yr amser yr oedd pethau yn digwyddo. A chymmeryd yn ganiattaol bod Llyfr yr Actau yn dechreu ei hanes ym mlwyddyn ein Harglwydd 33, yn yr hwn gyfrif y mae yn dilyn yr Archesgob Usher, y mae Michaelis yn rhoddi yr amserau canlynol i'r Llyfr dan sylw.

1. Yr amseriad cyntaf, ar ol dechreuad y Llyfr, sydd yn pen. 9. 29, 30. oblegid yr hyn a ddigwyddodd rhwng y Pentecost cyntaf wedi adgyfodiad Crist a'r hyn a goffheir yno, sydd heb nodau am-

seryddol. Ond yn pen. 9. 29, 30. gwneir crybwylliad o amser neillduol; oblegid yn achos y newyn a ddigwyddodd dan deyrnasiad Claudius Cæsar, anfonodd y brodyr yn Antioch am gymhorth at y brodyr yn Judea. Digwyddodd y newyn crybwylledig yn y bedwaredd flwyddyn o deyrnasiad Claudius, yr hon oedd yn cyfatteb i flwyddyn ein Harglwydd 44.

2. Yr ail amseriad. Bu Herod Agrippa farw yn fuan wedi iddo roddi yr Apostol Iago i farwolaeth, ac ynghylch yr amser hwnnw y dychwelodd Paul a Barnabas o Jerusalem i Antioch. Pen. 12. 21—25. Cymmerodd hyn le ym mlwyddyn ein Harglwydd 44.

3. Y trydydd amseriad. Pen. 18. 2. Yn fuan wedi alltudiaeth yr Iuddewon o'r Eidal gan Claudius Cæsar, daeth Paul i Corinth. Yn ol barn yr esponwyr, cymmerodd hyn le yn y flwyddyn 54; ond y mae hyn yn ansicr, oblegid ni chrybwylla yr hanesydd Suetonius am yr amser yr alltudiwyd yr Iuddewon.

4. Y pedwerydd amseriad. Paul yn dyfod i Jerusalem, ac yn cael ei garcharu gan yr Iuddewon, yn fuan wedi y terfysg a achoswyd gan yr Aiphtiwr. Pen. 21. 37—39. Y carchariad hwn a gymmerodd le yn y flwyddyn 60, oblegid yr oedd ddwy flynedd cyn i Ffelix ymadael â llywodraeth Judea.

5. Y pummed amseriad. Ddwy flynedd wedi carcharu Paul, pennodwyd Ffestus yn llywodraethwr Judea, yn y flwyddyn 62. Pen. 24. 27. a 25. 1.

O'r pryd hwn y mae amseriad Actau yr Apostolion yn amlwg. Anfonwyd Paul yn garcharor i Rufain yn Hydref y flwyddyn 62, sef y flwyddyn y pennodwyd Ffestus i fod yn llywodraethwr Judea; aeth yn llong-ddrylliad arno ar y môr, treuliodd y gauaf ym Malta, a chyrhaeddodd Rufain yn y flwyddyn ganlynol, sef 63. Pen. 26. 27, 28.

Terfyna Actau yr Apostolion gyda diweddiad yr ail flwyddyn o garchariad Paul yn Rhufain, o ganlyniad terfyna ei hanes yn y flwyddyn 65 o oedran Crist. Pen. 28. 30.

Gellir rhannu Llyfr yr Actau i dair rhan neillduol:—

RHAN I. A gynnwysa hanes sefydliad a llwyddiant y fam eglwys Gristionogol yn Jerusalem, o amser esgyniad ein Iachawdwr hyd yr erledigaeth Iuddewig gyntaf. Pen. i—viii.

Dosp. 1. Yr helyntion cyn ac wedi esgyniad Crist i'r nefoedd. Pen. i.

2. Disgyniad yr Yspryd Glân ar yr Apostolion ar ŵyl y Pentecost, a phregeth Pedr i'r bobl ar yr achlysur. Pen. ii.

3. Y cloff yn cael ei iachau gan Pedr ac Ioan. Ymadroddion wrth y bobl. Y digwyddiadau a ddaethant i ran y ddau Apostol oblegid y wyrth. Pen. iii. a iv.

4. Hanes marwolaeth Ananias a Sapphira. Gwyrthiau yr Apostolion. Eu fflangellu a'u gollwng yn rhyddion. Pen. v.

5. Sefydliad diaconiaid. Ymadrodd a merthyrdod Stephan. Yr erledigaeth Iuddewig gyntaf. Pen. vi. vii. viii. 1—4.

RHAN II. A gynnwysa wasgariad y disgyblion, ymledaniad y grefydd Gristionogol ym mhlith y Samariaid, dychweliad Paul, a sefydliad yr eglwys Gristionogol yn Antioch. Pen. viii. 5.—xii.

Dosp. 1. Planniad yr eglwys yn Samaria. Pen. viii. 5—25.
2. Dychweliad yr eunuch Ethiopaidd. Pen. viii. 26—40.
3. Dychweliad, bedydd, a phregethiad cyntaf Paul. Pen. ix.
4. Gwyrthiau neillduol Pedr, a dychweliad Cornelius a'i deulu. Pen. x. a xi. 1—18.
5. Yr eglwys genhedlig gyntaf yn cael ei sefydlu yn Antioch. Pen. xi. 19—30.
6. Rhoddi yr Apostol Iago i farwolaeth gan Herod Agrippa. Angeu brawychus Herod. Pen. xii.

RHAN III. Yma rhoir hanes am ddychweliad y Cenhedloedd pellennig, drwy weinidogaeth Paul a Barnabas; ac wedi eu hymadawiad, trwy Paul a'i gymdeithion, ym mhlith y rhai yr oedd Luc ei hun yn amser diweddaf yr Apostol.

Dosp. 1. Planniad amryw eglwysi yn Cyprus, yn Perga yn Pamphylia, Antioch yn Pisidia, Iconium, Lystra, a Derbe. Dychweliad Paul i Antioch. Pen. xiii. a xiv.
2. Yr Apostolion yn ymdrin â'r enwaediad mewn cynghor yn Jerusalem. Eu llythyr at yr eglwysi ar y pwngc. Pen. xv. 1—35.
3. Ymadawiad Paul yr ail waith i Antioch. Yn pregethu yr efengyl mewn amrywiol wledydd, yn neillduol yn Philippi a Macedonia. Dychweliad ceidwad y carchar yn Philippi. Pen. xv. 36—41. a Pen. xvi.
4. Teithiau Paul a'i gymdeithion yn Thessalonica, Berea, ac Athen. Ei araeth ragorol o flaen llys Areopagus. Pen. xvii.
5. Taith Paul i Corinth, ac oddi yno i Antioch. Pen. Pen. xviii. 1—22.
6. Trydydd ymadawiad Paul i Antioch. Canlyniadau ei bregeth yn Ephesus. Pen. xviii. 23—28. a xix.
7. Llafur Paul yng ngwlad Groeg, yn Asia Leiaf, ac yn ei daith tua Jerusalem. Pen. xviii. 23—28. a Pen. xix.
8. Erlid Paul yn Jerusalem. Ei anfon yn garcharor i Cæsarea. Pen. xxi—xxiii.
9. Paul yn dyfod i Cæsarea. Achwyniad yr Iuddewon yn ei erbyn. Ei ymddiffyniad o flaen Argrippa, &c. Pen. xxiii. xxiv. xxvi.
10. Mordaith Paul o Cæsrea, a'i long-ddrylliad ar ynys Malta. Ei fordaith oddi yno i Rufain, lle y pregethodd yr efengyl i'r Iuddewon, ac y bu yn garcharor am ddwy flynedd. Pen. xxvii, xxviii.

Cynnwysa Actau yr Apostolion brofion digonol o wirionedd a dwyfoldeb y grefydd Gristionogol; oblegid yr ydym yn cael ein dysgu yn y llyfr hwn mai nid drwy dwyll y sefydlwyd crefydd, ond trwy allu a nerth yr Yspryd Glân. Y mae yr hanes yn gwbl gredadwy, oblegid ysgrifenwyd ef gan berson hyddysg yn yr holl amgylchiadau.

## PENNOD III.

### *Ysgrifeniadau Epistolaidd ac Athrawiaethol y Testament Newydd, yn neillduol eiddo Paul yr Apostol.*

### HANES YR APOSTOL PAUL.

SAUL, yr hwn hefyd a elwid Paul, ydoedd yn Hebrewr o'r Hebreaid, o lwyth Benjamin, yn enedigol o Tarsis yn Cilicia, ac yn ddinesydd Rhufeinaidd. Yr oedd ei dad yn Pharisead, yn ol ffurfiau y sect fanylaf, ac yntau a ddysgwyd yn yr unrhyw egwyddorion. Ymddengys bod mab ei chwaer, a rhai o'i berthynasau, yn Gristionogion cyn iddo ef gael ei ddychwelyd i'r ffydd. Act. 23. 16—32. Rhuf. 16. 7, 11, 21. O Tarsis symmudodd Saul i Jerusalem, lle yr astudiodd y gyfraith a'r traddodiadau Iuddewig, o dan Gamaliel, dysgawdwr enwog ac anrhydeddus yn ei ddydd. Ymddengys bod Saul yn berchen ar ddoniau a galluoedd naturiol helaeth anghyffredin, ac yn hyf iawn dros yr egwyddorion a gredai. Tra yn Phariseaid, yr oedd ei fywyd yn ddiargyhoedd, ac yr oedd yn zelog dros y traddodiadau. Er gorphen ei ddysgeidiaeth, dysgwyd ef yn y gelfyddyd o wneuthur pebyll, yn ol yr arferiad Iuddewig o ddysgu rhyw gelfyddyd i'r holl feibion. Am ryw amser, bu yn elyn anghymmodlon i Gristionogaeth, ac yn wrthwynebwr mawr i bawb a broffesent y ffydd honno; a phan y llabyddiwyd Stephan, yr oedd ef yn rhoddi pob cynnorthwyon i'r lleiddiaid. Ynghylch y flwyddyn 34, yr oedd Saul yn ddiwyd iawn gyda'r erledigaeth a gyfodwyd yn Jerusalem ac yn holl Judea yn erbyn Cristionogaeth, a chafodd lythyrau i fyned gydag ef i Damascus, er dwyn y Cristionogion i fynu i Jerusalem. Ond pan ydoedd ar y ffordd yno, cymmerodd ei droedigaeth le mewn ffordd wyrthiol, amgylchiadau yr hyn a adroddir yn Actau, pen. 9. 2. a 22. 5. a 26. 12. Yn fuan wedi iddo gael ei fedyddio, ac i'r Yspryd Glân syrthio arno, aeth tuag Arabia, (Gal. 1. 17.) ac yn amser ei arosiad yn y wlad honno, y mae yn debygol iddo ddysgu athrawiaethau yr efengyl yn eu purdeb a'u gogoniant yn y wlad honno, yng ngoleuni yr Yspryd Glân. Ym mhen y tair blynedd wedi ei droedigaeth, dychwelodd yn ei ol tua Damascus, ynghylch y flwyddyn 38, (Gal. 1. 18.) ac yn hyf pregethodd yr efengyl i'r Iuddewon, y rhai a lidiasant wrtho, gan gynllwyn yn ei erbyn i'w ladd. Ond am i hynny gael ei wneuthur yn adnabyddus i Paul, diengodd o Damascus yn y nos, ac aeth i fynu i Jerusalem, am y tro cyntaf wedi ei ddychweliad i'r ffydd Gristionogol. Bu y Cristionogion yn Jerusalem mewn petrusder yn ei gylch am ryw amser; ond wedi iddynt gael eu boddloni ynghylch ei alwedigaeth, derbyniwyd ef fel brawd ac fel disgybl. Ni arosodd yn Jerusalem ond pumtheg diwrnod; oblegid drwy ei bregethau

cynnhyrfodd yr Iuddewon i'r fath raddau, fel y dygodd y brodyr ef i Cæsarea, ac a'i hanfonasant i Tarsis. Act. 28—30.

Pan ydoedd Paul yn Cilicia y cafodd y gweledigaethau rhyfeddol hynny, am y rhai y crybwylla yn 2 Cor. xii. ac ar yr achlysur hwn y cafodd swmbwl yn y cnawd, rhyw afiechyd corphorol medd rhai, profedigaeth yspryd medd eraill. Yn y flwyddyn 42, aeth Paul gyda Barnabas i Antioch, lle y pregethasant gyda llwyddiant mawr am flwyddyn. Efe a Barnabas a anfonwyd o Antiochia â'r casgliad i'r brodyr yn Judea, a meddylir mai pan ar y ffordd i Jerusalem y cafodd efe y weledigaeth a grybwyllir yn Act. 22. 17. Wedi iddynt gyflawnu eu neges, dychwelodd y ddau yn eu hol i Antiochia, yn y flwyddyn 44; a chymmerasant gyda hwynt Marc, nai Barnabas, i'w cynnorthwyo yn eu cennadwriaeth at y Cenhedloedd. Wynebasant ar y maes, gan bregethu anchwiliadwy oludoedd y groes i'r Cenhedloedd. Aethant i Cyprus; a thua'r flwyddyn 46 ymadawsant o Cyprus, gan wynebu tua thueddau Asia Minor, a phregethu Crist ym mhob man a lle. Yn Perga, dinas yn Pamphylia, yr ymadawodd Marc â Phaul a Barnabas, gan ddychwelyd i Jerusalem. Oddi yno aeth Paul a Barnabas i Antiochia. Yn y lle hwn, trwy eu gweinidogaeth dychwelwyd amryw i'r ffydd. Ymwelsant âg amryw fannau, a gair yr Arglwydd a lwyddodd yn eu dwylaw hwynt, a Christ a gafodd ogoniant a chaniadau agos drwy holl Asia. Wedi iddynt roddi cylch helaeth drwy wahanol wledydd Asia, dychwelasant yn eu hol i Antiochia yn Syria, wedi bod oddi yno am o ddeutu dwy flynedd.

Tra yr oedd Paul a Barnabas yn Antioch, o ddeutu y blynyddau 47 a 48, daeth rhyw bersonau o Judea, gan ddysgu nad ydoedd iachawdwriaeth i'w chael heb enwaediad, a seremoniau deddfol eraill. I'r diben i benderfynu y ddadl hon, anfonwyd Paul a Barnabas i Jerusalem, er mwyn cael barn yr apostolion a'r henuriaid ar y matter; ac wedi ei benderfynu yn groes i ddysgeidiaeth y gau-athrawon, dychwelodd y ddau yn ol i Antioch, gan aros yno hyd derfyn y flwyddyn 49. Ynghylch dechreu y flwyddyn 50, cynnygiodd Paul i Barnabas gymmeryd taith adnewyddol drwy yr eglwysi a blannwyd yn Asia Leiaf. Boddlonodd Barnabas i hynny, ond cael cymmeryd Marc gyda hwynt. Gwrthwynebodd Paul hynny, am i Marc eu gadael o'r blaen; a bu yr ymrafael gymmaint, fel yr ymadawsant â'u gilydd. Act. 13. 13. Cymmerodd Paul Silas gydag ef, ac aethant drwy Syria a Cilicia, gan gadarnhau yr eglwysi ym mhob man; ac wedi iddynt deithio drwy amryw wledydd, daethant i Troas, ac yma y cyfarfuasant â'r Efangylwr Luc. O ddeutu y flwyddyn 50, aeth Paul a'i gynnorthwywyr i Macedonia; ac oddi yno drwy wledydd a dinasoedd, gan gyhoeddi y Gwaredwr ym mhob man. Yn Athen, dygwyd ef o flaen llys yr Areopagus, am bregethu duwiau dieithr; ac yma y gwnaeth yr ymddiffyniad mwyaf hyawdl a Christionogol a wnaed erioed. Yn y blynyddau 51—53, aeth i Corinth, lle yr arosodd flwyddyn a chwe' mis; ac heblaw Timotheus a Silas, y rhai a ddaethant gydag ef yma, yr oedd Acwila a'i wraig Priscilla yn gymdeithion iddo. Ei lwyddiant yn Corinth a Peloponnesus a achosodd i'r Iuddewon ddigio yn erwin wrtho, a llusgasant ef ger bron Gallio y rhaglaw, yr hwn a wrthod-

odd ymyrraeth â pheth crefyddol, ac a'i danfonodd ymaith. Wedi i'r Apostol aros am ryw faint o amser yn Corinth, aeth i Cenchrea, a chymmerodd long er hwylio i Ephesus, lle y gadawodd Acwila a Phriscilla; ac oddi yno i Cæsarea a Jerusalem, o ba ddinas y dychwelodd i Antioch.

Rhwng y blynyddau 54 a 56, wedi i Paul aros am ryw amser yn Antioch, ymwelodd â'r eglwysi yn Galatia a Phrygia; yna daeth i Ephesus, lle y cafodd Acwila a Phriscilla, ac y rhoes ddoniau yr Yspryd Glân i ddeuddeg o ddisgyblion Ioan. Yn amser ei arosiad yn Ephesus, y mae yn debygol iddo dderbyn llythyr oddiwrth y Corinthiaid, at y rhai yr ysgrifennodd ei Epistol cyntaf. Cyfodwyd erledigaeth fawr yn ei erbyn yn Ephesus, a gadawodd y ddinas, wedi iddo yn gyntaf gasglu eglwys liosog ynghyd. Ymadawodd tua'r flwyddyn 56, ac aeth yn gyntaf i Troas, lle y pregethodd gyda llwyddiant mawr; ac oddi yno aeth i Macedonia. Yn y flwyddyn 57 aeth tua gwlad Groeg, ac arosodd yno am o ddeutu tri mis; ac yna aeth i Miletus, lle y cyfarfyddodd â henuriaid eglwys Ephesus. Yn y flwyddyn 58, aeth Paul o Miletus i Cos; yna i Rhodes, ac oddi yno i Patara; hwyliodd oddi yno i Phœnicia, a thiriodd ef a'i gymdeithion yn Tyrus. Hwyliasant oddi yno i Ptolemais, ac aethant ar draed i Cæsarea, lle y llettyasant gyda Philip yr efangylwr. Er ei rybuddio, penderfynodd fyned i Jerusalem; i'r lle yr aeth am y pummed tro, ychydig cyn gŵyl y Pentecost, yn y flwyddyn 58. Gwelwyd Paul yn y deml yn Jerusalem, gan rai Iuddewon o Asia, y rhai a annogasant yr Iuddewon i'w ladd; a thrwy ymdrech mawr yr achubwyd ei fywyd gan Lysias. Trosglwyddodd Lysias ei brawf i Cæsarea, gan gyfarwyddo yr Iuddewon i ddwyn eu cyhuddiadau yn ei erbyn o flaen Ffelix; yr hyn mewn canlyniad a wnaethant: ond Paul a ymddiffynodd ei hun mor gadarn, fel y credodd Ffelix yn ei ddiniweidrwydd; etto efe a'i cadwodd mewn rhyw fath o garchar, ac yr oedd caniattâd i'w holl gyfeillion ymweled âg ef. Ar ddeisyfiad gwraig Ffelix dygwyd Paul drachefn ger bron, pryd y rhoddodd hanes ei ffydd mor oleu, ac yr ymresymmodd mor gadarn, am gyfiawnder, a dirwest, a'r farn a fydd, fel y crynodd Ffelix ar ei orsedd. Cadwodd ef ddwy flynedd yn y carchar; a phan y galwyd Ffelix o Cæsarea, efe a adawodd Paul yn rhwym, er mwyn boddloni yr Iuddewon.

Tua'r flwyddyn 60, canlynwyd Ffelix yn llywodraeth Judea gan Ffestus, yr hwn a eisteddodd mewn barn ar Paul, ac wedi clywed achwyniadau yr Iuddewon yn ei erbyn, a'i ymddiffyniad yntau, a gynnygodd ar fod i brawf newydd gymmeryd lle yn Jerusalem; ond gwrthododd Paul hyn, gan appelio yn hytrach at yr Ymerawdwr. Dygwyd ef drachefn o flaen Ffestus ac Agrippa, ond yn gymmaint ag iddo appelio at Cæsar, rhaid oedd ei anfon i Rufain, yr hon ddinas a gyrhaeddodd yng ngwanwyn y flwyddyn 61. Caniattawyd iddo fyw mewn tŷ a logasid ganddo, a milwr i'w warchod; a thros ddwy flynedd ei garchariad pregethodd efengyl Crist i bawb a ddeuent i wrando arno yn ei dŷ ei hun. Y pryd hwn yr ysgrifenodd Paul ei Epistolau at yr Ephesiaid, y Philippiaid, y Colossiaid, ac at Philemon.

Ni ddilyna Luc hanes Paul ym mhellach na'i garchariad yn Rhu-

fain, ac nid oes gennym hanes o awdurdod am dano wedi hyn, sef o'r flwyddyn 63 hyd ei ferthyrdod. Meddylia rhai iddo ymweled â Judea, a'r eglwysi yn Syria, Cilicia, ac Asia Leiaf, ac iddo fyned i Rufain yn y flwyddyn 65, lle y bwriwyd ef i garchar am bregethu Crist. Pa faint o amser y bu efe yng ngharchar y tro hwn y mae yn anhyspys; meddylia Dr. Macknight, oddiar ei fod ddwy waith o flaen Nero, iddo fod yng ngharchar flwyddyn neu ychwaneg. Mewn perthynas i ddull ei farwolaeth, nid oes wybodaeth sicr; ond yn ol hen draddodiad, dywedir mai torri ei ben a wnaed ar y nawfed dydd ar hugain o Fehefin, yn y flwyddyn 66, mewn lle a elwid *Aquæ Salviæ*, ynghylch tair milldir o Rufain, ac iddo gael ei gladdu yn y *Via Ostensis*, ddwy filldir o'r ddinas, lle yr adeiladodd Cystenyn Fawr eglwys er coffadwriaeth am dano. Yr oedd Paul yn enwog ym mhlith yr Apostolion; yr oedd yn Apostol neillduol i'r Cenhedloedd, a bu yn ddiwyd iawn yn helaethu terfynau teyrnas yr Arglwydd Iesu Grist, a bu llwyddiant mawr ar ei lafur ac ar ei ymdrechiadau. Dengys ei Epistolau ei fod yn ddyn o wybodaeth neillduol, a chadarn yn yr athrawiaeth, yr hon a bregethodd ac a ymddiffynodd ef yn wrol. Y mae wedi gadael ar ei ol drysorau ammhrisiadwy i'r eglwys, a bydd ei enw fel Apostol mewn coffadwriaeth barhaus yn Sïon tra byddo darllen yr Ysgrythyr mewn ymarferiad ynddi.

## SYLWADAU AR YR EPISTOLAU.

Y MAE yr Epistolau, neu y Llythyrau a anfonwyd at wahanol eglwysi Cristionogol, ac at bersonau neillduol, gan yr Apostolion Paul, Iago, Pedr, Ioan, a Judas, yn gwneuthur yr ail raniad o'r Testament Newydd. Yr ysgrifeniadau hyn a gadarnhant wirioneddau yr Efangylwyr a'r hyn a goffeir yn Actau yr Apostolion. Cyfeirir ynddynt yn fynych at fywyd, marwolaeth, ac adgyfodiad ein Harglwydd Iesu Grist, o'r hyn bethau yr oeddynt hwy yn dystion. Er bod holl athrawiaethau hanfodol y grefydd Gristionogol wedi eu traddodi gan yr Arglwydd Iesu ei hunan, ac i'w cael yn yr Efangylau, etto y mae Epistolau yr Apostolion yn ddeongliadau ar yr athrawiaethau hynny, wedi eu hanfon at wahanol eglwysi er mwyn eu hamlygu a'u cymhwyso, ynghyd â dymchwelyd y cyfeiliornadau a gyfodent i fynu. Ond efallai bod yn angenrheidiol am fwy manylwch na hyn er rhoddi cynnwysiad Epistolau yr Apostolion.

1. Y mae yr Epistolau yn cyhoeddi ac yn egluro athrawiaethau, am y rhai ni lefarodd ein Hiachawdwr yn gyflawn yn ei bregethau, a'r rhai mewn canlyniad ni thraddodwyd yn eglur gan yr efangylwyr. Gadawodd ein Hiachawdwr ryw bethau heb eu mynegu yn eglur i'w ddisgyblion, Ioan 16. 12. yn neillduol mewn perthynas i natur ei deyrnas, oblegid y mae yn amlwg i'r Apostolion eu hunain feddwl am hir amser mai un dymhorol fyddai, ac y seilid hi mewn anrhydedd a gogoniant mawr. Yr oedd y dyb hon wedi greddfu yn

eu meddyliau mor gadarn, fel na thybiodd ein Hiachawdwr yn addas i'w diwreiddio ar unwaith, ond ei symmud ymaith yn esmwyth. Ond wedi i'r Yspryd Glân ddisgyn arnynt, a'u goleuo mewn perthynas i ysprydolrwydd natur ei deyrnas, ynghyd â'i dedwyddwch a'i bendithion, dywedent yn ardderchog am y goludoedd tragywyddol sydd yng nghadw yn y nefoedd i'r holl ffyddloniaid; o ganlyniad, ymdrechent gael ganddynt roddi eu serchiadau ar bethau ysprydol, ac nid ar bethau daearol. Camsyniadau y disgyblion am deyrnas Crist a barodd iddynt gam ddeall ymadroddion yr Arglwydd yn Marc 9. 10. Luc 9. 45. a 18. 34. Ni ddeallasant yr athrawiaeth am y groes hyd oni oleuwyd eu llygaid gyda golwg ar y pwngc hwn wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw. A chan nad oeddynt hwy wedi eu goleuo mewn perthynas i wahanol rannau yr athrawiaeth, cyn iddynt dderbyn yr Yspryd Glân mewn modd neillduol, nid ydym i ddisgwyl ei chael yn yr eglurdeb o honi yn yr Efangylwyr. Yn yr Epistolau hefyd yn bennaf y dywedir am alwedigaeth y Cenhedloedd, er gwneuthur un eglwys â'r Iuddewon. Crybwyllodd ein Harglwydd y mae yn wir am hyn, mewn ymadroddion cyffredinol, ac hefyd yn ei ddammegion; ond Paul yn ei ysgrifeniadau a ddywedodd, fod y dirgelwch wedi ei ddatguddio, y Cenhedloedd wedi eu galw, a phawb yn un yn a thrwy groes ein Harglwydd Iesu Grist. Ac yn yr Epistolau hefyd y dangosir annigonolrwydd y ddeddf i gyfiawnhau pechadur ger bron Duw, ynghyd â thragywyddol anghyfnewidioldeb offeiriadaeth Crist.

2. Yn yr Epistolau yn unig y rhoddir cyfarwyddiadau i ni, mewn perthynas i amrywiol ddyledswyddau mawrion a phwysig. Ym mhlith y rhai hyn gellir crybwyll, ynghylch bod ein holl ddiolchgarwch i gael ei offrymmu i Dduw yn enw ein Harglwydd Iesu Grist. Helaethir yn neillduol gan yr Apostol Paul ar ein dyledswyddau tuag at lywodraethwyr gwladol. Crybwylla Pedr am y ddyledswydd hon hefyd yn ei Epistolau. Mewn cyffelyb fodd crybwylla Paul, yn ei Epistol at y Galatiaid, am ddyledswydd y Cristionogion at eu llywodraethwyr ysprydol; ac hefyd, am ddyledswyddau gwyr at eu gwragedd, gwragedd i'w gwyr, rhieni at eu plant, plant at rieni, meistri at eu gweision, a gweision at eu meistri. Yr oedd yr Yspryd Glân yn eu cyfarwyddo at y pethau hyn, modd y byddai gan yr eglwys reolau i rodio wrthynt, a chyfarwyddiadau pa fodd i ymddwyn yn holl berthynasau a sefyllfaoedd bywyd. Yn yr Epistolau hefyd y symmudir ymaith amryw dramgwyddiadau oddiar ffordd yr Iuddewon, ac y rhoddir i lawr reol ymddygiad Iuddewon at Genhedloedd, a Chenhedloedd at Iuddewon.

Nifer yr Epistolau ydyw un ar hugain, y rhai a rennir i ddau ddosparth; sef Epistolau Paul, a'r Epistolau Cyffredinol. Ysgrifennwyd pedwar ar ddeg o'r Epistolau gan Apostol mawr y Cenhedloedd; y rhai ni chyflewyd yn ein Biblau ni yn ol amseriad eu cyfansoddiad, ond yn ol y flaenoriaeth a dybid oedd yn berthynol i'r eglwysi yr ysgrifennid attynt. Yr Epistol at y Rhufeiniaid a osodwyd gyntaf, oblegid mai dinas Rhufain ydoedd prif-ddinas yr ymerodraeth; canlynir hwn gan y ddau Epistol at y Corinthiaid, oblegid enwogrwydd a bri dinas Corinth. Yn nesaf at y rhai hyn y mae yr Epistolau at y Galatiaid, yr Ephesiaid, &c. Ym mhlith yr

Epistolau at bersonau neillduol, y rhai at Timotheus ydynt y blaenaf, yr hwn ydoedd yn ddisgybl anwyl i Paul; yn nesaf yr un at Titus, ac wedi hynny yr un at Philemon. Yr Epistol diweddaf ydyw hwnnw at yr Hebreaid, oblegid bod ei awdurdod wedi bod yn amheus am ychydig, er heb sylfaen i hynny, fel y dangosir rhagllaw. Meddylia Dr. Lardner mai yr Epistol hwn ydoedd y diweddaf a ysgrifennwyd gan yr Apostol Paul.

Y mae rhai dynion dysgedig wedi cynnyg cyfleu Epistolau Paul yn ol yr amser yr ysgrifenwyd hwynt; ond i'r cyflead hwn y mae dau wrthwynebiad: yn gyntaf, nid ydyw amseriad yr Epistolau crybwylledig wedi ei brofi i foddlonrwydd; ac yn ail, bydd y cyfnewidiad yn debyg o effeithio annhrefn nid bychan, gan fod y drefn sydd wedi ei dilyn er yr amserau boreuol. Y drefn ym mha un y maent yn bresennol ydoedd yr hon a ddilynid gan Eusebius, ac yn debygol gan Irenæus yn yr ail ganrif; o ganlyniad y drefn bresennol ydyw yr hynaf, ac yn ol barn Dr. Lardner yr oreu hefyd. Ond gan y bydd gwybodaeth o'r drefn, yn ol pa un y tybir i'r Apostol ysgrifennu ei Epistolau, yn fuddiol, rhoddir Taflen o honynt, yn ol fel y tybir bod eu hamseriad priodol, ynghyd â'r lleoedd y bernir yr ysgrifennwyd hwynt o honynt.

| Yr Epistolau. | Lleoedd. | | Oed Crist. |
|---|---|---|---|
| 1 Thessaloniaid | Corinth | | 52 |
| 2 Thessaloniaid | Corinth | | 52 |
| Galatiaid | Corinth | tua diwedd... neu ddechreu | 52 53 |
| 1 Corinthiaid | Ephesus | | 56 |
| Rhufeiniaid | Corinth | tua diwedd... neu ddechreu | 57 58 |
| 2 Corinthiaid | Macedonia, efallai o Philippi | | 58 |
| Ephesiaid | Rhufain | | 61 |
| Philippiaid | Rhufain | tua diwedd... neu ddechreu | 62 63 |
| Colossiaid | Rhufain | | 62 |
| Philemon | Rhufain | tua diwedd... neu ddechreu | 62 63 |
| Hebreaid | Yr Eidal, efallai Rhufain | tua diwedd... neu ddechreu | 62 63 |
| 1 Timotheus | Macedonia | | 64 |
| Titus | Macedonia | | 64 |
| 2 Timotheus | Rhufain | | 65 |

Yr Epistolau Cyffredinol ydynt saith mewn nifer, ac yn cynnwys Llythyrau yr Apostolion Iago, Pedr, Ioan, a Judas. Gelwir hwynt yn Gyffredinol, am nad ydynt wedi eu cyfeirio at bersonau neu eglwysi neillduol, fel Llythyrau Paul; ond at Gristionogion yn gyffredinol ym mhob gwlad. Y Daflen ganlynol a ddengys amseriadau yr Epistolau Cyffredinol, ynghyd â'r lleoedd o ba rai yr ysgrifennwyd hwynt, yn ol barn y rhan amlaf o ddysgedigion diweddar a ysgrifennasant ar y pwngc

| Epistolau. | Lleoedd. | Oed Crist. |
|---|---|---|
| Iago | Judea | 61 |
| 1 Pedr | Rhufain | 64 |
| 2 Pedr | Rhufain | 65 |
| 1 Ioan | Anadnabyddus, efallai Ephesus | tua diwedd .. 68 neu ddechreu 69 |
| 2 a 3 Ioan | Ephesus | tua diwedd... 68 neu ddechreu 69 |
| Judas | Anadnabyddus | 64 neu 65 |

Y drefn gyffredinol ym mha un yr ysgrifennwyd yr Epistolau ydyw, yn gyntaf, ymdrin â matterion dadleugar, neu ddadymchwelyd tybiadau cyfeiliornus, pa rai oeddynt yn cael eu gwasgaru yn yr eglwysi. Yn ail, galw ar yr eglwysi at y dyledswyddau hynny ag oeddynt o'r pwys mwyaf iddynt i'w cyflawnu, er harddu athrawiaeth Duw eu Hachubwr; a'r rhai hefyd ydynt yn perthynu i'r eglwys ym mhob oes ac ym mhob gwlad. Ond er mor helaeth a chyflawn ydyw yr Epistolau, y maent mewn rhai mannau yn fwy tywyll ac yn anhawddach i'w deall na'r hyn a ysgrifennwyd gan yr Efangylwyr. Ac y mae hyn yn naturiol iawn hefyd; oblegid pan oedd yr Apostolion yn ysgrifennu eu Llythyrau, yr oeddynt yn gwneuthur hynny at rai yr oedd pob amgylchiad oblegid pa rai yr ysgrifennid hwynt yn hyspys; ond nid ydyw y cyfryw amgylchiadau yn hyspys i ni, o ganlyniad y mae yr ymadroddion mewn amrywiol fannau yn dywyll i ni yn yr oesau hyn.

# YR EPISTOL AT Y RHUFEINIAID.

Er mai y pummed, yn ol y drefn a grybwyllwyd, ydyw yr Epistol at y Rhufeiniaid, etto y mae wedi ei roddi yn flaenaf, oblegid mai Rhufain ydoedd prif ddinas y byd y pryd hwnnw; neu am ei fod y mwyaf a'r mwyaf cynnwysfawr o'r holl Epistolau. Gyda golwg ar yr amser yr ysgrifennwyd ef, ni ellir dywedyd dim gyda mwy o sicrwydd nag sydd yn y Daflen flaenorol. I'r Epistol hwn gael ei ysgrifennu o Corinth, sydd amlwg oddiwrth Rhuf. 16. 23. oblegid anfona gyfarchiadau Erastus, ystafellydd dinas Corinth, a Gaius, gyda yr hwn y llettyai Paul, ynghyd â niferi lliosog o Gorinthiaid eraill. Y mae yr Epistol hwn wedi cael ei ystyried yn ganonaidd, ac yn Epistol wedi ei ysgrifennu gan Paul, er bore Cristionogaeth. Gwneir difyniadau o hono gan Irenæus, Theophilus o Antioch, Clement o Alexandria, Tertullian, Origen, a chan gwmmwl o ysgrifennwyr eglwyswig. Ni chrybwyllir yn y Testament Newydd, pa bryd na chan bwy y pregethwyd yr efengyl gyntaf yn Rhufain. Y rhai hynny a haerant mai gan yr Apostol Pedr y sylfaenwyd yr eglwys hon, ni allant brofi hynny i foddlonrwydd;

a phe buasai yr eglwys yn Rhufain wedi cael ei ffurfio gan Pedr, y mae yn debygol y crybwyllasid am hynny gan Luc yn Actau yr Apostolion, lle y crybwyllir yn neillduol am lafur yr Apostol Pedr. Ymddengys oddiwrth Rhuf. 1. 8. na fu Paul yn Rhufain cyn iddo ysgrifennu yr Epistol hwn at yr eglwys yn Rhufain. Tybia Dr. Benson, Michaelis, Rumbach, ac eraill, mai gan y rhai a ddychwelwyd i'r ffydd drwy weinidogaeth Pedr ar ddydd y Pentecost y pregethwyd yr efengyl gyntaf yn Rhufain, oblegid dywedir yn Act. 2. 10. bod dieithriaid o Rufain, Iuddewon, a phroselytiaid yn wyddfodol yno ar y pryd. Cynnyddodd yr eglwys yn anghyffredin yn amlder ei haelodau, fel yr oedd y son am dani wedi myned drwy y byd. Rhuf. 1. 8.

Yr achlysur o ysgrifennu yr Epistol hwn a ellir gasglu yn hawdd o'r Epistol ei hun. Ymddengys bod Paul wedi ei wneuthur yn gwbl hyspys o holl amgylchiadau y Cristionogion yn Rhufain, gan Acwila a Phriscilla, (Rhuf. 16. 3.) a dangosai awydd mawr am eu gweled, er mwyn gwneuthur daioni iddynt mewn pethau ysprydol. Rhwystrwyd ef yn ei fwriad i ymweled â hwynt, ond defnyddiodd y cyfleustra o anfon Epistol attynt gyda Phœbe. Yr oedd Paul wedi deall bod yr eglwys yn Rhufain yn gynnwysedig o eilunaddolwyr wedi eu dychwelyd i'r ffydd Gristionogol, ac o Iuddewon a gredasent yn y Messiah, ond yn parhau yn llawn rhagfarn dros ryw hen bethau. Yn awr yr oedd y Rhufeiniaid Cenhedlig yn dadlu bod ganddynt bob hawl i freintiau yr Hebreaid Cristionogol; ond ni chaniattai yr Iuddewon hyn iddynt, oni chymmerent eu henwaedu yn ol defodau Moses. Ysgrifennodd Paul yr Epistol hwn, er penderfynu y dadleuon rhwng y ddwy blaid, ac er cadarnhau ffydd y Rhufeiniaid yn wyneb yr heresiau a wasgerid gan y gau athrawon.

Tuag at ddeall yr Epistol hwn, y mae yn angenrheidiol i ni wybod y tybiadau a gredid gan y rhai hynny y dadymchwela Paul eu cyfeiliornadau. Y mae yn amlwg i'r Apostol ysgrifennu at rai oeddynt wedi bod yn Genhedloedd neu yn Iuddewon, ac mai ei amcan pennaf ydoedd symmud ymaith ragfarnau Iuddewon a Chenhedloedd.

Y nifer liosoccaf o'r Cenhedloedd oeddynt mewn dygn dywyllwch ac anwybodaeth, ac ni thrallodent fawr arnynt eu hunain mewn perthynas i faddeuant pechodau nac iechydwriaeth eu heneidiau. Y lleill o honynt a gredent fod eu rhinweddau yn teilyngu ffafr y duwiau, ac os ydoedd byd ar ol hwn, disgwylient am fod yn ddedwydd yno. Yr Iuddewon o'r tu arall wedi rhannu y byd yn dri ddosparth: y dosparth cyntaf oeddynt y cyfiawnion, cyfiawnder pa rai ydoedd yn helaethach na'u pechodau; yr ail ddosparth oedd y rhai hynny, cyfiawnderau pa rai oeddynt gyfartal i'w pechodau; a'r trydydd oedd y rhai hynny, pechodau pa rai oeddynt yn lliosoccach na'u gweithredoedd da. Er hynny, meddylient nad oedd neb mor gyfiawn, fel nad ydoedd yn sefyll mewn angenrheidrwydd o faddeuant; a chredent y derbynient faddeuant drwy edifeirwch, drwy gyfaddefiad o'u pechodau, drwy elusengarwch, drwy weddi, drwy buredigaethau, drwy aberthau, drwy gyfnewidiad buchedd, ac uwchlaw pob peth drwy yr aberth mawr blynyddol a wneid ar ŵyl

y cymmod. Ac heblaw hyn, yr oedd y rhai mwyaf zelog o'r Iuddewon yn dra chyfeiliornus mewn perthynas i'w cyfiawnhad, i etholiad eu cenedl, ac i'r llywodraeth Rufeinig; yr hyn bethau y mae yn rhaid i ni eu hystyried, am fod yr Apostol yn dadleu yn eu cylch yn yr Epistol hwn.

1. Gosodai yr Iuddewon i lawr dair sail i'w cyfiawnhad, trwy ba rai y disgwylient gael eu gwaredu oddiwrth euogrwydd a chosp pechod. 1. Duwioldeb a theilyngdod anghydmarol eu hynafiaid, Abraham, Isaac, a Jacob, y deuddeg patriarch, a'r cyfammod a wnaeth Duw â'u tadau; a thybient bod y cyfammod hwn yn gosod Jehofah dan rwymau i faddeu eu holl bechodau. Y cyfeiliornad hwn o'r eiddynt a ddymchwelir gan yr Apostol yn y nawfed bennod, lle y dangosa na wnaed y bendithion ond i hanedigion ffyddlon Abraham. 2. Credent fod eu gwybodaeth am Dduw drwy y gyfraith, a'u diwydrwydd hwythau yn ei myfyrio, yn sail eu cyfiawnder ger bron Duw. Ystyrient hyn mor uchel, fel y gwnaent ef yn sail am faddeuant eu pechodau. Mewn gwrthwynebiad i'r dyb hon, y mae yr Apostol yn profi, yn yr ail bennod, bod dyn yn cael ei gyfiawnhau, nid trwy ei wybodaeth o'r gyfraith, ond trwy gyflawnu y gyfraith. 3. Disgwylient am faddeuant o'u pechodau drwy y ddeddf seremoniol. Yr oedd enwaediad yn uchel iawn ganddynt, ac felly yr aberthau; a'r Iuddewon a farnent bod yn rhaid i'r Cenhedloedd dderbyn holl gyfraith Moses, er mwyn eu cyfiawnhad a bod yn gadwedig; neu mewn geiriau eraill, nad ydoedd iechydwriaeth i'w chael allan o'r eglwys Iuddewig. Mewn gwrthwynebiad i hyn, y mae yr Apostol yn dysgu nad oedd y ddeddf yn dileu, ond yn datguddio pechod, a thrwy yr aberthau yn dangos y gospedigaeth a haeddai.

2. Yr athrawiaeth Iuddewig mewn perthynas i etholedigaeth ydoedd hon;—Yn gymmaint a bod Duw wedi addaw wrth Abraham y byddai iddo fendithio ei had, ei fod yn rhwym o ganlyniad i fendithio pob Iuddew, am ei fod o hiliogaeth Abraham, pa un bynnag ai da ai drwg, ai duwiol ai annuwiol a fyddai. Ymdrinia yr Apostol â'r matter hwn yn pen. 9.

3. Yr oedd rhai o'r Phariseaid, yn neillduol y rhai a berthynent i blaid Judas y Galilead, yn dra digofus wrth swyddogion estronol; a thrwy gam-ddeongli Deut. 17. 15. barnent ei fod yn anghyfreithlon talu teyrnged i'r ymerawdwr Rhufeinig, a chydnabod ei awdurdod. Yr oedd yr Iuddewon bob amser yn addfed i wrthryfel, ac yn barod i fwrw ymaith yr iau. Cynghora yr Apostol yr Iuddewon dychweledig, yn Rhuf. 13. 1. i fod yn dawel, ac i beidio ymyrraeth yn ormodol â phethau gwladol.

Y mae Michaelis wedi rhoddi golygiad rhagorol dda ar resymmeg yr Apostol yn yr Epistol at y Rhufeiniaid, yr hwn yn bresennol wedi ei dalfyrru a roddir ger bron. Sylwa mai y pwngc a amcanir ei brofi gan yr Apostol ydyw, Bod yr efengyl yn datguddio cyfiawnder anadnabyddus o'r blaen, i'r hwn y mae gan Iuddewon a Chenhedloedd hawl gyfartal. Rhuf. 1. 15, 16. I'r diben i brofi hyn dengys bod yr Iuddewon a'r Cenhedloedd dan bechod; hynny yw, y gwna Duw gyfrif eu pechodau i'r Iuddewon yn gystal a'r Cenhedloedd.

Bod yr Apostol yn dadleu yn y wedd ganlynol, yn pen. 2. 1, 17—24. Bod digofaint Duw wedi cael ei ddatguddio yn erbyn y rhai a ddaliant y gwirionedd mewn anghyfiawnder; sef yn erbyn y rhai a gyfaddefant y gwirionedd, ac etto a bechant yn ei erbyn.

Bod y Cenhedloedd yn cyfaddef gwirioneddau, ond eu bod, drwy eu heilun-addoliaeth a'u pechodau eraill, yn pechu yn erbyn y gwirionedd a gydnabyddid ganddynt.

O ganlyniad, bod digofaint Duw wedi ei ddatguddio yn erbyn y Cenhedloedd, ac y cospir hwynt.

Bod yr Iuddewon wedi cydnabod mwy o wirioneddau na'r Cenhedloedd, ac etto yn pechu; o ganlyniad, bod yr Iuddewon yn fwy agored i ddigofaint Duw. Pen. 2. 1—12.

Wedi profi ei bwngc, y mae yr Apostol yn myned rhagddo i atteb rhyw wrthwynebiadau neillduol.

Gwrthwynebiad 1. 'Yr oedd yr Iuddewon yn dra gwybodus yn y gyfraith, ac yn myfyrio llawer iawn yn y gyfraith.' Y mae yr Apostol yn atteb hyn drwy sylwi, Os ydoedd gwybodaeth o'r gyfraith heb ei chadw yn ddigonol i'w cyfiawnhau, y canlyniad oedd, na allai Duw gondemnio y Cenhedloedd, y rhai a wyddent y gyfraith wrth natur. Pen. 2. 13—16.

Gwrthwynebiad 2. 'Yr oedd yr Iuddewon yn enwaededig.' Atteb. Yr ydych chwi yn cael eich derbyn drwy arwydd allanol i gyfammod Duw, ac ni wna yr arwydd hwn leshad i chwi pan halogoch y cyfammod. Pen. 2. 25, &c.

Gwrthwynebiad 3. 'Yn ol athrawiaeth Paul, nid oes gan yr Iuddewon unrhyw fanteision uwchlaw eraill.' Atteb. Oes; ganddynt hwy y mae Ysgrythyrau Duw. Ond nid oedd eu breintiau yn cyrhaeddyd mor bell ag i'r Arglwydd beidio sylwi ar eu pechodau; i'r gwrthwyneb, condemnia yr Ysgrythyrau hyd yn nod yr Iuddewon eu hunain. Pen. 3. 1—13.

Gwrthwynebiad 4. 'Yr oedd ganddynt y ddeddf seremoniol a'r aberthau.' Atteb. Nid yw y rhai hynny yn rhoddi maddeuant pechod, ond yn rhoddi gwybodaeth am bechod. Pen. 3. 20.

Oddiwrth yr holl bethau hyn y mae Apostol yn penderfynu, y gellir cyfiawnhau Iuddewon a Chenhedloedd trwy yr unrhyw foddion; nid trwy y ddeddf seremoniol, ond trwy ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist; ac yn groes i dybiadau yr Iuddewon, y mae yn crybwyll cyhoeddiad Zechariah, sef bod Duw yn Dduw i'r Cenhedloedd yn gystal ag i'r Iuddewon. Pen. 3. 21, &c.

Gellir rhannu yr Epistol hwn i bedair rhan.

RHAN I. Yr arweiniad i mewn. Pen. i. 1—13.

RHAN II. A gynnwysa ddosparth athrawiaethol yr Epistol, mewn perthynas i gyfiawnhad. Pen. i. 16—32. a ii—xii.

Dosp. 1. Y gosodiad mewn perthynas i ehangder yr efengyl, (pen. i. 16.) ynghyd âg eglurhad y gosodiad dywededig, (pen. i. 17.) yn yr hwn y dangosir bod cyfiawnder yn gyrhaeddadwy,

(1.) Nid trwy weithredoedd; oblegid bod y Cenhedloedd, (pen. i. 19—32.) a'r Iuddewon, (pen. ii. a iii. 1—18.) a'r ddau ynghyd, (pen. iii. 19, 20.) dan bechod.

Dosp. 1. (2.) Ond trwy ffydd, trwy yr hyn y dangosir ein bod yn cael ein cyfiawnhau drwy ffydd yn unig; (pen. iii. 21—31.) fel yr ymddengys oddiwrth enghraifft Abraham, tystiolaeth Dafydd, (pen. iv.) ynghyd â breintiau a bendithion had Abraham, y rhai drwy ffydd a'u mwynhant uwchlaw ac yn helaethach na'r rhai a fwynhawyd gan ei had naturiol, fel eu darlunir yn pen. ii. 17—20. Breintiau y gwir gredinwyr hyn yng Nghrist ydynt, 1. Heddwch â Duw, pen. v. 1. 2. Gorfoledd mewn gobaith o ogoniant Duw, pen. v. 3—10. 3. Llawenydd yn Nuw ei hunan, trwy yr Arglwydd Iesu Grist, pen. v. 11—21. 4. Marweiddiad pechod ac adnewyddiad buchedd, (pen. vi.) rhyddid oddiwrth fygythion y gyfraith, (pen. vii. 6.) a rhyddhad oddiwrth ei damnedigaeth, a gogoneddiad yn y pen draw, pen. viii.

Dosp. 2. Breintiau cyfartal y credinwyr Iuddewig a Chenhedlig, (pen. ix—xi.) yn yr hwn y mae yr Apostol yn dangos,

(1.) Bod gwrthodiad y rhan fwyaf o had Abraham ac Isaac gan Dduw, yn wirionedd anwadadwy, pen. ix. 6—13.

(2.) Nad ydoedd Duw wedi dewis yr Iuddewon i fwynhad o'r cyfryw freintiau, oblegid unrhyw ddaioni ynddynt hwy neu eu tadau, pen. 9. 14—24.

(3.) Fod ei dderbyniad o'r Cenhedloedd, a'i wrthodiad o'r Iuddewon, wedi eu rhag-ddywedyd gan Hosea ac Esay, pen. ix. 14—24.

(4.) Bod Duw wedi cynnyg iechydwriaeth i'r Iuddewon a'r Cenhedloedd ar yr un ammodau, ond i'r Iuddewon ei gwrthod, pen. x. 1—21.

(5.) Ond er bod Israel wedi eu gwrthod oblegid eu gwrthnysigrwydd, etto nad ydoedd y gwrthodiad yn hollol; ond bod gweddill yn eu plith, pa rai a gofleidiasant yr efengyl, ac a gredasant yng Nghrist fel y Messiah addawedig. pen. xi. 1—10.

(6.) Nad ydoedd eu gwrthodiad yn dragywydd, ond yn y pen draw y byddai holl Israel yn gadwedig, pen. xi. 11—31.

(7.) Bod eu gwrthodiad yn ddangosiad o ddoethineb anchwiliadwy a chariad Duw, pen. xi. 32—36.

Rhan III. A gynnwysa y dosparth ymarferol o'r Epistol, pen. xii—xv. 1—14. yn yr hwn y cynghora yr Apostol y credinwyr Rhufeinig i ymddwyn mewn modd addas i'r alwedigaeth â pha un eu galwyd. Y mae yn eu cynghori, 1. I gyflwyno eu hunain i Dduw, ac i ddarostwng eu hunain fel cyd-aelodan o gorph Crist, pen. xii. 1—8. 2. I gariad Cristionogol, pen. xii. 9—21. 3. I ufudd-dod i'r awdurdodau, pen. xiii. 1—7. 4. Pa fodd yr oedd yn weddus i'r rhai cedyrn yn y ffydd i ymddwyn tuag at eu brodyr gweiniaid, pen. xiv. a xv. 1—13.

RHAN IV. Y terfyniad, yn yr hwn yr esgusoda yr Apostol ei hun oblegid ei hyfdra yn ysgrifennu at y Rhufeiniaid, pen. xv. 14—21. Ac oblegid nad ydoedd wedi ymweled â hwynt, pen. xv. 22. Cyfarchiadau at amryw o'r brodyr yn Rhufain, pen. xvi.

Y mae yn angenrheidiol darllen yr un bennod ar ddeg gyntaf o'r Llyfr hwn yn ddidor, oblegid eu bod yn dwyn y fath gyssylltiad â'u gilydd, a'r ymadroddion yn ymddibynnu cymmaint ar eu gilydd. A chyn myned i mewn i yspryd yr Epistol hwn, rhaid i ni fyned i yspryd Iuddew yr amseroedd hynny, yr hwn yr oedd yn gas gan ei galon y Cenedl-ddyn. Y mae sylwi ar bethau, ac ar amgylchiadau pethau, yn gynnorthwyon mawrion er deall yr Epistol hwn; ac y mae y llafur a gymmerir gydag ef yr sicr o dalu mewn cysuron oddiwrth ogoniant a melusder yr athrawiaethau a gynnwysir ynddo.

# I. CORINTHIAID.

PLANNWYD Cristionogaeth gyntaf yn Corinth gan yr Apostol Paul ei hun, yr hwn a fu yn aros yno am o ddeutu blwyddyn a hanner, rhwng y blynyddau 51 a 53. Yr oedd yr eglwys yn Corinth yn gynnwysedig mewn rhan o Iuddewon, ac mewn rhan o Genhedloedd; ond y Cenhedloedd oeddynt y nifer liosoccaf. Hyn ydyw yr achos bod Paul, yn yr Epistol hwn, yn ymosod weithiau ar goel-grefydd yr Iuddewon, a phryd arall yn erbyn halogrwydd y Cenhedloedd. Pan ymadawodd Paul â Corinth, canlynwyd ef gan Apollos, dyn hyawdl a galluog yn yr Ysgrythyrau, yr hwn a bregethodd yr efengyl yn Corinth gyda llwyddiant mawr. Actau 18. 24—28. Yr oedd Acwila a Sosthenes hefyd yn ddysgawdwyr enwog yn yr eglwys yn Corinth. 1 Cor. 1. 1. Ond yn fuan wedi ymadawiad Paul o Corinth, cythryblwyd yr eglwys yn ddirfawr gan athrawon gau, y rhai a honnent i hyawdledd a doethineb, a gwnaent dwrf mawr ynghylch rhyddid Cristionogol, a gwnaethant niwed mawr i effaith gweinidogaeth yr Apostol Paul Oblegid hyn ffurfiwyd dwy blaid yn yr eglwys; un yn neillduol dros y seremoniau Iuddewig, a'r llall, drwy gam-ddarlunio rhyddid Cristionogol, yn torri dros derfynau pob gweddeidd-dra, yn groes i amcan ac yspryd yr efengyl, Ymffrostiai un blaid eu bod yn ddilynwyr i'r Apostol Paul, a'r llall eu bod yn dilyn Apollos. Cyfrannogai y Cenhedloedd o'r hyn oedd wedi ei aberthu i eilunod, yr hyn a ystyriai yr Iuddewon Cristionogol yn anghyfreithlon. Ac ymddengys bod rhyw duedd neillduol at halogrwydd yn perthynu i'r dychweledigion Cenhedlig yn eglwys Corinth, a rhai o honynt a gyflawnent y drygau mwyaf; ac aeth un ym mlaen mor bell mewn aflendid a phriodi ei lysfam. Rhai o honynt a wadent yr adgyfodiad. Yr aelodau cyfoethog a gam-ymddygent eu hunain yn gywilyddus pan weinyddid

yr ordinhad o swpper yr Arglwydd; a'r rhai a feddiannent ddoniau ysprydol oeddynt wedi myned yn drahaus. Tynnai y benywaid y gorchudd oddiar eu pennau, a llefarent yn y cyfarfodydd er addoliad crefyddol. Ac ymddengys bod amryw o'r Corinthiaid Cristionogol yn dwyn eu brodyr, mewn achosion o ymrafaelion, o flaen llysoedd yr eilun-addolwyr, yn lle eu dwyn ger bron y brodyr; ac yr oedd dadleuon brwd yn eu plith ynghylch gweddwdod a phriodas.

Er bod y drygau hyn wedi cael eu hachosi gan y gau-athrawon, etto yr oeddynt hefyd wedi tarddu oddiwrth foesau llygredig trigolion Corinth. Yr oedd teml Venus yng nghanol y ddinas, a chynnelid mil o butteiniaid mewn ffordd o anrhydedd iddi. Hyn, ynghyd â phethau eraill, oedd yr achos nad ystyriai, hyd yn nod y Cristionogion eu hunain yn Corinth, aflendid a godineb ond peth bychan; a thrwy fyned i'r temlau i fwytta o bethau a aberthwyd i eilunod, yr oeddynt yn cefnogi eilun-addoliaeth. Ymddengys bod yr achlysur o ysgrifennu yr Epistol hwn yn ddyblyg: yn gyntaf, yr aflywodraeth oedd yn yr eglwys, megis rhwygiadau, drygau amlwg, cymmundeb eilun-addolgar, diffyg gweddeidd-dra, halogrwydd o ordinhad y swpper, a gwadu adgyfodiad y meirw. Yr ail achos ydoedd, i'r Apostol dderbyn llythyr oddiwrth yr eglwys yn Corinth, trwy ddwylaw Stephanas, Ffortunatus, ac Achaicus, yn yr hwn y gofynnent gynghor gyda golwg ar ryw achosion neillduol megis, priodas, pethau wedi eu haberthu i eilunod, doniau ysprydol, prophwydo, ynghyd â chasgliadau. Dengys hyn i ni bod yr Apostol mewn gohebiaeth barhaus â'r eglwysi a blannwyd ganddo ef, ac yn adnabyddus o'u holl amgylchiadau. Gellir rhannu yr Epistol hwn yn dair rhan.

RHAN I. Yr arweiniad i mewn, (pen. i. 1—9.) yn yr hwn yr arwydda Paul ei foddlonrwydd at yr holl ddaioni a wyddai efe am danynt, yn neillduol am eu bod wedi derbyn doniau yr Yspryd Glân er cadarnhad yr efengyl.

RHAN II. A gynnwysa y Traethawd mewn perthynas i'r gwahanol bethau a berthynent i'r eglwys yn Corinth, yr hwn a ellir ei rannu i ddau ddosparth.

Dosp. 1. Yn yr hwn eu ceryddir am y llygredigaethau a waradwyddent yr eglwys, pen. i. 10, &c. a vi. 1—20.

(1.) Cerydda yr Apostol yr ymbleidwyr yn eu plith, gan ymddiffyn ei hun yn erbyn un neu ychwaneg o'r athrawon, a dynnasant y Corinthiaid oddi wrtho ef, gan ymdrechu eu hail-gyssylltu mewn undeb ffydd a chariad, pen. i. 10—31. a ii—iv.

(2.) Cerydda hwynt am beidio bwrw o'u plith y dyn godinebus, yr hwn a briododd ei lysfam, pen. v.

(3.) Cerydda hwynt am eu tuedd gybyddlyd a chyfreithgar, yn dwyn eu brodyr ger bron llysoedd yr eilun-addolwyr, pen. vi. 1—9.

(4.) Cynghor yn erbyn godineb, i'r hwn bechod yr oeddynt yn ymroddi cyn eu dychwelyd i'r ffydd Gristionogol. Gosodir allan fawredd y pechod hwn mewn iaith gref iawn, yn pen. vi. 18—20.

Dosp 2. A gynnwysa attebiad i'r gofyniadau a osodwyd i'r Apostol gan y Corinthiaid, pen. vii—xv.

(1.) Cyfarwyddiadau ynghylch priodas, pen. vii. 1—16. Gweddwdod morwynion, (adn. 25—38.) a gweddwon, (adn. 39, 40.) yn y rhai y dangosa Paul, nad ydyw crefydd wedi gwneuthur un cyfnewidiad yn amgylchiadau gwladol dynion, ond wedi eu gadael dan yr ún rhwymiadau a chyn eu dychweliad i'r ffydd, ad. 17—24.

(2.) Ynghylch y cyfreithlondeb o fwytta pethau wedi eu haberthu i eilunod, gan ddangos pa bryd y gallent wneuthur hynny, a pha bryd ni allent wneuthur hynny yn gyfreithlon, pen. viii—xi. 1.

(3.) Atteba Paul y trydydd gofyniad, mewn perthynas i'r modd yr oedd i'r benywaid draddodi unrhyw beth yn gyhoedd, pan gymhellid hwynt gan gynhyrfiad dwyfol. Dwrdia wisgoedd anghyffredin y ddau ryw pan brophwydent, yr hyn a'u gwnai yn wrthddrychau o wawd i'r Groegiaid, ym mhlith y rhai y byddai y gwrrywaid yn ddiorchudd a'r benywaid yn orchuddiedig, pen, xi. 2—17.

(4.) Cerydda hwynt oblegid eu hafreolaeth, pan weinyddid yr ordinhad o swpper yr Arglwydd, ynghyd â chyfarwyddiadau i dderbyn yr ordinhad mewn modd teilwng, pen. xi. 17—34.

(5.)Hyfforddiadau mewn perthynas i'r gorchwyl o ddymuno ac ymarferyd doniau ysprydol, pen. xii—xiv.

(6.) Sicrwydd adgyfodiad y meirw yn cael ei amddiffyn, yn wyneb haeriadau y gau athrawon, pen. xv.

Ymddengys oddiwrth y ddeuddegfed adnod o'r bennod hon, bod yr athrawiaeth o adgyfodiad y meirw yn cael ei gwadu gan ryw rai o'r gau athrawon yn neillduol, oblegid yr hyn beth y mae Paul yn sylwi yn neillduol ar y tri pheth canlynol:—

I. Pa un a fydd adgyfodiad y meirw?

II. Pa beth fydd natur y cyrph adgyfodedig?

III. Pa beth a ddaw o'r rhai fydd yn fyw ddydd y farn?

I. Y mae yn profi yr athrawiaeth o adgyfodiad y meirw, 1. O'r Ysgrythyrau, ad. 1—4. 2. Llygaid-dystion o adgyfodiad Crist, ad. 5—12. 3. Trwy ddangos anghyssoneb yr athrawiaeth wrthwynebol, fel hyn,—

1. Os na chyfyd y meirw, ni chyfodwyd Crist, ad. 13.

2. Y byddai yn beth anghysson i gredu yng Nghrist, os na chyfododd Crist, ad. 14.

3. Bod yr Apostolion, y rhai a dystiasant ei adgyfodiad, yn dystion gau, ad. 15.

4. Bod ffydd y Corinthiaid, y rhai a gredasent ynddo, yn ofer, ad. 16, 17.

5. Bod yr holl gredinwyr yng Nghrist mewn sefyllfa mwy truenus nag eraill, oni fydd adgyfodiad, ad. 19.

7. Bod y rhai hynny a fedyddiwyd yn y ffydd o fod Crist wedi [illegible]rostynt, ac adgyfodi drachefn, wedi eu twyllo, ad. 19.

8. Bod yr Apostolion ac eraill, a ddioddefent erledigaethau yn yn achos crefydd, yn dra ffol, oni fyddai adgyfodiad gorfoleddus iddynt ar ol ystormydd y daith, ad. 30—35.

II. Y mae yn dangos pa beth fydd natur y cyrph adgyfodedig, ac ym mha fodd y dygir y gorchwyl hwn oddi amgylch, ad. 35—49.

III. Y mae yn dangos pa beth a ddaw o'r rhai hynny a geir yn fŷw pan ddel yr Arglwydd Iesu Grist i farnu y byw a'r meirw, ad. 50—57. Ac y mae yr ymadroddion hyn yn cael eu terfynu drwy ddangos y defnydd a ddylid wneuthur o'r athrawiaeth, ad. 58.

RHAN III. A gynnwysa y terfyniad, yr hwn a gynnwys gyfarwyddiadau mewn perthynas i'r casgliadau i'r saint yn Jerusalem, gan addaw y byddai iddo ef yn fuan ymweled â hwynt; ynghyd â chyfarchiadau i amrywiol aelodau o'r eglwys yn Corinth, pen. xvi.

Y mae dadl fawr wedi bod rhwng dysgedigion a'u gilydd, mewn perthynas i ba un a ysgrifennodd Paul Epistol at yr eglwys yn Corinth cyn hwn, neu beidio. Yn 1 Cor. v. 9. y mae yr ymadroddion canlynol, *Εγραψα ὑμιν εν τη επιστολη*, 'Mi a ysgrifennais attoch mewn llythyr. Casglwyd oddiwrth yr adnod hon, bod yr Apostol yn barod wedi ysgrifennu llythyr at y Corinthiaid, yr hwn nid ydyw ar gael yn bresennol, ac at yr hwn y cyfeiria yn yr adnod grybwylledig; ac eraill a farnant, oddiwrth *τη επιστολη*, na feddyliai ond yr Epistol ag oedd efe yn ysgrifennu. Y mae Calfin, Beza, Grotius, Doddridge, a lluoedd gyda hwynt, o'r farn i'r Apostol ysgrifennu Epistol at yr eglwys yn Corinth cyn hwn; ac amryw dduwinyddion enwog o'r farn nad ysgrifennodd lythyr yn flaenorol i hwn at yr eglwys yn Corinth. Y drydedd dyb ynghylch y matter hwn, sef eiddo Dr. Benson, â'r hon hefyd y cydsynia Dr. Adam Clarke, ydyw, i'r Apostol Paul ysgrifennu Epistol at eglwys Corinth, neu ddechreu ysgrifennu, yr hwn ni anfonwyd, oblegid i'r Apostol gael rhyw hyspysiaethau ychwanegol, fel ag i wneuthur yn angenrheidiol iddo roddi yr Epistol hwnnw heibio, ac i ysgrifennu un newydd at yr eglwys. Yn ol barn Horne, nid ysgrifennodd yr Apostol unrhyw Epistolau at yr eglwys dan sylw, ond y ddau sydd gyda ni.

# II. CORINTHIAID.

YSGRIFENNWYD yr Epistol blaenorol, fel yr ydym wedi sylwi, o Ephesus, o ddeutu y flwyddyn 57, cyn i Paul ymadael â'r ddinas honno. Pan aeth yr Apostol o Ephesus, aeth i Troas, yr hwn le ydoedd ar lann Môr Ægea, gan ddisgwyl cyfarfod â Titus yno. Ond yn gymmaint ag iddo fethu cyfarfod â Titus yno, aeth tua Macedonia, lle y cyfarfyddodd âg ef, ac y cafodd wybodaeth foddlongar mewn perthynas i amgylchiadau eglwys Corinth, ar ol y Llythyr cyntaf a anfonodd efe atti. O'r wlad hon, neu yn hytrach o Philippi,

ysgrifennodd yr Apostol yr ail Lythyr at yr eglwys. 2 Cor. 8. 1—14. a 9. 1—5. Anfonodd hwn atti gyda Titus a'i gymdeithion. Ymddengys i'r Epistol hwn gael ei ysgrifennu o fewn i flwyddyn i'r cyntaf, hynny ydyw, yn gynnar yn y flwyddyn 58. Effeithiodd yr Epistol cyntaf yn ddaionus ar yr eglwys; amryw a ddiwygiasant eu bucheddau, gan ddangos ffrwythau neillduol o edifeirwch, parch i'r Apostol, a diarddelasant y dyn godinebus o'u plith. Dymunasant ddychweliad yr Apostol attynt gyda dagrau, ac aethant yn dra zelog drosto. Ond rhai o'r Corinthiaid a ymlynasant er pob peth gyda y gau athrawon, ac a barhasant i wadu apostoliaeth Paul, a'i wneuthur yn ddirmygus yng ngolwg y bobl. Arwyddodd yn flaenorol ei fwriad o gymmeryd taith ac ymweled â'r Corinthiaid, ond bod eu sefyllfa a'u hamgylchiadau annghysurus yn ei attal; am yr hyn beth yr oedd ei wrthwynebwyr yn ei gyhuddo o ysgafnder ac anwadalwch, o ganlyniad na allai efe fod yn brophwyd. 2 Cor. 1. 18. Cyhuddent ef hefyd o falchder a gormes, oblegid ei lymdra at y dyn godinebus. Cyhuddid ef hefyd o wag ogoniant yn ei weinidogaeth, yn yr hon, meddynt, yr oedd yn lleihau awdurdod y gyfraith. Yn olaf, cyhuddent ef o fod yn bersonol ddisylw; gan nad pa mor bwysig oeddynt ei lythyrau, ei fod ei hun yn berson disylw. 2 Cor. 10. 10. Yr amgylchiadau crybwylledig, y mae yn debygol, a achosasat i'r Apostol ysgrifennu yr ail Epistol hwn attynt, ynghyd âg er eu cymhell gyda golwg ar y casgliad tuag at y saint yn Judea.

Yn ol yr amgylchiadau a nodwyd, amcan yr ail Epistol hwn ydyw, yn bennaf, 1. I fynegu iddynt yr achos na ddaethai efe attynt mor gynted ag yr addawsai; sef nid o achos ysgafnder, ond oblegid ei ddioddefiadau yn Asia, y rhai a'i rhwystrasant, (2 Cor. 1. 8—11.) ac er mwyn rhoddi iddynt amser i osod yr eglwys mewn trefn, modd y gellai ddyfod attynt er mwyn mwy o gysur iddo ei hun ac iddynt hwythau, pen 2. 3, 4. 2. I gyhoeddi nad ydoedd ei ddedfryd yn erbyn y dyn godinebus yn rhy lym, nac mewn un modd yn ormesol, (pen. 2. 5—11.) ond yn angenrheidiol. Ac yn awr, yn gymmaint a bod y diarddeliad wedi atteb y diben, ac wedi effeithio cymmaint o ddaioni gyda golwg ar y troseddwr, cynghorai yr Apostol iddynt dderbyn y cyfryw un yn ei ol ar ei edifeirwch, rhag ei lyngcu gan ormod tristwch. 3. Er mynegu am ei lwyddiant mawr ym mhregethiad yr efengyl; yr hyn a wna, nid er gogoniant iddo ei hun, ond er gogoniant i'r Arglwydd Iesu Grist yn unig. 4. Er eu cyffroi i arwain bywyd sanctaidd, ac i ochelyd cymmundeb â'r eilun-addolwyr. 5. Er eu hannog i orphen y casgliad i eglwysi Judea; ac yn olaf, er amddiffyn ei hun yn wyneb bod y gauathrawon yn ei iselhau ac yn ei ddirmygu. Pen. x—xiii.

Cynnwys yr Epistol hwn dair rhan.

RHAN I. Yr arweiniad i mewn, pen. i. 1, 2.

RHAN II. Ymadroddion ymddiffynol Paul, yn y rhai y mae efe,

1. Yn cyfiawnhau ei hun yn wyneb y cyhuddiadau a fwrid i'w erbyn gan y gau athrawon a'u canlynwyr, trwy ddangos ei ddidwylldra a'i uniondeb yng nghyflawniad y weinidogaeth; ac nad ydoedd yn gweithredu oddiar olwg ar unrhyw fantais fydol, ond oddiar gariad tuag attynt, a'u lleshad mewn pethau ysprydol, pen. i. 3—24. a ii—viii.

2. Cynghora hwynt i wneuthur casgliad helaeth i'w brodyr tlodion yn Judea, pen. viii, ix.
3. Y mae efe yn ail ymddiffyn ei hun, gan gyfiawnhau ei hun oddiwrth y cyhuddiadau a ddygid i'w erbyn gan ei wrthwynebwyr, y gau athrawon, er mwyn tynnu y Corinthiaid oddi wrthynt, ac ail sefydlu ei hun yn ei awdurdod, pen. x—xiii. 10.

RHAN III. Y terfyniad, pen. xiii. 11—14.

Y peth mwyaf nodedig yn yr Epistol hwn, ydyw hyder mawr ac anghyffelyb yr Apostol yn uniondeb ei achos, ac yng ngallu Duw i'w ymddiffyn a'i ddal yn wyneb ei holl drallodion. Gwrthwynebid ef gan blaid alluog a chyfrwys, y rhai a ymaflent ym mhob cyfleusdra i'w niweidio, a sefydlu eu hunain mewn awdurdod. Y mae yn syn fel y mae yn ymddiffyn ei hun, ac yn profi ei awdurdod Apostolaidd y tu hwnt i bob amheuaeth. Ymddengys i'r gau athraw, neu y gau athrawon, gael eu distewi gan yr Apostol, drwy eu diarddel allan o'r eglwys, neu iddynt ymadael â Corinth. Pan ysgrifennodd Clement ei Epistol at y Rhufeiniad, yr oedd coffadwriaeth Paul mewn parch neillduol, ac ystyrid ef gan yr holl eglwys fel Apostol dwyfol.

# YR EPISTOL AT Y GALATIAID.

PLANNWYD Cristionogaeth yn foreu yn Galatia, gan yr Apostol Paul ei hun; ac ymddengys, oddiwrth Actau yr Apostolion, iddo ymweled â'r eglwysi yn y wlad ddywededig fwy nag unwaith. Crybwyllir am ddau ymweliad neillduol o eiddo Paul âg eglwysi Galatia; sef un ynghylch y flwyddyn 50, (Act. 16. 6.) a'r ail o ddeutu y flwyddyn 54 neu 55, Act. 18, 23. Y mae amrywiaeth barn rhwng dysgedigion mewn perthynas i amseriad yr Epistol; rhai a ddywedant iddo gael ei ysgrifennu yn y flwyddyn 48, eraill yn 51, eraill yn 57, ac eraill yn 58. Tybir i'r Epistol at y Galatiaid gael ei ysgifennu yn foreu; ac yn gymmaint ag nad ymddengys i'r Apostol ymweled â hwynt fwy nag unwaith, tybir i'r Llythyr hwn gael ei ysgrifennu tua diwedd y flwyddyn 52, neu ddechreu 53. Dywedir ar ddiwedd yr Epistol hwn iddo gael ei ysgrifennu o Rufain; ond y mae yn amlwg mai rhyw dransgrifiwr a ychwanegodd hynny, oblegid ni chymmerodd Paul ei daith gyntaf i Rufain hyd ar ol ynghylch deng mlynedd wedi dychweliad y Galatiad i'r ffydd. Yr oedd yr eglwysi yn Galatia, fel mewn gwledydd eraill, yn gynnwysedig o Iuddewon dychweledig a Chenhedloedd, er mai y Cenhedloedd oeddynt y nifer fwyaf liosog. Yn fuan wedi i Gristionogaeth gael ei phlannu yn Galatia, cyfododd gau athraw, neu athrawon gau yn eu plith, y rhai a amheuent Apostoliaeth Paul, gan haeru bod Pedr ac Apostolion yr enwaediad uwchlaw iddo mewn

awdurdod, o ganlyniad yn deilyngach o barch. A dywedent ym mhellach na phregethai Pedr a'r Apostolion eraill yn erbyn enwaediad y Cenhedloedd, ond bod hono yn athrawiaeth berthynol i Paul yn unig, yr hwn ydoedd yn Apostol dynion, ac nid yn meddu ar ddoniau ac awdurdod yr Apostolion eraill; a bod Paul ei hun ar brydiau, mewn modd dirgelaidd, yn pregethu yr angenrheidrwydd o enwaediad i'r dychweledigion oddiwrth eilunod y Cenhedloedd, er ei fod yn gyffredin yn pregethu yn erbyn hynny. Mewn gair, yr oedd yr Apostol gau hwn yn chwennychu i'r holl fyd Cenhedlig gael eu henwaedu; ac felly eu rhwymo i gadw holl gyfraith Moses, fel pe buasai efengyl yr Arglwydd Iesu Grist yn annigonol i'w cadw i fywyd tragywyddol. Yr oedd yr athraw hwn wedi bod mor lwyddiannus gyda golwg ar ledaniad ei egwyddorion, fel yr oedd rhai o'r Galatiaid wedi ymostwng i'r enwaediad, Gal. 5. 2—12. Oddiwrth ymadrodd Paul, yn pen. 5. 9, 10. Y mae yn debygol i'r holl gynhwrf hwn gael ei achosi gan gau athraw Iuddewig, ac oddiwrth yr hyn a ddywedir yn pen. 6. 12, 13. ymddengys ei fod yn ddyn anfoesol ac anfucheddol, a bod ei egwyddorion yn hollol ddrygionus. Yr amgylchiadau crybwylledig a wnaethant i Paul ysgrifennu at y Galatiaid â'i law ei hun, yn groes i'w arferiad gyffredin pan yn anfon Llythyrau at yr eglwysi. O ganlyniad diben yr Epistol hwn ydyw cadarnhau Apostoliaeth yr Apostol, a chadarnhau eglwysi Galatia yn ffydd Iesu Grist, gyda golwg ar yr athrawiaeth bwysig o gyfiawnhad. Dinoetha hefyd y cyfeiliornadau a daenwyd yn eu plith, gan ddangos iddynt natur a diben y ddeddf foesol a seremoniol, ac adfywio yr egwyddorion hynny o Gristionogrwydd a ddysgwyd ganddo ef iddynt, pan y pregethodd yr efengyl gyntaf yn eu plith.

Cynnwysa yr Epistol hwn at y Galatiaid dair rhan.

RHAN I. Yr arweiniad i mewn. Pen. i. 1—5.

RHAN II. Y traethawd neu yr ymddiddanion ar y pyngciau o herwydd pa rai yr achoswyd yr Epistol. Yn yr hwn,

Dosp. 1. Y mae yr Apostol Paul yn ymddiffyn ei Apostoliaeth, a'i awdurdod, ac yn dangos mai nid cennadwr dros yr eglwys yn Jerusalem oedd efe, na disgybl i'r Apostolion ychwaith, ond Apostol wedi ei anfon yn uniongyrchol gan yr Arglwydd Iesu Grist ei hun drwy ddatguddiad dwyfol; o ganlyniad, nad ydoedd ef mewn un modd islaw yr Apostol Pedr ei hun. Pen. i. 6—22. a ii.

2. Dadleua yr Apostol yn erbyn pleidwyr yr enweidiad, a'r rhai a fynnent i'r disgyblion gadw cyfraith Moses, ac a ddengys, yn

(1.) Mai drwy ffydd yng Nghrist y mae cyfiawnhad, ac nid drwy gadw deddf Moses. Pen. iii. 1—11.

(2.) Mai amcan Duw yn rhoddi y gyfraith ydoedd, nid er mwyn argyhoeddi o bechod, ac er mwyn i ddyn i ymgadw rhag pechod. Nad ydoedd i wneuthur yr addewid yn ddirym, ond i fod yn wasanaethgar i'r addewid, trwy ddangos yr angenrheidrwydd o gael gwell cyfiawnder na'r hwn a ddatguddir gan y gyfraith,

ac felly i arwain eneidiau argyhoeddedig at yr Arglwydd Iesu Grist, neu rai wedi eu cyfiawnhau trwy ffydd ynddo a allent gael buddioldeb yr addewid. Pen. iii. 19—24. Gan mai hynny ydoedd amcan a diben y gyfraith, y mae yr Apostol yn casglu ein bod ni yn rhydd oddiwrth y gyfraith, yn adnodau 25—29. Ac y mae ym mhellach yn egluro ei gasgliad oddiwrth ymddygiad Duw at yr eglwys Iuddewig, yr hon a osodes efe dan y ddeddf, megis y gosodir etifedd heb fod yn ei oedran dan warcheidwadwr. Pen. iv. 1—7.

Dosp. 3. Dangosa Paul wendid a ffolineb mawr y Galatiaid yn ymgofleidio yn y gorchwyl o ymddarostwng dan ofyniadau manwl y gyfraith; a thrwy gymmeryd eu henwaedu, yn ymrwymo i gadw yr holl ddeddf, ac felly yn ymwrthod â holl fendithion a melusderau y cyfammod gras. Pen. iv. 8—31. a v. 1—9.

4. A gynnwysa amrywiol gyfarwyddiadau a chynghorion er ymddwyn yn addas ac yn weddus i athrawiaeth efengyl ein Harglwydd Iesu Grist; ac yn neillduol dangosa iddynt y wedd yr oedd iddynt ymarfer eu rhyddid Cristionogol.

Rhan III. Y terfyniad, yn yr hwn y mae crynodeb o'r pyngciau yr ymdriniwyd â hwynt yng nghorph yr Epistol, ac a derfyna gyda y fendith Apostolaidd. Pen. vi. 11—18.

Er bod y pwngc yr ymdrinir âg ef yn yr Epistol at y Galatiaid yr un a'r pwngc yn yr Epistol at y Rhufeiniaid, sef yr athrawiaeth o gyfiawnhad trwy ffydd yn unig, etto y mae y ddau Epistol yn dra gwahanol oddiwrth eu gilydd. Yr Epistol at y Galatiaid, a'r hwn hefyd a ysgrifennwyd gyntaf, a amcanwyd yn erbyn yr Iuddewon, er profi bod dynion yn cael eu cyfiawnhau drwy ffydd heb weithredoedd deddf Moses, yr hon a ofynai berffaith ufudd-dod i'w holl reolau moesol a seremoniol, amgen y disgynnai ei chosp ar y troseddwr, ac na ellai na'r aberthau na'r puredigaethau waredu oddi wrthi. Yn yr Epistol at y Rhufeiniaid, trinia yr Apostol yr athrawiaeth o gyfiawnhad ar gynllun mwy ehang; a'i amcan yno ydyw profi yn erbyn Iuddewon a Chenhedloedd, na ellir cyfiawnhau y naill na'r llall o honynt drwy weithredoedd y ddeddf, sef y gweithredoedd a orchymmynir gan ddeddf Duw, yr hon sydd ysgrifennedig yng nghalonnau dynion, ond bod yn rhaid i bob dyn gael ei gyfiawnhau yn rhad drwy ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist yn unig. Y mae y ddau Epistol wedi eu cymmeryd gyda eu gilydd, yn brawf hollol na chyfiawnheir dyn oblegid unrhyw haeddiant ynddo, nac oblegid unrhyw weithredoedd a gyflawnir ganddo; ond mai rhad rodd ydyw cyfiawnder yn deilliaw o drugaredd a thosturiaethau yr Hollalluog Dduw, i bawb a gredant yn ddiysgog yn yr Arglwydd Iesu Grist.

Ysgrifennwyd yr Epistol mewn iaith gadarn iawn, a dangosa yn neillduol ddeheurwydd mawr yr Apostol yn ymdrin â dadl. Diau bod cyfeiliornadau y gau athrawon, ynghyd â'r chwedlau a daenasant er mwyn diraddio yr Apostol, a dieithrio y Galatiaid oddi wrtho, wedi effeithio yn neillduol ar ei feddwl, ac wedi dolurio y ffyddloniaid yn neillduol, ynghyd â niweidio gwir egwyddorion Cristionogaeth i

gryn raddau, a hynny dros amser; etto yn y pen draw trodd hyn er daioni cyffredinol i'r eglwys, am i'r Arglwydd oruwch-lywodraethu eu hamcan digofus hwynt, a'i wneuthur i atteb dibenion daionus. Oblegid drwy iddynt osod yr Apostol dan yr angenrheidrwydd o brofi ei Apostoliaeth ac i adrodd hanes ei fywyd, yn neillduol wedi ei argyhoeddiad a'i ddychweliad i'r ffydd Gristionogol, y mae y sicrwydd mwyaf gennym ei fod yn Apostol, ac wedi ei alw gan yr Arglwydd Iesu Grist ei hun, ac wedi ei gydnabod hefyd fel y cyfryw gan y rhai oeddynt yn Apostolion o'i flaen ef. Ac mewn canlyniad i hyn, y mae y sicrwydd mwyaf gennym, fod yr athrawiaethau hynny a ddysgir i ni yn ei Epistolau ef, wedi eu seilio ar y gwirionedd, ac yn wirionedd ar awdurdod Yspryd Duw, yr hwn a gyfarwyddai Paul, Apostol y Cenhedloedd, yn yr hyn oll a draddodai, ac yn yr hyn oll a ysgrifennai.

Yn gymmaint a bod y Llythyr hwn wedi ei gyfarwyddo at eglwysi Galatia, y mae Dr. Macknight o'r farn ei fod i'w ddarllen yn gyhoedd ynddynt oll. Tybia y gwr dysgedig crybwylledig, i'r Epsitol yn y lle gyntaf gael ei anfon gan Titus at y brodyr yn Anegra, prifddinas Galatia, ynghyd â gorchymmyn ar fod iddynt ei ddarllen yn yr holl eglwysi, yn yr un modd ag yr oedd yr Epistol cyntaf at y Thessaloniaid i gael ei ddarllen i'r holl frodyr yn y ddinas ddywededig, ac yn nhalaith Macedonia.

# YR EPISTOL AT YR EPHESIAID.

Plannwyd Cristionogaeth ar y cyntaf yn ninas Ephesus gan yr Apostol Paul, ynghylch y flwyddyn o oed ein Harglwydd 54, pan y bu efe yn ymresymmu â'r Iuddewon yn eu synagogau am tua thri mis o amser. Eithr nid arosodd efe yn hir yno y pryd hwnnw, ond a brysurodd tua Jerusalem er mwyn cadw yr ŵyl; etto gwnaeth addewid i ddychwelyd drachefn at ei wrandawyr, Act. 18. 19—31. Yn ol yr addewid a wnaed ganddo, efe a ddychwelodd yn gynnar y flwyddyn ganlynol i Ephesus, Act. 19. 1. ac a bregethodd y gair gyda llwyddiant mawr; a wnaeth wyrthiau rhyfeddol yn eu plith, ac a ffurfiodd eglwys liosog o aelodau, y rhai gan mwyaf oeddynt Genhedloedd. Ymddengys bod y dychweledigion hyn yn zelog yn achos yr efengyl, oblegid darfu i laweroedd o honynt ddwyn y llyfrau a ymdriniént â chelfyddydau drygionus i'w llosgi, Act. 19. 19. Y fath ydoedd gofal yr Apostol am eu daioni a'u lleshad ysprydol, fel na wnaeth eu gadael hwynt hyd y flwyddyn 56, wedi bod am ynghylch tair blynedd yn eu plith. Ar ol hyn, arosodd ryw gymmaint ym Macedonia ac Achaia; ac ar ei ddychweliad i Jerusalem yn y flwyddyn 57, anfonodd am i henuriaid eglwys Ephesus ei gyfarfod yn Miletus. Yno y canodd yn iach iddynt, am nad ydoedd i'w gweled mwyach. Rhoes amryw gynghorion

iddynt, gan erfyn arnynt i ofalu am danynt eu hunain, ac am y praidd a roddwyd dan eu gofalon hwynt, rhag iddynt gael eu harwain ar gyfeiliorn gan y gau athrawon a'r twyllwyr oeddynt yn hau hadau terfysg ac yn gwneuthur niweidiau yn yr eglwysi.

Cydnabyddir yn gyffredinol mai yr Apostol Paul ydoedd awdwr yr Epistol at yr Ephesiaid. Crybwylla Ignatius am yr Epistol hwn yn bendant, ac mai Paul ydoedd ei awdwr. Cyfeiria saith waith atto, ac y mae tystiolaeth Ignatius yn benderfynol, oblegid yr oedd efe yn gyd-oeswr â'r Apostol hwn. Cyfeirir atto gan Polycarp, a chrybwyllir am dano wrth ei enw gan Irenæus, Clement o Alecsandria, Tertullian, Origen, a chan nifer liosog o dadau eraill yn yr eglwys. Dywedir ar derfyn yr Epistol hwn iddo gael ei ysgrifenu o Rufain, gyda Thychicus, yr hwn hefyd a gludodd yr Epistol at y Colossiaid dros yr Apostol. I'r Epistol hwn gael ei ysgrifenu yn amser carchariad Paul y tro cyntaf yn Rhufain, sydd amlwg oblegid y cyfeiriadau a wneir at yr amgylchiad. Pen. 3. 1. 4. 1. a 6. 20. A chan na chrybwylla am ei ddisgwyliad o ryddhad buan, (fel y gwna mewn Epistol arall a ysgrifenwyd ganddo o Rufain,) gellir penderfynu gyda y Dr. Lardner, Esgob Tomline, ac eraill, iddo gael ei ysgrifenu yn fuan wedi i'r Apostol gael ei garcharu, a hynny y mae yn debygol ynghylch y flwyddyn 61.

Megis ag yr oedd Paul yn neillduol yn Apostol y Cenhedloedd, ac yn awr yn garcharor yn Rhufain, oblegid iddo gyffroi yr Iuddewon yn ei erbyn, drwy nad oedd yn angenrheidiol ufuddhau i gyfraith Moses er mwyn ennill ffafr; ymddengys bod arno ryw gymmaint o ofn rhag i'w garchariad fod yn niweidiol i'r Ephesiaid, drwy i ryw rai gymmeryd mantais oddiwrth hynny i achosi terfysg yn eu plith. Ond gan iddo glywed am gadernid eu ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, ysgrifenodd yr Epistol hyn attynt er mwyn eu cadarnhau fwyfwy yn ffydd ac athrawiaeth yr efengyl, ac er rhoddi iddynt olygiadau uchel a theilwng ar gariad Duw, ynghyd âg ardderchawgrwydd person y Cyfryngwr mawr; ac ar yr un pryd ymdrechai gadarnhau eu meddyliau rhag iddynt wangalonni a llwfrhau yn wyneb y gwawd a wneid gan rai dynion o'r groes. Er mwyn argraffu y pethau hyn ar eu meddyliau, dengys iddynt mai o ras yn hollol yr achubwyd hwynt, a'u bod drwy yr efengyl yn gyfrannog o'r un breintiau a'r Iuddewon. Yna efe a'u cynghora i lynu gyda'u galwedigaeth, ei fod ef yn gorfod dioddef oblegid y gwirionedd, ac yn gweddio hefyd ar fod iddynt hwythau gael eu nerthu i aros hyd y diwedd yn ddiysgog yn y ffydd. Yn yr Epistol hwn gellir gweled y pethau canlynol:—

RHAN I. Yr athrawiaeth yn cael ei hegluro, yr hon a gynnwysa;

Dosp. 1. Ddiolchgarch i Dduw am fendith fawr yr efengyl, ynghyd â gweddi dros yr holl saint. Pen. i. 15—23. a ii. 1—10.

2. Darluniad neillduol o'u sefyllfa druenus gynt, ynghyd â dedwyddwch eu cyflwr presennol. Pen. ii. 11—22.

3. Gweddi ddwys dros eu cadarnhad. Pen. iii.

RHAN II. Y cynghor.

Dosp. 1. Sydd gyffredinol, i rodio yn deilwng o'u galwedigaeth, a hynyn yn gyntaf yn unol âg undeb yr Yspryd ac am-

rywiaeth ei ddoniau ef. Pen. iv. 17—24. Ac yn ail yn unol â gwahaniaeth eu cyflwr blaenorol oddiwrth yr un presennol. Pen. iv. 17—24.

2. Yn neillduol; yn gyntaf i ochelyd celwydd, digter, lledrad, a phechodau eraill; Pen. iv. 35—31. a v. 1—21. ynghyd â chanmoliaeth o'r rhinweddau gwrthwynebol. Ac yn ail, i gyflawnu yn ddidwyll eu dyledswyddau perthynasol; megis dyledswyddau gwyr a gwragedd; Pen. v. 22—23. plant a rhieni; Pen. vi. 1—4. meistri a gwasanaeth-ddynion. Pen. v. 6—9.

3. I ryfela yr ymdrech ysprydol. Pen. vi. 10—20.

RHAN III. Y terfyniad. vi. 21—24.

Y mae cyfansoddiad yr Epistol hwn yn dra bywiog, ac yn gwbl gydweddol âg ansawdd meddwl yr Apostol pan ysgrifenai ef. Yr oedd yn llawen ganddo glywed am ffydd a sancteiddrwydd yr Ephesiaid; a'r canlyniad oedd iddo draethu pethau gogoneddus am arfaeth a gras Duw, fel y maent wedi teyrnasu,' a'u gwneuthur yn amlwg yn iechydwriaeth dyn.

---

# YR EPISTOL AT Y PHILIPPIAID.

PLANNWYD y grefydd Gristionogol yn Philippi, ym Macedonia, gan yr Apostol Paul, tua'r flwyddyn 50, yn ol yr adroddir yn Actau 16. 9. ac ymddengys oddiwrth Actau 20. 6. iddo ymweled â'r Philippiaid ynghylch y flwyddyn 57, er na adroddir dim neillduol am yr ymweliad hwn.. O'r holl eglwysi a blannwyd gan yr Apostol Paul, ymddengys mai yr eglwys yn Philippi oedd yn fwyaf ei gofal am dano; ac er ei fod yn debygol nad ydoedd aelodau yr eglwys hon yn lliosog, etto yr oeddynt yn dra charedig i'r Apostol, oblegid pan bregethwyd yr efengyl gyntaf ym Macedonia, ni chyfrannodd yr un eglwys tuag at ei gynnaliaeth ond eglwys Philippi yn unig. A thra yr oedd efe yn pregethu yn Thessalonica, prif ddinas y wlad honno, anfonasant arian iddo ddwy waith, fel na rwystrid yr efengyl drwy fod ei phregethwyr yn myned yn faich ar y Thessaloniaid. Phil. 4. 15, 16. Ymddygasant atto yn yr un modd pan ydoedd dan yr un amgylchiadau yn pregethu yr efengyl yn Corinth. 2 Cor. 11. 9. A phan glywsant bod yr Apostol Paul yn garcharor yn Rhufain, dangosasant eu serchawgrwydd tuag atto, ac anfonasant Epaphroditus atto gydag anrheg, rhag ei fod mewn diffyg o angenrheidiau.

Ymddengys oddiwrth ymadroddion yr Apostol ei hun mai pan yr ydoedd yn garcharor yn Rhufain yr ysgrifenodd yr Epistol hwn at y Philippiaid. Danfonwyd ef attynt gydag Epaphroditus, un o'u bugeiliaid, fel arwydd o gariad a chydnabyddiaeth yr Apostol iddynt am eu caredigrwydd tuag atto. Ac oddiwrth rai o'r ymadroddion

yn yr Epistol, ymddengys ei fod mewn diffyg o angenrheidiau, oblegid yn gymmaint ag mai efe ydoedd wedi bod yn offerynol i ddychwelyd y Rhufeiniaid, ni thybiai yn addas i bwyso arnynt, na gofyn dim ganddynt. Ac yn gymmaint a'i fod yn garcharor, ni ellai weithio fel cynt, ac ni ymddengys iddo dderbyn dim gan yr eglwysi hynny, lle yr oedd pleidiau wedi eu ffurfio yn ei erbyn. Gan eglwys Philippi yn unig y derbyniodd efe gynnorthwyon.

Amcan yr Epistol hwn ydyw cadarnhau y Philippiaid yn y ffydd, a'u cefnogi i rodio yn weddus i efengyl Crist, ynghyd âg er rhoddi gocheliadau iddynt i ymgadw oddiwrth ddysgawdwyr Iuddewig, ac i gyflwyno ei ddiolchgarwch iddynt am eu caredigrwydd. Gellir dosparthu yr Epistol yn y wedd ganlynol:—

Dosp. 1. Rhydd ddiolchgarwch union-gyrchol i Dduw am eu bod yn aros yn y ffydd, a gweddiai drostynt ar fod iddynt gael y fraint o aros hyd y diwedd. Pen. i. 3—11. A rhag iddynt wangalonni oblegid ei garchariad ef, dyweda wrthynt nad ydoedd dim ar a ddigwyddodd iddo ef wedi bod yn un attalfa i'r efengyl, a'i fod ef yn barod i fyw neu i farw, yn ol yr hyn a ewyllysiai yr Arglwydd, a'r hyn fyddai er gogoniant i'w enw. Pen. i. 12—36.

2. Cynghora hwynt i ymddwyn yn addas i'r efengyl; i garu eu gilydd, ac i roddi engrheifftiau da i'w gilydd; ac ar fod iddynt yn neillduol ddilyn yr Arglwydd Iesu Grist, ac ymdebygoli iddo ym mhob sanctaidd ymarweddiad; ac ar fod iddynt weithio allan eu hiechydwriaeth drwy ofn a dychryn, fel y gallai efe lawenychu yn nydd Crist o'u plegid. Pen. i. 21—30. a ii. 1—17.

3. Cynghora hwynt yn ddifrifol i ochelyd cymmeryd eu llithio gan yr athrawon Iuddewig, y rhai a bregethent Iesu Grist yn unig o genfigen. Pen. iii. a iv. 1.

4. Wedi rhai cyfarwyddiadau i bersonau neillduol yn Pen. iv. 2, 3. a chynghorion cyffredinol i Gristionogion adn. 4—7. y mae yn myned ym mlaen i gydnabod ei rwymau i'r Philippiaid am y cynnorthwyon a roddasant iddo yn ei gyfyngder, fel arwyddion o'u serch diffuant atto. Calonnoga hwynt i ddisgwyl am bob bendithion oddiwrth yr Arglwydd, gan ddymuno pob bendithion iddynt.

Y mae yn deilwng neillduol o sylw mai yr eglwys yn Philippi ydyw yr unig un yr ysgrifenodd Paul atti heb ddwyn achwyniad yn erbyn neb yn ei chymundeb. Profa hyn eu bod yn ddiargyhoedd, ac yn rhodio yn y gwirionedd, gan wasanaethu yr Arglwydd Iesu Grist mewn purdeb.

# YR EPISTOL AT Y COLOSSIAID.

GAN bwy a pha bryd y plannwyd Cristionogaeth yn Colossa, nid oes wybodaeth sicr. Meddylia Dr. Lardner a'r Esgob Tomline, ynghyd âg eraill, i'r eglwys yn Colossa gael ei phlannu gan yr Apostol ei hun a seiliant eu tybiadau yn bennaf ar yr ystyriaethau canlynol:—

I'r Apostol Paul fod ddwy waith yn Phrygia, yn yr hon wlad yr oedd dinasoedd Colossa, Laodicea, a Hierapolis, a'i fod mewn effaith yn dywedyd iddo weinyddu yr efengyl i'r Colossiaid; Pen. 1. 21—25. ac oddiwrth yr ymadroddion o serch a chariad canfyddedig yn yr Epistol, mai nid at ddieithriaid yr anfonwyd ef, ond yn hytrach at rai cydnabyddus. Y mae yn wir i'r Apostol fod ddwy waith yn Phrygia, ond nid ydyw yn ymddangos iddo fod yn y tair dinas grybwylledig, oblegid yr oedd ei daith gryn bellder i'r gogledd oddi wrthynt, sef o Cilicia a Derbe i Lystra, ac oddi yno drwy Phrygia a Galatia i Mysia a Troas. Act. 16. 6. Ac yn ei ail daith efe a aeth drwy Galatia a Phrygia i Ephesus a Troas; Act. 28. 23. ac felly aeth drwy y taleithiau gogleddol i Asia Leiaf. Y mae dywediad yr Apostol ei hun, debygid, yn ddigon o brawf na phlannwyd y grefydd Gristionogol ganddo ef yn Colossa, oblegid yn Pen. 2. 1. dyweda nad ydoedd y Colossiaid na'r Laodiceaid wedi gweled ei wyneb yn y cnawd. Ond plannwyd Cristionogaeth yno gan ryw un; a phan ysgrifenwyd yr Epistol hwn attynt, yr oedd yr Apostol Paul yn gennadwr mewn rhwymau, a'r achlysur o'i ysgrifeniad ydoedd rhyw anhawsderau ag oeddynt wedi cyfodi yn eu plith, oblegid pa rai yr anfonasant Epaphras i Rufain, er hyspysu i'r Apostol amgylchiadau pethau yn yr eglwys. Ac at y gennadwri hon y gellir cyssylltu y llythyr yn Col. 4. 16. a anfonwyd atto gan y Laodiceaid, pa rai hwythau a ysgrifenasant atto mewn perthynas i gyfeiliornadau y gau athrawon, ac i ofyn ei gyfarwyddiadau ynghylch y matter. Atteba Paul yn y llythyr hwn ofyniadau y ddwy eglwys, gan ei gyfarwyddo at eglwys Colossa, am mai hi ydoedd y liosoccaf yn ei haelodau, ond ar yr un pryd dymunai arnynt i ddarllen yr Epistol hwn i eglwys Laodicea, ac i ofyn iddynt am ysgrif o'r llythyr a anfonwyd gan yr eglwys hon at Paul, modd y deallent yr Epistol yn well.

Pwy allasai y gau athrawon y crybwylla yr Apostol am danynt fod, y mae yn anhawdd penderfynu. Tybia Michaelis bod yr Epistol hwn wedi ei ysgrifenu yn erbyn athrawiaethau yr Esseniaid. Ond y mae yn debygol mai yn erbyn y gau athrawon Iuddewig yr ysgrifenai yr Apostol, ynghyd â rhai o'r dychweledigion o blith y Cenhedloedd, y rhai a gymmysgent syniadau Plato âg athrawiaethau yr efengyl. Yr oedd gan y Platoniaid dybiadau neillduol mewn perthynas i'r Demoniaid, a chredent eu bod yn cludo gweddiau dynion at Dduw, ac yn dwyn bendithion yn ol iddynt hwythau. Ac yr oedd athrawiaeth yr Iuddewon mewn perthynas i angylion yn dra thebyg. Ymddengys oddiwrth Col. 2. 16—23. bod y gau athrawon yn dysgu addoliad angylion, peidio bwytta cig, a chadw y gwyliau

Iuddewig, y newydd loerau, y Sabbathau, ac ymprydiau, ynghyd â defodau eraill y gyfraith, fel yn angenrheidiol anhepgorol i iechydwriaeth.

Amcan yr Apostol yn yr Epistol hwn ydyw dangos bod holl obaith iechydwriaeth dyn yn seiliedig ar Grist, y Pryniawdwr, yn yr hwn y mae cyflawnder, perffeithrwydd, a digonedd. Y mae yma hefyd ocheliadau rhag yr athrawon Iuddewig, ynghyd â thybiadau philosophyddaidd, traddodiadau dynol, ynghyd â phob syniadau anghysson âg efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. Cynnwysa yr Epistol hwn ddwy ran neillduol, heblaw yr arweiniad i mewn a'r terfyniad.

RHAN I. Wedi rhag-draeth byr, Pen. i. 1, 2. arwyddà Paul ei lawenydd mawr oblegid y newyddion da a glywodd am danynt, ac a ddywed wrthynt ei fod bob dydd yn gweddio am eu cynnydd, adn. 2—14. Ar ol hyn efe a fynega am deilyngdod ac ardderchawgrwydd yr Arglwydd Iesu Grist,—mai efe a greodd bob peth,—mai efe ydyw Pen yr eglwys,—ac mai efe a gymmododd ddynion â Duw. Dengys ei ddymuniad ar fod iddynt hwy a'r holl eglwysi gael y fraint o ymlynu wrth yr Arglwydd Iesu Grist a'r ffydd Gristionogol. Pen. i. 21—28. a ii. 1—17.

RHAN II. Ar ol i'r Apostol roddi cynghorion cyffredinol i'r eglwys, y mae yn myned yn union-gyrchol i roddi gocheliadau i ymgadw rhag gau athrawon, a'u hymlyniad wrth y gyfraith, drwy ddangos rhagoriaeth Crist ar yr angylion, gan rybuddio y Cristionogion rhag eu haddoli hwynt. Beia y gorchwyl o gadw y Sabbathau Iuddewig a'r gwyliau cyntefig, gan eu cynghori i beidio gwneuthur ychwanegiadau o'r eiddynt eu hunain at yr efengyl. Pen. ii. 8—23. A therfyna yr Epistol gyda rhyw bethau yn perthynu yn neillduol i'r Colossiaid.

## I. THESSALONIAID.

PLANNWYD Cristionogaeth yn Thessalonica gan yr Apostol Paul ynghylch y flwyddyn 50, yr hwn a ffurfiodd eglwys yno, a gynnwysai Iuddewon a Chenhedloedd, ond bod y Cenhedloedd yn fwy lliosog na'r Iuddewon. Act. 17. 2—4, Cyfododd yr Iuddewon anghrediniol dymhestl yn erbyn yr Apostol, a gorfu arno ef a'i gymdeithion ffoi i Berea, oddi yno i Athen, ac oddi yno efe a aeth i Corinth. Rhwystrwyd ef i ymweled drachefn â'r Thessaloniaid fel y bwriadai; 1 Thes. 2. 17, 18. anfonodd Silas a Thimotheus i ymweled â hwynt yn ei le; Pen. 3. 6. ac ar eu dychweliad at yr Apostol o

Macedonia, Act. 14, 15. a 18. 5. yr ysgrifenodd efe ei Epistol cyntaf at y Thessaloniaid, o ddeutu y flwyddyn 52, o Corinth, ac nid o Athen, fel yr arwydda yr ysgrif ffugiol ar ol yr Epistol.

Cydnabyddir yn gyffredinol bod Epistol cyntaf Paul at y Thessaloniaid yn un o'r rhai cyntaf, os nid y cyntaf a ysgrifenwyd gan yr Apostol Paul, ac y mae yn rhoddi ar ddeall ei fod am iddo gael ei ddarllen yn gyffredinol drwy holl eglwysi Macedonia; gorchymmyna hynny yn bendant yn Pen. 5. 27. Yr achos union-gyrchol i'r Epistol hwn gael ei ysgrifenu ydoedd y newydd cysurus a adroddwyd am y Thessaloniaid gan Timotheus, sef eu bod yn sefyll yn gadarn yn ffydd yr efengyl. Yntau a ysgrifenodd attynt er mwyn eu cadarnhau yn fwy, rhag iddynt gael eu rhwystro oblegid erledigaethau yr Iuddewon anghrediniol; ac ar fod iddynt ymarweddu yn sanctaidd, ac yn deilwng o'r alwedigaeth uchel â pha un eu galwyd. Ac wedi gwneuthur crybwylliad am ryw ychydig bethau, y mae yn myned rhagddo i ddangos tarddiad dwyfol y datguddiad Cristionogol drwy y pedair dadl ganlynol:—

1. Y gwyrthiau mawrion a gyflawnwyd gan bregethwyr yr efengyl er mwyn dangos a phrofi eu bod wedi eu hawdurdodi gan Dduw i bregethu yr efengyl i'r byd. Pen. i. 5—10.

2. Bod cymmeriad, ymddygiad, a golygiadau pregethwyr cyntaf Cristionogaeth yn brawf o wirionedd y grefydd Gristionogol. Dygasant arnynt eu hunain erlidigaethau trymion, heb nemmawr o gyssuron tymhorol, a bod pob peth yn dangos mai o Dduw ac nid o ddynion yr oedd yr athrawiaeth a draddodwyd ganddynt. Pen. ii. iii.

3. I bregethwyr cyntaf yr efengyl o'r dechreuad draddodi i'w disgyblion reolau cwbl sanctaidd, a chyfundraeth o grefydd cwbl deilwng o Dduw, ac o leshad mawr i ddynion. Pen. iv. 1—12.

4. Bod yr Arglwydd Iesu Grist wedi ei egluro yn Fab Duw ac yn Farnwr y byd drwy ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, ac y daw ef drachefn yr ail waith i weinyddu barn a chyfiawnder, i wobrwyo y da ac i gospi y drwg. Pen. iv. 13—18. a v. 1—11.

Gellir rhannu yr Epistol hwn yn y wedd ganlynol:—

RHAN I. Yr arweiniad i mewn. Pen. i. 1—14.

RHAN II. Y traethawd, neu y rhan ddadleuol o'r Epistol. Pen. i. 5—10. ii—v. 1—11.

Dosp. 1. Y ddadl gyntaf dros wirionedd yr efengyl a dynnir oddiwrth y gwyrthiau drwy ba rai y cadarnhawyd hi. Pen. i. 5—10.

2. Yr ail ddadl oddiwrth gymmeriad, ymddygiad, a golygiadau ei phregethwyr. Pen. ii. 1—13.

3. Y drydedd ddadl oddiwrth natur sanctaidd ei rheolau. Pen. iv. 1—12.

4. Y bedwaredd ddadl oddiwrth adgyfodiad Crist, awdwr yr efengyl, pryd y dengys Duw mai ei Fab ef ydoedd Iesu Grist, Llywodraethwr a Barnwr y byd. Pen. iv. 1—18. v. 1—11.

RHAN III. Y terfyniad, yr hwn a gynnwysa amryw gynghorion a chyfarwyddiadau ymarferol, Pen v. 12—28. lle y profir gwirionedd yr efengyl, ac y dengys fod ei chyhoeddwyr yn tra rhagori ar y philosophyddion Groegaidd.

# II. THESSALONIAID.

Ymddengys i'r ail Epistol at y Thessaloniaid gael ei ysgrifenu yn fuan ar ol y cyntaf, sef o gylch y flwyddyn 52, ac o'r un lle, canys y mae yr un personau, sef Sylvanus a Thimotheus yn cael eu cyssylltu âg ef yn yr annerchiad. Achoswyd yr Epistol oblegid yr adroddiad a wnaed i Paul o sefyllfa yr Eglwys, gan yr hwn a gludodd ei lythyr cyntaf. Ym mhlith yr amrywiol bethau a ddywedwyd wrtho, gwnaed ef yn hyspys bod amryw o'r Thessaloniaid yn credu y byddai i ddydd y farn gymmeryd lle yn yr oes honno, a bod y rhai a gredent yn esgeuluso eu bywioliaethau i raddau mawr. Cyn gynted ag y gwnaed yr Apostol Paul yn hyspys o hyn, efe a ysgrifenodd yr ail Epistol hwn attynt, er mwyn eu dad-ddyrysu o rwyd y cyfeiliornad hwn a ddaeth i'w plith.

Wedi arweiniad byr i mewn, y mae yr Apostol yn dechreu eu canmol am sefydlogrwydd eu ffydd a'u cariad Cristionogaidd, ac yn arwyddo ei lawenydd oblegid eu hamynedd dan yr erledigaethau a gyfodwyd yn eu herbyn. Dyweda wrthynt am y dydd sydd yn agoshau, pryd y byddai i'w herlidwyr dderbyn cyflawn a chyfiawn gospedigaeth am eu creulonderau, ac y byddai i'r dioddefwyr o'r tu arall gael eu gwobrwyo â bywyd ac â melusderau diddarfod yn y nefoedd byth. Y cymmerai hyn le ar ymddangosiad yr Arglwydd Iesu Grist o'r nefoedd, pryd y gwelid ef mewn mawrhydi a gogoniant anamgyffredadwy. Yna y mae efe yn myned ym mlaen i uniawni eu cyfeiliornad gyda golwg ar ddyfodiad dydd yr Arglwydd, oblegid cam-ddeallasant ymadrodd yr Apostol yn ei Epistol cyntaf. Dyweda wrthynt yn yr Epistol hwn y byddai i ddirywiad mawr gymmeryd lle yn gyntaf dros yr holl fyd Cristionogol, natur yr hwn a ddarlunir ganddo ef. Cynghora y Thessaloniaid i fod yn sefydlog yn y ffydd, ac a weddia am i'r Arglwydd eu cysuro a'u cadarnhau yn wyneb yr hyn oll a'u cyfarfyddant.

Yn nesaf, y mae efe yn dymuno arnynt i weddio drosto ef, dros Sylvanus, a thros Timotheus, ei ddau gynnorthwywr; ac ar yr un pryd dangosa ei hyder y byddai iddynt dalu pob parch dyledus i'r cyfarwyddiadau a roes efe iddynt; ac yna y mae yn myned rhagddo er uniawni rhyw bethau afreolaidd oeddynt wedi cymmeryd lle yn yr eglwys. Ymddengys bod rhai o'r Thessaloniaid yn arwain bywyd segur ac afreolus; cerydda y rhai hynny yn llym, a gorchymmyna i'r ffyddloniaid ymgadw oddiwrth y cyfryw rai, os na byddai iddynt ddiwygio. Terfyna yr Apostol gyda y fendith Apostolaidd, ac a ddywed wrthynt bod y cyfarchiad wedi ei ysgrifenu â'i law ef ei hun, yr hyn a brofa awdurdod a gwiredd yr Epistol.

Oddiwrth yr hyn a ddywedwyd, ymddengys bod yr Epistol yn cynnwys pum' rhan.

Rhan I. Yr annerchiad. Pen. i. 1, 2.

Rhan II. Diolchgarwch Paul, a'i weddi drostynt. Pen. i. 3—12.

RHAN III. Eu camsyniadau ynghylch dydd y farn yn cael eu huniawni. Pen. ii.

RHAN IV. Amryw gynghorion perthynol i ddyledswyddau Cristionogol. Pen. iii. 1—16.

RHAN V. Y terfyniad. Pen. iii. 17, 18.

Er mai ail Epistol Paul at y Thessaloniaid ydyw y byrraf o'i holl Epistolau, nid ydyw islaw yr un o honynt mewn ardderchawgrwydd, oblegid y mae yn dra chynnwysfawr mewn pob peth perthynol i athrawiaeth a duwioldeb. Crybwyllir yn amlwg yn yr Epistol hwn am y gallu Pabaidd, o dan yr enwau, 'Dyn pechod,' a 'Dirgelwch yr anwiredd.' Profa hyn bod yr Apostol dan ysprydoliaeth yr Hollalluog, cyn y gallai rag-ddywedyd am yr hyn a gymmerai le ym mhen oesau wedi hynny. A chyflawnwyd y rhagddywediad hwn o eiddo yr Apostol mewn rhan, oblegid y mae y dyn pechod wedi ei ddatguddio, y mae wedi ac yn parhau i eistedd yn nheml Dduw, ac yn cael ei gydnabod gan y rhai a gredant ei athrawiaethau cyfeiliornus, megis Duw. A chan fod un rhan o ragddywediad yr Apostol wedi ei gyflawni mewn perthynas i gyfodiad y dyn pechod, yr ydym yn hyderus ynghylch ei gwymp, oblegid dywedir yn bendant y difethir ef gan ddisgleirdeb gogoniant yr Arglwydd.

# I. TIMOTHEUS.

TIMOTHEUS, yr hwn a annerchir yn yr Epistol hwn, ydoedd enedigol o Lystra, dinas yn Lycaonia, yn Asia Leiaf. Ei dad ydoedd Roegwr, a'i fam yn Iuddewes, Act. 16. 1. ac o'r un genedl yr oedd ei nain, Lois, yr hon ydoedd fenyw o gymmeriad neillduol. 2 Tim. 1. 5. Cymmerwyd gofal neillduol gyda golwg ar ei ddysgeidiaeth, yr hyn a ddangoswyd yn fuan mewn effeithiau daionus, oblegid dyweda yr Apostol ei fod er yn fachgen yn gydnabyddus ac yn wybodus o'r Ysgrythyr Lân. Meddylir yn gyffredinol iddo gael ei ddychwelyd i'r ffydd Gristionogol yn nhaith gyntaf Paul a Barnabas i Lystra. O'r amser y dychwelwyd Timotheus i ffydd yr efengyl, cynnyddodd yn fawr mewn gwybodaeth grefyddol, ac yr oedd yn hynod am sancteiddrwydd ei fuchedd, a'i zel yn achos Crist a'r efengyl. Cerid ef gan yr holl frodyr yn y parthau hynny. Pan ddaeth Paul o Antioch, yn Syria, i Lystra yr ail waith, canmolwyd Timotheus wrtho i'r fath raddau, fel y cymmerodd Paul ef gydag ef megis cydymaith, wedi yn gyntaf enwaedu arno, a'i neillduo i'r weinidogaeth drwy arddodiad dwylaw; Act. 16. 1—3. 1 Tim. 4. 14. 1 Tim. 1. 6. er ar yr amser hwnnw nad ydoedd nemmawr dros ugain oed. 1 Tim. 4. 12. O'r amser hwn gwneir crybwylliad mynych am Timotheus fel un yn gweini i Paul yn ei wahanol deithiau, gan ei gynnorthwyo i bregethu yr efengyl, a chludo ei gyfarwyddiadau at

yr eglwysi. Pan ymlidiwyd yr Apostol o Thessalonica a Berea trwy erledigaeth, gadawodd Silas a Timotheus yno er cadarnhau yr eglwysi yn y ffydd, Act. 17. 13, 14. Oddi yno aeth at Paul i Corinth; ac o Ephesus anfonodd Timotheus drachefn i Thessalonica i gyssuro y credinwyr yn eu cystuddiau a'u gorthrymderau. Wedi i Timotheus ddychwelyd at yr Apostol, aeth gydag ef i Asia, Act. 20. 4. ac a adawyd yn Ephesus er dysgu yr eglwys yn y ddinas honno, yr hon a roddwyd i'w ofal ef, 1 Tim. 1. 3, 4. Dros ba faint o amser y bu ef yn Ephesus, anhawdd penderfynu; ac nid oes sicrwydd mewn perthynas i'w farwolaeth. Traddodiad eglwysig a fynega iddo ddioddef merthyrdod, trwy gael ei ladd â cherrig ac â ffyn yn y flwyddyn 97, pan yn pregethu yn erbyn eilun-addoliaeth yng nghymmydogaeth teml Diana yn Ephesus. Trosglwyddwyd ei weddillion, fel y bernid ac y credid eu bod, i Caercystenyn, gyda rhwysgfawredd anghyffredin yn y flwyddyn 356, yn amser teyrnasiad Constantius.

Y mae llawer iawn o ddadleu wedi bod mewn perthynas i amseriad yr Epistol hwn. Meddylia Dr. Lardner iddo gael ei ysgrifennu yn y flwyddyn 56. Dr. Benson, Michaelis, ac eraill, a'i dyddiant yn 58, ac Esgob Pearson, Le Clerc, Dr. Mill, Paley, a'r Esgob Tomline, iddo gael ei ysgrifennu yn y flwyddyn 64.

Yn gymmaint ag i Timotheus gael ei adael yn Ephesus er gofalu am a llywodraethu yr eglwys yn y ddinas honno, ysgrifennodd Paul atto, er mwyn rhoddi cyfarwyddiadau iddo mewn perthynas i ddetholiad swyddwyr priodol er gwasanaethu yn yr eglwys, ynghyd âg er cyflawni y weinidogaeth. Amcan arall yr Apostol pan ysgrifennai atto, ydoedd rhoddi gocheliadau o'i flaen i ymgadw rhag y gau athrawon, y rhai a lygrent athrawiaethau pur ac iachus efengyl yr Arglwydd Iesu Grist. Cynnwysa yr Epistol dair rhan.

RHAN I. Cyfarwyddiadau i Timotheus pa fodd i ymddwyn yn llywodraethiad yr eglwys yn Ephesus.

Dosp. 1. Wedi adgoffa i Timotheus y gorchymmyn a roes efe i gadw at burdeb yr efengyl, yn wyneb athrawiaethau cyfeiliornus a niweidiol y gau athrawon, y mae yn dangos diben cyfraith Moses, o'r hon yr oedd y cyfryw athrawon yn anwybodus. Pen. i. 3—20.

2. Y mae yr Apostol yn rhoddi cyfarwyddiadau neillduol i Timotheus, yn

(1.) Mewn perthynas i'r dull yr oedd y gwasanaeth dwyfol i gael ei ddwyn ym mlaen yn Ephesus. Pen. ii.

(2.) Mewn perthynas i'r addasrwydd ag sydd yn ofynol yn y personau hynny a neillduid i fod yn esgobion ac yn fugeiliaid yr eglwysi, ynghyd â'r diaconiaid. Pen. iii.

(3.) Wedi dywedyd am y llygredigaethau a lwyddent mewn amser i ddyfod yn yr eglwys, cynghora yr Apostol Timotheus pa fodd yr oedd iddo ymddwyn, pa fodd yr oedd iddo gynghori hen wyr a hen wragedd, pa fodd yr oedd iddo ymddwyn at y gweddwon, yr henuriaid, y troseddwyr, ynghyd â chyfarwyddiadau i Timotheus ei hun. Pen. iv. a v. a vi. 1, 2.

Dosp. 3. Beiir dadleuon gwag ac ofer, cariad at arian, a gorchymmyna i'r cyfoethogion fod yn gyfoethog mewn gweithredoedd da. Pen. vi. 3—19.

Rhan III. Y Terfyniad. Pen. vi. 20, 21.

# II. TIMOTHEUS.

Bod Paul yn garcharor pan ysgrifenodd ei Ail Epistol at Timotheus sydd amlwg oddiwrth pen. 1. 8, 12, 16. a 2. 9; ac mai yn Rhufain yr oedd yn garcharor sydd amlwg oddiwrth pen. 1. 17. Bernir mai yn amser ei ail garchariad yr ysgrifennodd efe ef, a thybir hefyd fod Timotheus yn fugail eglwys Ephesus pan ysgrifennodd yr Apostol yr ail Epistol hwnnw atto. Amcan a diben yr Apostol yn ei ysgrifennu ydoedd adrodd i Timotheus yr hyn a ddigwyddasai iddo gyda golwg ar ei ail garchariad, ac i ddymuno arno ddyfod atto cyn y gauaf. Ond gan na wyddai a fyddai byw hyd hynny, rhydd iddo amryw gynghorion a chyfarwyddiadau yn yr ail Epistol hwn, gyda golwg ar ei ddyledswyddau gweinidogaethol; ac y mae yn rhoddi y cynghorion hyn iddo fel tad i'w blentyn. Cynnwysa yr Epistol dair rhan:

Rhan I. Yr Annerchiad. Pen. i. 1—5.

II. Cynghor i Timotheus.

Dosp. 1. Annogaeth i ddiwydrwydd, amynedd, a chadernid yn ffurf yr athrawiaeth. Pen. i. 2—18.

2. I wroldeb mewn gofidiau a than erledigaethau, i draddodi athrawiaeth yr efengyl mewn purdeb i eraill, ac i fuchedd sanctaidd. Pen. ii.

3. I ochelyd gau athrawon, i ymlynu wrth yr efengyl, ac i fod yn ddiwyd gyda dyledswyddau y weinidogaeth. Pen. iii. a iv. 1—8.

Rhan III. Y Terfyniad, yn cynnwys dymuniad yr Apostol i Timotheus ymdrechu dyfod atto mor fuan ag y gallai, ynghyd â chyfarchiadau at amryw o'r brodyr yn Asia Leiaf.

Dengys yr epistol hwn wroldeb meddwl yr Apostol yn wyneb amgylchiadau cyfyng ei garchariad, a'r golygfeydd o farwolaeth, yr hyn ydoedd o'i flaen. Siarada megis un ar fin tragywyddoldeb, a siarada hefyd â'i feddwl yn gadarn ac yn ddiysgog ar yr Arglwydd ei Bryniawdwr. Yr oedd wedi bod mewn lludded a thymhestloedd mawrion ar ei daith, ond yn bresennol ar ei therfynu, ac nid ofnai y canlyniadau, oblegid credai bod ei Farnwr cyfiawn yn fyw, ac na ollyngai mo hono yn anghof. Y mae rhyw beth mor deimladwy yn yr ail epistol hwn fel y mae yn cyrhaedd y galon; oblegid llefara Apostol y Cenhedloedd yma megis am y tro diweddaf cyn noswylio.

# YR EPISTOL AT TITUS.

TITUS ydoedd Roegwr o genedl, ac yn un o'r dychweledigion cyntaf trwy weinidogaeth yr Apostol Paul; aeth gyda Paul a Barnabas i'r cynghor cyntaf yn Jerusalem, yn y flwyddyn 49; ac aeth gydag ef wedi hynny i daith, Titus 1. 4. Gal. 2. 1—3. Act. 15. 2. Ychydig flynyddau wedi hyn, anfonwyd Titus gan Paul i Corinth, 2 Cor. 12. 18. er gwneuthur ymchwiliad i fatterion ac amgylchiadau yr eglwys yn y ddinas honno, a gweled pa effaith ydoedd ei lythyr cyntaf wedi ei gael ar y Corinthiaid. Yr hyspysiaeth a ddygwyd iddo gan Titus a roddes iddo bob boddlonrwydd; a chan i Titus ddangos cynnesrwydd neillduol at y Corinthiaid, anfonwyd ef yn ol drachefn gan yr Apostol attynt, ac eraill gydag ef, er mwyn gorphen y casgliad i'r brodyr tlodion yn Judea. Wedi hyn ni chrybwyllir am Titus; ond yn yr epistol dan sylw, dywedir ei fod gyda'r Apostol yn Crete, Tit. 1. 5. Ymddengys ei fod mewn parch mawr gan yr Apostol Paul. Pa un a adawodd efe Crete neu beidio y mae yn anhyspys, oblegid ni ddywedir dim mewn perthynas i'r lle y bu farw, na dull ei farwolaeth; ond dyweda hen draddodiad iddo fyw hyd bedwar ugain a phedair blwydd ar ddeg, ac iddo gael ei gladdu yn ynys Crete.

Nid oes gennym wybodaeth pa bryd na chan bwy y plannwyd Cristionogaeth yn Crete. Yr oedd rhai o'r Cretiaid yn bresennol yn Jerusalem pan dywalltwyd yr Yspryd Glân gyntaf; a thybia yr Esgob Tomline mai y rhai hynny a gyhoeddasant yr efengyl yn ynys Crete. Meddylia Michaelis, Dr. Hales, ac eraill, mai yr Apostol Paul ei hun a blannodd Gristionogaeth yno, yn yspaid y flwyddyn a hanner a dreuliodd efe yn Corinth. Yr oedd y Cretiaid yn yr amser gynt yn nodedig am forwylliaeth, glythineb, halogrwydd, ac yn neillduol dywedyd celwydd. Crybwylla y bardd Epimenides am danynt fel celwyddwyr, ac y mae Paul wedi coffa ei ddywediad yn Tit. 1. 12.

Ni ddadleuir ynghylch amseriad unrhyw epistol yn gymmaint ag ynghylch yr epistol at Titus. Rhai a'i hamserant yn 52, eraill yn 56, eraill yn 57, ac eraill yn 65. Gadawyd Titus yn Crete i sefydlu pethau yn yr eglwysi, yn ol y cynllun apostolaidd; ac ysgrifenwyd yr epistol hwn atto gan Paul er mwyn ei hwylusu i gyflawni ei weinidogaeth ym mhlith y Cretiaid, ynghyd â chyfarwyddiadau pa fodd i ymddwyn yng nghyflawniad ei weinidogaeth. Cynnwysa yr epistol hwn dair rhan:

RHAN I. Yr annerchiad. Pen. i. 1—4.

II. Cyfarwyddiadau i Titus.

Dosp. 1. Mewn perthynas i urddiad gweinidogion, sef esgobion a diaconiaid; a nodir addasrwydd y rhai hyn. Pen. i. 10—16.

2. Pa fodd yr oedd efe i ymddwyn gyda golwg ar gynghori gwahanol oedran ac amgylchiadau. Pen. ii.

Dosp. 3. Bod iddo ddysgu y bobl i roddi ufudd-dod i swyddogion gwladol. Pen. iii. 1—7.
4. Bod iddo eu hannog i weithredoedd da. Pen. iii. 12—15.
RHAN III. Gwahoddiad i Titus ddyfod at yr Apostol i Nicapolis, ynghyd â chyfarwyddiadau eraill. Pen. iii. 12—15.

# YR EPISTOL AT PHILEMON.

YR oedd Philemon yn gyfanneddwr yn Creta, fel yr ymddengys oddiwrth waith Paul yn crybwyll Onesimus yn ei epistol at y Colosiaid, pen. 4. 9. fel un o honynt. Ymddengys bod Philemon yn ddyn gwerthfawr, ac yn enwog fel dinesydd yn ei wlad ei hun; oblegid yr oedd ei deulu mor lliosog fel yr oeddynt yn gwneuthur eglwys eu hunain, neu o leiaf y dosparth lliosoccaf o'i haelodau yn Colossa, adn. 2. Yr ydoedd hefyd mor gyfoethog, fel yr oedd mewn gallu ac amgylchiadau i adfywio ymysgaroedd y saint. Yn ol barn Grotius, yr oedd Philemon yn henuriad yn eglwys Ephesus; ond Beausabore a Dr. Doddridge a dybiant ei fod yn un o'r gweinidogion yn eglwys Colossa; ac oddiwrth waith Paul yn dymuno arno barottoi lletty iddo yn Colossa, y mae Michaelis o'r farn mai diacon yr eglwys ydoedd. Tra thebygol mai cenedl-ddyn wedi ei ddychwelyd i'r ffydd ydoedd Philemon; ac oddiwrth y bedwaredd adnod ar bumtheg o'r epistol hwn, y mae rhai wedi tybied mai trwy weinidogaeth Paul y dygwyd ef i adnabod ac i gofleidio y gwirionedd; ond y mae eraill yn tybied mai trwy ryw rai a glywsant yr Apostol yn pregethu y dychwelwyd y gwr enwog hwn i'r ffydd.

Ymddengys oddiwrth adnodau 1, 10, 13, a 23 o'r epistol hwn, fod Paul mewn caethiwed pan ysgrifenodd yr epistol; a chan ei fod yn arwyddo ei ddisgwyliad o gael ei ryddhau yn fuan, y mae yn debygol iddo gael ei ysgrifennu yn amser ei garchariad cyntaf yn Rhufain, tua diwedd y flwyddyn 62, neu yn gynnar yn y flwyddyn 63, ac iddo gael ei anfon gyda'r epistolau at yr Ephesiaid a'r Colosiaid, trwy ddwylaw Tychicus ac Onesimus. Tueddwyd rhyw fath o feirniaid i wrthod yr epistol hwn fel un canonaidd mor foreu ag amser Jerome, oblegid mai llythyr cyfrinachol ydyw, ac o ganlyniad yn ddiwerth i'r eglwys yn gyffredinol; ac oblegid ei fyrdra a'i fod o natur gyfrinachol, ni chrybwyllir am dano ond yn anfynych gan y tadau boreuol. Etto y mae Tertullian yn cyfeirio atto, ond nid yw yn crybwyll am dano wrth ei enw; ond y mae Caius yn ei grybwyll ym mhlith epistolau yr Apòstol Paul. Crybwyllir am dano hefyd dan ei enw gan Origen, a chyhoeddwyd ef o awdurdod gan yr holl hen dadau a enwir gan Eusebius, a chan yr ysgrifenwyr eglwysig ar ei ol ef. Dyweda Dr. Benson yn ardderchog am yr epistol hwn, y

bydd i bawb a'i myfyrio ac a'i hystyrio ganfod ynddo gryn nifer o brif athrawiaethau y grefydd Gristionogol: er enghraifft,—

1. Bod pawb Cristionogion, mewn ystyr grefyddol ac ysprydol, yn gydradd. Onesimus y caethwas, wedi iddo ddyfod yn Gristion, ydoedd yn anwyl fab i'r Apostol, ac yn frawd i Philemon.

2. Nad ydyw Cristionogaeth yn gwneuthur unrhyw gyfnewidiad yn amgylchiadau gwladol a thymmorol dyn. Nid oedd y caethwas yn dyfod yn ddyn rhydd drwy gael ei fedyddio i'r ffydd Gristionogol; ac er bod Onesimus yn anwyl fab i'r Apostol ac yn frawd i Philemon mewn ystyr grefyddol, etto mewn ystyr wladol yr oedd yn rhwym o barhau i fod yn gaethwas i Philemon dros ei oes, oni welai Philemon fod yn dda i'w ryddhau.

3. Na ddylai gweision gael eu cadw oddiwrth eu meistri heb gydsyniad eu meistri, adn. 13, 14.

4. Y dylem garu a gwneuthur daioni i bob dyn. Ni ddylem ddiystyru dynion mewn amgylchiadau isel, na pheidio cynnorthwyo y caethwas iselaf, os bydd hynny o fewn ein gallu. Y mae yr Apostol yma wedi rhoddi i ni engraifft o garedigrwydd neillduol, ynghyd â chariad Cristionogol, yr hwn y mae yn dda i ni eu dilyn. Cymmerodd yr Apostol boen mawr gyda chaethwas, ac argyhoeddodd ef, ac yn y modd mwyaf caredig a erfyniodd faddeuant gan ei feistr am yr hyn yr oedd y caethwas wedi eu gwneuthur allan o le.

5. Na ddylid anobeithio yn hollol oblegid dychweliad y rhai ydynt dra annuwiol, ond yn hytrach defnyddio pob moddion er eu dychwelyd a'u diwygio. Er bod Onesimus wedi yspeilio ei feistr a ffoi ymaith o'i wasanaeth, cynnygodd yr Apostol ei ddychwelyd ym mhlith eraill, ac a lwyddodd yn ei amcan a'i gynnygiad.

6. Bod yn angenrheidiol gwneuthur i fynu bob colledion a achosir, oni fydd i'r hwn a golledir faddeu yn ewyllysgar iddo; ac y mae Paul yn yr epistol hwn yn addaw gwneuthur i fynu y golled a achosodd Onesimus, fel peth cyfiawn, os byddai efe yn gofyn am hynny.

7. Y dylem fod yn ddiolchgar i'n cymmwynaswyr. Cyffyrdda yr Apostol yn gynnil â hyn yn adn. 19, lle y mae yn awgrymmu i Philemon ei fod ef yn ei ddyled, ac yn ol rheol diolchgarwch ei fod yn rhwym o ganiattau ei ddeisyfiad presennol.

8. Y dylem faddeu i'r edifeiriol, a chymmodi yn wirioneddol âg ef.

9. Bod enghraifft yr Apostol yn dysgu i ni, y dylem wneuthur pob ymdrechiadau er terfynu pob ymrafaelion, a chymmodi rhwng y rhai hynny y byddo yr ymrafael rhyngddynt.

10. Bod yn well gan ddyn doeth annerch yn esmwyth ac yn dirion, hyd yn nod mewn achosion y gallai lefaru yn orchymmynol ac yn awdurdodol.

11. Y mae yma brawf gogoneddus o effaith ddaionus y grefydd Gristionogol. Cyfnewidiodd gaethwas diddaioni i fod yn Gristion da a defnyddiol, ac i fod yn ddyn y gallesid rhoddi pob ymddiried ynddo.

Yr ydym yn cael oddiwrth yr epistol hwn, bod Onesimus yn gaethwas perthynol i Philemon, yr hwn y mae yn debygol a yspeiliodd, ac mewn canlyniad a ffodd oddiwrtho i Rufain. Pa un a edif-

arhaodd ef o herwydd yr hyn a wnaeth, gan fyned yn wirfoddol at Paul, neu iddo ddyfod yn gydnabyddus â'r Apostol mewn rhyw ffordd arall, y mae yn anhyspys i ni; ond darfu i'r Apostol, pan yn garcharor yn ei dŷ ardrethol ei hun, gael ffordd i galon y caethwas hwn, dychwelodd ef i gofleidio y ffydd Gristionogol, ac a'i bedyddiodd. Ymddengys hefyd i Paul gadw Onesimus gydag ef am ryw gymmaint o amser i weini iddo, a thebygol mai ei amcan yn hyn ydoedd cael cyfleusdra i farnu mewn perthynas i wirionedd a phurdeb crefydd Onesimus. Tra y parhaodd gyda yr Apostol, gweinyddodd iddo gyda diwydrwydd ac mewn ffyddlondeb mawr; ac wedi ei wneuthur yn deimladwy o'r cam a wnaeth i'w feistr, ewyllysiai wneuthur iawn am y camwri a wnaeth; ond ar yr un pryd yr oedd yn ofnus y buasai ei feistr yn ei gospi yn ol y ddefod yn Phrygia, a deisyfodd ar yr Apostol i ysgrifennu at Philemon, gan erfyn arno i faddeu iddo ei drosedd. Cydymffurfiodd yr Apostol â chais a dymuniad Onesimus, ac a ysgrifennodd yr epistol hwn at Philemon, gan erfyn arno faddeu iddo. A chan fod gwneuthur y golled i fynu yn adferu y person a wnaeth y golled i'w gymmeriad cyntefig, y mae yr Apostol yn yr epistol hwn yn ymrwymo dros Onesimus i wneuthur adferiad i Philemon o'r hyn oll y colledwyd ef gan ei gaethwas. Oddiwrth fod yr Apostol yn deisyf mor daer, nid ydym i farnu gyda rhai bod Philemon o dymmer ac yspryd anfaddeugar; ond yn hytrach dylem ffurfio ein barn yn ol Dr. Macknight, yr hwn a dybiai bod gan Philemon nifer o gaethion; a phe dangosai efe faddeuant uniongyrchol i Onesimus, cawsai yr ymddygiad effaith ddrwg ar y lleill, o ganlyniad bod rhyw fath o gospedigaeth yn angenrheidiol.

Pa un ai maddeu i Onesimus neu ei gospi a wnaeth Philemon, sydd amgylchiad na fynegir i ni yn ei gylch. Oddiwrth ddwysder yr Apostol yn erfyn drosto, ac oddiwrth garedigrwydd a chymmwynasgarwch Philemon, barna rhai yn sicr iddo dderbyn maddeuant, a chael ei ryddid gan ei feistr. Arferid rhoddi eu rhyddid i gaethion gynt wedi hir wasanaeth o ffyddlondeb. Yn ol Dr. Benson, rhoddai y prif Gristionogion yr epistol hwn yn y canon sanctaidd; ac yr oedd yn draddodiad ganddynt yn yr oesau boreuaf, i Philemon ganiattau yr hyn oll a geisiai yr Apostol ganddo. Yn yr 'Apostolical Constitutions,' dywedir i Onesimus fod yn esgob Berea; ond yn gymmaint ag i'r rhai hyn gael eu cyfansoddi yn y pedwerydd canrif, nid ydynt o awdurdod fel y gellir rhoddi ymddiried iddynt. Pan ysgrifenodd Ignatius ei epistol at yr Ephesiaid, yn y flwyddyn 107, enw eu hesgob y pryd hwnnw ydoedd Onesimus; ac y mae Grotius o'r farn mai yr un Onesimus ydoedd a hwnnw y bu Paul yn eiriol drosto yn ei epistol at Philemon. Ond sylwa y Dr. Lardner bod hyn yn dra ansicr. Y mae yr holl gyfansoddiad hwn yn un tra rhagorol: dangosa yr Apostol barch neillduol i Philemon, y fath serch tuag at Onesimus, ynghyd â'r fath arogl Cristionogol, fel y mae yn gyffelyb i pe buasai wedi ei ysgrifennu yn y nef.

# YR EPISTOL AT YR HEBREAID.

Ar ol y tri Epistol ar ddeg a ysgrifennwyd gan yr Apostol Paul, y rhai y mae ei enw wrthynt, canlyna yr Epistol at yr Hebreaid; ynghylch natur ac awdurdod yr hwn y mae mwy o ddadl wedi bod, nag mewn perthynas i un o lyfrau eraill y Testament Newydd. Nid ydyw yr Epistol hwn yn dechreu yn ol ffurf yr Epistolau eraill; ac y mae yn ddadl hefyd pa un ai Epistol at ryw gorph o bobl neillduol ydyw, neu Draethawd er dangos natur yr hen oruchwyliaeth. Penderfyna Michaelis mai Epistol ydyw, oddiwrth waith yr ysgrifennydd yn addaw ymweled â'r rhai yr ysgrifennai attynt; ac y mae ynddo amryw gyfarchiadau hefyd, a chyfeiriadau at amgylchiadau neillduol. Pen. 5. 11, 11. a 6. 9. a 10. 32—44. a 13. 23, 24.

Pwy ydoedd yr Hebreaid, at y rhai yr annerchwyd yr Epistol hwn, nid ydyw dysgedigion mewn un modd yn cyttuno â'u gilydd. Yr oedd Syr Isaac Newton o'r farn, mai wrth yr Hebreaid yn yr Epistol, yr oedd i'w ddeall yr Iuddewon crediniol a adawsant Jerusalem ychydig cyn ei dinystr, a'r rhai oeddynt yn awr yn wasgaredig drwy holl Asia Leiaf; ond nid oes gennym sicrwydd o hyn. Eraill drachefn a dybiasant i'r Epistol hwn gael ei ysgrifennu at yr Hebreaid Cristionogol yn Spaen, Galatia, Macedonia, neu Rufain; neu at y rhai a arosent yn Palestina. Barnai Clement o Alexandria, Jerome, Chrysostom, Theodoret, Theophylact, a thadau eraill, mai at yr Iuddewon dychweledig yn Judea yr ysgrifennodd yr Apostol yr Epistol hwn; a bod y rhai hyn yn nyddiau yr Apostol yn cael eu galw yn Hebreaid, er mwyn eu gwahaniaethu oddiwrth yr Iuddewon yng ngwledydd y Cenhedloedd, y rhai a elwid Hellenistiaid neu Roegiaid. Act. 6. 1. a 9. 29. a 11. 20. Barn y tadau dysgedig hyn a fabwysiadwyd gan Beza, Louis Cappel, Carpzov, y Doctoriaid Lightfoot, Whitby, Mill, Lardner, a Macknight; a chan yr esgobion Pearson, Tomline, ac eraill. Ystyria Michaelis ef fel wedi ei ysgrifennu at wasanaeth yr Iuddewon Cristionogol yn Jerusalem ac yn Palestina; ac a sylwa, nad ydyw o fawr bwys pa un ai i Jerusalem yn unig, neu at ryw ddinasoedd eraill yn Palestina, oblegid bod Epistol a fwriadwyd at Iuddewon dychweledig yn Jerusalem, mor berthynol i'r Iuddewon dychweledig yn y wlad oddi amgylch. Ac wedi ystyried pob peth, y mae yn dra thebyg bod yr Epistol hwn wedi ei fwriadu at wasanaeth yr Iuddewon dychweledig drwy holl wlad Judea.

Y pwngc nesaf, perthynol i'r Epistol hwn, ydyw yr iaith ym mha un yr ysgrifennwyd ef. Y mae dwy dyb neillduol ynghylch y matter hwn; un ydyw, iddo gael ei ysgrifennu yn wreiddiol yn yr Hebraeg, ac iddo gael ei gyfieithu i'r Groeg gan Luc neu Barnabas; a'r dyb arall ydyw, mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifennwyd ef yn wreiddiol. Barnai y tadau, Clement o Alexandria, Theodoret, Theophylact, Jerome, Origen, ac eraill, mai yn yr iaith Hebraeg yr ysgrifennwyd ef gyntaf; a thybiai Fabricius, Beausabore, Cappel,

Owen, Calmet, Doddridge, Macknight, Hales, a'r esgob Tomline, mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifennwyd ef gyntaf. Y dadleuon a ddygir dros iddo gael ei ysgrifennu yn yr Hebraeg, neu Galdaeg Syriaidd, ydynt y rhai canlynol:—Yn gymmaint ag i'r Epistol hwn gael ei ysgrifennu i wasanaeth yr Hebreaid Cristionogol, yr oedd yn briodol iddo gael ei ysgrifennu yn eu hiaith hwy eu hunain. I'r ddadl hon attebwyd, yn gyntaf, Os ydoedd yn briodol i'r Apostol ysgrifennu at yr Hebreaid yn Hebraeg, yr oedd yn gwbl mor briodol iddo ysgrifennu at y Rhufeiniaid yn eu hiaith briodol eu hunain; ond y mae yn amlwg mai nid yn y Lladinaeg yr ysgrifennodd yr Apostol at y Rhufeiniaid, ond yn yr iaith Roeg; ac mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifennodd Paul ei holl Epistolau at yr eglwysi, gan nad pa ieithoedd oeddynt eu rhai priodol hwynt. Yn ail, yr oedd Epistolau yr Apostolion wedi eu bwriadu i fod o wasanaeth i'r holl fyd Cristionogol trwy yr holl oesoedd, yn gystal ag i'r personau yr anfonwyd hwynt attynt; ac felly yr oedd yn fwy priodol iddynt ysgrifennu yn yr iaith Roeg nag mewn unrhyw iaith arall, oblegid mai hi oedd yr iaith fwyaf cyffredinol, ac a ddeallid oreu drwy yr holl deyrnasoedd. Gwnaed y cyfieithad Syriaidd o'r Epistol hwn o'r Groeg, tua diwedd y canrif cyntaf, neu ddechreu yr ail ganrif; ac nid oedd un copi Hebraeg o hono ar gael y pryd hwnnw. Pe yn yr Hebraeg yr ysgrifennodd yr Apostol yr Epistol hwn gyntaf, ni allasai atteb fawr o ddiben, oblegid nid oedd yr Hebreaid yn gyffredin yn deall Hebraeg yr Hen Destament, ac o'r iaith a siaradent y pryd hwnnw yr oedd amryw ganghennau. A phe yn yr Hebraeg yr ysgrifennodd yr Apostol yr Epistol hwn, ni allasai ond dysgu yn unig ei genedl ei hun; ond trwy ysgrifennu attynt yn yr iaith Roeg, nid yn unig dysgai ei genedl ei hun, ond dysgai y Cenhedloedd hefyd. Ac felly, wedi pwyso ac ystyried yr holl ddadleuon mewn perthynas i'r matter dan sylw, ymddengys mai yn yr iaith Roeg yr ysgrifennwyd yr Epistol hwn.

Mewn perthynas i awdwr yr Epistol dan sylw, rhai a'i priodolant i Barnabas, cydymmaith Paul, eraill i Clement o Rufain, eraill i Luc yr Efangylwr, a'r eglwys Gristionogol yn gyffredinol a'i priodolant i'r Apostol Paul. Tertullian oedd y cyntaf a'i priodolodd i Barnabas; ond nid ydyw yn crybwyll ei awdurdod dros hynny, nac ychwaith bod y dyb hon yn cael ei derbyn gan yr eglwys. Gwrthwynebir ei dyb gan Clement o Alexandria, yr hwn a grybwylla yr yr Epistol at yr Hebreaid fel wedi ei ysgrifennu gan yr Apostol Paul. Heblaw hyn, ymddengys oddiwrth Heb. 13. 24. bod yr Epistol hwn wedi ei ysgrifennu o'r Eidal, lle nid oes hanes i Barnabas fod erioed. Ym mhlith yr ysgrifennwyr diweddar, tybiodd y diwygiwr enwog Luther, i'r Epistol hwn gael ei ysgrifennu gan Apollos, yr hwn a grybwyllir yn Actau 18. 24, 28. fel dyn hyawdl iawn, galluog yn yr Ysgrythyrau, gwresog yn yr yspryd, ac yn argyhoeddi yr Iuddewon allan o'r Ysgrythyrau; ond nid oes y sail leiaf mai efe ydoedd cyfansoddydd yr Epistol dan sylw, oblegid ymddengys yn dra amlwg mai yr Apostol Paul ydoedd ei awdwr.

1. Cydnabyddir gan yr Apostol Pedr yn ei ail Epistol, pen. 3. 15, 16. mai Paul ydoedd y cyfansoddwr o hono. Dengys yr ymadroddion crybwylledig bod Pedr wedi darllen holl Epistolau Paul;

ynghyd â bod Paul wedi ysgrifennu at yr un Cristionogion ag yr oedd Pedr y pryd hwnnw yn ysgrifennu attynt, hynny ydyw, at yr Iuddewon crediniol yn gyffredinol; a chan nad oes un prawf bod yr Epistol o eiddo Paul, a grybwyllir gan Pedr, wedi myned ar goll, rhaid mai Epistol Paul at yr Hebreaid ydoedd. Ym mhellach, ymddengys, oddiwrth ymadrodd Pedr, i Paul ysgrifennu at yr un dynion ar yr un pyngciau ag yr ysgrifennodd Pedr. Ysgrifenna Pedr, mai "Trwy Grist y rhoddwyd i ni bob peth a berthyn i fywyd a duwioldeb;" a bod "Iesu Grist yn Fab Duw, yn yr hwn y cafodd y Tad ei lwyr foddloni." Cyffyrddir mewn modd neillduol â'r un athrawiaeth gan yr Apostol Paul yn ei epistol at yr Hebreaid, pen. 1. hyd 10, 19. a 2. 1—5. a 3. 1, 6—19. Y mae Pedr yn ei epistol yn priodoli doethineb fawr i'r Apostol Paul; dyweda iddo ysgrifennu "yn ol y ddoethineb a roddwyd iddo;" ac y mae yn cymhwyso hyn yn neillduol at ei ddoethineb yn ysgrifennu at yr Hebreaid. Dyweda Pedr hefyd bod rhyw bethau yn epistol Paul at yr Hebreaid yn anhawdd i'w deall. Yn awr, dyweda Paul ei hun yn Heb. 5. 11. am ryw bethau "anhawdd i'w traethu," neu yn anhawdd i'w deongli, o ganlyniad yn anhawdd iawn i'w deall; ac ym mhlith y rhai hyn yr oedd y pwngc ydoedd ganddo ef y pryd hwnnw mewn llaw, sef natur gysgodol person Melchisedec. Neu os oedd yn cyfeirio at offeiriadaeth Crist, yr oedd yma bethau yn fwy anhawdd i'w traethu, oblegid bod offeiriadaeth Crist yn rhagorach nag offeiriadaeth Melchisedec.

2. Y mae tystiolaeth hynafion eglwysig yn priodoli yr epistol hwn i Paul. Ym mhlith y tadau yn eglwys Groeg, y rhai a ysgrifennasant yn yr iaith Roeg, gwneir cyfeiriadau at yr epistol hwn yn epistolau Ignatius o ddeutu y flwyddyn 107; ac ymddengys bod Polycarp, esgob Smyrna, yn ei epistol at y Philippiaid, yn cyfeirio yn neillduol atto. Clement o Alexandria a'i crybwylla yn fynych fel epistol wedi ei gyfansoddi gan yr Apostol Paul, ynghylch y flwyddyn 194. Yr un peth a brofir gan Origen, gan Dionysius esgob Alexandria, Theognostus, Pamphilius, Eusebius, a lluoedd gyda hwynt. Ym mhlith tadau yr eglwys Ladinaeg, crybwylla Clement, esgob Rhufain, yn fynych am yr epistol hwn o eiddo Paul at yr Hebreaid, ynghylch y flwyddyn 96, neu yn ol rhai beirniaid, yn y flwyddyn 70. Irenæus, esgob Lyons, a grybwylla amryw ymadroddion o epistol Paul at yr Hebreaid. Gallasid crybwyll niferi lliosog o rai eraill, ond nid yw hynny mewn un modd yn angenrheidiol.

3. Y mae llawer iawn o debygolrwydd rhwng yr epistol hwn ag epistolau eraill yr apostol Paul.

1. Y mae tebygolrwydd neillduol mewn cynghorion yn yr epistol hwn ag amryw o lythyrau eraill yr Apostol Paul.

| | | |
|---|---|---|
| Hebreaid 12. 3. | ........................ | Gal. 6. 9. |
| ——— | ........................ | 2 Thes. 3. 13. |
| ——— | ........................ | Eph. 3. 13. |
| ——— 12. 14. | ........................ | Rhuf. 12. 18. |
| ——— 13. 1, 3, 4. | ........................ | Eph. 5. 2—4. |
| ——— 13. 16. | ........................ | Phil. 4. 18. |

2. Tebygolrwydd ymadroddion rhwng yr epistol hwn ag epistolau eraill Paul.

| | |
|---|---|
| Hebreaid 2. 4. | Rhuf. 15. 19. |
| ———— | 2 Cor. 12. 12. |
| ———— | 2 Thes. 2. 9. |
| ——— 2. 14. | 2 Tim. 1. 10. |
| ———— | 1 Cor. 15. 26. |
| ——— 3. 1. | Phil. 3. 14. |
| ———— | 2 Tim. 1. 9. |
| ——— 5. 12. | 1 Cor. 3. 2. |
| ——— 8. 1. | Eph. 1. 21. |
| ——— 8. 5. | Col. 2. 17. |
| ———10. 33. | 1 Cor. 4. 9. |
| ———13. 9. | Eph. 4. 14. |
| ———13. 10, 11. | 1 Cor. 9. 13. |
| ———13. 20, 21. | Rhuf. 15. 33. |
| ———— | —— 16. 20. |
| ———— | Phil. 4. 9. |
| ———— | 1 Thes. 5. 23. |
| ———— | 2 Cor. 13. 11. |

3. Y mae tebygoliaeth neillduol rhwng terfyniad yr epistol hwn a therfyniad epistolau yr Apostol Paul.

| | |
|---|---|
| Hebreaid 12. 18. | Rhuf. 15. 30. |
| ———— | Eph. 6. 18, 19. |
| ———— | Col. 4. 3. |
| ———— | 1 Thes. 5. 25. |
| ———— | 2 Thes. 3. 1. |
| ———13. 20, 21. | Rhuf. 15. 30—33. |
| ———— | Eph. 6. 19—23. |
| ———— | 1 Thes. 5. 23. |
| ———— | 2 Thes. 3. 16. |
| ——— 13. 24. | Rhuf. 16. 21—23. |
| ———— | 1 Cor. 16. 19—21. |
| ———— | 2 Cor. 13. 13. |
| ———— | Phil. 4. 21, 22. |
| ——— 13. 25. | 2 Thes. 3. 18. |
| ———— | Col. 4. 18. |
| ———— | Eph. 6. 24. |
| ———— | 1 Tim. 6. 21. |
| ———— | 2 Tim. 4. 22. |
| ———— | Titus 3. 15. |

Gyda golwg ar yr amser yr ysgrifennwyd yr epistol hwn, y mae cryn wahaniaeth barn rhwng deonglwyr a'u gilydd. Rhai a farnant iddo gael ei ysgrifennu yn y flwyddyn 58; ond y nifer liosoccaf a farnant iddo gael ei ysgrifennu rhwng y blynyddau 61 a 64. Oddiwrth waith Paul yn addaw ymweled â'r Hebreaid yn fuan, y mae yn debygol bod ei garchariad cyntaf yn agos a therfynu, neu wedi terfynu; o ganlyniad ysgrifennwyd yr epistol hwn o'r Eidal, neu o Rufain, efallai yn fuan wedi yr epistolau at y Colossiaid, yr Ephesiaid, ac at Philemon, sef tua diwedd y flwyddyn 62 neu ddechreu y flwyddyn 63. Sylwa Macknight ac eraill, ei fod yn amlwg oddiwrth yr epistol hwn, iddo gael ei ysgrifennu cyn dinystr Jerusalem, canys yn Heb. 8. 4. a 9. 25. a 10. 11. a 13. 10. gwneir crybwylliad o'r deml

fel yn sefyll y pryd hwnnw, a'r offrymmau a'r aberthau yn cael eu gweinyddu yn ol y sefydliad drwy Moses.

Gwelir yr achos o ysgrifennu yr epistol hwn, trwy sylwi ar ei gynnwysiad. Ymdrechai yr Iuddewon hyd eithaf eu galluoedd i dynnu eu brodyr, y rhai a gofleidiasant y grefydd Gristionogol, oddiwrth y gwirionedd ac oddiwrth ffydd yr efengyl. At erledigaethau a bygythion, ychwanegasant amryw ddadleuon deilliedig oddiwrth ardderchawgrwydd y grefydd Iuddewig. Sylwent, fel yr ydym yn casglu oddiwrth yr epistol, i'r gyfraith gael ei rhoddi drwy weinidogaeth angylion; bod Moses ym mhell uwchlaw yr Iesu o Nazareth, yr hwn a roddwyd i farwolaeth warthus a gwaradwyddus; bod addoliad Duw, yn ol fel ei sefydlwyd gan Moses eu deddf-roddwr, yn dra ardderchog, ac yn deilwng o'r Jehofa mawr; ac nad oedd gan y Cristionogion unrhyw offeiriadaeth sefydledig yn eu plith. Mewn gwrthwynebiad i'r dadleuon hyn, y mae'r Apostol yn dangos mai yr Iesu o Nazareth, yr hwn a osodasant hwy i farwolaeth, oedd y Messiah, Mab Duw, ac yn anfeidrol uwchlaw yr angylion, Moses, ac offeiriaid y gyfraith Iuddewig; a bod mwy o fendithion yn deilliaw oddiwrth ei farwolaeth nag oddiwrth ddim a gaffai yr Iuddewon oddiwrth wasanaeth y deml, eu haberthau, a'u holl weinyddiadau; ac y mae natur iawnol aberth Crist yn cael ei ddangos a'i brofi yn amlwg. Oddiwrth y dadleuon hyn ac eraill, y mae yr Apostol yn profi bod crefydd Crist yn ardderchoccach ac yn berffeithiach na chrefydd Moses; ac y mae yn cynghori yr Iuddewon crediniol i fod yn sefydlog yn y ffydd, ac i lynu yn wyneb pob peth yn eu proffes.

Prif amcan yr Apostol yn yr epistol hwn ydyw profi duwdod Crist ac ardderchawgrwydd ei efengyl, mewn cydmariaeth i sefydliadau Moses; ac er rhagflaenu yr Iuddewon dychweledig rhag syrthio drachefn at y defodau, a myned eilwaith at yr hen egwyddorion, y rhai oeddynt wedi eu llwyr ddiddymmu gan yr Arglwydd Iesu Grist; ac er mwyn argraffu hyn ar eu meddyliau, dangosa bod yr holl hen ddefodau yn gwbl aneffeithiol er eu cymmodi â Duw a'u dwyn i fwynhad o ffafr y nefoedd. Cynnwysa yr epistol at yr Hebreaid dair rhan:

RHAN I. A eglura Dduwdod Crist trwy gyhoeddiad amlwg yr Ysgrythyrau. Pen. i—x. 18.

Y gosodiad ydyw, mai Crist ydyw y gwir Dduw. Pen. i. 1—3. Y profion ydynt,

Dosp. 1. Ei uchafiaeth ar yr angylion, gan y rhai yr addolir ef fel eu Harglwydd a'u Creawdwr. Pen. i. 4—14. Y casgliad—Rhaid i ni wrando arno. Pen. ii. 1—4. Haerir ei uchafiaeth ar yr angylion, er iddo ddarostwng ei hun yn ein natur ni, pen. ii. 5—9. heb yr hyn beth ni allasai efe ddwyn oddi amgylch waith mawr y prynedigaeth, adn. 10—15; ac er dwyn hyn oddi amgylch, na chymmerodd efe naturiaeth angylion, ond had Abraham, adn. 16—18.

2. Ei uchafiaeth ar Moses, yr hwn nid ydoedd ond gwas; eithr Crist yn Arglwydd. Pen. iii. 1—6. Y cymhwysiad o'r ddadl hon i'r Hebreaid crediniol ydyw, ar fod

iddynt beidio dilyn enghraifft eu tadau anghrediniol yn yr anialwch, y rhai a ddinystriwyd. Pen. iii. 7—19. a iv. 1—13.

Dosp. 3. Ei uchafiaeth ar Aaron ac ar yr holl archoffeiriaid yn cael ei wneuthur yn amlwg. Crist ydyw y gwir archoffeiriad, ac nad oedd Melchisedec ac Aaron ond cysgodau o hono. Pen. iv. 14—16. a v. 8.

4. Natur gysgodol y tabernacl a'i ddodrefn, ynghyd â'r ordinhadau a gedwid gynt dan yr hen oruchwyliaeth. Pen. ix. 1—10.

5. Mai aberth Crist ydyw y gwir aberth hwnnw, trwy yr hwn y diddymmwyd yr holl aberthau Iuddewig. Pen. ix. 11—28. a x. 1—18.

Rhan II. Y cymhwysiad o'r dadleuon a'r profion canlynol. Pen. x. 19—39. a xiii. 1—19; yn y rhai y cynghorir yr Hebreaid,—

Dosp. 1. I ffydd, gweddi, a sefydlogrwydd yn yr efengyl. Pen. x. 19—25. Cryfheir y cynghor hwn trwy ddangos y perygl mawr o wrthod yr Arglwydd Iesu Grist yn wirfoddol; a chymmysgir yma amryw o rybuddion a chefnogaethau er eu cryfhau, trwy ddangos natur, ardderchawgrwydd, ac effaith gwirionedd yn ei weithrediadau cedyrn a nerthol, drwy enghreifftiau lliosog o'r Hen Destament; a chrybwyllir amryw o'r saint o Abel hyd ddiwedd yr Hen Destament.

2. I amynedd a diwydrwydd yn eu gyrfa Gristionogol, oddiwrth dystiolaeth amryw o gredinwyr blaenorol; a thrwy sylwi yn neillduol ar enghreifftiau Iesu Grist, ynghyd â natur y ceryddon a weinyddir gan yr Arglwydd ar ei blant. Pen. xii. 1—13.

3. I heddwch a sancteiddrwydd, ac i wyliadwriaeth arnynt eu hunain, ac ar eu gilydd. Cryfheir hyn oddiwrth ymddygiad Esau. Pen. xii. 14—17.

4. I ufudd-dod i'r efengyl, a pharch at addoliad y Duw byw, oblegid ardderchawgrwydd goruchwyliaeth yr efengyl; ac mewn canlyniad bod y pechod a'r euogrwydd o'i esgeuluso yn fawr. Pen. xii. 18—29.

5. I gariad brawdol, llettygarwch, a thosturi; i elusenau, boddlonrwydd, a chariad at Dduw. Pen. xiii. 1—3.

6. I gofio ffydd ac enghreifftiau eu bugeiliaid ymadawedig. Pen. xiii. 4—8.

7. I wyliadwriaeth yn erbyn gau athrawiaethau mewn perthynas i aberth Crist. Pen. xiii. 9—12.

8. I ewyllysgarwch i ddioddef pob gwaradwyddiadau er mwyn Crist, a diolchgarwch i Dduw. Pen. xiii. 13—15.

9. I ufudd-dod i'w hathrawon, a gweddi dros yr Apostol. Pen. xiii. 16—19.

Rhan III. Y terfyniad; yn cynnwys gweddi dros yr Hebreaid, ynghyd â chyfarwyddiadau apostolaidd. Pen. xiii. 20—25.

# YR EPISTOLAU CYFFREDINOL.

Canlynir Epistolau Paul, yng nghanon y Testament Newydd, gan y saith Epistol Cyffredinol, wrth y rhai y mae enwau yr Apostolion Iago, Pedr, Judas, ac Ioan. Y mae y rhai hyn am oesau wedi cael eu galw, Yr Epistolau Cyffredinol; dros yr hwn enw y mae amryw resymau neu dybiadau wedi cael eu ffurfio.

1. Y mae Salmeron ac eraill wedi dychymmygu iddynt gael eu galw yn Gatholig, neu yn Gyffredinol, am eu bod wedi eu hamcanu i'w gwasgaru drwy yr eglwysi Cristionogol, modd y darllenid hwynt gan bawb, am eu bod yn cynnwys un athrawiaeth fawr gyffredinol berthynol i'r holl saint. Mewn cyffelyb fodd y gallesid eu galw yn Ganonaidd, am eu bod yn cynnwys canonau, neu reolau cyffredinol, y rhai a berthynant i bawb Cristionogion drwy yr holl oesau. Yn ddiamheuol, y mae yr athrawiaethau yn yr Epistolau dan sylw yn dra ardderchog, a chynnwysant reolau a chyfarwyddiadau i Gristionogion drwy yr holl fyd a thrwy yr holl oesau, y rhai ydynt rwymiadol ar yr holl gorph o Gristionogion. Ond y mae y sylwadau hyn mor berthynasol i lyfrau eraill yr Ysgrythyrau; a gellir galw holl Epistolau Paul yn neillduol yn Gatholig, neu yn Gyffredinol, am eu bod yn cynnwys athrawiaethau, rheolau, a chyfarwyddiadau mor gyffredinol, ag sydd yn Epistolau neb o'r Apostolion eraill.

2. Y mae eraill o'r dyb iddynt dderbyn yr enw Cyffredinol, am na ysgrifennwyd hwynt at un person, dinas, neu eglwys, fel Epistolau Paul, ond at yr eglwys gatholig neu gyffredinol; neu at Gristionogion mewn gwahanol wledydd; neu, o leiaf, at yr holl Iuddewon Cristionogol, gwasgaredig drwy yr holl wledydd. Ond ymddengys nad yw y dyb hon wedi ei seilio ar sail dda. Y mae yn wir i Epistol Iago gael ei ysgrifennu at Gristionogion deuddeg llwyth Israel, ym mhob gwlad lle y gwasgarwyd hwynt; ond ni annerchir ef at Gristionogion gwlad Judea, nac at y Cristionogion Cenhedlig yn unrhyw wlad. Ysgrifennwyd dau Epistol Pedr at y Cristionogion yn gyffredinol, ond yn neillduol at y rhai hynny a ddychwelwyd oddiwrth Iuddewaeth. Epistol cyntaf Ioan, ac Epistol Judas, efallai a ysgrifennwyd at y Cristionogion Iuddewig, ond yr ail a'r trydydd o Epistolau Ioan a ysgrifennwyd at bersonau neillduol.

3. Tyb arall ydyw honno o eiddo y Dr. Hammond, a fabwysiadwyd gan y Dr. Macknight, a chan eraill, yr hon ydyw y fwyaf tebygol. Epistol cyntaf Pedr, ac Epistol cyntaf Ioan, a dderbyniwyd gyntaf i'r canon, oblegid bod amheuaeth ynghylch yr Epistolau eraill; a'r canlyniad oedd eu galw yn Gyffredinol; ond wedi cydnabod awdurdod yr Epistolau eraill, derbyniasant yn unrhyw enw o Gyffredinol, neu Gatholig.

Y mae yr enw o Epistolau Cyffredinol yn hen iawn, oblegid y mae Eusebius yn ei ddefnyddio fel enw mewn arferiad cyffredin yn

y pedwerydd canrif; ac y mae yn debygol yr arferid ef cyn yr amser hyn, oblegid gelwid Epistol cyntaf Ioan yn fynych gan Origen, a chan Dionysius, esgob Alexandria, yn Epistol Cyffredinol. Y mae y drefn o gyflead yr Epistolau dan sylw yn amrywio mewn hen awdwyr; ond nid ydyw o gymmaint pwys pa fodd y cyfleir hwynt. Pe galluadwy gwybod pa bryd yr ysgrifennwyd pob un o honynt, byddai yn hawdd iawn eu gosod mewn trefn. Y mae rhai wedi gosod tri Epistol Ioan yn flaenaf, a hynny efallai am mai efe ydoedd disgybl anwyl ein Harglwydd; eraill a osodasant ddau Epistol Pedr yn flaenaf, am yr ystyrient ef fel tywysog yr Apostolion; ac y mae rhai wedi gosod Epistol Iago yn olaf, am mai efe ydoedd yr olaf a dderbyniwyd i'r canon gan yr eglwys Gristionogol yn gyffredinol. Gan eraill y mae Epistol Iago wedi ei osod yn flaenaf, am y tybid mai efe ydoedd y cyntaf a ysgrifennwyd o'r Epistolau Cyffredinol; neu oblegid y dyb mai Iago ydoedd esgob cyntaf Jerusalem, yr henaf a'r fwyaf anrhydeddus o'r holl eglwysi Cristionogol; neu am fod yr Epistol hwn wedi ei ysgrifennu at y dychweledigion yn neuddeg llwyth Israel, y rhai oeddynt y credinwyr cyntaf. Y ffurf gyffredin ydyw yr un a ddetholir yn bresennol.

# EPISTOL CYFFREDINOL IAGO.

Y MAE llawer iawn o amheuaeth wedi bod mewn perthynas i awdwr yr Epistol hwn, oblegid bod dau Apostol o'r enw Iago yn cael eu crybwyll yn y Testament Newydd. Y cyntaf ydoedd fab Zebedeus, pysgottwr ar Fôr Galilea, a brawd yr Efangylwr Ioan; a chan yr enwir ef bob amser gan yr Efangylwyr o flaen Ioan, meddylir mai efe ydoedd yr henaf o'r ddau. Yn gymmaint ag iddo ef gael ei roddi i farwolaeth gan Herod Agrippa, ynghylch y flwyddyn 44, y mae yn amlwg mai nid efe ydoedd awdwr yr epistol hwn, oblegid y mae ynddo ymadroddion a gyfeiriant at amserau diweddarach, pen. 5. 1—8; y rhai a awgrymmant ddynesiad buan dinystr Jerusalem, a dadymchweliad y wladwriaeth Iuddewig. Y Iago arall ydoedd fab Alpheus neu Cleopas, a gelwir ef yn frawd neu yn berthynas i'n Harglwydd Iesu Grist, ac yn aml y 'Lleiaf,' a hynny mewn rhan er ei wahaniaethu oddiwrth y Iago arall, neu am ei fod yn llai o gorpholaeth. Ei fod yn apostol sydd amlwg oddiwrth amryw ymadroddion, er nad ydyw yn amlwg pa bryd y neillduwyd ef i'r apostoliaeth. Anrhydeddwyd ef gan ein Harglwydd Iesu Grist âg ymweliad neillduol wedi ei adgyfodiad oddiwrth y meirw, 1 Cor. 15. 7. Yr oedd efe yn nodedig fel un o apostolion yr enwaediad, Act. 1. 13; ac yn fuan wedi marwolaeth Stephan, ymddengys iddo gael ei bennodi yn fugail ar yr eglwys Gristionogol yn Jerusalem. O herwydd ei ...eb nodedig galwyd ef y 'Cyfiawn;' ond er mor uchel y dyb

gyffredinol am dano, rhoddwyd ef yn fuan i farwolaeth, a derbyniodd goron merthyrdod, yn ol hanes Hegesippus, hanesydd eglwysig a flodeuodd tua diwedd yr ail ganrif. Wedi cyhoeddi yng nghlyw pawb ei ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist, cyfododd yr ysgrifenyddion a'r phariseaid gynnwrf o'i blegid ym mhlith yr Iuddewon, yr hwn a ddechreuodd yn y deml; a gorchymmynnasant Iago i draddodi ei feddyliau gyda golwg ar gymmeriad yr Arglwydd Iesu Grist. Yr Apostol gan sefyll ar ben un o furiau y deml, neu ar le uchel, er mwyn i'r dyrfa gael cyfleusdra i'w glywed, a gyfaddefodd ei ffydd yng Nghrist, ac a ddadleuodd mai efe ydoedd y Messiah. Yr Iuddewon ar hyn a ymgynhyrfasant, ac a'i taflasant ef i lawr o'r fan y safai; a chan na fu y codwm yn angheuol iddo, llabyddiasant ef â cherrig. Gostyngodd Iago ar ei liniau, gan erfyn maddeuant iddynt, pryd y tarawyd ef â pholyn, fel y bu farw. Yn ol Hegesippus, cymmerodd hyn le yn y flwyddyn 62, a meddylir mai yn y flwyddyn 61 yr ysgrifennodd efe ei Epistol.

Y mae cryn wahaniaeth barn mewn perthynas i awdurdod ganonaidd yr Epistol; ac er bod Michaelis a rhai beirniaid eraill wedi gadael y matter heb ei benderfynu, etto y mae digon o dystiolaethau i brofi ei fod wedi ei ysgrifennu yn yr oes apostolaidd. Cyfeiria Clement o Rufain atto ddwywaith, a Hermas saith waith, yr hyn yn ol barn Dr. Lardner sydd ddigonol. Crybwyllir am yr Epistol hwn, fel un apostolaidd, gan Origen, Jerome, Athanasius, ac eraill o'r ysgrifenwyr eglwysig; ac y mae i'w gael yn yr holl hen lechresau o Lyfrau Canonaidd yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Ond y prawf egluraf o fod Epistol Iago yn ganonaidd, ydyw ei fod wedi ei gyfleu yn y cyfieithad Syriaidd o'r Testament Newydd, yr hwn a wnaed yn y canrif cyntaf, neu yn gynnar yn yr ail ganrif; yn yr hwn y mae ail Epistol Pedr, ail a thrydydd Epistol Ioan, Epistol Judas, a Llyfr y Datguddiad wedi eu gadael allan. Sylwa Dr. Macknight fod hyn yn ddadl fawr dros ei awdurdod a'i wiredd; oblegid bod yr Iuddewon crediniol, at y rhai y danfonwyd ef, â gwell cyfleustra ganddynt i farnu mewn perthynas i'w awdurdod, na'r dychweledigion ym mhlith y Cenhedloedd, at y rhai ni ddanfonwyd ef, a'r rhai ni chawsant gyfleustra i'w weled am hir amser wedi ei ysgrifennu.

Diben yr Apostol Iago yn ysgrifennu ei Epistol sydd eglur oddiwrth ei gynnwysiad;—

Yn gyntaf, er attal yr Iuddewon crediniol i ddilyn y pechodau oeddynt liosog ym mhlith yr Iuddewon; sef balchder mewn llwyddiant, ac anamynedd mewn aflwyddiant a thlodi, neu ryw flinderau eraill; meddyliau annheilwng am Dduw, ac yn neillduol ei ystyried yn awdwr drwg; gwerthfawrogi eu hunain oblegid eu ffydd, eu gwybodaeth, a'u barn gywir, heb ymarferiadau rhinweddol; dangos parch i'r cyfoethogion a diystyrwch at y tlodion; ac awydd i fod yn ddysgawdwyr. Bod yn nwydwyllt a digofus; yn angharedig, yn ymrysongar, ac yn cam-ddefnyddio eu tafodau drwy gablu a rhegu. Ysgrifenna hefyd attynt, ar fod iddynt ymgadw rhag cybydd-dod a boddloni y cnawd, ynghyd â phethau cyffelyb, gan eu hannog at y dyledswyddau hynny a orchymmynir gan efengyl ein Harglwydd Iesu Grist.

Yn ail, er gosod yr Iuddewon Cristionogol yn gywir yn eu barn mewn perthynas i gyfiawnhad trwy ffydd; nad oeddynt i gael eu cyfiawnhau wrth neu yn ol y gyfraith; ac ymddengys bod rhai o honynt wedi meddwl mai cydsyniad yn unig â'r gwirionedd ydoedd ffydd, ac nid yn ei hystyried yn gweithio drwy gariad, ac yn torri allan mewn pob ffrwythau dymunol.

Yn drydydd, er arwyddo i'r cyfryw rai a lafurient dan afiechyd, neu ryw anhwylderau corphorol a achoswyd gan eu hannuwioldeb, os oeddynt wir edifeiriol, bod lle ganddynt i obeithio am iachad gwyrthiol.

Yn bedwarydd, er eu hannog i amynedd dan eu herledigaethau presennol, i'w calonnogi a'u cyssuro, drwy ddangos iddynt bod dydd yr Arglwydd yn agos. Y mae yn amlwg oddiwrth lyfr yr Actau, ac amryw o'r epistolau, bod yr erledigaethau gan mwyaf yn cael eu hachosi a'u cychwyn gan yr Iuddewon anghredinol. Yn awr, gan fod eu dinystr yn agoshau yn fuan, bod y drygau a ddygid ar y Cristionogion o'u plegid hwynt ar gael eu terfynu.

Yn unol â'r diben hwn, y mae yr epistol hwn yn rhannu ei hun i ddwy ran, heblaw yr arweiniad i mewn.

RHAN I. A gynnwys y cyfarwyddiadau.

1. I amynedd yn wyneb eu prawfiadau. Pen. i. 2—4.
2. I ofyn doethineb gan Dduw, mewn ffydd, a chyda meddwl sefydlog. Pen. i. 5—8.
3. I ostyngeiddrwydd. Pen. i. 9—11.
4. I dawelwch yn wyneb temtasiynau. Pen. i. 12—18.
5. I dderbyn gair Duw mewn addfwynder. Pen. i. 12—17.

RHAN II. Ceryddon.

1. Oblegid ammharch i bersonau yn eu cynnulliadau crefyddol, yr hyn ydoedd yn groes i gyfraith cariad. Pen. ii. 1—9. Dangosir bod troseddiad gwirfoddol o un o'r gorchymmynion yn halogi holl gyfraith yr Arglwydd. Pen. ii. 10—12.
2. Oblegid eu tybiadau cyfeiliornus mewn perthynas i gyfiawnhad trwy ffydd, heb weithredoedd; eglurir y pwngc hwn drwy engrheifftiau Abraham a Rahab. Pen. ii. 13—26.
3. Oblegid eu hawydd i fod yn ddysgawdwyr yn eu crefydd. Pen. iii.
4. Oblegid eu bod mor barod i foddhau eu chwantau a'u nwydau. Pen. iv. 1—5.
5. Oblegid eu balchder. Pen. iv. 6—10.
6. Amryw geryddon ac annogaethau. Pen. v.

# EPISTOL CYNTAF PEDR.

SIMON, yr hwn a gyfenwir Cephas, neu Pedr, yr hwn enw a arwyddoca carreg, neu craig, ydoedd fab Jonas, neu Jonah, ac a aned yn Bethsaida, ar oror môr Galilea. Yr oedd ganddo frawd o'r enw Andreas, a'r ddau a ddilynent yr alwedigaeth o bysgotta. Yr oedd y ddau frawd hyn yn wrandawyr i Ioan Fedyddiwr, oblegid tystiolaeth yr hwn ac oblegid eu hymddiddan personol â'r Arglwydd Iesu Grist, argyhoeddwyd hwy yn hollol mai efe ydoedd y Messiah, Ioan 1. 35—42. ac o'r pryd hwn allan y mae yn debygol iddynt ymddiddan yn fynych â'r Athraw mawr, ac yn dystion o lawer o'i wyrthiau. Ymddengys i Pedr a'i frawd ddilyn eu celfyddyd hyd oni alwodd Crist arnynt yn neillduol i'w ddilyn ef, gan addaw eu gwneuthur yn bysgotwyr dynion. O'r pryd hwn allan ymddengys i'r ddau frawd fod yn ganlynwyr didor ar Fab Duw; a phan gyflawnodd efe nifer yr Apostolion, yr oeddynt hwy yn cael eu cynnwys yn eu plith. Ymddengys bod Pedr, Iago, ac Ioan wedi cael mwy o gyfeillach Crist na'r Apostolion eraill; ac yr oeddynt hwy gydag ef ar ryw achosion neillduol. Yr oedd Pedr yn bresennol pan adgyfodwyd merch Jairus, Marc 5. 37. a phan wedd-newidiwyd ef ar y mynydd sanctaidd, Mat. 7. 1. Yr oedd gydag ef yn yr ardd pan yn ei waegfeuon; ac ar amryw achlysuron eraill rhoddodd ei Feistr mawr lawer o'i ymddiried i Pedr. Yr oedd Pedr yn wr priod pan alwyd ef i'r apostoliaeth.

Y mae cymmeriad Pedr yn cael ei ddarlunio yn dra amlwg gan yr Efangylwyr; y mae ei zel a'i fyrbwylldra yn eglur ar amrywiol achlysuron, a'r profion mwyaf amlwg ei fod yn hollol ddidwyll yn ei ymlyniad wrth yr Arglwydd. Efe yn gyffredin a attebai gyntaf i'r gofyniadau a roddai Crist i'w ddisgyblion. Ceryddodd yr Arglwydd unwaith yn ei fyrbwylldra; a'r fath oeddynt weithrediadau nerthol ei ffydd, fel y rhodiodd unwaith ar frigau y tonnau er cyfarfod â'i Feistr; a phan aeth gwas yr archoffeiriad i estyn ei ddwylaw halogedig i ymaflyd yn Arglwydd y gogoniant, tynnodd Pedr ei gleddyf ac a dorrodd ei glust ymaith. Teimlai ei hun yn gryf pan ddywedai y gwnai ddilyn ei Arglwydd trwy bob tywydd a thymhestloedd; ac efe a'i dilynodd o hirbell hyd i lys yr archoffeiriad, ac yno efe a'i gwadodd dair gwaith. Ni ddilynodd ef unwedd ag y gwnaeth Ioan i Galfaria, a hynny fel y mae yn debygol oblegid ei gywilydd a'i edifeirwch. Ar ddydd adgyfodiad Crist, wedi iddo ymddangos i Mair Magdalen a gwragedd eraill, y person nesaf i ba un yr ymddangosodd ydoedd Pedr; ac ar achlysur arall, rhoddodd yr Arglwydd iddo gyfleusdra i broffesu ei gariad atto dair gwaith, yn wyneb ei fod wedi ei wadu dair gwaith, gan roddi iddo orchymmyn i borthi praidd y nef gyda ffyddlondeb.

Wedi esgyniad yr Arglwydd Iesu Grist i ogoniant, cymmerodd Pedr at y gorchwyl o helaethu terfynau teyrnas ei Arglwydd a'i Dduw yn ei holl ddosparthiadau. Efe a gynnygiodd ar fod i apostol

gael ei ddewis yn lle y bradychwr Judas; ac ar ddydd y Pentecost efe a bregethodd Grist mor effeithiol, fel y dychwelwyd tair mil i'r ffydd, y rhai mewn canlyniad a chwanegwyd at yr eglwys. Yr ydym yn ei gael yn nesaf gyda Ioan yn iachau dyn cloff wrth borth y deml, yr hyn a ganlynwyd gydag annerchiad at y bobl, amryw o'r rhai a argyhoeddwyd ac a ddychwelwyd i'r ffydd. Yn nesaf efe a garcharwyd ac a ddygwyd o flaen y Sanhedrim, a fygythiwyd, ac a ollyngwyd yn rhydd. Wedi marwolaeth Ananias a Saphira, pregethodd Pedr a Ioan yn Samaria, gan wneuthur gwyrthiau mawrion a rhyfeddol. Yn ei ymdaith apostolaidd drwy Judea, Samaria, a Galilea, efe a ddychwelodd Cornelius i'r ffydd, yr hwn ydoedd y cenedl-ddyn cyntaf a gofleidiodd y grefydd Gristionogol, ac a dderbyniwyd i'r eglwys heb enwaedu arno. Yn fuan ar ol hyn, daliwyd ef gan Herod Agrippa, ynghylch y flwyddyn 44, yr hwn a fwriadodd ei roddi i farwolaeth, ond efe a waredwyd yn wyrthiol drwy weinidogaeth angel. Yn y cynghor apostolaidd yn Jerusalem, cymmerodd Pedr ran neillduol ynddo, gan gyhoeddi ei farn yn amlwg, na ddylid rhoddi iau y ddeddf seremoniol ar y Cenhedloedd. O'r amser hwn allan ni chrybwyllir am Pedr yn llyfr yr Actau, ac nid oes gennym wybodaeth sicr am ei deithiau a'i lafur. Ymddengys iddo bregethu yn Antiochia wedi hyn, Gal. 2. 11; ac oddiwrth ei waith yn cyflwyno ei epistol cyntaf at yr Hebreaid Cristionogol, y rhai oeddynt yn wasgaredig yn Pontus, Galatia, Cappadocia, Asia Leiaf, a Bithynia, meddylir ei fod wedi pregethu yn y gwledydd hynny. Dywedir iddo yn y diwedd ddyfod i Rufain, o ddeutu y flwyddyn 63, wedi ymadawiad Paul â'r ddinas, yn amser teyrnasiad yr ymerawdwr Nero; ac wedi iddo bregethu yr efengyl am ryw amser, dywedir iddo gael ei groeshoelio yno â'i ben i lawr. Clement o Alexandria a ychwanega, o ryw hen draddodiad, i wraig Pedr ddioddef merthyrdod ychydig o flaen hyn.

Mewn perthynas i epistol cyntaf Pedr, ni fu amheuaeth ynghylch ei awdurdod, ond am y personau y cyfeiriwyd ef attynt y mae amrywiaeth barnau. Beza, Grotius, Cave, Mill, Tillemont, Dr. Hales, ac eraill, ydynt o'r farn mai at yr Iuddewon Cristionogol gwasgaredig yn y gwledydd a grybwyllir ynddo yr anfonwyd ef; ac y mae Macknight, Tomline, ac eraill o'r dyb iddo gael ei ysgrifennu at Gristionogion yn gyffredinol, heb wahaniaethu rhwng Iuddewon a Chenhedloedd, yn y gwledydd y crybwyllir am danynt. Yn wyneb yr amrywiadau hyn ym marnau dysgedigion, yr unig reol o benderfyniad ydyw yr annerchiad, ynghyd âg amgylchiadau eraill a ellir gasglu oddiwrth yr epistol ei hun. Cyfeirir ef at y dieithriaid ar wasgar yn y gwledydd crybwylledig, ac yn ddiau yr oedd Iuddewon, gwyr defosiynol, yn wasgaredig drwy yr holl wledydd hynny, Act. 2. 5, 9. Pedr, trwy gyttundeb yr Apostolion, ydoedd weinidog yr enwaediad, Gal. 2. 8; am hynny y mae yn dra thebygol mai at Iuddewon yr ysgrifennwyd ef. Dywedir am y rhai yr ysgrifennodd yr Apostol attynt, eu bod wedi eu prynu oddiwrth ofer ymarweddiad, yr hon a gawsant trwy draddodiad y tadau; ac ni pherthynai y darluniad hwn i neb ond i Iuddewon. Ym mhellach, dywedir am danynt eu bod yn rywogaeth etholedig, yn genedl sanctaidd, ac yn frenhinol offeiriadaeth; ac ni chyttuna y darluniad hwn chwaith â

neb dynion ond â'r Iuddewon yn unig. Ac ar y seiliau hyn, ymddengys mai at yr Iuddewon Cristionogol, gwasgaredig drwy y gwahanol wledydd, yr ysgrifennodd yr Apostol yr epistol hwn.

Ymddengys oddiwrth 1 Pedr 5. 12, 13. i'r epistol hwn gael ei ysgrifennu o Babilon, a'i anfon at yr Iuddewon gyda Sylfanus, brawd ffyddlon; ond a ydyw Babilon i'w deall yn llythyrennol neu yn ysprydol, neu o'r Aipht, Rhufain, neu Jerusalem, y mae dadleu mawr wedi bod rhwng dysgedigion; ond y mae yn debygol mai yn ffiguraidd y deallir Babilon yn y fan hon, oblegid hyn ydoedd barn y rhan amlaf o'r hynafiaid. Tybir bod Pedr yn Rhufain y pryd hwn, a'i fod yn galw y ddinas honno Babilon, o herwydd ei bod yn debyg i Babilon gynt am ei heilun-addoliaeth a'i herledigaethau; ac oddiwrth ddistawrwydd hollol hanesyddiaeth eglwysig, nid ydyw yn debygol i Pedr un amser ymweled â Babilon yn Caldea; ac yr oedd Babilon yr Aipht yn rhy ddisylw i wneuthur coffa am dani. Fel y tybir i Pedr ddioddef merthyrdod yn Rhufain yn y flwyddyn 64 neu 65, a chan na ddywedir iddo fod yno cyn y flwyddyn 63, y mae yn debygol i'r epistol hwn gael ei ysgrifennu yn y flwyddyn o oed ein Harglwydd 64.

Y mae lle i farnu oddiwrth yr epistol dan sylw iddo gael ei ysgrifennu mewn amser o adfyd blin, pan ydoedd yr Hebreaid Cristionogol yn agored i erledigaethau creulon; diben yr epistol gan hynny ydoedd eu cyssuro a'u gwroli yn wyneb y tymhestloedd mawrion oedd wedi eu goddiweddyd, ynghyd â'u cyfarwyddo pa fodd i ymddwyn yn y tywydd garw hyn. Ymddengys hefyd bod yr Iuddewon y pryd hwnnw yn anesmwyth dan y iau Rufeinig, a bod dinystr eu gwladwriaeth yn dynesu yn gyflym. Ar yr achos hwn, cynghorir y Cristionogion i anrhydeddu yr ymerawdwr Nero a'r llywodraethwyr a anfonid ganddo i'r taleithiau, ac i beidio achosi unrhyw derfysgoedd yn y gwledydd lle yr oeddynt. Ac yn ddiweddaf, y mae yn eu cynghori i arwain bywyd sanctaidd, modd na byddai i grefydd gael ei drwgliwio drwy eu bucheddau hwynt. Gellir rhannu yr epistol hwn yn bedair rhan, heblaw yr arweiniad i mewn a'r terfyniad.

RHAN I. A gynnwysa gynghor i'r Cristionogion Iuddewig i ymlynu wrth y ffydd gyda phob amynedd a llawenydd; ac i ymarweddu yn sanctaidd, yn wyneb eu dioddefiadau a'u herledigaethau. Cefnogir hyn ganddo drwy alw eu hystyriaethau at y bendithion a'r breintiau a roddwyd iddynt. Pen. i. 3—25. a ii. 1—10.

II. A gynnwysa gynghor;

Dosp. 1. I ymarweddiad sanctaidd yn gyffredinol. Pen. ii. 11, 12.

2. I gyflawni eu gwahanol ddyledswyddau mewn modd neillduol; megis yn ufudd i'w llywodraethwyr; ar fod i weision ufuddhau i'w meistriaid; ac ar fod i wyr garu eu gwragedd. Pen. ii. 11—25. a iii. 1—13.

RHAN III. A gynnwysa gynghor i amynedd, ymostyngiad, a sancteiddrwydd buchedd; a gefnogir,

Dosp. 1. Trwy yr ystyriaeth o enghraifft Crist. Pen. iii. 14—18.

2. Trwy eu hadgofio modd y cospodd y Goruchaf yr anufudd yn nyddiau Noë. Pen. iii. 19—22.

Dosp. 3. Trwy alw eu sylw drachefn at enghraifft Crist. Pen. iv. 1—16.

4. Trwy ddangos iddynt ddynesiad dinystr y wladwriaeth Iuddewig. Pen. iv. 7—11.

5. Trwy wneuthur yn amlwg iddynt, y dylent ystyried blinderau fel eu rhan. Pen. iv. 12—19.

RHAN IV. Cyfarwyddiadau i weinidogion yr eglwysi, ac i'r bobl pa fodd i ymddwyn tuag at y naill y llall. Pen. v. 1—11. Y terfyniad. Pen. v. 12—14.

# AIL EPISTOL PEDR.

YR oedd rhyw amheuaeth gan y prif Gristionogion mewn perthynas i awdurdod yr Epistol hwn, yr hwn er y pedwerydd canrif sydd wedi cael ei ystyried fel cyfansoddiad yr Apostol Pedr, ond gan yr eglwys Syriaidd, yr hon a'i hystyria yn llyfr rhagorol, ond nid yn un canonaidd. Ond y mae gennym yr awdurdod sicraf dros fod yr ail epistol hwn yn gyfansoddiad yr Apostol Pedr. Cyfeiria Clement o Rhufain dair gwaith at yr ail bennod, ac unwaith at y drydedd bennod. Cyfeirir atto ddwywaith gan Hermas; unwaith gan Justin Martyr; ac hefyd gan Athenagorus. Er nad oes crybwylliadau am yr epistol yn ysgrifeniadau y trydydd canrif; etto yn y pedwerydd canrif ynghyd â'r canrifoedd canlynol, cydnabyddwyd ef gan Athanasius; Cyril o Jerusalem; cynghor Laodicea; Epiphanius; Jerome; Rufinus; Augustine, a niferi lliosog o rai eraill. Y mae amryw resymau wedi eu rhoddi, paham na chydnabyddwyd yr epistol hwn yn foreuach, yn eiddo Simon Pedr; a'r un goreu ydyw, iddo gael ei ysgrifennu gan yr Apostol ychydig cyn ei farwolaeth; ni chafodd yr Apostol amser i'w gydnabod fel yr eiddo ef; ac amheuodd yr eglwys ynghylch ei dderbyn i'r canon, hyd oni chanfyddwyd fod ei dystiolaeth fewnol yn galw am ei gyfleu gyda y llyfrau ysprydoledig. Amcan a diben yr Apostol yn yr epistol hwn ydyw, cadarnhau yr athrawiaethau a'r cyfarwyddiadau a roddwyd yn yr epistol blaenaf; er sicrhau y Cristionogion Hebreaidd yng ngwirionedd a phroffes yr efengyl. Cynnwysa ocheliadau i ymogelyd rhag y gau athrawon, barnau ac arferion y rhai a ddarlunir ganddo. Rhybuddia hwynt i ochelyd gwatwarwyr halogedig, y rhai a wawdient ddyfodiad Crist i'r farn; ac wedi iddo grybwyll am, a darlunio y farn, cynghora hwynt i ymbarottoi gyferbyn â hynny drwy ymarweddu yn sanctaidd. Cynnwysa yr epistol hwn dair rhan;

RHAN I. Yr arweiniad i mewn. Pen. i. 1, 2.

II. Crybwylliadau am y bendithion i fwynhad o ba rai eu galwyd gan Dduw; y mae yr Apostol yn eu cynghori;

Dosp. 1. I gynnyddu mewn grasusau a rhinweddau. Pen. i. 3—11.
2. Cefnoga hwynt i hyn drwy gadernid y gwir ddysgawdwyr, a thrwy ddrygioni y gau athrawon. Pen. i. 12—21. a pen. ii.
3. Gorchymmyna iddynt fod yn wyliadwrus rhag gwatwarwyr; y rhai fel y rhagddyweda efe, a wawdient ddyfodiad Crist i'r farn; dymchwela yr Apostol haeriadau cyfeiliornus y rhai hyn; trwy ddangos pa ham yr oedd y dydd hwnnw yn cael ei oedi. Pen. iii. 8—13.

RHAN III. Y terfyniad, yn yr hwn y dengys yr Apostol gydweddiad ei athrwaiaeth ef âg eiddo yr Apostol Paul. Pen. iii. 15, 16. ac yna ail adrodda sylwedd yr epistol. Pen. iii. 17, 18.

# EPISTOL CYNTAF IOAN.

ER nad oes un enw wedi ei osod wrth yr epistol hwn, etto y mae yn ddiamheuol mai yr Apostol ydoedd y cyfansoddwr o hono. Derbyniwyd ef fel y cyfryw agos gan yr holl eglwysi gorllewinol a dwyreiniol; ac ymddengys bod Hermas yn cyfeirio atto. Crybwyllir am dano yn amlwg gan Polycarp; ac y mae Papias yn ei epistol at eglwysi Vienne a Lyons yn dywedyd ei fod yn gwbl ganonaidd. Ac y mae lluoedd o'r hen dadau yn cyd-ddwyn eu tystiolaeth gyda golwg mai Ioan ydoedd awdwr yr epistol dan sylw. Y mae yr epistol hwn yn y cyfieithiad Syriaidd o'r Testament Newydd, yr hwn a wnaed tua diwedd y canrif cyntaf, neu ddechreuad yr ail; ac ni chynnwys y cyfieithad hwn, ond y llyfrau hynny yn unig o'r Testament Newydd ynghylch pa rai nid oedd dadl.

Gyda golwg ar yr amser pryd yr ysgrifennwyd yr epistol hwn, y mae barnau dysgedigion yn amrywio; tybia y Doctoriaid Benson, Hales, ac eraill, iddo gael ei ysgrifennu yn y flwyddyn 68; Esgob Tomline yn 69; a Dr. Lardner yn 80, neu yn ddiweddarach. Y mae yn dra anhawdd gwybod at bwy yr ysgrifennwyd yr epistol hwn; tybia rhai mai at y Parthiaid yr ysgrifennwyd ef, oblegid y traddodiad bod Ioan wedi pregethu i'r genedl ddywededig; ond nid oes y sail leiaf i'r dyb hon, mewn hynafiaeth. Meddylia Dr. Benson mai at y Cristionogion Iuddewig yng ngwlad Judea yr anfonwyd ef, ond y mae tyb Macknight, yr Esgob Tomline, ac eraill yn debyccach o fod yn gywir, sef mai at Gristionogion ym mhob man ac ym mhob gwlad yr ysgrifennwyd ef. Oblegid yn gyntaf, Y mae wedi ei alw o'r dechreu yn epistol cyffredinol. Yn ail, Nid oes ynddo unrhyw ymadroddion ag y gellir dywedyd eu bod yn cyfeirio at ryw bobl yn neillduol. Gelwir y llyfr hwn yn Epistol Cyffredinol Ioan, er nad oes dim ynddo yn debyg i epistol; nid ydyw wedi ei gyfeirio at unrhyw berson yn neillduol, megis epistolau Paul at

Timotheus ac at Titus; nid ydyw hefyd wedi ei gyfeirio at unrhyw eglwys yn neillduol, megis yr epistolau at eglwys Rhufain ac eglwys Corinth, ynghyd âg eraill, ac nid ydyw chwaith wedi ei anfon at y ffyddloniaid mewn rhyw barth neillduol o'r byd; nac ychwaith at y dieithriaid ar wasgar drwy y gwledydd. Dechreua heb unrhyw gyfarchiad at neb, a therfyna heb y fendith Apostolaidd. Ymadrodd ydyw y llyfr hwn, ar egwyddorion y grefydd Gristionogol, mewn athrawiaeth ac ymarferiad. A'i amcan ydyw, yn un peth, i wrthwynebu yr egwyddorion penrydd a ddysgid, a'r arferion penrydd a arweinid gan y rhai a gyfeiliornasant o ran y ffydd. Yn ail, Er cynhyrfu y rhai oll a broffesent Dduw i fynnu cymmundeb âg ef, i gredu ynddo, ac i rodio yn y goleuni ac nid yn y tywyllwch, sef mewn sancteiddrwydd ac nid mewn pechod; bod iddynt gadw y gorchymmynion, a bod yn helaeth mewn cariad brawdol y naill at y llall. Cynnwysa yr epistol hwn chwech rhan;

RHAN I. A fynega am dduwdod a dyndod Crist, mewn gwrthwynebiad i'r gau athrawon; ac a'u cynghora i undeb ffydd a sancteiddrwydd bywyd, fel yn angenrheidiol anhepgorol er cael mwynhad o gymmundeb â Duw. Pen. i. 1—7.

II. A ddangosa bod pawb wedi pechu, gan ddeongli yr athrawiaeth o iawn Crist. Yna dangosa nodau gwir ffydd, sef ufuddhau i orchymmynion Duw, ac ymhelaethu mewn cariad at y brodyr, gan ddangos bod cariad at y byd yn anghysson â chariad at Dduw. Pen. i. 8—10. a ii. 1—17.

III. A ddangosa mai yr un ydyw yr Iesu â Christ, mewn gwrthwynebiad i'r gau athrawon a wadent hynny. Pen. ii. 18, 19.

IV. Ar freintiau gwir gredinwyr, ynghyd â'u dedwyddwch a'u dyledswyddau; a'r nodau wrth ba rai y gwybyddir eu bod yn blant i Dduw. Pen. iii.

V. A gynnwysa brawf-nodau er adnabod anghrist a'r gau athrawon, ynghyd â chynghor difrifol i gariad. Pen. iv.

VI. A ddengys y cyssylltiad rhwng ffydd yng Nghrist, ailenedigaeth, cariad at Dduw, ei blant, ufudd-dod i orchymmynion yr Arglwydd, a goruchafiaeth ar y byd. Bod Iesu Grist mewn gwirionedd yn Fab Duw, yn alluog i'n hachub ac i wrando ein gweddiau. Pen. v. 1—16.

Gan fod yr epistol hwn, fel y crybwyllwyd yn barod, wedi ei amcanu er helaethu egwyddorion ac arferiad o dduwioldeb yn fwy nag unrhyw lyfr yn y Testament Newydd, a chan fod ynddo gymmaint o brawf-nodau i ddynion holi eu hunain wrthynt, pa un a ydynt yn y ffydd neu beidio, gosodir y cyfryw brofion yn y ffurf a'r drefn ganlynol:

I. Profion neu arwyddion o gariad yr Hollalluog Dduw tuag attom ni.

1. Anfoniad Crist i farw drosom, fel y byddai i ni gael bywyd ·ynddo ef. Pen. 3. 16. a 4. 9, 10.

2. Mabwysiad; sef ein gwneuthur ni yn feibion i Dduw. Pen. 3. 1.

II. Profion neu arwyddion o'n mabwysiad a'n hail-enedigaeth.

1. Na adnabyddir y saint gan y byd. Pen. 3. 1.
2. Gwir grediniaeth mai yr Iesu ydyw y Messiah addawedig. Pen. 5. 1.
3. Peidio cyflawni pechod. Pen. 5. 18.
4. Goruchafiaeth ar y gau athrawon a thwyllwyr. Pen. 4. 1, 4.
5. Goruchafiaeth ar y byd drwy ffydd. Pen. 5. 4, 5.
6. Ymarferyd cyfiawnder. Pen. 2. 29.
7. Gwir gariad at y brodyr. Pen. 4. 7.
8. Gobaith yng Nghrist, y gwneir ni yn gyffelyb iddo. Pen. 3. 2.
9. Puro ein hunain oddiwrth bechodau yn y gobaith hwn. Pen. 3. 3.

III. Profion neu arwyddion ein bod o'r gwirionedd, neu yn wir Gristionogion.

1. Tystiolaeth calon union neu gydwybod, gyda golwg ar ein gwir gariad at y brodyr. Pen. 3. 18—21.
2. Arosiad yn y gwirionedd gyda y ffyddloniaid. Pen. 2. 19, 27.

IV. Profion neu arwyddion o'n gwir wybodaeth o Dduw a Iesu Grist, ac o'n cariad at Dduw a Christ.

1. Cadw gorchymmynion Duw yn ddidwyll. Pen. 2. 3—5. a 5. 3.
2. Peidio pechu, neu beidio gwadu pechod. Pen. 3. 6.
3. Cariad at y naill y llall. Pen. 4. 7, 8.
4. Ein cariad at Dduw, fel effaith ei gariad ef tuag attom ni. Pen. 4. 19.
5. Bwrw allan ofn gwasaidd. Pen. 4. 18.
6. Peidio caru y byd a'r pethau sy yn y byd. Pen. 2. 15, 16.
7. Caru y brodyr, a dangos hynny trwy estyn cynnorthwyon iddynt. Pen. 3. 17.

V. Profion ac arwyddion o'n cymmundeb â Duw ac â Iesu Grist.

1. Bod yr Yspryd Glân wedi ei roddi i ni. Pen. 4. 13.
2. Gwir gyffes bod Crist yn Dduw, ac arosiad yn y ffydd honno. Pen. 3. 24. a 4. 13.
3. Peidio gwneuthur ac ymarfer â phechod. Pen. 3. 6, 8.
4. Cariad diragrith at Dduw, ac arosiad ynddo.
5. Rhodio yn y goleuni, ac nid mewn tywyllwch. Pen. 2. 6.
6. Cadw ei eiriau a'i orchymmynion. Pen. 25. a 3. 23, 24.

Cyn terfynu gyda golwg ar yr epistol hwn, y mae yn angenrheidiol sylwi ar y ddadl mewn perthynas i'r Tystion nefol yn 1 Ioan 5. 7, 8. yr hyn am agos i bedwar canrif sydd wedi rhannu barnau dysgedigion, ac ni ellir dywedyd bod y ddadl hyd yn hyn wedi ei phenderfynu. Yr adnod sydd fel y canlyn, "Oblegid y mae tri yn tystiolaethu *(yn y nef; y Tad, y Gair, a'r Yspryd Glân: a'r tri hyn un ydynt. Ac y mae tri yn tystiolaethu ar y ddaear,)* yr yspryd, y dwfr, a'r gwaed; a'r tri hyn yn un y maent *yn cyttuno.*" Yr ymadroddion y dadleuir yn eu herwydd ydynt rhwng y cromfachau.

Yn erbyn awdurdod yr ymadroddion dywededig dygir ym mlaen y dadleuon canlynol:

1. Nad ydyw yr ymadroddion crybwylledig i'w cael mewn u

ysgrif Roegaidd o'r Testament Newydd cyn yr unfed canrif ar bumtheg.

2. Er bod yr ymadrodd uchod yn gynnwysedig yn argraffiadau cyffredin y Testament Groeg, na roddwyd ef i mewn ar awdurdod unrhyw ysgrifeniadau Groegaidd; oblegid i olygwyr y *Complutensian Polyglott* ei gyfieithu o'r Lladin i'r Groeg; ac o'r *Complutensian* iddo gael ei drosglwyddo i argraffiadau eraill o'r Testament Groeg.

3. Nad ydyw i'w gael mewn unrhyw ysgrifenniadau o hen gyfieithiadau heblaw y Lladinaeg.

4. Nad ydyw yr ysgrifeniadau Lladinaidd oll yn cynnwys yr ymadrodd dan sylw; oblegid ei fod yn eisieu yn y rhai hynaf.

5. Na chrybwyllwyd yr ymadrodd hwn gan neb o'r hen dadau Groegaidd, hyd yn nod pan ddisgywlid iddynt wneuthur hynny.

6. Bod y diwygwyr Protestanaidd wedi gwrthod yr ymadrodd hwn, neu o leiaf wedi ei nodi fel un amheus; ac er i olygwyr y Testament Newydd Saesonaeg, yn amser teyrnasiad Harri VIII. ac Edward VI. adael yr ymadrodd dan sylw yn yr adnod, etto yn gyffredin arwyddasant eu amheuaeth ynghylch ei awdurdod.

Dros awdurdod yr ymadrodd yn yr adnod grybwylledig, dygir ym mlaen y dadleuon canlynol:

1. *Prawf allanol.*

1. Y mae yr ymadrodd i'w gael yng nghyffes ffydd a gwasanaeth yr eglwys Roegaidd. Y mae cyffes ffydd eglwys Groeg yn dwyn yr ymadrodd i mewn yn y dull canlynol:—Duw, yn ei natur, sydd wir a thragywyddol, ac yn Greawdwr pob peth gweledig ac anweledig; y fath hefyd ydyw y Mab a'r Yspryd Glan. Y maent o'r un hanfod yn eu plith eu hunain, yn ol athrawiaeth Ioan yr Efangylwr, yr hwn a ddywed, "Fod tri yn tystiolaethu yn y nef, y Tad, y Gair, a'r Ysprvd Glân; a'r tri hyn un ydynt." Ac yng ngwasanaeth eglwys Groeg, ym mhlith rhannau eraill o'r Ysgrythyrau, cyfarwyddir ar fod i'r adnod hon gael ei darllen yn y bumthegfed wythnos ar hugain o'r flwyddyn.

2. Y mae yr ymadrodd hwn i'w gael yn yr *Ordo Romanus*, neu Hen Wasanaeth yr eglwys Ladinaidd, yn yr hwn yr adroddir yr adnod yn gyflawn yn y gwasanaeth perthynol i Sul y Drindod, ac yng ngweinyddiad gwasanaeth Bedydd. Ystyria Dr, Hales y ddwy dystiolaeth hon yn ddigonol i brofi awdurdod yr ymadrodd; oblegid, pan ystyriom yr ymrafael maith a barhaodd rhwng yr eglwysi Groeg a Lladinaidd, ynhylch athrawiaethau Arius ac Athanasius gyda golwg ar undeb hanfod y Tad a'r Mab, a deilliad yr Ysprvd Glân oddiwrth y Tad a'r Mab hefyd, yr hyn a gredid gan yr eglwys Ladinaidd, ond a wrthwynebid gan eglwys Groeg, o herwydd na ddywedir yn bendant yn yr Ysgrythyr am ddeilliad yr Ysprvd Glân oddiwrth y Mab, er y gellir casglu hynny yn naturiol oddiwrth amrywiol ymadroddion, gallwn benderfynu na buasai eglwys Groeg byth yn derbyn yr ymadrodd dan sylw, yn unig ar dystiolaeth yr eglwys Ladinaidd, pe na buasai ganddynt sicrwydd digonol drosto yn eu hysgrifau Groegaidd eu hunain, a hynny efallai yn llaw-ysgrifen yr Apostol Ioan ei hun, a'r adysgrifau cyntaf a wnaed o'r epistolau, y rhai medd haneswyr, a gedwid yn Ephesus, o leiaf

hyd ddechreu y pedwerydd canrif. Ond barna rhai i'r ymadrodd dan sylw gael ei osod i mewn yng ngwasanaeth eglwys Groeg, gan rai o'i hoffeiriaid a gofleidient farn eglwys Rhufain, yn y pedwerydd canrif ar ddeg.

3. Yr oedd yr ymadrodd dan sylw i'w gael yn yr hen gyfieithad Lladinaidd, yr hwn ydoedd yn Affrica, cyn gwneuthur y cyfieithad *Vulgate;* ac yn holl ysgrifeniadau Jerome gan mwyaf, neu y *Vulgate Latin Version.*

4. Crybwyllir y testun hwn gan amryw o'r tadau Groegaidd, yr hyn sydd wedi ei brofi i bob amlygrwydd gan yr Esgob Burgess.

5. Crybwyllir ef gan amryw o'r tadau Lladinaidd. Yn y seithfed ganrif, crybwyllir am dano gan Maximus; tua therfyn y chweched gan Casiodorus; tua diwedd y pummed gan Fulgentius; gan Eucherius; a chan esgobion Affrica yn y gyffes ffydd a gyflwynasant i Huneric, brenin Ariaidd y Fandaliaid. A chrybwyllir am dano hefyd gan Tertulian tua diwedd yr ail neu ddechreuad y trydydd canrif.

## AIL A THRYDYDD EPISTOLAU IOAN.

Yn y pedwerydd canrif, pan ysgrifennodd Eusebius ei hanesyddiaeth eglwysig, yr oedd y ddau epistol hwn wedi eu cyfleu ym mhlith yr *Antilegomena,* neu y llyfrau a dderbynnid gan y nifer liosoccaf o Gristionogion; ond y mae digonol brofion i'w cael, en bod yn gyfansoddiadau yr Apostol Ioan, ac y derbynnid hwynt fel y cyfryw. Crybwyllir am yr ail epistol gan Irenæus, ac ystyrid ef yn ganonaidd gan Clement o Alexandria. Crybwylla Origen am y tri epistol, er y dyweda bod rhyw faint o amheuaeth mewn perthynas i awdurdod yr ail a'r trydydd gan rai personau. Ystyrid y tri epistol yn ganonaidd gan Athanasius, gan Cyril o Jerusalem, gan Epiphanius, gan Jerome, gan Ruffinus, a braidd gan bob ysgrifennydd o enwogrwydd ar ol hyn. Y mae ansicrwydd mawr mewn perthynas i'r person at yr hwn y mae yr Ail Epistol wedi ei gyfeirio. Meddylia rhai mai at ryw berson neillduol y cyfeiriwyd ef, ac eraill a ystyriant yr etholedig arglwyddes yn ffiguraidd am yr eglwys. Ystyriai yr hen esponwyr hi yn ffiguraidd; ond y nifer amlaf o'r esponwyr a'r beirniaid diweddar a ystyriant yr enw yn llythyrennol. Archesgob Newcome, Wakefield, Macknight, a chyfieithwyr anrhydeddus ein Biblau ni, a wnant *Eclecte* yn enw gwan, gan osod y cyfeiriad, "At yr etholedig arglwyddes." Ystyria y *Vulgate,* Calmet, ac eraill, y gair *Eclecte* yn enw priodol, ac a gyfieithant yr ymadrodd, "At yr arglwyddes Electa." Schleusner a Rosenmuller a gymmerant *Kuria* yn enw priodol, a bod yr Epistol wedi ei gyfarwyddo at Cyria yr etholedig. Y mae Mr. Horne o'r farn, mai at arglwyddes

o'r enw Electa yr anfonwyd yr Epistol hwn, yr hon ydoedd fenyw nodedig mewn crefydd a duwioldeb. Trydydd Epistol Ioan a anfonwyd at genedl-ddyn dychweledig, aelod anrhydeddus o ryw eglwys Gristionogol, o'r enw Gaius neu Caius; ond y mae ansicrrwydd mawr ynglych pwy ydoedd, oblegid bod tri pherson o'r enw hwn yn cael eu crybwyll yn y Testament Newydd. 1. Gaius o Corinth, (1 Cor. 1. 14.) yn nhŷ yr hwn y llettyai Paul, ac yr ymgynnullai yr eglwys, Rhuf. 16. 23. 2. Gaius o Macedonia, yr hwn a fu yn gydymaith i Paul, ac a dreuliodd ryw gymmaint o amser gydag ef yn Ephesus, Act. 19. 29. 3. Gaius o Derbe, (Act. 20. 4.) yr hwn hefyd a fu yn gyd-deithiwr â Paul. Michaelis ac eraill a dybiant mai at Gaius o Corinth yr anfonwyd yr Epistol hwn, oblegid ei fod mor hynod ac mor enwog am ei lettygarwch. Amcan yr Epistol yw annog Gaius i fod yn sefydlog yn y ffydd ac yn ei lettygarwch cyffredinol. Rhybuddia ef hefyd rhag un Diotrephes, ac a gyflwyna Demetrius i'w sylw ac i'w gyfeillgarwch. Ac am y pethau ychwanegol ydoedd ganddo i'w dywedyd, ni soniai am danynt hyd oni welent eu gilydd wyneb yn wyneb.

# EPISTOL CYFFREDINOL JUDAS.

Judas, yr hwn hefyd a gyfenwid Thaddeus a Lebbeus, ac a elwid hefyd yn frawd yr Arglwydd, Mat. 13. 55. ydoedd fab Alpheus, brawd Iago y Lleiaf, ac yn un o'r deuddeg Apostol. Ni chrybwyllir pa bryd na pha fodd y galwyd ef i'r apostolaeth; ac nid oes fawr grybwylliad am dano yn y Testament Newydd, ond yn llechres y deuddeg Apostol. Gwneir crybwylliad neillduol am dano yn Ioan 14. 21—23. pryd y rhoes y gofyniad canlynol i'w Athraw mawr,—"Arglwydd, pa beth yw yr achos yr wyt ar fedr dy eglurhau dy hun i ni, ac nid i'r byd?" Yn gymmaint ag i Judas aros gyda y lleill o'r Apostolion wedi adgyfodiad ac esgyniad ein Harglwydd, a'i fod gyda hwynt ar ddydd y Pentecost, nid afresymol ydyw meddwl, ar ol iddo dderbyn doniau anghyffredinol yr Yspryd Glân, iddo bregethu yr efengyl am ryw amser yn Judea, a chyflawnu gwyrthiau yn enw Crist; ac nid annhebygol ydyw iddo bregethu yr efengyl hefyd ym mhlith y Cenhedloedd. Dywedir iddo bregethu yn Arabia, Syria, Mesopotamia, a Persia, ac iddo ddioddef merthyrdod yn y wlad ddiweddaf.

Yn oesau cyntaf Cristionogaeth, gwrthodwyd Epistol Judas gan amryw bersonau, am fod crybwylliad ynddo at lyfr apocryphaidd Enoch; ond y mae gennym y tystiolaethau mwyaf boddlonol dros awdurdod y llyfr hwn. Y mae wedi ei gyfleu yn holl hen lechresau llyfrau sanctaidd y Testament Newydd. Dywedir ei fod o awdurdod gan Clement o Alexandria, gan Tertullian, gan Origen, a chan eraill. Mewn perthynas i'r gwrthwynebiad a ddygir yn erbyn

awdurdod yr epistol hwn, sef bod Judas wedi gwneuthur difyniad o lyfr Apocryphaidd Enoch, ond nid ydoedd yr apostol mewn un modd yn cadarnhau awdurdod llyfr Enoch wrth wneuthur difyniad o hono. Nid ydoedd llyfr Enoch yn llyfr canonaidd ym mhlith yr Iuddewon; ac er y gallai y fath lyfr hanfodi, a bod yn Apocryphaidd, etto gallai gynnwys rhyw bethau ag oeddynt yn wirionedd. Nid ydoedd gwaith Judas yn difynnu o lyfr Enoch yn dinystrio ei epistol, mwy na gwaith Paul yn gwneuthur difyniadau o weithiau y Beirdd Paganaidd yn lleihau awdurdod ei epistolau.

Y mae yr amser a'r lle yr ysgrifenwyd yr epistol hwn yn dra ansicr. Tybia Dr. Mill iddo gael ei ysgrifenu ynghylch y flwyddyn 90, oblegid bod y gau athrawon a grybwyllir gan Pedr oeddynt i ddyfod, yn cael eu crybwyll gan Judas fel wedi dyfod. Ond wrth gydmaru y ddau epistol â'u gilydd, ymddengys nad oes sail gyfreithlon i farnu fod epistol Judas wedi bod mor hir cyn cael ei ysgrifenu ar ol epistol Pedr. Meddylia Dr. Lardner i'r epistol hwn gael ei ysgrifenu o ddeutu y flwyddyn 66; ond oblegid bod yr amser yn ansicr, y mae dyniou yn dra amrywiol yn eu barnau ynghylch y peth.

Gyda golwg ar y personau at ba rai y cyfeirir yr epistol hwn meddyliai Estius a Witsius bod Judas yn ysgrifenu at Gristionogion ym mhob man, ond yn neillduol at yr Iuddewon dychweledig. Tybia y Dr. Hammond bod yr epistol wedi ei ysgrifenu at y Cristionogion Iuddewig yn unig, er mwyn rhoddi gocheliadau iddynt rhag cyfeiliornadau y Gnosticiaid; ond y nifer amlaf o ddysgedigion a farnant i'r epistol hwn gael ei ysgrifenu at bawb yn ddiwahaniaeth a gofleidiasant yr efengyl. Diben ac amcan yr epistol ydyw rhoddi gocheliadau rhag y gau athrawon a ymlusgent i mewn i'r eglwysi; ac i ddadleu dros y wir ffydd, yr hon a roddwyd unwaith i'r saint. Haerai y gau athrawou bod proffes allanol o'r grefydd Gristionogol yn ddigonol, ac felly diryment bob rhwymau i foesoldeb a sancteiddrwydd personol. Dangosir gwir gymmeriad y gau athrawon hyn, a chyhoeddir eu dedfryd; a therfynir yr epistol mewn rhybuddion a chynghorion i gredinwyr, pa fodd i lynu mewn ffydd a duwioldeb.

# LLYFR Y DATGUDDIAD.

Y MAE yn deilwng o sylw, y cydnabyddid awdurdod y llyfr hwn yn gyffredinol yn y ddwy ganrif gyntaf, ac yn y drydedd ganrif dechreuwyd ei ammeu. Yr achos o ammeu ei awdurdod gyntaf ydoedd rhyw dybiadau afresymol a fabwysiadwyd gan rai esbonwyr ynghylch y mil blynyddoedd. Ac wrth wadu ac ammeu y cyfryw dybiadau, aed i wadu ac ammeu awdurdod yr holl lyfr. Y mae cwmmwl o dystion o'i blaid o'r oes apostolaidd i lawr, y rhai oll a gyd-dystiolaethant i ysprydoliaeth y llyfr dan sylw. Y dyb gyffred-

inol ydyw, i Ioan gael ei alldudio i ynys Patmos tua therfyn teyrnasiad Domitian, ac iddo gael y datguddiedigaethau a gynnwysir yn y llyfr hwn yno yn amser ei alldudiaeth, er na allasai y llyfr gael ei gyhoeddi, hyd ei ddychweliad yn ol i Ephesus. Yr achlysur o ysgrifennu llyfr y Datguddiad sydd amlwg oddiwrth y llyfr ei hun. Yr oedd Ioan yn alltud yn ynys Patmos, lle yr ymddangosodd yr Arglwydd Iesu oddi mewn gogoniant a mawrhydi mawr, ac yn fynych a orchymmynodd iddo roddi ei weledigaethau mewn ysgrifen. Cynnwysa Llyfr y Datguddiad ddwy ran.

RHAN I. A gynnwysa "y pethau sydd,"—hynny ydyw, sefyllfa yr eglwys y pryd hwnnw.

Dosp. 1. Epistol Ioan at y saith eglwys, a hanes ymddangosiad yr Arglwydd iddo ynghyd âg arwyddion ei allu, a'r commisiwn a roddwyd iddo i ysgrifennu yr hyn a welai, pen. i. 9—20.
2. Yr annerchiad at eglwys Ephesus, pen. ii. 1—7.
3. Yr annerchiad at eglwys Smyrna, pen. ii. 8—11.
4. Yr annerchiad at eglwys Pergamos, pen. ii. 11—17.
5. Yr annerchiad at eglwys Thyatira, pen. ii. 18—29,
6. Yr annerchiad at eglwys Sardis, pen. iii. 1—6.
7. Yr annerchiad at eglwys Philadelphia, iii. 7—13.
8. Yr annerchiad at eglwys Laodicea, pen. iii. 14—22.

Mewn perthynas i saith eglwys Lydia neu Asia Broconsulaidd, tybir iddynt gael eu plannu gan yr Apostol Paul a'i gynnorthwywyr yn amser eu gweinidogaeth hwynt. Tybia Vitringa ac eraill am y saith eglwys yn y Datguddiad eu bod yn brophwydol, ac yn arwyddoccaol o wahanol amserau a sefyllfaoedd yr eglwys o sylfaeniad Cristionogaeth hyd ddiwedd pob peth; ond y mae yr Esgob Newton yn gwrthwynebu y dyb hon, oblegid darlunir sefyllfa ddiweddaf yr eglwys yn Llyfr y Datguddiad yr ogoneddusaf o bob sefyllfa, eithr am eglwys Laodicea, y ddiweddaf a annerchir gan Ioan, a ddarlunir fel yn resynol, yn dlawd, yn ddall, ac yn noeth.

RHAN II. A gynnwysa brophwydoliaeth am "y pethau a fydd ar ol hyn," neu sefyllfa yr eglwys mewn oesau i ddyfod, o'r amser y gwelodd yr Apostol ei weledigaethau hyd derfyniad amser.

Dosp. 1. Arddangosiad o'r gogoniant dwyfol yn y nef, pen. iv.
2. Y llyfr seliedig, yr Oen a'i hagorodd, a'r mawl a ganwyd gan y dyrfa nefol, pen. v.
3. Agoriad y chwech sel gyntaf, pen. vi.
4. Seliad y cant a phedair a deugain o filoedd, a thyrfa y palmwydd o flaen yr orsedd, pen. vii.

Dosp. 5. Agoriad y seithfed sel, a'r chwech udgorn cyntaf, a'r commissiwn prophwydoliaethol i Ioan.
(1.) Agoriad y seithfed sel, a'r commissiwn i'r angel â'r udgyrn, pen. viii. 1—5.
(2.) Y pedwar udgorn cyntaf, pen. 8. 6—12. Cyhoeddiad y tair gwae, adn. 18.
(3.) Y pummed udgorn, a'r wae gyntaf, pen. ix. 1—12.
(4.) Y chweched udgorn, a'r ail wae, pen. ix. 13—21.
(5.) Y weledigaeth brophwydoliaethol gyntaf, o'r llyfr

bychan agored, yn arddangos amryw sefyllfaoedd yr eglwys Gristionogol hyd ddiwedd y chwechod udgorn. Mesuriad y deml, a'r ddau dyst, pen. x. 1—11. a xi. 1—14.

Dosp. 6. Caniad y seithfed udgorn; gweledigaeth y wraig a erlidid gan y ddraig: y bwystfilod o'r môr ac o'r tir, pen. xi. 15—19. a xii. 13.

Dosp. 7. Gweledigaeth yr Oen a'r cant a phedair a deugain o filoedd ar fynydd Sïon, a'r cyhoeddiadau neu y rhybuddion:—

(1.) Yr Oen ar fynydd Sïon, pen. xiv. 1—5.
(2.) Yr angel cyntaf yn cyhoeddi, pen. xiv. 6, 7.
(3.) Yr ail angel yn cyhoeddi, pen. xiv. 8.
(4.) Y pedwerydd angel yn cyhoeddi, pen. xiv. 9—12.
(5.) Gwynfydedigrwydd y rhai sydd yn marw yn yr Arglwydd yn cael ei gyhoeddi, pen. xiv. 13.
(6.) Gweledigaeth y cynhauaf, pen. xiv. 14—20.

Dosp. 8. A gynnwysa y saith phiol, ynghyd â darluniad puttain Rhufain, a'i chwymp.

(1.) Y weledigaeth barattoawl i'r saith phiol, pen. xv. a xvi. 1.
(2.) Tywalltiad allan y saith phiol, pen. xvi. 2—21.
(3.) Y Buttain fawr, neu Babilon, pen. xvii.
(4.) Barnedigaethau Babilon, pen. xviii.
(5.) Llawenydd yn y nef oblegid ei chwymp, pen. xix. 1—10.

Dosp. 9. A gynnwysa yr ymdrech fawr, y mil blynyddoedd, adnewyddiad yr ymdrech, y farn, a'r greadigaeth newydd.

(1.) Ymddangosiad yr Arglwydd a'i ganlynwyr i frwydr a buddugoliaeth, pen. xix. 11—18.
(2.) Y fuddugoliaeth ar y bwystfil a'r gau-brophwyd, pen. xix. 19—21.
(3.) Rhwymiad Satan a'r mil blynyddoedd, pen. xx. 1—6.
(4.) Satan yn cael ei ollwng yn rhydd, yn twyllo y Cenhedloedd, ac yn cael ei daflu i'r llynn o dân, pen. xx. 7—10.
(5.) Yr adgyfodiad cyffredinol a'r farn ddiweddaf, pen. xx. 11—15.

Dosp. 10. Darluniad y Jerusalem Newydd, xxi. a xxii. 1—6. Y terfyniad, pen. xxii. 6—21.

Ni fu fwy o esponio ar un o Lyfrau yr Ysgrythyrau Sanctaidd na Llyfr y Datguddiad, yr hwn bob amser a ystyriwyd y Llyfr mwyaf anhawdd i'w ddehongli o holl Lyfrau y Testament Newydd. Yr iaith ffigurol yn yr hon y traddodir y gweledigaethau, yr amrywiol arwyddion drwy y rhai y rhag-ddywedir y digwyddiadau, ynghyd âg amrywiol bethau eraill, ydynt o'r fath natur, fel nad oes ond ychydig obaith y gall neb ei esponio gyda chywirdeb yn ei holl rannau. Y mae y prophwydoliaethau cynnwysedig yn[illegible] thywyll, oblegid eu bod yn cynnwys pethau i ddyfod[illegible] hollol i ni yr hyn ydoedd prophwydoliaethau yr Hen[illegible]

Iuddewon, ac nid yn fwy annirnadwy. Nid oes unrhyw brophwydoliaeth yn Llyfr y Datguddiad yn fwy tywyll, nag y byddai i blentyn gael ei eni o wyryf, ac i wr a roddid i farwolaeth gael ei sicrhau ar orsedd Dafydd. Ond er hyn yr oedd ffydd yr Iuddew yn gadarn ym mhlith yr holl ryfeddodau hyn; edrychai i'r Llyfrau cyssegredig gyda pharch, ac mewn disgwyliad y byddai i'r oll o honynt gael eu cyflawnu yn amser da Duw. Yr ydym ninnau, yn yr un modd, yn edrych ar brophwydoliaethau y Datguddiad fel rhai yn sicr o gael eu cyflawnu, pryd yr ymorfoledda y grefydd Gristionogol ar holl lygredigaethau y byd, ac y bydd iddi gael ei sefydlu ym mhob man mewn purdeb.

Megis y crybwyllwyd yn barod, y mae amrywiaeth neillduol ym marnau dysgedigion gyda golwg ar wir ddeongliad y llyfr hwn; ac efallai mai nid anfuddiol fyddai rhoddi rhai o honynt ger bron y darllenydd. Yr esponiad rhyfeddaf a gynnygiwyd hyd yn hyn yw eiddo y Proffeswr Wetstein, yr hon a roddir ger bron.

Tybia Wetstein i lyfr y Datguddiad gael ei ysgrifennu gryn amser cyn dinystr Jerusalem; ac ystyria ef y digwyddiadau o'r bedwaredd bennod hyd y diwedd yn perthynu i'r rhyfeloedd Iuddewig, a'r cynhyrfiadau gwladol a gymmerasant le yn yr Eidal, pan yr oedd Otho, Vitellius, a Vespasian yn ymryson am yr ymerodraeth. Dyweda ef fel y canlyn:—

"Y brophwydoliaeth hon a ragfynega am adfyd gelynion yr efengyl, yr hwn a anfonai Duw arnynt; ac y mae yn ddwy ran. Cynnwysir y gyntaf yn y llyfr seliedig, a'r llall yn y llyfr agored.

I. Perthyna y gyntaf i'r ddaear a'r traian, hynny ydyw Judea a'r genedl Iuddewig.

II. Perthyna yr ail i amryw bobloedd, cenhedloedd, ieithoedd, a brenhinoedd, hynny ydyw yr ymerodraeth Rufeinig.

1. Y llyfr yr hwn a ysgrifenwyd oddi fewn ac oddi allan, wedi ei selio â saith sel, pen. 5. 1. ydyw y llythyr ysgar a anfonwyd gan Dduw i'r genedl Iuddewig.

2. Y buddugoliaethau coronog ar farch gwyn wedi ei arfogi â bwa, ydyw Artabanus, brenin y Parthiaid, yr hwn a laddodd dyrfaoedd o Iuddewon yn Babilon.

3. Y march coch, adn. 4. y Sicarii a'r yspeilwyr yn Judea yn amser y proconsuliaid Felix a Ffestus.

4. Y march du, adn. 5. y newyn dan Claudius.

5. Y march gwelwlas, adn. 8. y pla a ganlynodd yr yspeiliadau a'r newyn.

6. Eneidiau y rhai a laddwyd, adn. 9. y Cristionogion yn Judea, y rhai a erlidiwyd, a'r sarhad a wnaed arnynt yn cael ei ddial yn bresennol.

7. Y daeargryn mawr, adn. 12. y cynhyrfiadau a rag-flaenasant y gwrthryfel Iuddewig.

8. Gwasanaethwyr Duw yn cael eu selio yn eu talcennau, pen. 7. 3. y Cristionogion yn cael eu cymmeryd dan warcheidwadaeth Duw, ac yn cael eu rhybuddio i ffoi o'r wlad.

9. Y distawrwydd am hanner awr, pen. 8. 1. Yr heddwch byr a ganiattawyd ar ddeisyfiad y brenin Agrippa. Yna y canlyn y wrthryfel ei hun.

1. Y coed a losgir, adn. 7. Y maesydd a'r pentrefydd yn flaenaf yn teimlo effeithiau y gwrthryfel.

2. Y mynydd tanllyd yn cael ei fwrw i'r môr, ac yn troi yn waed, adn. 8.

3. Y seren danllyd yn syrthio i'r afonydd, ac yn gwneuthur y dyfroedd yn chwerwon, pen. 8. 10, 11. Lladdiad yr Iuddewon yn Cæsarea a Scythopolis.

4. Duwch yr haul, y lleuad, a'r ser, adn. 12. Aflywodraeth yr Iuddewon.

5. Y locustiaid yn niweidio dynion fel ysgorpionau, pen. 9. 3. Ymgyrch Cestius Gallus, swyddog yn Syria.

6. Y fyddin âg arfau o amryw liwiau, adn. 16, 17. Y byddinoedd dan Vespasian yn Judea. Ynghylch yr amser hyn bu farw Nero a Galba; ar ol hyn dechreuodd y rhyfel gwladol, yn cael ei arwyddo wrth ganiad y seithfed udgorn, pen. 10. 7, 11. a 11, 15.

1. Y ddau dyst, y ddwy olewydden, a'r ddau ganhwyllbren, pen. 11. 3, 4. y dysgawdwyr yn yr eglwys yn rhagfynegu dinystr Jerusalem, y deml, a'r genedl.

2. Marwolaeth y tystion, adn. 7. Eu ffoedigaeth, a ffoedigaeth yr eglwys o Jerusalem i Pella, yn Arabia.

3. Adgyfodiad y tystion, wedi tri diwrnod a hanner, adn. 11. Y rhag-ddywediadau yn dechreu cael eu cyflawni mewn amser y tybid bod eu cyflawniad yn analluadwy: ac athrawiaeth y groes yn dechreu llwyddo yn Judea a thrwy yr holl fyd.

4. Degfed ran y ddinas yn syrthio, a saith mil o enwau dynion yn cael eu lladd, adn. 13. Jerusalem yn cael ei chymmeryd gan yr Idumeaid; llawer o'r offeiriaid a'r bonedd yn cael eu lladd, gydag Annas yr archoffeiriad, yr hyn a arwyddai enwau dynion, neu ddynion o enwau.

5. Y wraig wedi ei gwisgo â'r haul; y lleuad dan ei thraed, a choron o ddeuddeg seren ar ei phen, pen. 12. 1. Yr eglwys Gristionogol.

6. Y ddraig goch fawr yn y nef, a'i saith pen, y saith goron, a'i deg corn, adn. 6. Y chwech Cæsar cyntaf, y rhai oll a wnaed yn dywysogion yn Rhufain, a lywodraethent y Rhufeiniaid gydag awdurdod mawr, yn neillduol Nero, y diweddaf o honynt, yr hwn a ymdrabaeddodd mewn gwaed.

7. Yr anifail saith-ben yn cyfodi o'r môr, a'i ddeg corn a'i goronau, pen. 13. 1. Galba, Otho, a Vitellius, y rhai yn fuan oeddynt i deyrnasu, a'r rhai a gyhoeddwyd yn ymerawdwyr gan y byddinoedd.

8. Genau yr anifail fel llew, ei gorph fel llewpard, a thraed fel arth; yr anniwair anwadal Otho, Vitellius greulon, gyda'r fyddin Ellmynaidd.

9. Un pen, hynny ydyw y seithfed, wedi ei dorri ymaith, adn. 3. Galba.

10. Yr hwn sydd yn arwain i gaethiwed, &c. adn. 10. Otho, wedi gorchfygu llofruddion Galba, a laddodd ei hun â dagr; a Vitellius, yr hwn a rwymodd Sabinus â chadwynau, a rwymwyd ei hun wedi hynny.

11. Bwystfil arall yn codi o'r ddaear, a dau gorn, adn. 11. Ves-

pasian a'i ddau fab, Titus a Domitian, a etholwyd yn ymerawdwyr yr un pryd yn Judea.

12. Rhifedi y bwystfil 666, rhifedi dyn, Teitan, Titan neu Titus, T, 300. E, 5. I, 10. T, 300. A, 1. N, 50. yn gwneuthur 666.

13. Dyn yn eistedd ar gwmmwl, a choron o aur ar ei ben, a chryman yn ei law, pen 14. 14. Otho a'i fyddin, ynghylch attal cynnorthwyon i fyddin Vitellius.

14. Angel yn gorchymmyn casglu y cynhauaf, &c. canlynwyr Vitellius yn gwneuthur difrodiadau drwy dân; a'r Bebriaci yn gorchfygu canlynwyr Otho â lladdfa fawr.

Yna y canlyn y saith pla:

1. Y cornwyd drwg, pen. 16. 2. afiechyd milwyr Vitellius oblegid eu hanghymedroldeb.

2. Y môr wedi troi yn waed, adn. 3. llynges Vitellius yn cael ei gorchfygu, a'r trefydd arforawl yn cael eu cymmeryd oddi wrthynt gan y Flavii.

3. Yr afonydd wedi troi yn waed, 4. lladdfa ymlynwyr Vitellius yn Cremona a mannau eraill, yn agos i afonydd.

4. Poethder yr haul, adn. 4. afiechyd byddin Vitellius yn cynnyddu.

5. Gorseddfaingc y bwysfil yn tywyllu, adn. 10. holl Rufain mewn cynhwrf oblegid diofalwch Vitellius.

6. Yr Euphrates yn cael ei sychu, er gwneuthur ffordd i frenhinoedd y dwyrain, a'r tri yspryd fel llyfaint. Y Flavii yn gwarchae ar Rhufain gyda byddin fawr, ac yr oedd un gangen o'r fyddin ar lan yr afon Tiber.

7. Cwymp Babilon, adn. 19. Rhufain yn cael ei chymmeryd.

1. Y Buttain, pen. 17. 1. Rhufain.

2. Y saith brenin, adn. 10. Cæsar, Augustus, Tiberius, Caligula, Claudius, Nero, a Galba.

3. Yr wythfed, yr hwn sydd o'r saith, adn. 11. Otho, wedi ei fwriadu, trwy fabwysiad, i fod yn fab ac yn ganlyniedydd i Galba.

4. Y deg corn, adn. 12—16, pennaethiaid y blaid Flavianaidd.

5. Marchnattawyr y ddaear, 18. 11. hynny ydyw marchnattawyr Rhufain, yr hon ydoedd y pryd hwnnw yn drysorfa yr holl ddaear.

6. Y bwystsfil a'r gau brophwyd, 19. 20. Vespasian a'i deulu, yn groes i bob disgwyliad yn darfod gyda Domitian.

7. Y mil blynyddoedd, pen. 20. 2. a gymmerwyd o Salm 90. 4. amser a bennodwyd gan Dduw, yn cynnwys yr yspaid o ddeugain mlynedd, sef o farwolaeth Domitian hyd y rhyfel Iuddewig dan Adrian.

8. Gog a Magog yn myned allan dros yr holl ddaear, adn.8. Barchochebas, y gau Fessiah, gyda byddin liosog o Iuddewon, yn dyfod allan yn ddisymmwth o'u hogfeydd a'u tyllau, gan boenydio y Cristionogion yn dra dychrynllyd, ac yn dwyn ym mlaen ryfel brawychus â'r Rhufeiniaid.

9. Y Jerusalem Newydd, pen. 21. 1, 2. yr Iuddewon yn cael eu dwyn mor isel, fel na allent niweidio neb mwyach, ac athrawiaeth Crist yn llwyddo ym mhob man.

Y mae amryw dduwinyddion enwog o'r un farn a Wetstein, fod r y Datguddiad yn dwyn perthynas uniongyrchol â'r rhyfel Iudd-

ewig, ac â'r cynhyrfiadau gwladol yn yr Eidal; ond yn ol y dull cyffredinol o esponio, ystyrir mai wedi dinystr Jerusalem a'r wladwriaeth Iuddewig yr ysgrifenwyd ef, a'i fod yn brophwydoliaethol ac yn weledigaethol o'r pethau a ddigwyddent i'r eglwys Gristionogol. Ystyriant y llyfr yn ddarluniad o frwydrau Crist yn erbyn ei elynion, a'i oruchafiaeth lwyr arnynt yn y diwedd. Rhannant y llyfr yn dair rhan, fel y canlyn:

RHAN I. Datguddir i Ioan yr arfaethau dwyfol gyda golwg ar yr hyn sydd i ddigwydd ar y ddaear.

II. Darlunir y dull y cyflawnir y cyfryw arfaethau, yn y modd mwyaf goruchel a mawreddog.

III. Diolchgarwch y llu nefol i'r Hollalluog am yr amlygiadau gogoneddus o'i allu, ei ddoethineb, a'i ddaioni.

Y mae amser wedi profi fod y rhan fwyaf o esponwyr llyfr y Datguddiad wedi camgymmeryd gyda golwg ar ei gynnwysiad, a bod eu cyfrifiad am udganiad yr udgyrn, tywalltiad y phiolau, ynghyd â dechreuad y mil blynyddoedd, yn hollol gyfeiliornus; ac yn wyneb y fath ddyryswch, anhawdd dywedyd dim yn benderfynol, gan nad oes ond y cyflawniad yn unig a eglura wahanol rannau y brophwydoliaeth.

# SYLWADAU AR YR YSGRYTHYRAU.

## PENNOD I.

### *Ar ystyr yr Ysgrythyrau.*

YN gymmaint a bod dyn wedi ei ffurfio i gymdeithas, y mae wedi derbyn gallu gan ei Greawdwr i drosglwyddo i'w gyd-ddynion, trwy arwyddion, y drych-feddyliau a ffurfir yn ei feddwl. O ganlyniad, y mae ei beiriannau llafar wedi eu cyfansoddi yn y fath fodd, fel y mae yn alluog i ffurfio seiniau gwahanol arwyddoccaol o'i feddyliau; a'r seiniau hyn, wedi eu cyfleu ynghyd mewn modd addas, a gyfansoddant ymadroddion; y rhai, pa un bynnag ai eu seinio a wneir, neu ynte eu hysgrifennu, a drosglwyddant i eraill yr hyn a fyddo dyn yn ewyllysio.

Y cyfryngau drwy ba rai y trosglwydda dynion eu meddyliau i'w gilydd, a elwir *geiriau*, a'r meddwl neu y dyb a gyssylltir âg unrhyw air ydyw ei arwyddoccâd; a'r drych-feddyliau a drosglwyddir mewn amryw eiriau wedi eu cyssylltu i feddyliau eraill, a elwir yr *ystyr*, neu arwyddoccâd priodol y geiriau. Os bydd i un ddywedyd rhyw eiriau neillduol, â'r rhai y cyssyllta arall yr unrhyw ddrych-

feddwl a'r llefarwr, dywedir bod y cyfryw yn cael ei ddeall, neu fod ei eiriau yn cael eu hamgyffred. Os trosglwyddir hyn at yr Ysgrythyrau Sanctaidd, gellir dywedyd mai ystyr yr Ysgrythyrau ydyw yr arwyddoccâd hwnnw a gyflwyna yr Yspryd Glân i ddeall dyn, trwy gyfrwng geiriau yr Ysgrythyrau, a thrwy y drychfeddyliau a gynnwysir yn y cyfryw eiriau.

Y mae ym mhob iaith amrywiol eiriau a ganiattânt wahanol arwyddoccâd; etto mewn ymddiddanion cyffredinol, nid oes ond un gwir ystyr yn gyssylltedig â phob gair, yr hwn ystyr a arwyddocceir drwy gyssylltiad yr ymadroddion, y pwngc cynnwysedig ynddynt, ac amcan y llefarwr neu yr ysgrifennydd. Sylwer,

1. Ar Ystyr Lythyrennol yr Ysgrythyrau. Yr ystyr lythyrennol ydyw yr hyn a arwyddocca y geiriau yn eu derbyniad priodol a naturiol, heb droell-ymadrodd, traws-symmudiad, na ffigur; megis, "Yn y dechreuad y creodd Duw y nefoedd a'r ddaear;" pa eiriau a arwyddoccânt yr hyn yn llythyrennol a gynnwysant, ac y maent i'w dehongli yn ol y llythyren. Yr un modd hefyd yr ymadrodd hwnnw, "Myfi a'r Tad un ydym;" ym mha ymadrodd y mae duwdod Crist, a'i gydraddoldeb â Duw y Tad, yn cael eu gosod allan yn amlwg, fel nad oes unrhyw ystyr arall iddynt, heb wneuthur trais ar y geiriau. Y mae yr ystyr lythyrennol hefyd yn cael ei alw yn ystyr rammadegol, sef yr ystyr sydd yn perthynu i ystyr gair neu eiriau. Pan gymmerir geiriau yn draws-symmudol neu ffiguraidd; hynny ydyw, pan gyssylltir arwyddoccâd â hwynt nad ydynt yn naturiol arwyddo, ond etto yn ei gynnwys mewn ffigur neu ddull o ymadrodd,—megis pan fyddo priodoldeb un person yn cael ei briodoli i'r llall, gelwir hyn yn ystyr droellog neu ffiguraidd. Pan briodolir caledrwydd i garreg, defnyddir y gair yn ei ystyr lythyrennol, naturiol, a phriodol; ond pan gymhwysir y gair caled at galon, defnyddir ef yn ffiguraidd, neu mewn ystyr ammhriodol. Calon garreg a arwydda galon galed ammhlygedig, ddiystyr o orchymmynion Duw; a chalon gig a arwydda galon dyner, agored i argraffiadau sanctaidd. Mewn cyffelyb fodd, dywedir am yr Iuddewon gwrthnysig yn Zech. 7. 12. iddynt wneuthur eu calonnau yn adamant. Ymadroddion cyffelyb a geir yn fynych yn yr Hen Destament ac yn y Testament Newydd, megis Luc 13. 32. Ioan 1. 29. a 15. 5. Gelwir Herod, oblegid ei gyfrwysdra a'i greulondeb, yn gadnaw; a gelwir yr Iachawdwr mawr yn Oen Duw, oblegid ei aberth iawnol dros bechodau dynion.

Ym mhellach, y mae yr ystyr lythyrennol wedi cael ei alw hefyd yn ystyr hanesiol, fel yn trosglwyddo meddwl geiriau ac ymadroddion a ddefnyddid gan ysgrifennydd ar ryw amser pennodol. Yn llyfrau hynaf yr Hen Destament arwydda y gair 'ynysoedd' bob parthau trigiannol, ac yn neillduol gororau gorllewinol Môr y Canoldir. Yn yr ystyr hwn y defnyddir y gair yn Gen. 10. 5. Esay 11. 11. a 20. 6. a 23. 6. a 24. 15. a 42. 15. a 66. 19. Ezec. 26. 15. a 27. 3—7. Ond mewn oes ddiweddarach, arwydda y gair ynysoedd yn eu hystyr priodol, megis yn Esther 10. 1. Hefyd, yr ymadrodd 'meddiannu neu etifeddu y wlad,' yr hwn a gyfarfyddir yn fynych yn yr hen Destament, os ystyriwn ef yn hanesiol, hynny ydyw yn ei berthynas â'r genedl Iuddewig, ni arwydda amgen nag y byddai i'r

Iuddewon gael meddiant diogel o wlad yr addewid. Yn y Testament Newydd hefyd, yr ymadrodd 'dilyn Crist,' sydd o ystyr hanesiol yn fynych, heb arwyddo ychwaneg na bod y personau a grybwyllir yn dilyn yr Arglwydd Iesu Grist, ac yn gwrando ar ei ddysgeidiaeth ef, megis y dilynai yr Apostolion ef o le i le, ac y gwrandawent ei athrawiaeth.

2. Yr Ystyr Allegawl neu Alegoraidd. Yr ystyr allegawl sydd yn cynnwys rhyw beth neu bethau yn amgen na'r ystyr lythyrennol, sef rhyw beth yn perthynu i ffydd neu athrawiaeth ysprydol. Yn yr hyn y mae deall Gal. 4. 24. "Yr hyn bethau ydynt mewn alegori;" neu, 'Yr hyn bethau a lefarir yn allegawl,' neu, 'Yr hyn bethau a allegir fel hyn gennyf fi;' hynny ydyw, o dan orchudd ystyr lythyrennol, cynnwysant ystyr ysprydol.

3. Yr Ystyr Cysgodol. Wrth ystyr cysgodol y mae i ni ddeall pethau dirgelaidd, pa un bynnag ai yn bresennol neu yn ddyfodol, yn cael eu harddangos dan, neu drwy wrthddrychau allanol a gweledigaethau prophwydoliaethol; yn neillduol pan y mae y pethau a adroddir yn yr Hen Destament yn rhag-arwyddo neu yn rhagddangos pethau dan y Testament Newydd. Yn Salm 95. 11. lle y dywedir, "Na ddelent i'm gorphwysfa," yn llythyrennol arwydda hyn fynediad yr Israeliaid i wlad Canaan, ond yn gysgodol, myned i orphwysfa nefol, neu i fwynhad o'r nefoedd byth, trwy haeddiant a chyfryngdod Crist.

4. Yr Ystyr Ddammegol. Wrth yr ystyr hyn y mae i ni ddeall, ystyr ysprydol yn cael ei fwriadu yn yr hyn a adroddir mewn geiriau ac ymadroddion amlwg. Yn perthynu i hyn y mae dammeg y talentau, amcan yr hon ydyw dangos bod y dyledswyddau y gelwir dynion i'w cyflawnu yn addas i'w sefyllfaoedd, ac i'r hyn y maent wedi dderbyn; bod pob da y mae dyn yn feddiannu wedi dyfod oddiwrth yr Arglwydd, ynghyd â'r gallu i ychwanegu at y da hwnnw. Felly hefyd y gorchymmyn yn Deut. 25. 4. mewn perthynas i gau safn yr ŷch wrth ddyrnu, y mae yr Apostol Paul yn ddehongli, yn 1 Cor. 9. 9—11. mewn perthynas i hawl gweinidogion yr efengyl i gael eu cynnal.

5. Yr ystyr ysprydol. Y mae rhai esponwyr wedi dywedyd yn erwin yn erbyn yr ystyr ysprydol, a hynny oblegid, efallai, bod rhai wedi myned yn rhy bell ac yn ffol iawn yn hyn. Ond y mae yn amlwg fod pethau yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd o ystyr ysprydol, yn neillduol y cysgodau dan oruchwyliaethau Moses. Yr oedd y rhai hyn oll yn arwyddo pethau ysprydol, megis yr arch a'r drugareddfa, gwisgoedd yr offeiriaid, yr aberthau, y golchiadau, a'r holl ddefodau; ac y mae yr epistol at yr Hebreaid yn dangos ysprydolrwydd llawer o honynt.

6. Crybwyllir rhai pethau gyda golwg ar iawn ddeall yr Ysgrythyrau.

1. Yr ystyr mwyaf naturiol i unrhyw ymadroddion ysgrythyrol ydyw y goreu. Ffolineb mawr ydyw ceisio llusgo meddwl neu ystyr o bell i unrhyw adnod neu ymadrodd, yn hytrach na derbyn yr ystyr naturiol ei hun.

2. Yn gymmaint ag mai diben cyfieithad ydyw, rhoddi yn ein iaith ni yr un ymadrodd ag a ysgrifennwyd yn wreiddiol gan aw-

duron sanctaidd yn yr Hebraeg neu y Groeg, y mae yn amlwg, tuag at i'n cyfieithad ni fod yn gywir, na ddylai haeru na gwadu mwy na llai nag a haerir ac a wedir ganddynt hwy; o ganlyniad, y mae yn fwy dyledswydd arnom ni i gymmeryd ystyr oddiwrth yr Ysgrythyrau, na dwyn ystyr i'r Ysgrythyrau. Y mae hon yn hen gyfraith esponio, ac ni ddylid un amser ei hanghofio wrth ymdrin â'r Ysgrythyr Lân, rhag i ni ddysgu fel gwir athrawiaethau orchymmynion dynion. Dylid tynnu cyfundraeth o'r Bibl, ac nid ffurfio cyfundraeth yn y meddwl neu y dychymmyg, ac yna llusgo yr Ysgrythyrau atti, a'u treisio er mwyn cael ganddynt bleidio ein tybiadau ofer a gwag ni.

3. Cyn i ni benderfynu ar ystyr adnod, fel ag i brofi rhyw beth, y mae yn rhaid i ni ofalu na byddo y cyfryw ystyr yn afresymol.

4. Pan fyddo i air amrywiol ystyriaethau, mewn arferiad gyffredin, rhaid dethol a defnyddio yr ystyr hwnnw fyddo yn fwyaf addas i'r ymadrodd dan sylw ac yn gysson â thybiadau yr ysgrifennydd, ynghyd â'r amgylchiadau dan ba rai yr oedd yn ysgrifennu. Y mae y gair gwaed, ar amrywiol ystyriaethau, o arwyddoccad neillduol yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Arwydda weithiau ein haniad o un teulu cyffredin, yn Act. 17. 26; angeu, yn Heb. 12. 4; dioddefiadau a marwolaeth Crist fel iawn am bechodau dynion, yn Rhuf. 5. 9. a Eph. 1. 7. Arwydda hefyd yr achos haeddiannol o'n cyfiawnhad, yn Rhuf. 5. 9; ac o'n sancteiddiad, yn Heb. 9. 14.

5. Er na ellir gwybod ystyr rhai geiriau neillduol ond wrth eu tarddiad, etto y mae gormod yn cael ei roddi yn aml i'r dull ansicr hwnnw, oblegid bod arwyddoccad wreiddiol y gair yn gyffredin yn wahanol i'w arwyddoccad mewn ystyr gyffredin.

6. Dylid ystyried ac ymholi yn fanol i'r gwahaniaeth sydd rhwng geiriau cyfystyr. Yn Salm 119. y mae deg o wahanol eiriau yn nodi allan Air y goruchaf Dduw, sef cyfraith, ffordd, gair, deddfau, barnedigaethau, gorchymmynion, ymadroddion, tystiolaethau, cyfiawnder, a gwirionedd neu ffyddlondeb. Er bod yr holl eiriau hyn yn cael eu hystyried yn gyffredin yn gyfystyr, nid ydynt yn llythyrennol felly, ond yn cyfeirio at ryw briodoldeb neillduol yn y Gair dwyfol, ardderchogrwydd a pherffeithrwydd yr hwn a osodir allan mewn cynnifer o ymadroddion.

7. Dylid ystyried yn ofalus yr enwau a ddygir i mewn gan yr ysgrifenyddion sanctaidd, oblegid eu bod yn cyhoeddi neu yn egluro rhyw bethau oddiwrth bethau eraill.

8. Defnyddir ymadroddion cyffredinol weithiau yn eu holl helaethrwydd, ac weithiau mewn ystyr gyfyng; a pha un ai yn helaeth neu yn gyfyng y mae y cyfryw ymadroddion i'w deall, a ymddibynna ar eu diben a'u cyssylltiad.

## PENNOD II.

### *Moddion cynnorthwyol er deall yr Ysgrythyrau.*

Y CYNNORTHWYON mwyaf er deall yr Ysgrythyrau a geir gan yr ysgrifenwyr hynny yr oedd yr iaith a ysgrifenent yn naturiol iddynt. Gellir dwyn y dystiolaeth hon oddiwrth dair ffynnonell, sef,

I. Oddiwrth natur geiriau.

II. Engreifftiau, a natur y pwngc.

III. Ymadroddion cyferbyniol.

1. Gyda golwg ar natur geiriau, nid oes dim yn angenrheidiol ond bod yn dra gofalus fod y gair yn cael ei ddeall yn dda, a meddwl yr awdwr yn cael ei gymmeryd. Fel enghraifft,—Os methu deall pa beth a olygir gan yr Apostol Paul wrth 'gorph Crist,' gallwn ddysgu oddiwrth Eph. 1. 23. lle y mae yn egluro ei feddwl ei hun, ac yn dywedyd mai yr eglwys a olygir ganddo, fel hyn,—"Yr eglwys, yr hon yw ei gorph ef, ei gyflawnder ef, yr hwn sydd yn cyflawni oll yn oll."

II. Engreifftiau a natur y pwngc hefyd a ddangosant i ni y dull o ymadroddi a grym geiriau. Ond mewn trefn i farnu yn gywir ac i wneuthur gwahaniadau priodol, y mae deall da ac ymarferiad helaeth yn angenrheidiol.

1. Wrth engreifftiau y deallir, bod yr ysgrifenydd a ddefnyddia air neillduol, er nad ydyw yn dangos ei natur, etto mewn un neu ychwaneg o ymadroddion yn rhoddi engraifft o'r hyn a feddylia, trwy ddangos ei natur a'i weithrediadau, megis,

1. Mewn trefn i esponio y gair cyfiawnder, yr hwn air a ddefnyddir yn fynych yn y Testament Newydd, rhaid i ni chwilio pa engreifftiau o gyfiawnder a geir ac a gyssylltir â phob ymadrodd.

2. Yn Gal. 4. 3. defnyddia yr Apostol Paul yr ymadrodd 'gwyddorion y byd,' heb gyssylltu unrhyw esponiad â hwynt; ond wedi hynny y mae gennym engraifft o'i feddwl gyda golwg ar y cyfryw ymadrodd, sef yn pen. 4. 9. lle y mae yn crybwyll am 'egwyddorion llesg a thlodion,' ac yn golygu crefydd ac athronyddiaeth yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, y rhai oeddynt mewn bri cyn yr oruchwyliaeth Gristionogol, ac yn cynnwys y drychfeddwl o ammherffeithrwydd ac annigonolrwydd.

2. Natur y pwngc. Y mae hyn i raddau mawr yn cynnorthwyo i ddeall y meddwl a gyssyllta ysgrifenydd â gair mewn rhyw ymadrodd neillduol. Fel engraifft,—y mae y gair gras yn arwyddo maddeuant pechodau, cariad dwyfol, cynnorthwyon dwyfol, bendithion tymmorol, &c.; ond ym mha un o'r ystyriaethau hyn y mae y gair i'w gymmeryd mewn rhyw ymadrodd neillduol, sydd i'w benderfynu oddiwrth natur y pwngc.

III. Mewn trefn i benderfynnu ar y dull o ymadroddi ac i chwilio i feddwl rhyw ymadrydd, rhaid gwneuthur yn y lle nesaf ddefnydd o ymadroddion cyferbyniol, sef yr ymadroddion hynny a ddygant

ryw radd o debygoliaeth, mewn meddwl, iaith, neu ddull o ymadroddi; ac y mae cyferbynu ymadrodd âg ymadrodd yn gynnorthwy neillduol er deongli y rhannau hynny o'r Ysgrythyrau a ymddangosant yn dywyll i ni; oblegid braidd ar bob pwngc y mae lliosogrwydd o ymadroddion a daflant oleu neillduol ar eu gilydd, ac a ddeonglant y naill y llall.

Y mae tebygolrwydd naill ai yn agos neu ym mhell. Cyferbyniadau agos ydyw y rhai a ellir eu cael yng ngwaith yr un awdwr neu ysgrifenydd; a chyferbyniadau pell ydyw y rhai a ddygir o waith gwahanol ysgrifenwyr er taflu goleuni ar ymadroddion eu gilydd.

1. Tebygolrwydd geiriol, ydyw y rhai hynny lle y mae yr un ymadroddion, geiriau, &c. i'w cael.

2. Cyferbyniad sylweddol, lle y mae yr un digwyddiad neu beth yn cael ei adrodd, yr un athrawiaeth yn cael ei dysgu, neu yr un pwngc yn cael ei drin.

3. Y trydydd tebygolrwydd sydd yn cyfrannogi o natur y ddau a enwyd yn flaenorol, ac sydd o bwys cyfartal er deall yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Y mae yn gynnwysedig yn bennaf mewn cyfartaledd sicr, neu debygoliaeth rhwng aelodau pob dosparth; fel mewn dwy linell neu aelodau o'r un darn ymadrodd, y bydd pethau yn atteb pethau, a geiriau i eiriau, fel wedi eu haddasu i'w gilydd megis drwy reol neu fesur.

Natur y tebygoliaeth hwn, yr hwn ydyw prif nodweddiad barddoniaeth yr Hebreaid, wedi ei iawn ystyried, bydd un engraifft yn ddigonol er dangos pwys y cynnorthwy hwn tuag at iawn ddeall y rhan farddonawl o'r Ysgrythyrau.

Salm 84. 5—7. "Gwyn ei fyd y dyn y mae ei gadernid ynot; a'th ffyrdd yn eu calon: y rhai yn myned trwy ddyffryn Baca, a'i gwnant yn ffynnon; a'r gwlaw a leinw'r llynnau. Ant o nerth i nerth; ymddengys pob un ger bron Duw yn Sïon." Cyfaddefir gan bawb fod yr adnodau hyn yn dra anhawdd i'w deall; ond drwy eu hystyried yn debygolrwydd cymmysgedig, y mae yr Esgob Jebb wedi taflu goleuni neillduol ar yr adnodau.

"Gwyn ei fyd y dyn y mae ei gadernid ynot;
Y teithwyr, y rhai y mae eu calon yn dy ffyrdd,
Yn nyffryn Baca gwnant ef yn ffynnon;
Y gwlaw hefyd a leinw y llynnau;
Ant o nerth i nerth;
Efe a ymddengys ger bron Duw yn Sïon."

Ystyrir y llinell gyntaf a'r chweched yn berthynasol i'w gilydd, ac o'r un ystyr; a'r pedair llinell eraill megis mewn cromfachau, ac heb fod yn dwyn perthynas uniongyrchol â'r llinellau eraill. Yr ail linell yn gyferbyniol i'r bummed, a'r drydedd linell yn gyferbyniol i'r bedwaredd. Ymddengys bod y llinell gyntaf yn cynnwys cymmeriad dyn cadarn mewn crefydd,—y mae ei gadernid yn Nuw; a'r chweched llinell yn dangos ei wynfydedigrwydd diweddaf,—'Efe a ymddengys ger bron Duw yn Sïon." Y pedair llinell arall ydynt ddarluniadol o'r rhai hynny a ddymunant fod yn ddedwydd. Teithwyr ydynt, ond y maent yn gwybod i ba le y maent yn myned,—hiraethant am eu cartref; er eu bod ym mhell oddiwrth y deml, y

maent yn hiraethlon am gyrhaedd yno; a phrif-ffyrdd Jerusalem yn eu calon. A pha beth ydyw y canlyniad? Gorfyddant bob anhawsderau; gwneir yr anialwch sych a diffrwyth yn ddyffryn llawn o ddyfroedd; a hwy a ânt rhagddynt o nerth i nerth.

4. Yn gymmaint a bod sylw ac ymarferiad yn ofynol er gwahaniaethu rhwng y rhywogaethau o debygolrwydd, gwneir y nodiadau canlynol, er cynnorthwyo myfyriwr yr Ysgrythyrau i gydmaru ymadroddion tebygoliaethol â'u gilydd, a chymhwyso hyn er iawn ddeall y gwirioneddau dwyfol.

1. Chwilio am brif feddwl yr ymadrodd dan sylw.

Yn 1 Cor. 4. 5. yr ydym yn darllen, "Am hynny, na fernwch ddim cyn yr amser, hyd oni ddelo yr Arglwydd, yr hwn a oleua ddirgelion y tywyllwch, ac a eglurha fwriadau y calonnau; ac yna y bydd y glod i bob un gan Dduw." Y mae yma debygoliaeth aelodau, ond y prif feddwl ydyw bod Duw yn farnwr cynghorion dynion, a'i fod yn barnu heb dderbyn wynebau dynion. Amcan yr Apostol ydyw dangos ei fod yn analluadwy i ddynion ganfod a barnu cynghorion eu gilydd.

2. Er bod yr Ysgrythyrau wedi deilliaw yn wreiddiol oddiwrth Dduw, ac yn berffaith gysson, etto yn yr ail le, y maent wedi eu hysgrifenu gan wahanol ysgrifenwyr, ar wahanol bethau, ac mewn gwahanol ddulliau; y mae y llyfrau sanctaidd yn y lle cyntaf i'w cydmaru, sef y rhai a gyfansoddwyd gan yr un awdwyr, yn yr un iaith, ac ar byngciau tebygoliaethol.

3. Casgler yr holl ymadroddion tebygol ynghyd, lle y maeyr un dull o ymadroddi yn cael ei ddefnyddio, a'r un tybiadau yn cael eu gosod allan, ac ystyrier yn dda, a fyddant yn debygol hollol, nid yn unig bod yr un geiriau yn cael eu defnyddio, ond bod yr un pethau yn cyfatteb i'w gilydd, mewn trefn i ffurfio barn gywir ar y peth. Digwydda yn gyffredin bod i'r gair feddyliau gwahanol, un meddwl mewn un man, a meddwl arall mewn man arall. Pan gyfarfyddir â geiriau o'r natur hyn, ac o arwyddoccad gwahanol, ni ddylid ystyried yr holl ymadroddion yn union-gyrchol yn debygoliaethol, oni fyddant o'r un ystyr. Os cydmara neb Jonah 4. 10. (lle y crybwyllir am y cicaion, a lle y gelwir ef yn yr Hebraeg yn 'fab noson,') â 1 Thes. 5. 5. lle y gelwir Cristionogion, nid yn blant y nos, ond yn blant y dydd, nid ydyw yn debygoliaeth gywir.

4. Pan gyfarfyddir â dau ymadrodd tebygol, yr un amlyccaf a helaethaf a ddylid ddethol, er mwyn taflu goleuni ar yr un tywyllaf.

5. Ni cheir unrhyw gynnorthwyon oddiwrth ymadroddion tebygoliaethol, lle y mae yr ystyr yn ansicr.

## PENNOD III.

## *Hen Gyfieithadau o'r Ysgrythyrau.*

Gyda golwg ar hen gyfieithadau o'r Ysgrythyrau sanctaidd, y maent yn gynnorthwyol neillduol i'r rhai hynny a'u deallant tuag at iawn farnu mewn perthynas i wir a phriodol ystyr amryw ymadroddion. Bydd un enghraifft neillduol yn ddigonol i brofi hyn. Yng nghyhoeddiad cyntaf yr efengyl i ddynolryw, Gen. 3. 15. dywedodd Duw wrth y sarph a dwyllodd ein rhieni cyntaf, "Gelyniaeth hefyd a osodaf rhyngot ti a'r wraig, a rhwng dy had di a'i had hithau ; efe, (sef had y wraig yn ol ein cyfieithad awdurdodedig ni,) a ysiga dy ben di, a thithau a ysigi ei sawdl ef." Ond yn y cyfieithad Pabaidd Saesonaeg, yr hwn a gymmerwyd allan o'r *Vulgate Latin*, y mae yr ymadrodd wedi ei osod, "A hi a ysiga dy ben," megis pe y fenyw a'i gwnaethai, yr hyn a ddeongla y Pabyddion am Mair Forwyn, gan briodoli iddi fuddugoliaeth gyflawn ar bechod a Satan, a dysgir hwynt i'w hannerch mewn gweddi yn y wedd ganlynol:—"Yr wyf yn parchu ac yn bendithio dy draed sancteiddiaf, â'r rhai yr ysigaist ben yr hen sarph." Y mae yr holl hen gyfieithadau yn gwrthwynebu y dyb Babaidd, neu y dull y mae yr adnod wedi ei chyfleu yn eu Biblau hwynt. Ac felly, y mae o bwys neillduol i ddeall hen ieithoedd er mwyn chwilio i mewn i wreiddiau a tharddiadau geiriau, er mwyn gwrthwynebu heresiau a chyfeiliornadau. Y maent yn gynnorthwyon neillduol, ac yn angenrheidiol anhepgorol i'w deall tuag at iawn synied pethau, a chadw y gwirionedd yn ddilwgr.

## PENNOD IV.

## *Iaith Ffigurol yr Ysgrythyrau.*

Arferwyd iaith ffigurol ym more oesau y byd, yr hyn a achoswyd oblegid diffyg geiriau, er amlygu eu meddyliau ar wahanol bethau. Tlodi iaith a achosodd ddechreuad ymadroddion ffiguraidd, y rhai ydynt eu harddwch pennaf. Ffigurau, yn gyffredinol, a ellir eu darlunio yn iaith, a ddeillia oddiwrth y dychymmyg neu y nwydau. Y mae iaith ffigurol yn gyffredin yn cael ei rhannu fel y canlyn:—1. I droellau geiriau, yr hyn sydd gynnwysedig mewn cyfnewidiad gair neu ymadrodd o'i arwyddoccad gwreiddiol a phriodol i ystyr arall. 2. Ffigurau y meddwl ; y rhai a dybiant y geiriau yn cael eu defnyddio yn eu hystyr lythyrennol a phriodol a'r ffigur yn

gynnwysedig yn nhro y meddwl. Mewn trefn i ddeall yn gyflawn ymadroddion troellog neu ffiguraidd yr Ysgrythyrau, y mae yn angenrheidiol yn gyntaf i benderfynu pa ymadroddion sydd yn droellog, rhag i ni gymmeryd yn llythyrennol yr hyn sydd yn ffiguraidd, fel y cam-gymmerodd disgyblion ein Harglwydd Iesu Grist ynghyd â'r Iuddewon yn fynych; neu rhag i ni roddi dehongliad ffiguraidd i ymadroddion sydd yn hollol lythyrennol. Yn ail, wedi i ni gael allan yr hyn sydd ffiguraidd, bod i ni ei ddehongli yn gywir, a thraddodi y gwir ystyr. Er mwyn cyrhaeddyd yr amcan hwn, gall y sylwadau canlynol fod yn ddefnyddiol.

1. Dylid cadw at feddwl llythyrennol geiriau, yn llyfrau hanesiol yr Ysgrythyrau, yn fwy nag yn y llyfrau barddonol. Nid ydym i edrych am ymadroddion troellog yn yr hanes ysgrythyrol, yr hyn ni ddioddef i gael ei droi yn alegoraidd a dammegol, heb wneuthur trais â'r cyfryw hanesion; a'r esponwyr hynny a droseddant y rheol hon ni pharchant air yr Arglwydd yn y modd y dylent wneuthur, oblegid yn gyffredin adeiladant gyfundraethau mawrion, a thynnant athrawiaethau oddiwrth hanesion noeth.

2. Y mae ystyr lythyrennol geiriau i'w rhoddi i fynu, os byddant yn ammhriodol, neu yn cynnwys ammhossiblrwydd, neu yn cynnwys rhyw beth yn groes i athrawiaethau eraill yr ysgrythyrau.

(1.) Yr ymadroddion yn Jeremiah 1. 18. "Canys wele, heddyw yr ydwyf yn dy roddi di yn ddinas gaerog, ac yn golofn haiarn, ac yn fur pres yn erbyn yr holl dir," ydynt i'w cymmeryd yn ffiguraidd, oblegid ni allant fod yn llythyrennol. A'r ymadroddion yn Esay 1. 25, "A mi a ddychwelaf fy llaw arnat, ac a lân-buraf dy sothach, ac a dynnaf ymaith dy holl alcam,' sydd i'w gymmeryd yn ffiguraidd, ac nid yn llythyrennol.

(2.) Yn Salm 18. 2. gelwir yr Arglwydd Dduw yn graig, yn ymddiffynfa, yn waredwr, yn gorn iechydwriaeth, ac yn dŵr uchel, &c. ac y mae yn amlwg eu bod i'w cymmeryd yn ffiguraidd.

(3.) Mat. 8. 22. "Gadewch i'r meirw gladdu eu meirw," sydd ymadrodd na ellir ei gymhwyso at y rhai hynny sydd yn hollol ac yn naturiol farw; o ganlyniad y mae yn rhaid eu deall yn ffiguraidd. Gadewch i'r rhai hynny sydd yn ysprydol farw, gyflawnu gwasanaeth angladdol tuag at y rhai hynny sydd yn farw yn naturiol.

(4.) Mat. 18. 8. "Am hynny os dy law neu dy droed a'th rwystra, torr hwynt ymaith, a thafl oddi wrthyt." Os yn llythyrennol y mae deall hyn, y mae y gorchymmyn yn hollol yn erbyn y chwechfed gorchymmyn, Exod. 20. 13. "Na ladd." O ganlyniad rhaid deall yr ymadrodd yn Matthew yn ffiguraidd.

(5.) Pa beth bynnag sydd yn groes i reswm ni all fod yn wir feddwl yr Ysgrythyrau, oblegid Duw ydyw gwreiddyn gwirionedd naturiol, yn gystal a'r gwirionedd sydd wedi dyfod drwy ddatguddiad. Ni all gosodiad neu dyb a fyddo yn wrthwynebol i egwyddorion sylfaenol rheswm, fod yn ystyr i unrhyw ran o air Duw. Mewn canlyniad i hyn, nid ydyw geiriau Crist, "Hwn yw fy nghorph," a "Hwn yw fy ngwaed," i'w deall yn llythyrennol, amgen cadarnhant yr athrawiaeth Babaidd o draws-sylweddiad, yr hon sydd yn gwbl groes i reswm. Y mae yn analluadwy i anghyssonderau fod yn wir.

3. Wrth esponio iaith ffiguraidd yr Ysgrythyrau, rhaid gofalu am beidio cymhwyso cymmeriadau at arferion a defodau diweddar, oblegid y mae trigolion y dwyrain yn fynych wedi cyssylltu cymmeriad â drych-feddwl hollol wahanol i'r hyn sydd yn ymgynnyg i'n meddwl ni. Yn Deut. 33. 17. cydmarir gogoniant llwyth Joseph i gyntaf-anedig ŷch. Drachefn y mae Amos, pen. 4. 1. yn cydmaru boneddigesau Israel i wartheg Basan; ac y mae Hosea yn cydmaru yr Israeliaid i wartheg yn bwrw yr iau ymaith. Os cymmerwn ni y cydmariaethau hyn yn eu hystyr bresennol, yr ydym yn sicr o gyfeiliorni. Yr ychain yn y dwyrain, oblegid eu cym llathraidd, a ystyrid mewn anrhydedd mawr ym mhlith yr he genhedloedd; o ganlyniad, nid dianrhydedd yn y dwyrain ydyw neb gael eu cydmaru i ychain. Yn y gydmariaeth o fod llwyth Joseph yn debyg i gyntaf-anedig ŷch, arwydda nerth a gallu Pan gydmerir gwragedd Israel i wartheg Basan, arwydda e llawnder a'u gloddest.

---

## PENNOD V.

### *Dehongliad Trawsenwadau Ysgrythyrol.*

TRAWSENWAD sydd ddull ymadrodd, trwy yr hwn y gosodir u enw yn lle y llall; megis yr achos yn lle yr effaith, yr effaith yn ll yr achos; y peth yn lle ei berthynasau, neu y perthynasau yn lle peth. Trawsenwad yr achos a ddefnyddir yn yr Ysgrythyrau, pa fyddo y person a fyddo yn gweithredu yn cael ei osod am yr hyn fyddo wedi ei weithredu; neu yr offeryn drwy yr hwn y gwne unrhyw beth, yn cael ei osod am y peth a wneir; neu pan fydd peth yn cael ei osod yn lle yr hyn a achosodd y peth.

Trawsenwad yr effaith a ddigwydda, pan osodir yr effaith yn ll yr achos effeithiol.

Trawsenwad y peth ydyw, pan roddir y peth yn lle ei berthyn asau, a hynny oblegid rhyw amgylchiad a fyddo yn dwyn perthyna â'r peth; megis pan fyddo y lle a gynnwyso unrhyw beth yn cael e osod am y cyfryw beth, neu pan fyddo y meddiannwr yn cael e osod yn lle yr hyn a fyddo yn ei feddiant, &c.

Trawsenwad y berthynas ydyw, pan fyddo yr hyn a berthyna beth yn cael ei ddefnyddio er arddangos y peth.

---

#### I. TRAWSENWAD YR ACHOS.

YN fynych y mae y person a fyddo yn gweithredu yn cael osod am yr hyn a weithredir.

1. Rhoddir Crist am ei athrawiaeth yn Rhuf. 16. 9.

2. Yr Yspryd Glân am ei effeithiau a'i weithrediadau, yn 2 Cor. 3. 6. a Salm 51. 10.

3. Rhieni a hynafiaid a osodir am eu hiliogaeth, yn Gen. 9. 27. Exod. 5. 2. ac mewn amrywiol fannau eraill yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

4. Yr ysgrifennydd neu yr awdwr a roddir am y llyfr neu y gwaith; megis yn Luc 16. 29. a 24. 27. Act. 15. 21. a 2 Cor. 3. 15. ym mha adnodau y mae Moses a'r Prophwydi yn arwyddo ysgrifeniadau Moses a'r Prophwydi.

Weithiau yr achos neu yr offeryn a roddir am yr hyn a wneir drwyddo.

1. Y genau, y gwefusau, a'r tafod a roddir am yr ymadrodd, yn Deut. 17. 6. a 19. 15. a Mat. 18. 16.

2. Y genau hefyd a roddir am orchymmyn, yn Gen, 45. 21. Num. 3. 16, 39. a 20. 24. a 27. a Deut. 1. 26, 43.

3. Y geg a osodir am lefaru yn uchel, yn Esay 58. 1.

4. Y llaw yn fynych a osodir am ysgrifen. 1 Cor. 16. 21. Col. 4. 18.

5. Y cleddyf, y newyn, a'r pla, a ddynodant effeithiau y fflangellau hyn, yn Ezec. 7. 15.

---

## II. TRAWSENWAD YR EFFAITH

Weithiau, i'r gwrthwyneb, yr effaith a osodir yn lle yr achos.

Gelwir Duw yn iechydwriaeth, oblegid mai efe ydyw ei Hawdwr. Exod. 15. 2. Felly hefyd, gelwir Crist yn iechydwriaeth, yn Esay 49. 6. a Luc 2. 30. Bywyd, yn Ioan 11. 25. ac Adgyfodiad yn yr un lle.

---

## III. TRAWSENWAD Y PETH.

Weithiau gosodir y peth am ei berthynas, hynny ydyw, am ryw amgylchiad yn perthynu i, neu yn ymddibynnu ar, y peth. Defnyddir y galon yn fynych am yr ewyllys a'r serchiadau. Deut. 4. 29. a 6. 6, &c. ac am y deall, Deut. 4. 39. a 6. 6. a Luc 2. 51, &c.

Weithiau y lle neu y peth a arwydda yr hyn a gynnwysir yn y lle neu y peth. Y ddaear neu y byd yn fynych a osodir am y dynion a breswyliant ar y ddaear neu yn y byd, megis yn Gen. 6. 11. a Salm 96. 13. Tai Israel a Lefi a arwyddant eu hamrywiol deuluoedd, megis yn Exod. 2. 1. a Ezec. 3. 1.

Weithiau y mae meddiannydd y peth yn cael ei osod am y peth a feddiannir. Deut. 9. 1. "Perchennogi cenhedloedd mwy a chryfach na thi," a arwydda perchennogi gwledydd y cenhedloedd. Yn Salm 79. 7. Jacob a arwydda wlad yr Israeliaid.

Weithiau y peth a arwyddir a osodir am yr arwydd. Yn 1 Chron. 16. 11. a Salm 105. 4. "Nerth yr Arglwydd" ydyw yr arch, yr ho ydoedd yn arwydd o bresennoldeb a chadernid yr Hollalluog.

Pan ddywedir bod gweithred wedi ei gwneuthur, y meddwl fynych ydyw, ei bod wedi ei chyhoeddi, ei chaniattau, neu rhag-ddywediad y byddai iddi gael ei chyflawnu; megis yn G 41. 3. Jer. 4. 10. Mat. 16. 9, &c.

Dywedir bod gweithred wedi ei chyflawnu, pan feddylir rho achlysur o gyflawniad y weithred. Yn 1 Bren. 14. 6. dywedir Jeroboam, iddo wneuthur i Israel bechu; hynny ydyw, achlysur Jeroboam i Israel bechu drwy enghraifft a gorchymmyn. Gw hefyd Act. 1. 18. Rhuf. 14. 15. a 1 Cor. 7. 16.

---

### IV. TRAWSENWAD Y BERTHYNAS.

Weithiau y digwyddiad, neu yr hyn sydd ychwanegol a peth, a roddir am y peth; megis pen-llwydni, yn Gen. 42. 38. arwyddo henaint; Ffieidd-dra am beth ffiaidd, yn Gen. 46. 3 Luc 16. 15. Gen. 28. 22. a arwydda y lle hwn, ym mba fan y odais i y garreg, fydd yn dŷ i Dduw.

---

## PENNOD VI.

## *Ar Ddehongliad y Cysgodau.*

Cysgod, yn ei ystyr flaenaf a llythyrennol, a arwydda arlun gynllun, o'r hwn y mae darlun perffeithiach i gael ei wneuth ond yn yr ystyr ysgrythyrol neu dduwinyddol o'r gair, cysg ydyw arwydd neillduol o ryw beth dyfodol, neu enghraifft wedi pharottoi a'i bwriadu yn amlwg gan Dduw i rag-ddangos p dyfodol; a'r hyn a rag-ddangosir a elwir y gwrth-gysgod. Yn Ysgrythyrau Sanctaidd y mae tair rhywogaeth o gysgodau:—

1. Cysgodau deddfol, neu y rhai hynny a gynnwysir yn ne Moses. Wrth gydmaru hanes a goruchwyliaeth Moses â'r Tes ment Newydd, ymddengys yn amlwg bod yr hen oruchwyliaeth gysgod o'r Messiah, ac o fendithion yr efengyl; ac y mae h wedi ei gadarnhau tu hwnt i bob dadl gan yr Apostol yn yr Ep tol at yr Hebreaid.

2. Cysgodau prophwydoliaethol ydynt y rhai hynny, trwy ba y mae y prophwydi ysprydoledig wedi rhag-ddangos ac arwyd pethau, naill ai yn bresennol neu yn ddyfodol, trwy gyfrwng wyddion allanol. Perthynol i'r darluniad hwn ydyw gwaith prophwyd Esay yn myned yn noeth, (hynny ydyw, heb ei wi brophwydol,) ac yn droednoeth, pen. 20. 2. er rhag-ddarlunio d tryw angheuol yr Aiphtiaid a'r Ethiopiaid.

3. Cysgodau hanesiol, ydynt gymmeriadau, gweithredoedd, hanesion bywydau rhyw ddynion enwog a grybwyllir yn yr H

Destament, wedi eu cyfleu yn y fath fodd, gan ddwyfol ragluniaeth, ag i fod yn arddangosiadau cywir o gymmeriadau a gweithredoedd, y rhai a gyfodent dan oruchwyliaeth yr efengyl. Dylid bod yn dra gochelgar wrth ddehongli y cysgodau, oblegid os na fydd gennym awdurdod yr ysgrifennwyr sanctaidd eu hunain, nid dichonadwy i ni benderfynu yn sicr fod y person hwn, neu y peth hwn neu arall, a grybwyllir yn yr Hen Destament, yn gysgod o Grist.

Gyda golwg ar ddehongliad y cysgodau, rhaid i gymhwysder addas fod rhwng y cysgod a'r gwrthgysgod. Y mae peidio sylwi ar hyn wedi achosi i rai esponwyr ddywedyd pethau ffol ac ammherthynasol. Rhaid i'r cysgod ei hun, yn y lle cyntaf, gael ei esponio yn ol ei ystyr lythyrennol; ac os bydd rhyw ran o hono yn dywyll, rhaid i'r cyfryw dywyllwch gael ei symmud ymaith. Rhaid hefyd dangos y cyssondeb rhwng yr hyn a arddangosir a'r arddangosiad, yn ei holl rannau. Y mae yn fynych fwy yn y cysgod nag yn y gwrthgysgod. Amcanodd Duw berson neu beth, yn yr Hen Destament, i fod yn gysgod o bethau i ddyfod, nid i fod yn gysgod o honynt ym mhob peth, ond mewn rhyw bethau neillduol; o ganlyniad, yr ydym yn canfod llawer iawn o bethau yn y cysgod sydd yn anghymhwysiadol at y gwrthgysgod. Gwelir y defnydd o hyn yn yr Epistol at yr Hebreaid, yn yr hwn y mae aberthau yr Hen Destament yn cael eu cymhwyso at y gwrthgysgod, yr Arglwydd Iesu Grist, er bod amryw bethau yn yr offeiriadaeth Iuddewig nad ellir eu cymhwyso at y Messiah mawr. Yr oedd yr offeiriad i aberthu dros ei bechodau ei hun, (Heb. 5. 3.) yr hyn mewn un modd nid oedd yn gymhwysiadol i'r Arglwydd Iesu Grist. Y mae yn fynych hefyd fwy yn y gwrthgysgod nag yn y cysgod, oblegid ni all unrhyw gysgod unigol ddangos bywyd a gweithredoedd yr Arglwydd Iesu.

## PENNOD VII.

## *Ar Ddehongliad y Prophwydoliaethau.*

Prophwydoliaeth, neu rag-ddywediad am ddigwyddiadau dyfodol, a ystyrir yn gyfiawn y dystiolaeth fwyaf eglur a ellir ei rhoddi o gymmundeb goruwch-naturiol â Duw. Y mae yn wir fod llawer o anhawsderau i ddehongli y prophwydoliaethau; ond y mae yr anhawsderau hyn yn deilliaw, naill ai oddiwrth ein hanwybodaeth ni mewn hanesyddiaeth ac o'r Ysgrythyrau, neu am fod y prophwydoliaethau etto heb eu cyflawnu. Tuag at ddeall y prophwydoliaethau, rhoddir y rheolau canlynol gan ddysgedigion:—

1. Gan nad oes un brophwydoliaeth o'r ysgrythyr o ddehongliad priod, neu yn eglurhau ei hun, (2 Pedr 1. 20.) rhaid chwilio am ystyr y prophwydoliaethau yn nigwyddiadau y byd, ac yng nghyssondeb yr ysgrifeniadau prophwydoliaethol, yn hytrach nag yn ymadroddion prophwydoliaeth unigol. Angenrhaid ydyw ystyried yn

ofalus yr amser y blodeuodd y gwahanol brophwydi, ac o dan l frenhinoedd y traddodasant eu prophwydoliaethau, parhad gweinidogaeth, ynghyd â sefyllfa y prophwydi. Hefyd, yn gym maint a bod y prophwydi yn llefaru, nid yn unig am bethau we myned heibio a phresennol, ond hefyd am ddigwyddiadau dyfodo tuag at eu deall, rhaid i ni chwilio yn fanwl i hanesion yr oes canlynol, yn gystal yr hanesion cyssegredig a chenhedlig, ac edry yn ofalus a allwn gael ynddynt gyflawniad o'r prophwydoliaetha Dylid dehongli geiriau ac ymadroddion y prophwydoliaethau, lle maent yn dywyll; ac os byddant yn dywyll iawn, dylid ymdrech dehongli pob gair; ac os bydd yr ystyr yn gynnwysedig mew ymadroddion cyffelybiaethol, fel y maent yn digwyddo bod y fynych, dylid esponio y cyfryw yn ol y rheolau a roddwyd y barod.

2. Mewn trefn i ddeall y prophwydoliaethau, rhaid sylwi y neillduol ar ddull y prophwydi yn ysgrifennu, oblegid bod e hiaith yn gyffredin yn uchel a ffiguraidd, ac yn llawn cydmariaetha a gormodiaith. Yn fynych defnyddia y prophwydi enwau pe thynol i'r byd naturiol, pan yn llefaru am y byd gwladol. Yr hau y lloer, a'r ser, ynghyd â'r bodau wybrennol, a arwyddant frenhin oedd, brenhinesau, llywodraethwyr, neu bersonau mewn awdurdo a gorsafion uchel; ac ychwanegiad gogoniant yn y bodau crybwyl edig, a arwyddant ychwanegiad gallu a llwyddiant yn y cyfry bersonau, megis yn Esay 30. 26. a 9. 16. O'r tu arall, pan gry bwyllir am eu tywyllwch, eu machludiad, neu eu syrthiad, arwydd ddinystr hollol teyrnas alluog.

3. Fel ag y mae y rhan fwyaf o'r ysgrifeniadau prophwydo iaethol wedi eu cyfansoddi yn wreiddiol mewn dull barddonol, ac y gymmaint a bod llawer o ehediadau barddonol yn aros er y cyfieit adau, dylid sylwi yn fanwl ar raniad y llinellau, ac ar y farddoniaet Hebraeg, trwy yr hon y mae ystyr un llinell yn cyngweddu m fynych â'r llall; a hyn a'n cynnorthwya i gael allan ystyr amry ymadroddion. Y mae gennym enghraifft neillduol o hyn yn Esa 34. 6.

> "Canys y mae i'r Aglwydd aberth yn Bozrah,
> "A lladdfa fawr yn nhir Edom."

Yma y mae y gyffelybiaeth yn y llinell gyntaf yn cael ei hadrod yn yr un ymadroddion yn y nesaf: yr aberth yn Bozrah a a wydda y lladdfa fawr yn nhir Edom, oblegid Bozrah ydoedd pri ddinas Edom.

4. Rhoddir enwau neillduol yn fynych gan y prophwydi am ra mwy cyffredinol, mewn trefn i osod y peth a arddangosir megis flaen llygaid y gwrandawyr; ond nid yw y cyfryw ymadroddio i'w deall yn llythyrennol. Yn Joel 3. 4. Tyrus a Sidon, a holl ar daloedd Palestina, a arwyddant holl elynion yr Iuddewon.

5. Nid ydym bob amser i edrych ar drefn amser yn yr ysgrifen iadau prophwydoliaethol; oblegid y mae y prophwydi, yn enwedi Jeremiah ac Ezeciel, yn ail-gymmeryd i fynu y pethau y buont y ymdrin â hwynt o'r blaen.

6. Y prophwydi yn fynych a gyfnewidiant bersonau ac amserau ...u llefarant yn eu henwau eu hunain, brydiau eraill cynnrych

iolant Dduw, ei bobl, neu ei elynion, a hynny heb gymmeryd sylw o gyfnewidiad personau; ac weithiau cymmerant bethau wedi myned heibio, neu yn bresennol, am bethau dyfodol, er dangos sicrwydd digwyddiadau. Esay 9. 6. a 53. a 63. Zech. 9. 9. a Dat. 18. 2. ydynt eglurhad ar y rheol hon.

7. Pan dderbyniai y prophwydi gommissiwn i gyhoeddi unrhyw beth, traddodir y gennadwri weithiau megis pe buasent hwy eu hunain wedi eu pennodi i'w gwneuthur eu hunain. Esay 6. 9, 10. sydd rag-ddywediad o'r hyn a wneid gan yr Iuddewon, oblegid pan gyflawnwyd y cyhoeddiad prophwydoliaethol, difynnodd yr Arglwydd Iesu Grist y brophwydoliaeth yn ei hystyr gyffredinol, yn Mat. 13. 15.

Mewn perthynas i gyflawniad prophwydoliaethau, gellir dywedyd bod prophwydoliaeth wedi ei chyflawnu, pan y mae yn alluadwy profi drwy awdurdod anwadadwy, bod y digwyddiad wedi cymmeryd lle yn gywir yn y modd y rhag-ddywedwyd.

1. Y mae i'r un prophwydoliaethau yn fynych ddau feddwl, ac yn cyfeirio at wahanol ddigwyddiadau; un digwyddiad yn agos, a'r digwyddiad arall ym mhell; un yn dymhorol, a'r llall yn ysprydol neu dragywyddol. Yn yr ystyr hwn y mae gan y prophwydi amryw ddigwyddiadau mewn golwg, a'u hymadroddion mewn rhan ydynt gymhwysiadol i un peth, ac mewn rhan yn gymhwysiadol i beth arall; ac nid ydyw bob amser yn hawdd i wneuthur y trosiad. Yr enghreifftiau canlynol, allan o lawer o rai cyffelyb, a eglurant y rheol hon.

Yr ail Salm a gyfansoddwyd yn wreiddiol gan Dafydd, ar yr achlysur o'i fuddugoliaethau, a'i fod wedi cael ei osod yn frenin ar fryn sanctaidd Sïon; ond yn Act. 5. 25. yr Apostolion ysprydoledig âg un llais a ddywedent, bod y Salm dan sylw yn ddarluniadol o ddyrchafiad y Messiah, ac i'r gwrthwynebiad a roddir i'r efengyl gan Iuddewon a Chenhedloedd. Esay 11. 6. Dywedir yma am y blaidd yn trigo gyda'r oen, &c. a thybir bod y cyflawniad cyntaf wedi cymmeryd lle tua diwedd teyrnasiad Hezeciah, pryd yr oedd heddwch mawr yn teyrnasu wedi y trallodion a achoswyd gan Sennacherib; ond yr ail gyflawniad sydd dan yr efengyl, gallu yr hon yng nghyfnewidiad calonnau, nwydau, a bucheddau y gwaethaf o ddynion, a ddarlunir yma mewn dull ardderchog iawn. O'r gallu mawr hwn y mae digon o dystion ym mhob oesau.

Y mae gan hynny yn dra amlwg, fod amryw o'r prophwydoliaethau i'w cymmeryd mewn dau ystyr, mewn trefn i ddeall eu cynnwysiad yn gyflawn; a defnyddiwyd y cymhwysiad dyblyg hwn gan ein Harglwydd Iesu Grist a'i Apostolion, ac y mae hyn yn awdurdod ddigonol i ninnau i'w cymmeryd yn yr un goleu.

2. Rhag-ddywediadau, yn cyhoeddi barnedigaethau i ddyfod, nid ydynt ynddynt eu hunain yn llefaru am ddigwyddiad anocheladwy y peth; ond yn unig yn cyhoeddi yr hyn sydd i'w ddisgwyl gan y personau y gwneir hwynt iddynt, a'r hyn fydd yn sicr o ddyfod oddi amgylch, oni fydd i Dduw yn ei drugaredd gyfryngu rhwng y bygythiad a'r cyflawniad o hono.

Mewn perthynas i'r rhag-ddywediadau ammodol hyn, y mae gennym enghreifftiau ym mhregeth Jonah i'r Ninefeaid, Jonah 3. 4-

ac yng nghyhoeddiad marwolaeth Hezeciah gan Esay, pen. 38.
Gweler enghraifft gyffelyb hefyd yn Jeremiah, pen. 38. 14. 23.

Gyda golwg ar gyflawniad y prophwydoliaethau a berthynant neillduol i'r Messiah, gellir gwneuthur y sylwadau canlynol.

1. Gan mai yr Arglwydd Iesu Grist ydyw prif wrthddrych datguddiad dwyfol, dylid chwilio yn fanwl i natur y prophwyd iaethau perthynol iddo. Y mae gennym dystiolaeth Crist a'r Ap tolion ysprydoledig, mai efe ydyw prif wrthddrych y prophwyd iaethau ysgrythyrol; o ganlyniad, pan gyfarfyddir âg unrhy brophwydoliaeth, yn llefaru am unrhyw bersonau heb eu henwi, y Salmau neu y llyfrau prophwydoliaethol, yr hon ni ellir ei dehon yn ei pherthynas â neb personau yn union-gyrchol, rhaid ei chy meryd am y Messiah. Gellir crybwyll Salm 22. ac Esay 53. enghraifft o'r rheol hon.

2. Y mae dehongliad gair y brophwydoliaeth, a wnaed gan e Harglwydd Iesu Grist a'i Apostolion ysprydoledig, yn rheol neu allwedd drwy yr hon y mae dehongli yn gywir y prophwydoliaeth a goffheir neu y cyfeirir attynt ganddynt hwy. Y brophwydoliae yn Esay 8. 14. y byddai i'r Messiah fod yn faen tramgwydd ac graig rwystr, a adroddir yn fwy amlwg gan Simeon yn Luc 2. 34. dangosir iddi gael ei chyflawnu gan Pedr, yn 1 Pedr 2. 8. a chy mhwysir Salm 16. at yr Arglwydd Iesu Grist gan yr Apostol, Act. 2. 25—31.

3. Pan y darlunia y prophwydi oes o ddedwyddwch a llwyddia rhag-ddywedant yn amlwg am amseroedd yr efengyl. Gell dwyn amryw ymadroddion prophwydoliaethol, mewn ffordd o ga arnhad o'r rheol hon; ond ef allai y gwna dwy enghraifft y tro, rhai hynny o Esay 9. 2—7. a 11. 1—9. Yn yr ymadrodd cyntaf, mae teyrnas heddychol y Messiah yn cael ei gosod allan yn ei h aethrwydd a'i pharhad; ac yn yr ymadrodd diweddaf, darlunir heddwch a'r dedwyddwch â pha un y llenwir y deyrnas hon.

4. Yn gymmaint a bod yr hen brophwydoliaethau perthynol Messiah, o ddau rywogaeth; sef rhai o honynt yn dwyn perthyn â'i ddyfodiad cyntaf i ddioddef, a'r lleill mewn perthynas i lwyddia ei deyrnas yn y byd, rhaid bod yn dra gofalus yn y rhai hyn wahaniaethu rhwng ei ddyfodiad cyntaf mewn gostyngeiddrwydd, gyflawni ei waith cyfryngol ar y groes, a'i ddyfodiad mewn g goniant i'r farn.

---

## PENNOD VIII.

### *Dehongliad Athrawiaethol yr Ysgrythyrau.*

---

FEL ag y mae yr Ysgrythyrau yn cynnwys ewyllys ddatgudd iedig Duw i ddyn, cyflwynant i'n myfyrdodau ni, ym mysg petha eraill, wirioneddau athrawiaethol o'r pwys mwyaf. Digwydda rhai hyn weithiau yn nosparthion hanesiol a phrophwydoliaethol y

Ysgrythyrau Sanctaidd, ond yn bennaf yn Epistolau yr Apostolion, y rhai a berthynant i'r eglwys fawr gyffredinol, trwy y byd a thrwy yr holl oesau. Yn yr Epistolau yr ymdrinir yn bennaf âg athrawiaethau sylfaenol crefydd, y rhai ni ddehonglir yn neillduol yn yr Efengylau. Ac yn gymmaint a bod awdwyr y gwahanol Epistolau wedi ysgrifennu dan yr un ysprydoliaeth a'r Efangylwyr, rhaid cymmeryd yr Efengylau a'r Epistolau ynghyd, er cyflawnu rheolau y ffydd Gristionogol; o ganlyniad, y mae dehongliad athrawiaethol yr Ysgrythyrau o'r pwys mwyaf, oblegid trwyddynt hwy y'n galluogir i gael gwybodaeth gywir ac achubol am ewyllys Duw tuag attom ni.

1. Nid ydyw meddwl yr ysgrifeniadau sanctaidd i gael ei benderfynu yn ol tybiadau diweddar; ond rhaid i ni ymdrechu trosglwyddo ein hunain yn ol i'r amserau a'r lleoedd ym mha rai yr ysgrifennwyd hwynt, ac ymdrechu sylweddu y drych-feddyliau a'r dull o feddwl oedd gan yr ysgrifenwyr sanctaidd. Y mae y rheol hon o'r pwys mwyaf tuag at ddeall yr Ysgrythyrau, ac yn rhy aml yn cael ei hesgeuluso gan esponwyr; oblegid yn gyffredin y mae gan ddynion rag-gynllun a chyfundraeth barod yn eu meddyliau, am yr hon y chwiliant yn yr Ysgrythyrau; ac felly tynnant yr Ysgrythyrau at eu cyfundraethau hwy eu hunain, ac nid dwyn eu cyfundraethau at yr Ysgrythyrau; ac ni all dim fod yn fwy anghyfiawn na hyn, ac yn fwy diddefnydd er cael allan y gwirionedd. Yr unig ffordd er deall meddwl yr Ysgrythyrau, a gwahaniaethu rhwng athrawiaethau gwir a gau, ydyw rhoddi heibio bob meddyliau blaenorol, a chymmeryd y gwirionedd o'r Bibl yn unig, ac yna fe'i ceir mewn purdeb.

2. Tuag at ddeall unrhyw lyfr athrawiaethol, neu ymadrodd athrawiaethol o'r Ysgrythyrau, rhaid i ni sylwi ar y dadleuon a gyfodid ar yr amserau hynny, ac at y rhai y cyfeiria yr ysgrifenwyr ysprydoledig. Nid ydyw allwedd yr Epistolau i'w cael mewn dadleuon diweddar, y rhai oeddynt, lawer o honynt, yn anadnabyddus yn yr amserau hynny.

3. Nid ydyw llyfrau athrawiaethol yr Ysgrythyrau i'w darllen yn rhannol, ychydig yma ac ychydig accw; ond dylid eu darllen drwyddynt oll, a hynny gyda dyfalwch neillduol at amcan a gwythïen yr ymadrodd, heb sylwi yn gymmaint ar y dosparthiadau i bennodau ac adnodau, y rhai yn fynych ydynt wedi eu rhannu yn anghywir.

4. Pan y mae unrhyw athrawiaeth yn cael ei thynnu o'r Ysgrythyr, gellir ei chasglu yn well, a chyda mwy o gywirdeb, o'r rhannau hynny lle ei trinir yn broffesedig, nag yn y rhannau hynny lle y crybwyllir am dani yn ddigwyddiadol, ac mewn ffordd o gasgliad. Er enghraifft, yn yr Epistolau at y Rhufeiniaid a'r Galatiaid, trinir yr athrawiaeth o gyfiawnhad yn gyflawn; ac yn yr Epistolau at yr Ephesiaid a'r Colossiaid, ymdrinir â galwedigaeth y Cenhedloedd mewn modd neillduol, ynghyd â diddymiad y ddeddf seremoniol.

5. Nid oes un erthygl o ffydd i gael ei seilio ar ffigurau, cydmariaethau, a dammegion, neu ryw un testun neillduol. Yn lle tynnu ein gwybodaeth o Gristionogrwydd oddiwrth ddammegion

adroddion ffiguraidd, rhaid gwybod athrawiaethau yr efengyl, mewn trefn i ddehongli ymadroddion ffiguraidd. Dammeg y dyn a syrthiodd ym mysg lladron, a amcanwyd er tueddu yr Iuddewon i gymmwynasgarwch, unwedd ag y gwnaeth y Samariad.

---

## PENNOD IX.

### *Ar Ddehongliad Addewidion a Bygythion.*

---

ADDEWID, yn yr ystyr ysgrythyrol o'r gair, sydd gyhoeddiad neu sicrwydd yr ewyllys ddwyfol, yn yr hwn yr arwydda Duw pa fendith neillduol a rydd efe yn rhad, yn gystal a'r drygau a symmuda efe ymaith. O ganlyniad, gwahaniaetha yr addewidion oddiwrth y bygythion, yn gymmaint a bod 'yr addewidion yn gyhoeddiadau mewn perthynas i ddaioni, a'r bygythion yn gyhoeddiadau o ddrwg. Y mae pedwar dosparth o addewidion yn cael eu crybwyll yn y Testament Newydd; sef, 1. Addewidion mewn perthynas i'r Messiah. 2. Addewidion mewn perthynas i'r eglwys. 3. Addewidion o fendithion tymhorol ac ysprydol i'r duwiol. 4. Addewidion o gefnogrwydd i ras a dyledswyddau crefyddol. Gyda golwg ar addewidion y Jehofah,

1. Rhaid i ni eu derbyn yn y dull y gosodir hwynt allan yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Y mae addewidion Duw yn gyffredin i ni yn ammodol; o ganlyniad, os na byddant yn cael eu cyflawnu i ni, gallwn fod yn sicr nad ydyw y bai arno ef, yr hwn ni all fod yn gelwyddog, ond ynnom ni ein hunain, am ein bod yn methu cyflawnu yr ammodau.

2. Yr addewidion a wnaed mewn un achos, a ellir eu cymhwyso at achosion o'r un natur, ac yn ol cyssondeb y ffydd. Y mae rhyw beth mewn addewidion, yr un wedd a gorchymmynion, nid ydynt yn perthynu yn unig i'r rhai y gwnaed hwynt gyntaf; ond am eu bod wedi eu cyfleu yn yr Ysgrythyrau, gwnaed hwynt er budd cyffredinol. Yr addewid a wnaed i Joshua, pan ydoedd yn myned i fynu yn erbyn y Canaaneaid, a gymhwysir yn Heb. 13. 5. i'r Hebreaid crediniol, fel meddyginiaeth rhag cybydd-dod, a gofal gormodol am bethau y bywyd hwn.

3. Y mae Duw wedi cyfaddasu ei addewidion i'w orchymmynion. Trwy ac yng ngoleu y gorchymmynion y gwelwn ein dyledswydd, a pha beth a ddylai fod amcan ein hymdrechiadau, a pha beth a ddylai fod matter ein gweddiau, a pha le y derbyniwn ras i'n galluogi i gyflawnu ein dyledswydd. Cydmarer Deut. 10. 6. â Deut 30. 6. Preg. 12. 13. â Jer. 32. 40. Ezec. 18. 31. â Ezec. 36. 37 a Rhuf. 6. 12. â Rhuf. 5. 14.

4. Pa le bynnag yr addewir rhyw beth gyda golwg ar ufudd-dod y mae bygwthiad yn gynnwysedig mewn achos o anufudd-dod; a pha le bynnag y mae bygythiad am anufudd-dod, i'r gwrthwyneb, y

mae yno addewid ar yr ammod o ufudd-dod. Er egluro y sylw hwn, y mae yn ddigon i gyfeirio at, a chydmaru Ecsod 20. 7. a Salm 19. 1—4. â Salm 24. 3, 4. a Ecsod. 20. 12. â Diar. 30. 17.

---

## PENNOD X.

## *Cyfeiriadau at y Chwareuon a'r Campau Groegaidd yn y Testament Newydd.*

---

Nid oedd dim ym mhellach oddiwrth ddefodau ac arferion yr Israeliaid na chwareudai, ac ymarferiadau y cleddyfwyr, y rhai a ymladdent yn noethion â chleddyfau, gan osod eu bywydau mewn enbydrwydd er mwyn rhoddi difyrwch i'r dyrfa wyddfodol; ond difyrwch a ddiddymwyd drwy effeithiau daionus yr efengyl. Yr oedd yn ninasoedd yr eilun-addolwyr leoedd wedi eu neillduo, ac adeiladau mawrion wedi eu cyfodi, modd y gellid gweled y gorchwylion crybwylledig yn fwy cyfleus. Ac wedi i Judea gael ei darostwng dan iau estronol, cyfodwyd adeiladau o'r natur crybwylledig ynddi. Yr oedd y chwareudai hefyd yn leoedd ym mha rai yr ymgynnullai y bobl ynghyd ar ryw achosion neillduol. Yn Ephesus, cymmerwyd Gaius ac Aristarchus, cymdeithion Paul, i'r chwareudy, ond rhwystrwyd yr Apostol ei hun i fyned i mewn rhag cynnyddu y terfysg ym mhlith y bobl, Act. 19. 29, 30.

Ym mhob gwledydd y mae y chwareufa wedi cyfoethogi y gwahanol ieithoedd â'r cydmariaethau glwysaf a'u harddant. Ym mhob iaith yr ydym yn darllen am *ddrama* y bywyd dynol; a'i olygfeydd a ddarlunir fel yn cyfnewid ac yn amrywio yn feunyddiol. Y bywyd marwol a arddangosir fel ystryw ddyrus, yr hon yn raddol a ddadblygir ac a ddirwynir i fynu yn y diwedd i heddwch a dedwyddwch. Gelwir y byd yn chwareufa fawr, lle y mae Duw wedi ein cyfleu,—wedi rhoddi i bob un ei gymmeriad, yn sylwi yn fanol ar bob un o deulu Adda, ac yn y diwedd a wobrwya neu a gondemnia bob un yn ol ei ymddygiadau a'i weithredoedd. Y *drama* a sefydlwyd gyntaf er dangos arlun o'r bywyd dynol megis mewn drych, er dangos i'r edrychwr yr amrywiol gymmeriadau sydd yn ymddangos ynddo, a'r cyfnewidiadau mawrion a rhyfeddol a gymmerant le yn feunyddiol ynddo. Yn y chwareu dangosid amryw olygfeydd drwy arluniau, weithiau Thebes, weithiau Athen, yn awr palas hardd ac ardderchog, a phryd arall carchar,—weithiau gorymdaith ardderchog, a phryd arall angladd yn ei holl ddosparthiadau. Pob peth o'r dechreuad hyd y terfyniad yn amrywio ac yn cyfnewid yn barhaus yn ol natur y chwareu. Amgylchiadau y chwareu nid ydynt sylweddol ond dychymmygol, oblegid nid ydyw y gweithredydd yn y chwareu yn teimlo gofid na llawenydd, ond yn unig cymmeryd arno. At hyn y mae yr Apostol Paul yn cyfeiri pen. 1, 7. 20—31. lle mae yn ymdrechu argraffu ar fedd

Corinthiaid yr angenrheidrwydd o fod yn ddiofal ynghylch y byd, a pheidio bod dan lywodraeth gofidiau na llawenydd golygfa mor gyfnewidiol. "A hyn yr wyf yn ei ddywedyd, frodyr, am fod yr amser yn fyr. Y mae yn ol, fod o'r rhai sy a gwragedd iddynt, megis pe byddent hebddynt; a'r rhai a wylant megis heb wylo; a'r rhai a lawenhant, megis heb lawenhau; a'r rhai a brynant, megis heb feddu; a'r rhai a arferant y byd hwn, megis heb ei gam-arfer. Canys y mae dull y byd hwn yn myned heibio." Os cadwn yn ein cof y cyfeiriad yn y testun, (y mae dull y byd hwn yn myned heibio) ni a ganfyddwn ardderchawgrwydd neillduol yn yr ymadrodd a ddefnyddir gan yr Apostol. Y chwareuwyr yn y chwareu, ni weithredant yn eu cymmeriadau eu hunain, ond yn unig dynwared cymmeriadau, gweithredoedd, ac amgylchiadau rhai eraill. Ac felly pan fyddant yn wylo, nid wylo mewn gwirionedd fyddant, ond yn unig mewn ymddangosiad; pan briodant, nid ydyw ond mewn ymddangosiad; a phan laddant eu gilydd, nid ydyw ond mewn ymddangosiad. A phan fyddo y chwareu drosodd, ni fydd ganddynt na gwragedd, na meddiannau, na thiroedd, ond yn unig wedi gwneuthur arddangosiad o hynny. Ac yn yr ymadrodd dan sylw, y mae yr Apostol yn ein dysgu ni i gymmedroli ein chwantau a'n serchiadau tuag at bob peth yn y byd ac yn y bywyd presennol; neu yn hytrach i bersonoli pethau, ac nid i gorpholi ein hunain gyda y pethau sydd bresennol.

Y mae hefyd yn perthyn i'r chwareudai wisgoedd addas i bob oedran, cymmwys i bob amgylchiadau a chyfnewidiadau mewn bywyd. Y personau yn chwareu, yn fynych yn yr un arddangosiad a ymddangosant mewn amryw gymmeriadau; megis yng nghymmeriad tywysog a chardottyn, ynghyd â hen ac ieuangc; newidiant eu gwisgoedd yn ol y gwahanol gymmeriadau; rhoddant un wisg heibio wedi darfod â'r cymmeriad hwn; a phan elont i ymddangos mewn cymmeriad arall, rhoddant wisg wahanol am danynt, addas er arddangos yr hyn fyddo gan y chwareuwr mewn llaw. Ymddengys bod yr Apostol Paul yn cyfeirio at y ddefod hon, ac wrth ystyried ei ymadroddion yn y goleuni hwn, ymddangosant yn hardd ac yn rymmus, lle y mae yn cynghori y Cristionogion i roddi heibio yr hen ddyn a'i weithredoedd, ac i roddi am danynt y dyn newydd. Col. 3. 9, 10. ac Eph. 4. 22—24. "Na ddywedwch gelwydd wrth eich gilydd, gan ddarfod i chwi ddiosg yr hen ddyn ynghyd â'i weithredoedd; a gwisgo'r newydd, yr hwn a adnewyddir mewn gwybodaeth yn ol delw yr hwn a'i creodd ef. Dodi o honoch heibio, o ran yr ymarweddiad cyntaf, yr hen ddyn, yr hwn sydd lygredig yn ol chwantau twyllodrus; ac ymadnewyddu yn yspryd eich meddwl; a gwisgo y dyn newydd, yr hwn yn ol Duw a grewyd mewn cyfiawnder a gwir sancteiddrwydd."

Yn y chwareudai Rhufeinaidd hefyd y gosodid drwg weithredwyr condemniedig i ymladd â llewod, eirth, elephantiaid, dywalgwn, a chreaduriaid eraill. Dygid y dyn gresynol i'r chwareufa, ar yr hwn yr edrychid gyda'r dirmyg a'r gwaradwydd mwyaf gan y niferi lliosog a dyrrent ynghyd i edrych ar y gelanedd. Dygid y bwystfil allan ar y dyn yng nghanol bloeddiadau yr edrychwyr er llarpio a rhwygo yr adyn truenus. At y ddefod waedlyd a barbaraidd hon y

cyfeiria yr Apostol yn Heb. 10. 32, 33. "Ond gelwch i'ch cof y dyddiau o'r blaen, yn y rhai, wedi eich goleuo, y dioddefasoch ymdrech mawr o helbulon; wedi eich gwneuthur weithiau yn wawd, trwy waradwyddiadau a chystuddiau; ac weithiau yn bod yn gyfrannogion â'r rhai a drinid felly." Mewn ymadroddion eraill hefyd, y mae yr Apostol Paul, pan yn adrodd am greulondeb a ffyrnigrwydd dinasyddion Ephesus tuag atto, yn defnyddio cydmariaeth gref, fenthyccol oddiwrth y chwareudy; "Os yn ol dull dyn yr ymleddais âg anifeiliaid yn Ephesus." Nid bod yr apostol wedi ymladd âg anifeiliaid yn weithredol yn y chwareudy, ond yn hytrach yn defnyddio ymadroddion cryfion i ddangos creulondeb yr Ephesiaid, y rhai yn ffyrnig a bwystfilaidd a'i gwrthwynebent yn achos efengyl ein Harglwydd Iesu Grist; a chydmarai eu hymddygiadau tuag atto i eiddo anifeiliaid yn ymosod ar ddyn yn y chwareufa.

Gellir sylwi ym mhellach hefyd, er egluro 1 Cor. 4. 9. "Canys tybied yr wyf ddarfod i Dduw ein dangos ni, yr apostolion diweddaf, fel rhai wedi eu bwrw i angeu; oblegid nyni a wnaethpwyd yn ddrych i'r byd, ac i'r angylion, ac i ddynion." Yn y chwareudy Rhufeinig, y *Bestiarii*, y rhai yn y bore a ymladdent â bwystfilod a gaent arfau i ymddiffyn eu hunain, ac i ladd yr anifeiliaid os gallent. Ond y rhai diweddaf a ddygid i'r chwareudy oeddynt noethion, ac heb unrhyw arfau i ymddiffyn eu hunain, ond angeu union-gyrchol o'u blaen, heb fodd yn y byd i'w ochelyd. Yr oedd yr Apostol yn dywedyd am yr Apostolion megis rhai yn cael eu dwyn yn ddiweddaf i'r chwareufa, heb unrhyw offeryn i ymddiffyn eu hunain, ac os digwyddai iddynt ddiengyd y diwrnod hwnnw heb eu lladd, byddent yn cael eu dwyn ger bron yr ail ddydd, ac yn sicr o gael eu lladd gan yr anifeiliaid; ac felly yr oedd yr Apostol yn dywedyd eu bod hwy wedi cael eu dwyn megis y cyfryw rai yn nod i'r lladdfa.

Ond y peth mwyaf nodedig y cyfeiria yr Apostol Paul atto yn ei Epistolau ydyw y Campiau Olympiaidd, y rhai oeddynt gynnwysedig mewn rhedeg, cerbyd redegfeydd, neidio, taflu y biccell, ynghyd â phethau eraill, er dangos grym a gallu corphorol. Yr oedd yn rhaid i'r ymgeiswyr fod yn rhydd, ac yn ddynion o foesau, ynghyd ag i ymddwyn a gweithredu yn hollol yn ol y rheolau perthynol i'r Campiau dan sylw. Rhaid iddynt roddi eu henwau i mewn ym mlaen llaw, a myned i ddinas Elis, ac aros yno ddeg diwrnod ar hugain cyn i'r Campiau ddechreu, er ymbarottoi at y gorchestion. Wedi myned drwy y ddisgyblaeth rag-barottoawl, ar ddiwrnod dechreuad y Campiau, gelwid enwau yr ymgeiswyr, a darllenid iddynt y cyfreithiau perthynol i'r achos. Yna gosodid hwynt ger bron, a gofynnid i'r dyrfa wyddfodol os oedd gan neb ryw beth i'w osod yn erbyn neb o'r ymgeiswyr, megis fod un o honynt yn gaethwas, yn yspeiliwr, neu o foesau drwg. Yna dygid hwy at yr allor, a pherid iddynt gymmeryd llwon y cadwent bob cyfreithiau perthynol i'r Campiau; gosodid coronau [illegible] olewydd, a changhennau o'r balmwydden yng ngh[illegible] ac yng ngolwg yr ymgeiswyr; ac yr oedd barn[illegible] wedi eu rhoddi er edrych a gweled a oedd pob [illegible]

dwyn ym mlaen yn rheolaidd yn ol y cyfreithiau. At y Campiau hyn y cyfeiria yr Apostol yn Heb. 12. 1—3. "Oblegid hynny ninnau hefyd, gan fod cymmaint cwmmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch, gan roi heibio bob pwys, a'r pechod sydd barod i'n hamgylchu, trwy amynedd rhedwn yr yrfa a osodwyd o'n blaen ni, &c." Y mae yma gyfeiriad at y dyrfa fawr ar fynydd Olympus, y rhai a ymgynnullent o'r holl wledydd, a'r rhai megis cymmylau o dystion oeddynt yno yn edrych ar yr ymgeiswyr. Yr oeddynt megis cwmmwl o dystion yn sylwi ac yn disgwyl ar bob un i wneud ei oreu. Y mae cyfeiriad neillduol yn 1 Cor. 9. 24—27. at y Campiau Olympiaidd, "Oni wyddoch chwi fod y rhai sydd yn rhedeg mewn gyrfa, i gyd yn rhedeg, ond bod un yn derbyn y gamp? felly rhedwch fel y caffoch afael. Ac y mae pob un a'r sydd yn ymdrechu yn ymgadw ym mhob peth; a hwynt-hwy yn wir, fel y derbyniont goron lygredig; eithr nyni un anllygredig. Yr wyf fi gan hynny felly yn rhedeg, nid megis ar amcan; felly yr wyf yn ymdrechu, nid fel un yn curo yr awyr. Ond yr wyf fi yn cospi fy nghorph, ac yn ei ddwyn yn gaeth; rhag i mi mewn un modd, wedi i mi bregethu i eraill, fod fy hun yn anghymmeradwy." Amcan yr Apostol ydyw gosod ger bron y Cristionogion yr angenrheidrwydd o lynu yn eu proffes, ac o ymdrechu ym mhlaid yr efengyl, fel y derbyniont, nid coron lygredig, eithr un anllygredig, yr hon sydd yng nghadw yn y nefoedd i holl anwyliaid yr Arglwydd. Y mae bywyd crefyddol megis gyrfa, yr hon sydd raid ei rhedeg; oblegid y neb a barhao hyd y diwedd a fydd cadwedig, a'r hwn sydd yn tynnu yn ol, y mae yr Arglwydd yn digio wrtho.

---

## PENNOD XI.

### *Difyniadau o'r Hen Destament yn y Newydd.*

---

Y MAE cryn wahaniaeth barn ym mysg y dysgedigion pa un a ddifynai yr Efangylwyr, ac ysgrifenwyr eraill y Testament Newydd, o'r Hebraeg, neu o gyfieithad y Deg a Thrugain, a elwir yn gyffredin y Septuagint. Ond ymddengys drwy gydmaru Ysgrythyrau y Testament Newydd â'r Hen Destament, bod ysgrifenwyr y Testament Newydd weithiau yn gwneuthur eu difyniadau o'r Hebraeg, ac weithiau o'r Groeg, oblegid bod y cyfieithad Groeg yn fwy adnabyddus gan yr Iuddewon yn gyffredin na'r Hebraeg. Ond pan ddigwyddai bod cryn wahaniaeth rhwng yr Hebraeg a'r Groeg, rhoddent yr ystyr, heb ddilyn yr un o honynt yn llythyrenol. Y difyniadau o'r Hen Destament i'r Newydd a ddygir i mewn drwy ffurf fel y canlyn:—"Fel y cyflawnid yr Ysgrythyr—Megis y mae yn ysgrifenedig, &c."

I. Difyniadau o'r Hen Destament yn y Newydd, lle y mae y pethau a rag-ddywedwyd wedi eu cyflawni yn llythyrenol.

Prophwydoliaethau union-gyrchol ydynt y rhai hynny a berthynant i Grist a'r efengyl yn unig, a'r rhai ni ellir eu cymmeryd yn gyfreithlon mewn un ystyr arall; a dywedir bod yr Ysgrythyr yn cael ei chyflawnu yn llythyrenol pan y mae yr hyn a rag-ddywedir wedi ei gyflawnu. Y daflen ganlynol a ddengys y difyniadau pennaf a berthynant i'r dosparth hwn.

| | | |
|---|---|---|
| Gen. 12. 3. 18. 18. 22. 18 | Difynedig yn | Act. 3. 25. Gal. 3. 8. |
| Gen. 17. 7, 19. 22. 16, 17. | ... ... | Luc 1. 55, 72, 73, 74. |
| Deut. 18. 15, 19. | ... ... ... | Act. 3. 22, 23. |
| Salm 2. 1, 2. | ... ... ... | Act. 4. 25, 26. |
| Salm 2. 7. | ... ... ... | Act. 12. 33. Heb. 1. 5. 5. 4. |
| Salm 8. 2. | ... ... ... | Mat. 21. 16. |
| Salm 16. 8—11. | ... ... ... | Act. 2. 25—28. 31. |
| Salm 16. 10. | ... ... ... | Act. 13. 35. |
| Salm 22. 1 | ... ... ... | Mat. 27. 46. Marc 15. 34. |
| Salm 22. 13. | ... ... ... | Mat. 27. 35. Marc 15. 34. Luc 23. 34. Ioan 19. 24. |
| Salm 31. 5. | ... ... ... | Luc 23. 46. |
| Salm 41. 9 | ... ... ... | Ioan 13. 18. Act. 1. 16. |
| Salm 45. 6, 7. | ... ... ... | Heb. 1. 8, 9. |
| Salm 68. 18. | ... ... ... | Eph. 4. 7, 8. |
| Salm 69. 21. | ... ... ... | Ioan 19. 28, 29. Mat. 27. 48. Marc 15. 36. Luc 23. 36. |
| Salm 95. 7—11. | ... ... ... | Heb. 3. 7—11. 4. 3, 5—7. |
| Salm 102. 25—27. | ... ... ... | Heb. 1. 10—12. |
| Salm 110. 1. | ... ... ... | Mat. 22. 44. Marc 12. 36. Luc 20. 42. Act. 2. 34, 35. Heb. 1. 13. |
| Salm 110. 4, | ... ... ... | Heb. 5. 6. |
| Salm 118. 22, 23. | ... ... ... | Mat. 21. 34. Marc 12. 10. Luc 20. 17. Act. 3. 11. |
| Salm 118. 25, 26. | ... ... ... | Mat. 21. 9. Marc 11. 9. Ioan 12. 13. |
| Salm 132. 11, 17. | ... ... ... | Luc 1. 69. Act. 2. 30. |
| Esay 7. 14. | ... ... ... | Mat. 1. 23. |
| Esay 9. 1, 2. | ... ... ... | Mat. 4. 15, 16. |
| Esay 9. 7. (a Dan. 7, 14, 27.)... | ... | Luc 1. 32, 33. |
| Esay 11. 10. | ... ... ... | Rhuf. 15. 12. |
| Esay 25. 8. | ... ... ... | 1 Cor. 15. 54. |
| Esay 27. 9. a 59. 20, 21. | ... ... | Rhuf. 11. 26, 27. |
| Esay 28. 16. (a Joel 2. 32.) ... | ... | Rhuf. 9. 33. 1 Pedr 2. 6. |
| Esay 40. 3—5. | ... ... ... | Mat. 3. 3. Marc 1. 3. Luc 3. 4—6. |
| Esay 43. 1—4. | ... ... ... | Mat. 12. 17—21. |
| Esay 49. 6. | ... ... ... | Act. 13. 47. a 26. 23. Luc 2. 32. |
| Esay 53. 1. | ... ... ... | Ioan 12 [illegible] |
| Esay 53. 3—6. | ... ... ... | Act. [illegible] |
| Esay 53. 4—6, 11. | ... ... ... | 1 P[illegible] |
| Esay 53. 4. | ... ... ... | M[illegible] |

| | | |
|---|---|---|
| Esay 53. 9. | ... ... ... | 1 Pedr 2. 22. |
| Esay 53. 12. | ... ... ... | Marc 15. 21. Luc 22. 37 |
| Esay 54. 13. | ... ... ... | Ioan 6. 45. |
| Esay 55. 3. | ... ... ... | Act. 13. 34. |
| Jer. 31. 31—34. | ... ... ... | Heb. 8. 8—12. a 10. 16, |
| Hosea 1. 10. | ... ... ... | Rhuf. 9. 26. |
| Hosea 2. 23. | ... ... ... | Rhuf. 9. 25. 1 Pedr 2. 1 |
| Joel 2. 28—32. | ... ... ... | Act. 2. 16—21. |
| Amos 9. 11, 12. | ... ... ... | Act. 15. 16, 17. |
| Micah 5. 2. | ... ... ... | Mat. 2. 5, 6. Ioan 7. 42. |
| Hab. 1. 5. | ... ... ... | Act. 13. 40. |
| Haggai 2. 6. | ... ... ... | Heb. 12. 26. |
| Zech. 9. 9. | ... ... ... | Mat. 21. 4, 6. Ioan 12. 14, |
| Zech. 11. 13 | ... ... ... | Mat. 26. 9, 10 |
| Zech. 12. 10 | ... ... ... | Ioan 13. 7 |
| Zech. 13. 7 | ... ... ... | Mat. 26. 31, 56. Marc 27, 50 |
| Mal. 3. 1 | ... ... ... | Mat. 11. 10. Marc 1. 2. I 7. 27 |
| Mal. 4. 5, 6 | ... ... ... | Mat. 11. 13, 14. 17. 10— Marc 9. 11—13. Luc 16, 17 |

II. Difyniadau o'r Hen Destament yn y Newydd, lle y dywe bod hynny wedi ei gyflawnu, am yr hyn beth ni lefara yr Ysgry yrau yn llythyrenol, ond mewn ystyr ysprydol. Y mae difyniad o'r Hen Destament yn y Newydd, mewn ystyr gysgodol neu yspry ol, mewn perthynas i Grist a'i gorph ysprydol, sef yr eglwys. I wedir o ganlyniad bod yr Ysgrythyr wedi ei chyflawnu pan g lawnir yn y gwrthgysgod yr hyn a ysgrifenwyd am y cysgod. Ioan 19. 36. dywedir bod y pethau hyn wedi eu gwneuthur fel cyflawnid yr Ysgrythyr,—"Ni thorrir asgwrn o hono." Llefarw y geiriau dywededig yn wreiddiol am Oen y Pasg yn Ecsod. 12. a Num. 9. 12. a chyflawnwyd hwynt yng Nghrist, y gwrthgysg Enghreifftiau ychwanegol o hyn a ellid roddi, a cheir hwynt yn Ysgrythyrau canlynol.

| | | |
|---|---|---|
| Gen. 14. 18, 20 | Difynedig yn | Heb. 7. 1—10 |
| Gen. 15. 5 | ... ... ... | Rhuf. 4. 18 |
| Gen. 16. 15 | ... ... ... | Gal. 4. 22 |
| Gen. 17. 4 | ... ... ... | Rhuf. 4. 17 |
| Gen. 18. 10 | ... ... ... | Rhuf. 9. 10 |
| Gen. 21. 1—3 | ... ... ... | Gal. 4. 22, &c. |
| Gen. 21. 12 | ... ... .. | Rhuf. 9. 7 |
| Gen. 25. 23 | ... ... .. | Rhuf. 9. 10 |
| Ecsod. 12. 46, Num. 9. 12 | ... ... | Ioan 19. 36 |
| Ecsod. 16. 13—15 | ... ... ... | Ioan 6. 31, 49, 1 Cor. 10. |
| Ecsod. 17. 6. Num. 20. 11 | ... ... | 1 Cor. 10. 4 |
| Ecsod. 19. 6 | ... ... ... | 1 Pedr 2. 9 |
| Ecsod. 24. 8 | ... ... ... | Heb. 9. 20 |
| Lef. 26. 11, 12 | ... ... ... | 2 Cor. 6. 16 |
| ·m. 21. 8, 9 | ... ... ... | Ioan 3. 14 |

| | |
|---|---|
| Deut. 21. 23 ... ... ... | Gal. 3. 13 |
| Deut. 32. 21 ... ... ... | Rhuf. 10. 19 |
| 2 Sam. 7. 14 ... ... ... | Heb. 1. 5 |
| Salm 2. 9 ... ... ... | Dat. 2. 27 |
| Salm 8. 4 ... ... ... | Heb. 2. 6—8 |
| Salm 8. 6 ... ... ... | 1 Cor. 15. 27 |
| Salm 18. 49 ... ... ... | Rhuf. 15. 9 |
| Salm 35. 19. 69. 4. a 109. 3 ... ... | Ioan 15. 25 |
| Salm 40. 6—8 ... ... ... | Heb. 10. 6, 7 |
| Salm 69. 9 ... ... ... | Ioan 2. 17 |
| Salm 104. 4 ... ... ... | Heb. 1. 7 |
| Esay 40. 6, 7 ... ... ... | 1 Pedr 1. 24, 25 |
| Esay 52. 7. a Nahum 1. 15 ... ... | Rhuf. 10. 15 |
| Esay 54. 1 ... ... ... | Gal. 4. 27 |
| Esay 64. 4 ... ... ... | 1 Cor. 2. 9 |
| Hosea 11. 1 ... ... ... | Mat. 2. 15 |
| Jonah 1. 17. 2. 1. a 3. 5. ... ... | Mat. 12. 40, 41. Luc 11. 30, 32 |
| Hab. 2. 3 ... ... ... | Heb. 10. 37 |
| Hab. 2. 4 ... ... ... | Rhuf. 1. 17. Gal. 3. 11. Heb. 10. 38. |

III. Difyniadau o'r Hen Destament yn y Newydd, yn y rhai ni chyflawnir y peth mewn ystyr llythyrenol nac ysprydol yn ol y ffaith y cyfeirir atto yn yr Ysgrythyr, ond yn gyffelyb i'r ffaith; neu mewn geiriau eraill, lle y difynnir yr ymadroddion y cyfeirir attynt mewn ffordd o eglurhad.

Amryw ymadroddion o'r Hen Destament a ddifynnir ac a gymhwysir gan ysgrifenwyr y Testament Newydd at bethau a ddigwyddent yn eu hamser hwynt, a hynny oblegid eu cydmariaeth a'n tebygoliaeth. Y difyniadau crybwylledig nid ydynt brophwydoliaethau, er y dywedir weithiau eu bod wedi eu cyflawnu. Y daflen ganlynol a ddengys yr ymadroddion a ddifynnir yn y Testament Newydd mewn ffordd o eglurhad.

| | | |
|---|---|---|
| Genesis 15. 5 | Difynnedig yn | Rhufeiniaid 4. 18 |
| Genesis 15. 6 | ... ... ... | Rhufeiniaid 4. 3. Galatiaid 3. 6. Iago 2. 23 |
| Genesis 18. 10 | ... ... ... | Rhufeiniaid 9. 9 |
| Genesis 19. 15, 26 | ... ... ... | Luc 17. 28, 29, 32 |
| Genesis 21. 12 | ... ... ... | Rhufeiniaid 9. 7 |
| Genesis 25. 23 | ... ... ... | Rhufeiniaid 5. 12 |
| Genesis 25. 33 | ... ... ... | Hebreaid 12. 16 |
| Genesis 27. 21, &c. | ... ... ... | Hebreaid 11. 20. a 12. 17 |
| Ecsodus 9. 16 | ... ... ... | Rhufeiniaid 9. 7 |
| Ecsodus 32. 6 | ... ... ... | 1 Corinthiaid 10. 7 |
| Ecsodus 33. 19 | ... ... ... | Rhufeiniaid 9. 15 |
| Lefiticus 11. 45 | ... ... ... | 1 Pedr 1. 16 |
| Lefiticus 18. 5 | ... ... ... | Rhuf. 10. 5. Gal. 3. 12 |
| Deuteronomium 6. 13 | ... ... | Matthew 4. 10. Luc 4. 8 |
| Deuteronomium 6. 16 | ... ... | Matthew 4. 7. Luc 4. 12 |
| Deuteronomium 8. 3 | ... ... | Matthew 4. 4. Luc 4. 4 |
| Deuteronomium 25. 4 | ... ... | 1 Cor. 9. 9. 1 Tim. |
| Deuteronomium 27. 26 | ... ... | Galatiaid 3. 10 |

| | |
|---|---|
| Deuteronomium 32. 36 | Hebreaid 10. 30 |
| Deuteronomium 32. 35 | Rhuf. 12. 19. Heb. 10. 30 |
| Deuteronomium 32. 43 | Rhufeiniaid 15. 10 |
| Joshua 1. 5 | Hebreaid 13. 5 |
| 1 Samuel 21. 6 | Matthew 12. 3, 4. Marc 2. 25, 26. Luc 6. 3, 4 |
| 1 Brenhinoedd 19. 14, 18 | Rhufeiniaid 11. 3, 4 |
| Salm 5. 10. a 140. 4 | Rhufeiniaid 3. 13 |
| Salm 10. 7 | Rhufeiniaid 3. 14 |
| Salm 14. 1—3. a 50. 1—3 | Rhufeiniaid 3. 10—12 |
| Salm 19. 4 | Rhufeiniaid 10. 18 |
| Salm 24. 1 | 1 Corinthiaid 10. 26 |
| Salm 28. 16 | Rhufeiniaid 10. 11 |
| Salm 32. 1, 2 | Rhufeiniaid 4. 7, 8 |
| Salm 34. 12—16 | 1 Pedr 3. 10—12 |
| Salm 36. 1 | Rhufeiniaid 3. 18 |
| Salm 44. 22 | Rhufeiniaid 8. 36 |
| Salm 51. 4 | Rhufeiniaid 3. 4 |
| Salm 69. 9 | Rhufeiniaid 15. 3 |
| Salm 69. 22, 23 | Rhufeiniaid 11. 9, 10 |
| Salm 78. 21 | Matthew 13. 35 |
| Salm 82. 6 | Ioan 10. 34 |
| Salm 112. 9 | 2 Corinthiaid 9. 9. |
| Salm 116. 10 | 2 Corinthiaid 4. 13 |
| Salm 117. 1 | Rhufeiniaid 15. 11 |
| Salm 118. 6 | Hebreaid 13. 6 |
| Diarhebion 1. 16. Esay 59. 78 | Rhufeiniaid 3. 15—17 |
| Diarhebion 3. 11, 12 | Hebreaid 12. 5, 6 |
| Diarhebion 3. 34 | Iago 4. 6 |
| Diarhebion 10. 12 | 1 Pedr 4. 8 |
| Diarhebion 25. 21, 22 | Rhufeiniaid 12. 20 |
| Diarhebion 26. 11 | 1 Pedr 2. 22 |
| Esay 1. 9 | Rhufeiniaid 9. 29 |
| Esay 6. 9, 10 | Ioan 12. 40. Mat. 13. 14, 15. Luc 8. 10. Rhuf. 11. 8 |
| Esay 8. 12, 13 | 1 Pedr 3. 14, 15 |
| Esay 8. 17, 18 | Hebreaid 2. 13 |
| Esay 10. 22, 23 | Rhufeiniaid 9. 27, 28 |
| Esay 29. 10 | Rhufeiniaid 11. 8 |
| Esay 29. 13 | Matthew 15. 8, 9. Marc 7. 6 |
| Esay 29. 14 | 1 Corinthiaid 1. 9 |
| Esay 29. 16. a 45. 9 | Rhufeiniaid 9. 20, 21 |
| Esay 45. 23 | Rhuf. 14. 11. Phil. 2. 10 |
| Esay 52. 5. a Ezeciel 36. 20 | Rhufeiniaid 2. 24 |
| Esay 52. 7. a Nahum 1. 15 | Rhufeiniaid 10. 15 |
| Esay 52. 11, 12 | 2 Corinthiaid 6. 17 |
| Esay 52. 15 | Rhufeiniaid 15. 21 |
| Esay 56. 7. a Jeremi 7. 11 | Matthew 21. 13. Marc 11. 17. Luc 19. 46 |
| 61. 1, 2 | Luc 4. 18, 19 |
| . 1, 2 | Rhufeiniaid 10. 20, 21 |

| | |
|---|---|
| Esay 66. 1, 2 ... ... ... | Actau 7. 49, 50 |
| Jeremi 31. 15 ... ... ... | Matthew 2. 17, 18 |
| Jer. 31. 33. a 32. 38. a 2 Sam. 7. 14 ... | 2 Corinthiaid 6. 18 |
| Habacuc 2. 4 ... ... ... | Rhufeiniaid 1. 17 |
| Joel 2. 32 ... ... ... | Rhufeiniaid 10. 13 |
| Malachi 1. 2, 3 ... ... ... | Rhufeiniaid 9. 13 |

IV. Difyniadau ac ymadroddion eraill o'r Hen Destament, at y rhai y cyfeirir yn y Newydd. Y daflen ganlynol a ddengys y rhai pennaf o honynt.

| | |
|---|---|
| Genesis 1. 6, 9 Cyfeiriedig attynt | 2 Pedr 3. 5 |
| Genesis 1. 27 ... ... ... | Matthew 19. 4. Marc 10. 6. 1 Cor. 11. 7. Iago 3. 9 |
| Genesis 2. 2, 3 ... ... ... | Hebreaid 4. 4 |
| Genesis 2. 7 ... ... ... | 1 Corinthiaid 15. 45 |
| Genesis 2. 21, 22 ... ... ... | 1 Cor. 11. 8. 1 Tim. 2. 13 |
| Genesis 2. 24 ... ... ... | Matthew 19. 5. Marc 10. 7. 1 Cor. 6. 16. Eph. 5. 31. |
| Genesis 3. 6 ... ... ... | 1 Timotheus 2. 14 |
| Genesis 3. 4. 13 ... ... ... | 2 Corinthiaid 11. 3 |
| Genesis 3. 16 ... ... ... | 1 Corinthiaid 14. 34 |
| Genesis 4. 4 ... ... ... | Hebreaid 11. 4 |
| Genesis 4. 8 ... ... ... | Matthew 23. 35. Luc 11. 51. 1 Ioan 3. 12. Judas 11 |
| Genesis 5. 34 ... ... ... | Hebreaid 11. 5 |
| Genesis 6. 7 ... ... ... | Mat. 24. 37, 38. Luc 17. 26, 27. Heb. 11. 7. 1 Pedr 3. 19, 20. 2 Pedr 2. 5. a 3. 6 |
| Genesis 12. 1—4 ... ... ... | Actau 7. 5. Hebreaid 11. 8 |
| Genesis 13. 15 ... ... ... | Rhufeiniaid 4. 13 |
| Genesis 15. 13, 14 ... ... ... | Actau 12. 6, 7 |
| Genesis 17. 10 ... ... ... | Actau 7. 8 |
| Genesis 18. 3. a 19. 2 ... ... | Hebreaid 13. 2 |
| Genesis 18. 10 ... ... ... | Hebreaid 11. 11 |
| Genesis 18. 12 ... ... ... | 1 Pedr 3. 6 |
| Genesis 19. 12 ... ... ... | 2 Pedr 2. 6. Judas 7 |
| Genesis 21. 12 ... ... ... | Hebreaid 11. 18 |
| Genesis 46. 27 ... ... ... | Actau 7. 14 |
| Genesis 47. 31 ... ... ... | Hebreaid 11. 21 |
| Genesis 50. 24 ... ... ... | Hebreaid 11. 22 |
| Ecsodus 2. 2, 11 ... ... ... | Heb. 11. 23—27. Act. 7. 20—29 |
| Ecsodus 3. 6 ... ... ... | Marc 12. 26. Actau 7. 31, 32. Hebreaid 11. 16 |
| Ecsodus 12. 12, 18 ... ... ... | Hebreaid 11. 28 |
| Ecsodus 14. 22 ... ... ... | 1 Cor. 10. 2. Hebreaid 11. 29 |
| Ecsodus 19. 12, 18, 19 ... ... | Hebreaid 12. 18—20 |
| Ecsodus 20. 12—16. Deut. 5. 16—20 | Matthew 19. 18, 19. Marc 10. 19. Luc 18. 20. Rhuf. 13. 9. Iago 2. 2 |
| Lefiticus 14. 3, 4, 10 ... ... | Matthew 8. 4. Marc 1. 44. Luc 5. 14 |

| | |
|---|---|
| Lef. 13. 2. Num. 8. 16, 17. a 18. 15, 17 | Luc 2. 23 |
| Lefiticus 19. 12 ... ... .. | Matthew 5. 33 |
| Lefiticus 19. 18 ... ... .. | Matthew 5. 43. Gal. 5. 14 |
| Numeri 11. 4 ... ... ... | 1 Corinthiaid 10. 6 |
| Numeri 14. 23, 29, 37. a 26. 64, 65 ... | Heb. 3. 16, 17. Judas 5 |
| Numeri 21. 4—6 ... ... ... | 1 Corinthiaid 10. 9 |
| Numeri 22. 23, 39 ... ... ... | 2 Pedr 2. 15, 16. Judas 11 |
| Deuteronomium 18. 1 ... ... | 1 Corinthiaid 9. 13 |
| Deuteronomium 24. 1 ... ... | Matthew 5. 31. Marc 10. Luc 16. 28 |
| Joshua 2. 1. a 6. 22, 23 ... ... | Hebreaid 11. 31. Iago 2. 2 |
| Joshua 6. 20 ... ... ... | Hebreaid 11. 30 |
| Barnwyr, yr holl lyfr ... ... | Actau 13. 20. Heb. 11. 32 |
| 1 Samuel 8. 5. a 10. 1 ... ... | Actau 13. 21 |
| 1 Samuel 13. 14. 15. 23. a 16. 12, 13 | Actau 13. 22 |
| 1 Brenhinoedd 17. 1. a 18. 42—45 | Iago 5. 17, 18 |
| 1 Chronicl 23. 13 ... ... ... | Hebreaid 5. 4 |
| Salm 90. 4 ... ... ... | 2 Pedr 3. 8 |
| Diarhebion 27. 1 ... .. ... | Iago 4. 13, 14 |
| Esay 12. 3 ... ... ... | Ioan 7. 38 |
| Esay 66. 44 ... ... ... | Marc 9. 44 |
| Jeremi 6. 16 ... ... ... | Matthew 11. 29 |
| Galarnad 3. 45 ... ... ... | 1 Corinthiaid 4. 13 |
| Daniel 3. 23—25 ... ... ... | Hebreaid 11. 34 |
| Daniel 9. 27. a 12. 11 ... ... | Mat. 24. 15. Marc 13. 14 |
| Hosea 13. 14 ... ... ... | 1 Corinthiaid 15. 55 |
| Hosea 14. 2 ... ... ... | Hebreaid 13. 15 |
| Amos 5. 26, 27 ... ... ... | Actau 7. 42, 43 |

Mewn perthynas i'r dull blaenorol o ddifynnu, gellir sylwi, f yr ysgrifenwyr ysprydoledig weithiau yn benthycca ymadroddi o'r Hen Destament, o herwydd eu tebygolrwydd i rai a feddylie arfer, er nad ysgrifenwyd hwynt yn wreiddiol ar yr un testun n ar destun cyffelyb. Felly, y geiriau yn Deut. 30. 12—14. y rhai lefarwyd gyntaf gyda golwg ar y ddeddf, a gymhwysir gan Paul yr efengyl, yn Rhuf. 10. 6—8. drwy wneuthur y cyfnewidiad eglurhad anangenrheidiol.

## AMSERYDDIAETH YSGRYTHYROL.

Y MAE darllenydd yr Ysgrythyrau sanctaidd yn fynych yn tywyllwch oblegid ei anwybodaeth mewn amseryddiaeth Ysgrythy ol; ac y mae gwybod amserau a phrydiau digwyddiadau yn gy northwyon mawrion er deall amryw rannau o'r gyfrol sanctaid Rhoddir ger bron yn bresennol amryw daflennau o amseryddiae Ysgrythyrol, o'r prif bethau a grybwyllir wedi eu talfyrru allan weithiau yr Archesgob Usher a Calmet.—Y mae gwir amser ge edigaeth Crist bedair blynedd cyn yr amseriad cyffredin.

## CYFNOD I.

### *O'r Greadigaeth hyd y Diluw, yn cynuwys* 1656 *o flynyddoedd.*

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 1 | Y Greadigaeth | 4004 |
| | Efa yn cael ei themtio gan y sarph, yn anufuddhau i Dduw, ac yn darbwyllo ei gwr i anufudd-dod gyda hi. Duw yn eu gyrru allan o Baradwys | |
| 2 | Genedigaeth Cain, mab hynaf Adda | 3999 |
| 3 | Genedigaeth Abel, ail fab Adda | 3998 |
| 129 | Cain yn lladd ei frawd Abel | 3871 |
| 130 | Genedigaeth Seth, mab Adda ac Efa | 3870 |
| 235 | Genedigaeth Enos, mab Seth | 3765 |
| 325 | Genedigaeth Cainan, mab Enos | 3675 |
| 395 | Genedigaeth Mahalaleel | 3605 |
| 460 | Genedigaeth Jared | 3540 |
| 622 | Genedigaeth Enoch, mab Jared | 3378 |
| 687 | Genedigaeth Methuselah, mab Enoch | 3313 |
| 874 | Genedigaeth Lamech, mab Methuselah | 3126 |
| 930 | Marwolaeth Adda, yn 930 o flynyddoedd | 3070 |
| 987 | Summudiad Enoch, wedi iddo fyw 365 o flynyddoedd | 3013 |
| 1042 | Marwolaeth Seth, yn 912 o flynyddoedd | 2958 |
| 1056 | Genedigaeth Noah, mab Lamech | 2944 |
| 1140 | Marwolaeth Enos, yn 905 o flynyddoedd | 2860 |
| 1235 | Marwolaeth Cainan, yn 910 o flynyddoedd | 2765 |
| 1290 | Mahalaleel yn marw, yn 895 o flynyddoedd | 2710 |
| 1422 | Marwolaeth Jared, yn 962 o flynyddoedd | 2578 |
| 1536 | Yr Arglwydd yn hyspysu i Noah am ddyfodiad y diluw, ac yn erchi pregethu edifeirwch i ddynion, 120 o flynyddoedd cyn y diluw | 2464 |
| 1556 | Genedigaeth Japheth, mab hynaf Noah | 2444 |
| 1558 | Genedigaeth Sem, ail fab Noah | 2442 |
| 1551 | Marwolaeth Lamech, tad Noah | 2353 |
| 1656 | Marwolaeth Methuselah, yr hynaf o ddynion, yn 969 o flynyddoedd, ym mlwyddyn y diluw | 2349 |
| | Noah a'i deulu yn yr un flwyddyn yn myned i'r arch, pan yn 600 o flynyddoedd o oedran. | |

## CYFNOD II.

### *O'r Diluw hyd alwad gyntaf Abraham, yn cynnwys* 420 *o flynyddoedd a* 6 *mis.*

| | | |
|---|---|---|
| 1657 | Noah yn dyfod allan o'r arch | 2347 |
| 1658 | Genedigaeth Arphaxad | 2346 |

| Oed y byd | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 1693 | Genedigaeth Salah, mab Arphaxad | 2311 |
| 1723 | Genedigaeth Heber, mab Salah | 2281 |
| 1757 | Genedigaeth Peleg mab Heber | 2247 |
| 1770 | Adeiladu Tŵr Babel, a chymmysgiad yr ieithoedd | 2230 |
| 1771 | Dechreuad ymerodraeth Assyria gan Nimrod, ac ymerodraeth yr Aipht gan Ham, tad Mizraim | 2229 |
| 1787 | Genedigaeth Reu, mab Peleg | 2217 |
| 1819 | Genedigaeth Serug, mab Reu | 2185 |
| 1824 | Profedigaeth Job | 2130 |
| 1849 | Genedigaeth Nahor, mab Serug | 2155 |
| 1878 | Genedigaeth Terah, mab Nahor | 2126 |
| 1948 | Genedigaeth Haran, mab Terah | 2056 |
| 2006 | Marwolaeth Noah, yn 950 o flynyddoedd | 1998 |
| 2008 | Genedigaeth Abram, mab Terah | 1996 |
| 2018 | Genedigaeth Sarai, gwraig Abram | 1986 |
| 2083 | Galwedigaeth Abram allan o Ur y Caldeaid i Haran, ym Mesopotamia, lle bu farw Terah, ei dad, yn 205 o flynyddoedd | 1921 |

## CYFNOD III.

### *O ail alwedigaeth Abraham hyd ymadawiad yr Israeliaid o'r Aipht, yn cynnwys* 430 *o flynyddau.*

| | | |
|---|---|---|
| 2083 | Ail alwedigaeth Abram o Haran | 1921 |
| | Efe a Sarai ei wraig, a Lot ei nai, yn dyfod i Ganaan, ac yn preswylio yn Sichem | |
| 2084 | Abram yn myned i'r Aipht, yn dychwelyd oddi yno, ac yn ymadael â Lot | 1920 |
| 2092 | Buddugoliaeth Abram ar y pum' brenin | 1912 |
| 2093 | Sarai yn rhoddi Hagar ei morwyn yn wraig i Abram | 1911 |
| 2094 | Genedigaeth Ismael, mab Abram o Hagar. Yr oedd Abram y pryd hwn yn 87 o flynyddoedd | 1910 |
| 2107 | Cyfammod Duw âg Abram,—Duw yn addo iddo hiliogaeth fawr,—newid ei enw i Abraham, a Sarai i Sarah,—sefydlu yr enwaediad,—Abraham yn derbyn yr angylion,—yr addewid o Isaac | 1897 |
| | Sodom, Gomorrah, Adma, a Zeboim, yn cael eu llosgi gan dân Duw | |
| 2108 | Abraham yn ymadael o wastadedd Mamre i Beersheba. Genedigaeth Isaac | 1896 |
| 2133 | Abraham yn aberthu ei fab Isaac | 1871 |
| 2145 | Sarah yn marw, yn 127 o flynyddoedd o oedran | 1859 |
| 2148 | Isaac yn priodi â Rebecca | 1856 |
| 2168 | Genedigaeth Jacob ac Esau, pan oedd Isaac yn 60 o flynyddoedd o oedran | 1836 |

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 2184 | Marwolaeth Abraham, yn 175 o flynyddoedd o oedran | 1820 |
| 2200 | Isaac yn gwneuthur cyfammod âg Abimelech, brenin Gerar | 1804 |
| 2208 | Esau yn priodi â merched Canaan | 1796 |
| 2245 | Isaac yn bendithio Jacob, ac yntau yn ffoi i Mesopotamia, at ei ewythr, Laban; ac yn priodi Leah a Rachel | 1759 |
| 2246 | Genedigaeth Reuben, mab Jacob o Leah | 1758 |
| 2247 | Genedigaeth Simeon, mab Leah | 1757 |
| 2248 | Genedigaeth Lefi, mab Leah | 1756 |
| 2249 | Genedigaeth Judah, mab Leah | 1755 |
| 2259 | Genedigaeth Joseph, mab Jacob o Rachel, pryd yr oedd Jacob yn 30 o flynyddoedd o oedran | 1745 |
| 2265 | Jacob yn dychwelyd o Ganaan | 1739 |
| 2270 | Treisio Dinah.—Genedigaeth Benjamin o Rachel | 1734 |
| 2276 | Joseph, pan yn 17 o flynyddoedd o oedran, yn dywedyd i'w dad am feiau ei frodyr, hwythau yn ei gasau, ac yn ei werthu i ddieithriaid, y rhai a'i gwerthasant yn gaethwas i Potiphar | 1728 |
| 2286 | Joseph yn cael ei daflu i garchar yn yr Aipht | 1718 |
| 2287 | Joseph yn deongli breuddwydion dau swyddog Pharaoh | 1717 |
| 2289 | Joseph yn deongli breuddwydion Pharaoh, ac yn cael ei wneuthur yn llywodraethwr holl wlad yr Aipht | 1715 |
| 2296 | Dechreuad y newyn yn yr Aipht | 1708 |
| 2297 | Brodyr Joseph yn myned i'r Aipht.—Simeon yn cael ei garcharu | 1707 |
| 2298 | Brodyr Joseph yn dychwelyd i'r Aipht, a Benjamin gyda hwynt; yntau yn gwneuthur ei hun yn adnabyddus iddynt, ac yn eu rhwymo i ddyfod i'r Aipht gyda eu tad Jacob, yr hwn bryd hynny oedd ynghylch 130 o flynyddoedd o oedran | 1706 |
| 2300 | Joseph yn casglu holl arian yr Aipht i drysordy y brenin | 1704 |
| 2301 | Joseph yn cael yr holl anifeiliaid i'r brenin | 1703 |
| 2302 | Yr Aiphtiaid yn gwerthu eu tiroedd a'u rhyddid i Pharaoh | 1702 |
| 2315 | Clefyd diweddaf Jacob.—Yn marw yn 147 o flynyddoedd o oedran | 1689 |
| 2371 | Joseph yn marw, yn 110 o flynyddoedd o oedran | 1633 |
| 2385 | Lefi yn marw, yn 137 o flynyddoedd o oedran | 1619 |
| 2427 | Chwyldroad yn yr Aipht. Ramases Miaman, y brenin, yr hwn nid adwaenai Joseph, yn erlid yr Israeliaid | 1576 |
| | Ynghylch yr amser hwn, yn ol Calmet, y bu Job ar y ddaear | |
| 3430 | Genedigaeth Aaron, mab Amram o Jochebed | 1574 |
| 2473 | Moses yn lladd yr Aiphtiad, ac yn ffoi i Midian; yn priodi â merch Jethro, o'r hon y ganed dau fab, Gershon ac Eliezer | 1531 |
| 2513 | Moses, ar orchymmyn Duw, yn dychwelyd i'r Aipht; y pläau yn cael eu tywallt ar yr Aipht, ac Israel yn cael eu gwaredu | 1491 |

## CYFNOD IV.

### *O ymadawiad Israel o'r Aipht hyd eu mynediad i Ganaan, yn cynnwys 40 mlynedd.*

---

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 2513 | Pharaoh yn erlid ar ol Israel, ac yn eu goddiweddyd yn Piahiroth,—y môr yn cael ei rannu,—Israel yn myned drwyddo ar dir sych,—yr Aiphtiaid yn boddi, yr 21 o'r mis cyntaf | 1491 |
| 2514 | Amryw helyntion yn yr anialwch | 1490 |
| 2515 | Y bobl yn aros yn Cades-barnea, ac oddi yno yn myned tua'r Môr Coch | 1489 |
| 2552 | Wedi crwydro yn anialwch Arabia garregog ar Idumea ddwy flynedd ar bumtheg ar hugain, yr Israeliaid yn dychwelyd i Mozeroth, yn agos i Cades-barnea, yn y bedwaredd flwyddyn ar bumtheg ar hugain wedi eu dyfodiad allan o wlad yr Aipht | 1452 |
| | Moses yn anfon cennadau at frenin Edom, ac yntau yn gommedd caniattau iddynt fyned drwy ei diriogaethau | |
| | Yr Israeliaid yn dyfod i Cades. Miriam yn marw yn 130 o flynyddoedd o oedran | |
| | Yr Israeliaid yn tuchan o eisiau dwfr; Moses yn ei ddwyn o'r graig; ond efe ac Aaron yn dangos anymddiried, a Duw yn gwahardd eu mynediad i wlad yr addewid | |
| | Yr Israeliaid yn myned o Cades i fynydd Hor, lle y mae Aaron yn marw, yn 123 o flynyddoedd o oedran | |
| | Y brenin Arad yn ymosod ar Israel, ac yn cymmeryd amryw o honynt yn garcharorion | |
| | Yr Israeliaid yn myned o fynydd Hor i Zalmonah, ym mha le y mae Moses yn dyrchafu y sarph bres. Tybia rhai i hyn ddigwydd yn Panon | |
| 2553 | Sehon brenin yr Amoriaid yn gommedd i'r Israeliaid fyned drwy ei deyrnas. Moses yn ymosod arno, ac yn cymmeryd ei wlad | 1451 |
| | Og, brenin Basan, yn ymosod ar yr Israeliaid, ond yn cael ei orchfygu | |
| | Tiriogaethau Sehon ac Og yn cael eu rhannu rhwng llwythau Reuben a Gad, a hanner llwyth Manasseh | |
| | Moses yn adnewyddu y cyfammod â'r Arglwydd | |
| | Marwolaeth Moses, a Joshua yn cymmeryd ei le | |
| | Joshua yn anfon ysbiwyr i Jericho | |

## CYFNOD V.

### *O fynediad yr Israeliaid i wlad Canaan hyd adeiladaeth Teml Solomon, yn cynnwys 447 o flynyddau.*

---

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 2553 | Y bobl yn myned dros yr Iorddonen | 1451 |
| | Joshua yn adferu yr enwaediad | |
| | Jericho yn cael ei chymmeryd. Y Gibeoniaid yn gwneuthur cyfammod â Joshua | |
| | Rhyfel y pum' brenin yn erbyn Gibeon, y rhai a orchfygwyd gan Joshua. Yr haul a'r lleuad yn sefyll | |
| 2554 | Rhyfel Joshua yn erbyn brenhinoedd Canaan | 1450 |
| 2559 | Joshua yn rhannu y wlad rhwng Judah, Ephraim, a hanner llwyth Manasseh | 1445 |
| 2560 | Yr arch a'r babell yn cael eu sefydlu yn Siloh, yn llwyth Ephraim | 1444 |
| 2561 | Joshua yn adnewyddu y cyfammod rhwng yr Arglwydd a'r Israeliaid | 1443 |
| | Joshua yn marw yn 110 o flynyddoedd o oedran | |
| | Wedi ei farwolaeth, yr henuriaid yn llywodraethu rhwng deunaw ac ugain mlynedd, ym mha yspaid y digwyddodd y rhyfeloedd rhwng Judah ac Adoni-bezec | |
| | Yn yr aflywodraeth ganlynol y digwyddodd eilun-addoliaeth Micah, a rhyfeloedd y deuddeg llwyth yn erbyn Benjamin, er dial y sarhad a wnaed ar wraig y Lefiad | |
| | Duw yn anfon ei brophwydi yn ofer i ddiwygio yr Israeliaid; ac mewn canlyniad y mae efe yn gadael i'w gelynion eu gorthrymmu | |
| 2591 | I. Darostyngiad yr Israeliaid dwyreiniol dan Cusan-risathaim, brenin Mesopotamia, am wyth mlynedd | 1413 |
| 2599 | Othniel yn eu gwaredu; yn gorchfygu Cusan-risathaim; ac yn barnu y bobl ddeugain mlynedd | 1405 |
| 2661 | II. Darostyngiad yr Israeliaid dwyreiniol dan Eglon, brenin Moab, ynghylch tri ugain a dwy o flynyddoedd wedi heddwch Othniel | 1343 |
| 2679 | Ehud yn eu gwaredu wedi o ddeutu ugain mlynedd | 1323 |
| 2699 | III. Darostyngiad yr Israeliaid dan y Philistiaid. Samgar yn eu gwaredu | 1305 |
| 2719 | IV. Darostyngiad yr Israeliaid dan Jabin, brenin Hazor. Deborah a Barac yn eu gwaredu ym mhen o ddeutu ugain mlynedd | 1285 |
| 2752 | V. Darostyngiad yr Israeliaid dwyreiniol a gogleddol dan y Midianiaid | 1252 |
| 2759 | Gedeon yn gwaredu Israel. Efe yn eu llywodraethu naw mlynedd | 1245 |

Oed y byd. Cyn Crist.

2768 Abimelech, mab Gedeon, yn cael ei wneuthur yn frenin yn Sichem 1236

2771 Abimelech yn cael ei ladd ym mhen y tair blynedd 1233

2772 Tola yn barnu Israel wedi Abimelech, ac yn llywodraethu tair blynedd ar hugain 1232

2795 Jair yn barnu Israel, yn bennaf y tu hwnt i'r Iorddonen. Yn llywodraethu dwy flynedd ar hugain 1210

2799 VI. Y darostyngiad dan y Philistiaid a'r Ammoniaid 1206

2817 Jephtha yn gwaredu yr Israeliaid y tu hwnt i'r Iorddonen 1187

2823 Jephtha yn marw, ac yn cael ei ganlyn gan Ibsan 1182

2830 Ibsan yn marw, ac yn cael ei ganlyn gan Elon 1175

2840 Elon yn marw, ac Abdon yn ei ganlyn 1164

2848 Abdon yn marw, a'r Archoffeiriad Eli yn farnwr ar Israel 1157

VII. Darostyngiad dan y Philistiaid am ddeugain mlynedd

2849 Genedigaeth Samson 1155

2867 Samson yn priodi yn Tinmath 1137

2868 Samson yn llosgi yd y Philistiaid 1136

2887 Samson yn cael ei draddodi i'r Philistiaid gan Dalilah, yn lladd ei hun yn adfail teml Dagon, ynghyd â nifer fawr o'r Philistiaid. Ymddiffynnodd Israel ugain mlynedd, o 2867 hyd 2887 1117

2888 Rhyfel rhwng y Philistiaid a'r Israeliaid. Yr arch yn cael ei chymmeryd gan y Philistiaid. Marwolaeth yr Archoffeiriad Eli,—llywodraethodd Israel 40 mlynedd 1116

Y Philistiaid yn anfon yr arch yn ol gydag anrhegion, ac yn cael ei rhoddi yn Ciriath-jearim

Samuel yn cael ei gydnabod yn ben ac yn farnwr ar Israel am bedair blynedd ar bumtheg ar hugain, neu ddeugain mlynedd.—Buddugoliaeth Israel ar y Philistiaid

2908 Yr Israeliaid yn gofyn brenin gan Samuel 1096

2909 Saul yn cael ei bennodi a'i gyssegru yn frenin 1095

2911 Rhyfel y Philistiaid yn erbyn Saul, yr hwn, wedi iddo anufuddhau gorchymmyn Samuel, sydd yn cael ei wrthod gan Dduw 1093

Buddugoliaeth Jonathan ar y Philistiaid

2919 Genedigaeth Dafydd, mab Jesse 1085

2941 Samuel yn cael ei anfon gan Dduw i Bethlehem i enneinio Dafydd 1063

2942 Rhyfel y Philistiaid yn erbyn Israel.—Dafydd yn lladd Goliath 1062

2943 Saul yn ei eiddigedd yn ceisio lladd Dafydd 1061

2948 Dafydd yn ffoi i wahanol fannau rhag y niwed a fwriedid iddo gan Saul 1056

2949 Rhyfel y Philistiaid yn erbyn Saul.—Saul yn myned at y ddewines o Endor.—Saul yn colli y frwydr, ac yn lladd ei hun 1055

Isboseth, mab Saul, yn cael ei gydnabod yn frenin, ac yn teyrnasu ym Mahanaim, y tu hwnt i'r Iorddonen

Dafydd yn cael ei gydnabod yn frenin Judah, ac yn cael ei gyssegru yr ail waith.—Yn teyrnasu yn Hebron

Oed y byd. Cyn Crist.

2956 Abner yn ymadael âg Isboseth, ac yn dyfod at Dafydd; yn cael ei ladd yn fradwrus gan Joab 1048

Isboseth yn cael ei lofruddio.—Dafydd yn cael ei gydnabod yn frenin ar holl Israel, a'i gyssegru yn Hebron

2957 Jerusalem yn cael ei chymmeryd oddiwrth y Jebusiaid gan Dafydd, yr hwn a'i gwnaeth yn ddinas frenhinol 1047

2959 Dafydd yn dwyn yr arch o Ciriath-jearim i Jerusalem 1045

2960 Dafydd yn amcanu adeiladu teml i'r Arglwydd, ond yn cael ei rwystro gan Nathan y prophwyd 1044

Rhyfeloedd Dafydd yn erbyn y Philistiaid, yn erbyn Hadadezer, yn erbyn Damascus, ac yn erbyn Idumea, yn parhau am o ddeutu chwech mlynedd

2967 Rhyfel Dafydd yn erbyn yr Ammoniaid am eu sarhad ar ei gennadon 1037

2968 Rhyfel Dafydd yn erbyn y Syriaid, y rhai a gynnorthwyasant yr Ammoniaid 1035

2969 Joab yn gwarchae ar Rabbah, prif-ddinas yr Ammoniaid.—Dafydd yn godinebu gyda gwraig Urias.—Cymmeryd Rabbah 1036

2970 Wedi geni mab i Bathsheba, Nathan yn ceryddu Dafydd.—Edifeirwch Dafydd 1034

2971 Genedigaeth Salomon 1033

2981 Gwrthryfel Absalom yn erbyn ei dad Dafydd 1023

Absalom yn cael ei ladd gan Joab

Gwrthryfel Seba mab Bicri yn cael ei ddarostwng gan Joab

2983 Dechreuad y newyn a anfonwyd gan Dduw, i ddial angeu y Gibeoniaid, y rhai yn anghyfiawn a laddwyd gan Saul.—Dibenodd yn 2986 1021

2987 Dafydd yn rhifo y bobl.—Duw yn rhoddi ei ddewis iddo o dri phla 1017

2988 Dafydd yn parottoi at adeiladu y deml ar fynydd Sïon, llawr-dyrnu Arafnah 1016

Rehoboam mab Salomon yn cael ei eni

2989 Abisag y Sunamites yn cael ei rhoddi i Dafydd 1015

Adoniah yn cynnyg am y deyrnas.—Dafydd yn gorchymmyn i Salomon gael ei goroni, yr hwn a wnaethpwyd yn frenin

2990 Dafydd yn marw yn 70 o flynyddoedd o oedran 1014

Salomon yn teyrnasu ei hun, wedi cyd-deyrnasu â'i dad am tua chwech mis

Adoniah yn cael ei ladd.—Abiathar yn cael ei fwrw o'r archoffeiriadaeth.—Sadoc yn cael ei wneuthur yn archoffeiriad; a Joab yn cael ei ladd wrth yr allor

2991 Salomon yn priodi â merch Pharaoh brenin yr Aipht 1013

2992 Hiram brenin Tyrus yn anfon at Salomon i'w gyfarch ar ei esgyniad i'r orsedd.—Salomon yn gofyn iddo am goed a gweithwyr i'w gynnorthwyo i adeiladu y deml 1012

3000 Y deml yn cael gorphen ei hadeiladu, wedi bod saith mlynedd a hanner wrth y gorchwyl 1005

## CYFNOD VI.

### *O adeiladaeth y deml hyd y caethiwed Babilonaidd, yn cynnwys yspaid o 400 o flynyddoedd.*

---

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 3001 | Cyssegriad y deml | 1004 |
| 3012 | Salomon yn gorphen adeiladu ei dŷ ei hun, a thŷ merch Pharaoh | 992 |
| 3026 | Jeroboam yn gwrthryfela yn erbyn Salomon, ac yn ffoi at Sisac brenin yr Aipht | 978 |
| 3029 | Marwolaeth Salomon.—Rehoboam yn esgyn i'r orsedd.—Gwrthryfel y deg llwyth.—Jeroboam fab Nebat yn yn cael ei gydnabod yn frenin y deg llwyth | 975 |

---

| O.B. | C.C. | BRENHINOEDD JUDAH, Am 388 o flynyddoedd. | BRENHINOEDD ISRAEL, Am 254 o flynyddoedd. | O.B. | C.C. |
|---|---|---|---|---|---|
| 3029 | 975 | Rehoboam yn bwriadu darostwng y 10 llwyth, ond yn cael ei orchymmyn i roddi y bwriad heibio. Yn teyrnasu 17 o flynyddoedd | Jeroboam fab Nebat, brenin cyntaf y deg llwyth | 3029 | 957 |
| 3030 | 974 | Yr offeiriaid a'r Lefiaid ynghyd â'r Israeliaid a ofnent yr Arglwydd yn ymadael â theyrnas Israel, ac yn myned i deyrnas Judah | Jeroboam fab Nebat, brenin Israel, yn diddymu addoliad yr Arglwydd, ac yn gosod i fynu y lloi aur. Yn teyrnasu 19 o flynyddoedd | 3030 | 974 |
| 3032 | 972 | Rehoboam yn ymroddi i annuwioldeb | | | |
| 3033 | 971 | Sisac brenin yr Aipht yn dyfod i Jerusalem, ac yn yspeilio y deml a'r brenin | | | |
| 3046 | 958 | Rehoboam yn marw. Abiam yn teyrnasu tair blynedd | | | |
| 3047 | 957 | Buddugoliaeth Abiam ar Jeroboam, yr hwn a gollodd filoedd o'i filwyr | Jeroboam yn cael ei orchfygu gan Abiam; 500,000 o'i filwyr yn cael eu lladd | 3047 | 957 |

| O.B. | C.C. | BRENHINOEDD JUDAH. | BRENHINOEDD ISRAEL. | O.B. | C.C. |
|---|---|---|---|---|---|
| 3049 | 955 | Abiam yn marw. Asa yn teyrnasu yn ei le | Jeroboam yn marw. Nadab yn teyrnasu yn ei le | 3050 | 954 |
| 3053 | 949 | Asa yn diddymu eilun-addoliaeth yn Judah | Nadab yn marw. Baasa yn teyrnasu yn ei le | 3054 | 950 |
| 3055 | 947 | Jehosaphat mab Asa yn cael ei eni | | | |
| 3063 | 941 | Buddugoliaeth Asa ar Zearah brenin Ethiopia, neu wlad Cus | | | |
| 3064 | 942 | Asa yn cael gan Benhadad brenin Syria i dorri mewn i lywodraeth Israel, er peri i Baasa roddi ei orchwyl heibio yn Ramah | Baasa yn adeiladu Ramah, er rhwystro Israel i fyned i Jerusalem. Benhadad yn ymosod ar ei diriogaethau | 3064 | 940 |
| | | | Baasa yn marw. Elah ei fab yn ei ddilyn yn y frenhiniaeth, ac yn teyrnasu ddwy flynedd. | 3074 | 930 |
| | | | Elah yn cael ei ladd gan Zimri, yr hwn a drawsfeddiannodd y deyrnas saith niwrnod | 3075 | 929 |
| | | | Omri yn gwarchae ar Zimri yn Tirzah; a Zimri yn llosgi ei hun yn ei balas | 3075 | 929 |
| | | | Omri yn gorchfygu Tibni, ac yn teyrnasu ei hun yn yr 31 flwyddyn i Asa | 3097 | 925 |
| 3080 | 924 | Jehoram mab Jehosaphat yn cael ei eni | Omri yn adeiladu Samaria, ac yn ei gwneuthur yn orsaf ei lywodraeth | 3080 | 924 |
| 3087 | 917 | Asa yn cael ei drallodi â chloffni, ac yn rhoi ei ymddiried mewn meddygon, ac nid yn Nuw | Omri yn marw | 3096 | 908 |
| | | | Ahab ei fab yn teyrnasu yn ei le ef | | |
| 3090 | 914 | Asa yn marw, wedi teyrnasu 41 mlynedd | Y prophwyd Elias yn nheyrnas Israel | | |
| | | Jehosaphat yn teyrnasu yn lle Asa | Elias yn ymddangos i Ahab, ac yn lladd prophwydi Baal | 3096 | 908 |
| 3092 | 912 | Jehosaphat yn dymchwelyd eilun-addoliaeth | Elias yn enneinio Eliseus | | |

| O.B. | C.C. | BRENHINOEDD JUDAH. | BRENHINOEDD ISRAEL. | O.B. | C.C. |
|---|---|---|---|---|---|
| 3098 | 907 | Ahaziah yn cael ei eni, mab Jehoram ac Athaliah, ac ŵyr Jehosaphat | Benhadad brenin Syria yn gwarchae ar Samaria; ond yn gorfod codi y gwarchae | 3103 | 901 |
| | | | Benhadad yn dychwelyd y flwyddyn ganlynol, ac yn cael ei orchfygu yn Aphec | 3104 | 900 |
| 3106 | 898 | Jehosaphat yn pennodi ei fab Jehoram i fod yn frenin, ac yn ei wneuthur yn rhaglaw | Ahab yn gwneuthur ei fab Ahaziah yn frenin, i gyd-deyrnasu âg ef | 3106 | 898 |
| 3107 | 897 | Jehosaphat yn myned gydag Ahab yn erbyn Ramoth Gilead, ac yn cael ei waredu o'r perygl mwyaf | Ahab yn rhyfela yn erbyn Ramoth Gilead, ac yn cael ei ladd yn yn y frwydr | 3107 | 897 |
| | | | Ahaziah ei hun yn teyrnasu am ddwy flynedd | | |
| 3108 | 896 | Jehosaphat yn gwneuthur llynges er myned i Ophir, ac Ahaziah brenin Israel yn cydweithredu âg ef. Y llynges yn cael ei dinystrio gan dymhestl | Ahaziah yn syrthio trwy ddellt ei dŷ, yn cael ei glwyfo yn llymdost, ac yn marw. Jehoram ei frawd yn teyrnasu yn ei le, ac yn cyhoeddi rhyfel yn erbyn Moab | 3108 | 896 |
| | | Ynghylch yr amser hyn yr ymosododd yr Ammoniaid a'r Moabiaid, ar y rhai y cafwyd buddugoliaeth wyrthiol | Eliseus yn rhagddywedyd am fuddugoliaeth byddin Israel, ac yn caffael digonedd o ddwfr i'r fyddin | | |
| | | Elias yn cael ei symmud o'r byd hwn mewn cerbyd tanllyd | | | |
| 3112 | 892 | Jehosaphat yn gwneuthur ei fab Jehoram yn frenin | | | |
| 3115 | 889 | Jehosaphat yn marw, wedi teyrnasu 25 o flynyddoedd. Jehoram yn ei ddilyn yn y llywodraeth | | | |
| 3116 | 888 | Jehoram, trwy ystryw ei wraig Athaliah, yn dwyn addoliad Baal i Judah | | | |

| O.B. | C.C. | BRENHINOEDD JUDAH. | BRENHINOEDD ISRAEL. | O.B. | C.C |
|---|---|---|---|---|---|
| 3117 | 887 | Jehoram yn cael ei daro gan Dduw âg afiechyd anfeddyginiaethol yn ei ymysgaroedd | | | |
| 3118 | 886 | Jehoram yn gwneud ei fab Ahaziah yn rhaglaw, neu yn gydfrenin âg ef yn y llywodraeth. Jehoram yn marw, wedi teyrnasu pedair blynedd | | | |
| 3119 | 885 | Ahaziah yn teyrnasu un flwyddyn | Samaria yn cael ei gwarchae gan Benhadad brenin Syria. Benhadad a'i fyddin mewn dychryn yn ffoi tua'u gwlad | 3119 | 885 |
| | | Joas neu Jehoas yn cael ei eni. Homer y bardd Groegaidd yn blodeuo | | | |
| 3120 | 884 | Ahaziah yn myned gyda Jehoram brenin Israel i warchae ar Ramoth Gilead | Eliseus yn myned i Damascus, ac yn rhagddywedyd am farwolaeth Benhadad, a theyrnasiad Hazael | 3120 | 884 |
| | | Ahaziah yn cael ei ladd gan Jehu | Jehoram ac Ahaziah yn myned yn erbyn Ramoth Gilead; yn cael ei glwyfo yn llymdost, a'i ddwyn i Jezreel | | |
| | | Athaliah yn lladd yr holl deulu brenhinol, ac yn trawsfeddiannu y llywodraeth. Joas yn cael ei gadw yn ddirgel yn y deml am chwech mlynedd | Jehu yn gwrthryfela yn erbyn Jehoram, ac yn ei ladd. Jehu yn teyrnasu 28 o flynyddoedd | | |
| 3126 | 878 | Jehoiada yr archoffeiriad yn gosod Joas ar orsedd Judah, ac yn lladd Athaliah. Joas yn teyrnasu 40 o flynyddoedd | | | |
| 3140 | 864 | Geni Amaziah mab Joas | | | |
| 3147 | 857 | Joas yn adgyweirio y deml | Jehu yn marw; Jehoahaz ei fab yn esgyn yr orsedd yn ei le, ac yn teyrnasu 17 o flynyddoedd | 3148 | 856 |
| 3164 | 840 | Zechariah yr archoffeiriad, mab Jehoiada, yn cael ei ladd yn y deml drwy orchymmyn Joas | | | |

**BRENHINOEDD JUDAH.**

| O.B. | C.C. | |
|---|---|---|
| 3164 | 840 | Hazael brenin Syria yn rhyfela yn erbyn Joas |
| 3165 | 839 | Hazael yn dychwelyd o ryfela yn erbyn Joas, wedi cael symiau mawrion o arian ganddo |
| | | Joas yn marw, ac Amaziah yn teyrnasu yn ei le ef am 29 o flynyddoedd |
| 3177 | 827 | Amaziah yn rhyfela yn erbyn Idumea |
| 3178 | 826 | Amaziah yn rhyfela yn erbyn Joas brenin Israel, ac yn cael ei orchfygu ganddo |
| | | Uzziah, neu Azariah, mab Amaziah, yn cael ei eni |
| 3194 | 810 | Amaziah yn marw. Uzziah neu Azariah yn teyrnasu yn ei le ef am 52 o flynyddoedd |
| | | Esay ac Amos yn prophwydo yn Judah y pryd hwn |
| 3221 | 783 | Jotham mab Uzziah yn cael ei eni |

**BRENHINOEDD ISRAEL.**

| | O.B. | C. |
|---|---|---|
| Jehoahaz yn marw, a Joas neu Jehoas yn esgyn i'r orsedd | 3165 | 8 |
| Eliseus yn marw | | |
| Hazael brenin Syria yn marw, a Benhadad yn teyrnasu yn ei le ef | 3163 | 8 |
| Jehoas yn rhyfela yn erbyn Benhadad | | |
| Jehoas yn gorchfygu Amaziah brenin Judah | 3178 | 8 |
| Jehoas brenin Israel yn marw, a Jeroboam yr ail yn teyrnasu yn ei le ef am 41 o flynyddoedd | 3179 | 8 |
| Jona, Hosea, ac Amos yn prophwydo yn Israel yn y teyrnasiad hwn | | |
| Jeroboam yr ail yn marw. Zacharias ei fab yn teyrnasu yn ei le ef | | |

Y mae yn anhawdd penderfynu yspaid y bu efe yn teyrnasu ar Israel. mae amseryddiaeth teyrnasiad y br hwn yn dra dyrus. Yn 2 Bren. 15. 8, gosodir marwolaeth Zachariah yn y 3 flwyddyn o Uzziah, yr hyn ni chani i'w deyrnasiad fod dros chwech etto wrth gyfrif yr amser sydd ngweddill hyd derfyn teyrnas Israel, r i'r orsedd fod yn wag o naw i un ar d o flynyddoedd rhwng Jeroboam yr a Zachariah, fel y tybia yr Archesgob U er; neu y mae yn rhaid tybied i Jerob yr ail deyrnasu 51 o flynyddoedd; ne ddechreuodd deyrnasu hyd 3191, ac i derfynu yn 3232, yr hon ydyw blwyd marwolaeth Zachariah.

| | | |
|---|---|---|
| Zachariah yn cael ei ladd gan Shallum, wedi teyrnasu chwe' mis | 3232 | |
| Shallum yn teyrnasu un mis | 3233 | |

| O.B. | C.C. | BRENHINOEDD JUDAH. | BRENHINOEDD ISRAEL. | O.B. | C.C. |
| --- | --- | --- | --- | --- | --- |
| | | | Shallum yn cael ei ladd gan Menahem, yr hwn a deyrnasodd ddeng mlynedd | 3233 | 774 |
| | | | Pul, neu Sardanapalus brenin Assyria, yn dyfod yn erbyn Israel, a Menahem yn gorfod talu teyrnged iddo | | |
| | | | Menahem yn marw, a Phecahiah ei fab yn teyrnasu yn ei le ef | 3243 | 761 |
| 3246 | 758 | Uzziah yn marw, a Jotham ei fab yn teyrnasu yn ei le ef am 16 o flynyddoedd | Pecahiah yn cael ei lofruddio gan Pecah mab Remaliah, ac yn teyrnasu 28 o flynyddoedd | 3245 | 759 |
| | | Esay yn gweled gogoniant yr Arglwydd, ac efe a Hosea yn parhau i brophwydo | Arbaces llywodraethwr Media, a Belesis llywodraethwr Babilonia yn gwarchae ar Sardanapalus yn Ninefeh. Ninefeh yn cael ei chymmeryd wedi gwarchae arni dair blynedd, a Sardanapalus yn llosgi ei hun a'i holl gyfoeth yn ei balas. Arbaces yn cael ei gydnabod yn frenin Media, a Belesis yn frenin Babilon | 3254 | 750 |
| 3261 | 743 | Resin brenin Syria, a Phecah brenin Israel yn ymosod ar Judah | Belesis, neu Baladan, neu Nabonasar, yn sylfeini ymerodraeth Babilon. Cymmerodd hyn le 743 o flynyddau cyn Crist yn ol y cyfrif cywir, a 747 yn ol y cyfrif cyffredin. Ninus yr ieuangaf, yr hwn a elwir yn yr Ysgrythyrau Tiglath-pileser, canlynwr Sardanapalus, yn parhau yr ymerodraeth As- | | |
| 3262 | 742 | Jotham yn marw, ac Ahas yn teyrnasu yn ei le ef am 16 o flynyddoedd | | | |
| | | Resin brenin Syria, a Phecah brenin Israel yn parhau i ryfela yn erbyn Judah | | | |
| | | Esay yn rhagddywedyd wrth Ahas am enedigaeth y Messiah, ynghyd â'i waredig- | | | |

| O.B. | C.C. | BRENHINOEDD JUDAH. | BRENHINOEDD ISRAEL. | O.B. |
|---|---|---|---|---|
| | | aeth fuan oddiwrth ei ddau elyn | syriaidd, ond o fewn terfynau lled gyfyng. Teyrnasodd 19 o flynyddau, ond yn ol rhai 30 o flynyddau | |
| 3263 | 741 | Ond y ddau yn dychwelyd y flwyddyn ganlynol | | |
| 3264 | 740 | Yr Idumeaid a'r Philistiaid yn rhyfela yn erbyn Judah. Ahas yn erfyn cynnorthwyon Tiglath-pileser brenin Assyria, ac yn ymostwng i dalu teyrnged iddo | Tiglath-pileser yn lladd Resin brenin Damascus. Yn myned i wlad Israel, ac yn cymmeryd amryw ddinasoedd a chaethion, yn bennaf o'r Reubeniaid, y Gadiaid, a hanner llwyth Manasseh. Hwn ydoedd caethiwed cyntaf Israel | 3264 |
| | | | Hosea mab Elah yn lladd Pecah, ac yn traws feddiannu y llywodraeth | 3265 |
| | | | Hosea yn teyrnasu yn heddychol am naw mlynedd | 3274 |
| | | | Salmaneser yn canlyn Tiglath-pileser fel brenin Ninefeh | 3276 |
| 3277 | 727 | Ahas yn trosglwyddo yr awdurdod frenhinol i'w fab Hezeciah | | |
| 3278 | 726 | Ahas yn marw. Hezeciah yn adferu addoliad yr Arglwydd yn Judah | | |
| 3279 | 725 | Y bobl yn talu yr hyn oedd arnynt er cynnal yr offeiriaid a'r Lefiaid | Hosea yn gwneuthur cyngrair â So brenin yr Aipht, ac yn ymdrechu ysgwyd ymaith iau Salmaneser | 3279 |
| | | | Salmaneser yn gwarchae ar Samaria, ac yn ei chymmeryd wedi gwarchae arni dair blynedd. Y llwythau a adawyd gan Tiglath-pileser yn cael eu caethgludo a'u dwyn i | |

**BRENHINOEDD JUDAH.**

| O.B. | C.C. | |
|---|---|---|
| 3290 | 714 | Hezeciah yn gwrthryfela yn erbyn yr Assyriaid, ac yn ymgyngreirio â'r Aipht a Cus yn erbyn Sennacherib |
| 3291 | 713 | Sennacherib yn ymosod yn erbyn Hezeciah, ac yn cymmeryd amryw o ddinasoedd Judah. Clafychiad Hezeciah, a'i wellhad gwyrthiol |
| | | Sennacherib yn gwarchae ar Lachish |
| | | Hezeciah yn rhoddi arian i Sennacherib, ond er hyn yn parhau i ryfela yn ei erbyn. Yn anfon Rabshaceh yn erbyn Jerusalem, ac yn myned ei hun yn erbyn Tirhacah brenin Cus. Yn dychwelyd yn ei ol i Judea, ac angel yr Arglwydd yn lladd miloedd lawer o'i filwyr. Yntau yn dychwelyd i Ninefeh, ac yn cael ei ladd yno gan ei feibion ei hun |

**BRENHINOEDD ISRAEL.**

| | O.B. | C.C. |
|---|---|---|
| gaethiwed yn y nawfed flwyddyn o deyrnasiad Hosea, a'r chweched i Hezeciah | 3280 | 724 |
| Ym mhlith y rhai a gaeth-gludwyd y pryd hyn, yr oedd Tobit o lwyth Naphtali | | |
| Terfyn teyrnas Israel, wedi iddi aros dau cant a phedair blynedd ar ddeg a deugain. | | |

## JUDAH YN UNIG.

Esarhàdon yn teyrnasu yn lle Sennacherib 712

Efallai mai o ddeutu yr amser hyn yr anfonodd Baladan, neu Merodach-Baladan, brenin Babilon, gennadau at Hezeciah i'w gyfarch oblegid ei adferiad i iechyd, ac i ymholi ynghylch y wyrth a wnaed yn ei iachad

Micah y Morasiad a Naham yn prophwydo

3293 Tartan yn cael ei anfon gan Esarhàdon yn erbyn y Philistiaid, yr Idumeaid, a'r Aiphtiaid 711

Oed y byd. Cyn

3294 Esarhàdon yn anfon offeiriad Israelaidd at y Cuthiaid a ymsefydlent yn Sichem

3306 Hezeciah yn marw; Manasseh yn ei ganlyn yn y frenhiniaeth, ac yn teyrnasu 55 o flynyddoedd

3323 Esarhàdon yn gorchfygu Babilon, ac yn ail gyssylltu ymerodraethau Assyria a Chaldea

3328 Manasseh yn cael ei gymmeryd gan y Caldeaid, a'i ddwyn i Fabilon

3347 Holobernes yn rhyfela yn erbyn yr Iuddewon, ac yn cael ei ladd gan Judith

3361 Manasseh yn marw. Dychwelodd yn ol i Judea gryn amser cyn hyn, ond ni wyddis yn iawn pa bryd

Amon yn teyrnasu yn ei le ef am ddwy flynedd

3363 Amon yn marw, a Josiah yn teyrnasu yn ei le ef

Zephaniah yn prophwydo yn nechreu y teyrnasiad hwn

3370 Josiah yn puro gwasanaeth yr Arglwydd, ac yn adferu y gwir addoliad

3376 Jeremiah yn dechreu prophwydo, yn y drydedd flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Josiah

3380 Yr archoffeiriad Hilciah yn cael llyfr y gyfraith, yn y ddeunawfed flwyddyn o deyrnasiad Josiah

Arian yn cael eu casglu i adgyweirio y deml

Y brophwydes Haldah yn rhagddywedyd am adfyd Judah

3381 Y pasg yn cael ei gadw gan Josiah a chan yr holl bobl. Joel yn prophwydo dan deyrnasiad Josiah

3394 Josiah yn gwrthwynebu rhyfel-gyrch Necho brenin yr Aipht yn erbyn Carchemish; yn cael ei glwyfo yn farwol, ac yn marw yn Jerusalem. Jeremiah yn cyfansoddi galarnadau ar yr achlysur o'i farwolaeth

Jehoahas yn cael ei osod ar yr orsedd gan y bobl; ond yn nychweliad Necho o Carchemish, rhoes Jehoahas ymaith, ac a ddyrchafodd Eliacim neu Jehoiacim, mab Josiah, i'r orsedd, yr hwn a deyrnasodd un ar ddeg o flynyddoedd

3395 Habaccuc yn prophwydo dan y teyrnasiad hwn

3398 Nebuchodonosor yn gwarchae ar Carchemish, ac yn ei chymmeryd; yn dyfod i Palestina, yn gwarchae ac yn cymmeryd Jerusalem. Yn gadael Jehoiacim yno, ar yr ammod iddo dalu teyrnged fawr. Daniel a'i gymdeithion yn cael eu dwyn yn gaethion i Babilon

3399 Jeremiah yn dechreu ysgrifenu ei brophwydoliaethau

3402 Breuddwyd Nebuchodonosor am y ddelw fawr, a Daniel yn ei ddeongli

3404 Hanes Susanna ym Mabilon

Jehoiacim yn gwrthryfela yn erbyn brenin Babilon, ac yntau yn anfon byddin o Galdeaid, Syriaid, a Moabiaid, i Judea, yr hon a ddinystriodd ddinasoedd y wlad, ac a ddygodd 3023 o Iuddewon i Babilon, yn y seithfed flwyddyn o deyrnasiad Jehoiacim

3405 Cyrus, mab Cambyses, a Mandane, yn cael ei eni

Oed y byd. Cyn Crist.

Jehoiacim yn gwrthryfela yr ail waith yn erbyn Nebuchodonosor; yn cael ei gymmeryd, a'i roddi i farwolaeth, a'i gorph yn cael ei daflu i ehediaid y nefoedd

3406 Jehoiacim, neu Coniah, neu Jeconiah, yn teyrnasu yn ei le ef 598

Nebuchodonosor yn gwarchae arno yn Jerusalem, ac yn ei gymmeryd wedi iddo deyrnasu tri mis a deg diwrnod. Jehoiacim yn cael ei ddwyn i Babilon gyda rhan o'r bobl. Mordecai ym mysg y caethion. Zedeciah ei ewythr yn cael ei adael yn Jerusalem yn ei le, ac yn teyrnasu 11 o flynyddoedd

Zedeciah yn anfon cennadau i Babilon

Jeremiah yn ysgrifenu at y caethion Iuddewig yno

3409 Seraiah a Baruch yn cael eu hanfon gan Zedeciah i Babilon 595

3410 Ezeciel yn dechreu prophwydo yng ngwlad Caldea 594

3411 Ezeciel yn rhag-ddywedyd am wasgariad yr Iuddewon 593

Zedeciah yn cynllunio mesurau dirgelaidd gyda brenin yr Aipht, i wrthryfela yn erbyn y Caldeaid

3414 Zedeciah yn gwrthryfela 590

Nebuchodonosor yn myned yn erbyn Jerusalem,—yn ei gwarchae, ond yn rhoddi y gwarchae heibio er mwyn myned yn erbyn brenin yr Aipht, yr hwn oedd a'i fryd i gynnorthwyo Zedeciah.—Brenin yr Aipht yn cael ei orchfygu, a brenin Babilon yn dychwelyd yn erbyn Jerusalem

Jeremiah yn parhau i brophwydo

3416 Jerusalem yn cael ei chymmeryd ar y nawfed dydd o'r pedwarydd mis, (Gorphenaf,) yn yr unfed flwyddyn ar ddeg o deyrnasiad Zedeciah 588

Zedeciah yn ymdrechu ffoi wedi y nos, ond yn cael ei gymmeryd, a'i ddwyn i Riblah, ger bron Nebuchodonosor; ei lygaid yn cael eu tynnu, ac yntau yn cael ei ddwyn i Babilon

Jerusalem a'r deml yn cael eu llosgi ar y seithfed dydd o'r pedwaredd mis

Yr Iuddewon yn Jerusalem a Judea yn cael eu caethgludo o'r tu hwnt i'r afon Euphrates. Y tlotaf o'r bobl yn cael aros ar ol.

Terfyn llywodraeth Judah, wedi iddi aros bedwar cant ac wyth mlynedd ar hugain, sef o ddechreuad teyrnasiad Dafydd; a thri chant a phedwar ugain mlynedd ac wyth, wedi y rhwyg rhwng Israel a Judah, yn amser Rehoboam, fab Solomon

## CYFNOD VII.

## *O'r Caethiwed Babilonaidd hyd Enedigaeth C yn cynnwys 588 o flynyddoedd.*

---

Oed y byd. Cy

3416 Jeremiah yn rhag-ddywedyd am ddechreuad y deng mlynedd a thrugain o gaethiwed

Gedaliah yn cael ei wneuthur yn llywodraethwr ar wedd ill y bobl.—Yn cael ei ladd

3417 Jeremiah yn cael ei ddwyn gan yr Iuddewon i'r Aipht a ol marwolaeth Gedaliah; yn prophwydo yn yr Aipht (Jer. 44.)

Ezeciel yn Caldea yn prophwydo yn erbyn caethiwe Judah, (Ezec. 33.)

3419 Nebuchodonosor yn gwarchae ar Tyrus am dair blyned ar ddeg. Yn y cyfamser y mae Nebuchodonosor y rhyfela yn erbyn yr Edomiaid, yr Ammoniaid, a' Moabiaid

Obediah yn prophwydo yn erbyn Edom

3432 Cymmeryd Tyrus gan Nebuchodonosor

Nebuchodonosor yn rhyfela yn erbyn yr Aipht

3433 Y mae yn dychwelyd i Babilon

3434 Breuddwyd Nebuchodonosor am y pren mawr

3435 Ei droi yn eidion

3442 Ei adferu i'w gyflwr cyntefig

3444 Y mae yn gosod i fynu ddelw aur i'w haddoli

Tri chydymaith Daniel yn cael eu bwrw i'r ffwrn dân

Nebuchodonosor yn marw, wedi teyrnasu 43 o flynyddau ar ol marwolaeth ei dad, yn 3399

Efil-merodach, ei fab, yn ei ganlyn, ac yn teyrnasu u flwyddyn

3445 Belsassar, ei fab, yn ei ganlyn ef

Gweledigaeth Daniel o'r pedwar bwystfil, (Dan. 7.)

3446 Cyrus yn rhyddhau y Persiaid, ac yn cymmeryd arn enw brenin

3448 Gwledd annuwiol Belsassar.—Ei farwolaeth

Darius, y Mediad, yn teyrnasu un lle Belsassar

3449 Prophwydoliaeth Daniel am y deng wythnos a thrugain

3450 Darius yn cyhoeddi na wneid erfyniadau at un Duw ond atto ei hun

Daniel yn cael ei fwrw i ffau y llewod

Cyrus yn bwriadu dinystr ymerodraeth y Mediaid a'r Caldeaid, yn ymosod ar y Mediaid, ac wedi gorchfygu Astyages, brenin Media, ei ewythr o du ei fam, rhoddodd iddo lywodraeth Hyrcania

3455 Cyrus yn myned yn erbyn Darius, y Mediad, ei ond yn rhyfela yn gyntaf yn erbyn ei gyng yn neillduol yn erbyn Cresus, brenin Lydia

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 3456 | Cyrus yn ymosod ar Babilon, ac yn ei chymmeryd | 548 |
| 3457 | Cyrus yn cyhoeddi rhyddid i'r Iuddewon, ac yn caniattau iddynt ddychwelyd yn ol i Judea. Y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad dros y dwyrain | 547 |
| 3458 | Yr Iuddewon yn dychwelyd o'u caethiwed, ac yn adnewyddu yr aberthau yn y deml | 546 |
| 3475 | Cyrus yn marw yn ddeng mlwydd a thrugain oed | 529 |
| | Cambyses yn teyrnasu yn ei le ef. Y Cuthiaid neu y Samariaid yn cael gwaharddiad i'r Iuddewon fyned ym mlaen âg adeiladaeth y deml | |
| 3478 | Cambyses yn rhyfela yn yr Aipht bum' mlynedd | 526 |
| 3480 | Cambyses yn lladd ei frawd Smerdis | 524 |
| 3483 | Cambyses yn marw | 521 |
| | Y saith Magi yn traws feddiannu yr ymerodraeth. Artacsata, neu Artacsercses, yn gwahardd adeiladu y deml yn Jerusalem | |
| | Saith pennaeth Persia yn lladd y Magi | |
| | Darius, mab Hystaspes, neu Ahasuerus, yn cael ei gydnabod yn frenin y Persiaid, ac yn priodi Atossa, merch Cyrus | 521 |
| 3484 | Haggai yn dechreu prophwydo, ac yn ceryddu yr Iuddewon am beidio adeiladu tŷ yr Arglwydd | 520 |
| 3485 | Yr Iuddewon yn ail ddechreu adeiladu y deml | 519 |
| 3486 | Darius yn caniattau i'r Iuddewon i ail adeiladu y deml | 518 |
| | Y pryd hwn, yn briodol, y darfu y deng mlynedd a thrugain o gaethiwed Judah | |
| 3487 | Gwledd Darius, neu Ahasuerus; efe yn ysgaru Fasti | 517 |
| 3488 | Ahasuerus yn dyweddio Esther | 516 |
| 3489 | Y deml yn cael ei chyssegru | 515 |
| 3495 | Dechreuad llwyddiant Haman | 509 |
| | Haman yn addunedu dinystrio yr holl Iuddewon, ac yn cael gorchymmyn Ahasuerus i'r perwyl hwn | |
| 3496 | Esther yn cael cennad i alw yn ol y gorchymmyn hwn | 508 |
| | Haman yn cael ei grogi ar y crogbren a barottodd ef i Mordecai | |
| | Yr Iuddewon yn cospi eu gelynion yn Susan, a thrwy holl ymerodraeth Persia | |
| 3519 | Darius, neu Ahasuerus, yn marw; Xerxes yn teyrnasu yn ei le ef | 485 |
| 3531 | Xerxes yn marw, ac Artacsercses yn teyrnasu yn ei le ef | 473 |
| 3537 | Xerxes yn anfon Ezra i Jerusalem, gydag amryw o Offeiriaid a Lefiaid | 467 |
| 3538 | Ezra yn diwygio yr Iuddewon | 466 |
| 3550 | Nehemiah yn cael cennad gan Artacsercses i ymweled â Jerusalem, ac i ail adeiladu ei phyrth a'i muriau | 454 |
| | Muriau Jerusalem yn cael eu cyssegru | |
| | Nehemiah yn llwyddo i gael gan amryw deuluoedd ddyfod o'r wlad, ac i fyw yn Jerusalem | |
| 3551 | Yr Israeliaid yn rhoddi heibio eu gwragedd dieithr | 455 |
| | Nehemiah yn adnewyddu cyfammod Israel â'r Arglwydd | |

| Oed y byd. | | Cyn Crist |
|---|---|---|
| 3563 | Nehemiah yn dychwelyd at y brenin Artacsercses | 441 |
| 3561 | Nehemiah yn dychwelyd yr ail waith i Judea | 439 |
| | Zechariah yn prophwydo, ynghyd â Malachi | |
| 3580 | Nehemiah yn marw | 424 |
| | Eliasib, yr archoffeiriad dan Nehemiah, yn cael ei ganlyn yn ei swydd gan Joiadah, yr hwn a ganlynwyd gan Jonathan, yr hwn a laddwyd yn y deml gan Jesus ei frawd. Jonathan yn cael ei ganlyn yn ei swydd gan Jaddus neu Jadduah | |
| 3654 | Artacsercses Ochus yn danfon amryw Iuddewon a gymmerwyd ganddo yn yr Aipht i Hyrcania | 350 |
| 3671 | Alecsander Fawr yn myned i Asia | 333 |
| 3672 | Alecsander yn gwarchae ar Tyrus; yn gofyn cynnorthwyon gan yr archoffeiriad Jaddus, ond Jaddus yn pallu | 332 |
| | Alecsander yn dynesu at Jerusalem; yn dangos parch i'r offeiriad; yn derbyn yr Iuddewon i'w ffafr, ac yn eu rhyddhau oddiwrth dreth bob blwyddyn Sabbathaidd | |
| | Y Samariaid yn cael caniattad gan Alecsander i adeiladu teml ar fynydd Gerrizim | |
| 3673 | Alecsander yn gorchfygu yr Aipht; yn dychwelyd i Phoenisia; yn ceryddu y Samariaid a laddasant Andromachus, eu llywodraethwr; ac yn rhoddi rhan o'u gwlad i'r Iuddewon | 331 |
| 3674 | Marwolaeth Darius Codomanus, brenin diweddaf y Persiaid | 330 |
| 3681 | Alecsander Fawr yn marw. Efe ydoedd frenin cyntaf y Groegiaid yn Asia. Judea yn rhaniad brenhinoedd Syria | 323 |
| 3684 | Ptolemy, mab Lagus, yn gorchfygu Judea, ac yn dwyn amryw o Iuddewon i'r Aipht | 320 |
| 3690 | Antigonus yn cymmeryd Judea oddiwrth Ptolemy | 314 |
| 3692 | Ptolemy, mab Lagus, yn gorchfygu Demetrius, mab Antigonus, yn agos i Gaza, ac yn meddiannu Judea drachefn | 312 |
| | Judea yn dychwelyd dan lywodraeth brenhinoedd Syria | |
| 3727 | Tybir mai ynghylch yr amser hyn y gwnaed cyfieithad y Deg a Thrugain | 277 |
| 3743 | Antiochos Theos brenin Syria yn dechreu teyrnasu, ac yn caniattau i'r Iuddewon freintiau dinasyddol drwy ei holl lywodraethau. Yr archoffeiriad Jaddus yn marw yn 3682, ac Onias I. yn ei ddilyn yn yr archoffeiriadaeth, yr hwn a ddilynwyd yn yr un swydd gan Simon y cyfiawn yn 3702. Bu Simon farw yn 3711, gan adael ar ei ol blentyn, sef Onias II. Gweinyddodd Eleazar, brawd Onias I. yn y swydd archoffeiriadol am o ddeutu deng mlynedd ar hugain. Wedi marwolaeth Eleazar yn 3744, gwnaed Manasseh yn archoffeiriad | 246 |

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| 3771 | Bu Manasseh farw y flwyddyn hon, a rhoed Onias II. yn yr archoffeiriadaeth. Tynnodd wg brenin yr Aipht arno, oblegid iddo beidio talu y deyrnged o ugain talent iddo. Ennillodd Joseph ei nai ffafr y brenin, ac a gymmerodd dan ardreth deyrnged taleithiau Coesol-Syria, Phenisia, Samaria, a Judea | 233 |
| 3783 | Ptolemy Energetes brenin yr Aipht yn marw, a Ptolemy Philopater yn ei ddilyn yn y frenhiniaeth | 221 |
| 3785 | Onias II. yn marw, a Simon II. yn ei ddilyn yn yr archoffeiriadaeth | 219 |
| 3786 | Antiochus Fawr yn rhyfela yn erbyn Ptolemy Philopater | 218 |
| 3787 | Ptolemy Philopater yn gorchfygu Antiochus yn Raphia, yn Syria | 217 |
| | Ptolemy yn cynnyg myned i'r deml yn Jerusalem, ond yn cael ei rwystro gan yr offeiriaid. Ptolemy yn dychwelyd i'r Aipht, ac yn condemnio yr Iuddewon yn ei lywodraethau i gael eu sathru dan draed Elephantiaid | |
| 3788 | Yr Aiphtiaid yn gwrthryfela yn erbyn Ptolemy Philopater, a'r Iuddewon yn cymmeryd ei blaid | 216 |
| 3800 | Ptolemy Philopater yn marw, a Ptolemy Epiphanes, plentyn ieuangc, yn ei ddilyn yn y frenhiniaeth | 204 |
| 3802 | Antiochus Fawr yn gorchfygu Phenisia a Judea | 202 |
| 3805 | Simon II. yn marw, ac Onias III. yn cael ei wneuthur yn archoffeiriad | 199 |
| 3806 | Scopus, cadfridog Ptolemy Epiphanes, yn ail gymmeryd Judea oddiwrth Antiochus | 198 |
| 3807 | Antiochus yn gorchfygu Scopas, ac yn cael ei dderbyn gan yr Iuddewon i Jerusalem | 197 |
| 3812 | Antiochus Fawr yn rhoddi ei ferch Cleopatra mewn priodas i Ptolemy Epiphanes brenin yr Aipht, ac yn rhoddi yn gynnysgaeth iddi Coelo-Syria, Phenisia, Judea, a Samaria | 192 |
| 3815 | Antiochus yn cyhoeddi rhyfel yn erbyn y Rhufeiniaid, yn cael ei hollol orchfygu, ac yn colli rhan fawr o'i deyrnas | 189 |
| 3817 | Antiochus yn marw, ac yn cael ei ganlyn yn y llywodraeth gan Seleucus Philopater | 187 |
| 3828 | Heliodorus, ar orchymmyn Seleucus, yn cynnyg yspeilio y deml, ond yn cael ei rwystro gan angel | 176 |
| | Onias III. yn myned i Antioch i amddiffyn ei hun | |
| | Antiochus, yr hwn a fu yn wystl yn Rhufain, yn cael ei ollwng yn rhydd; yn myned i Syria, ac yn cael ei dderbyn yn llawen gan y Syriaid, a'i gyfenwi Epiphanes | |
| 3829 | Jason, mab Simon II. a brawd Onias III. archoff[illegible] yn prynu yr archoffeiriadaeth gan Antio[illegible] phanes | |
| | Amryw Iuddewon yn ymwrthod âg Iudde[illegible] cofleidio crefydd y Groegiaid | |

Oed y byd. Cyn Crist.

3831 Antiochus Epiphanes yn bwriadu rhyfela yn erbyn Ptolemy Philometor brenin yr Aipht, ac yn cael ei dderbyn gydag anrhydedd mawr yn Jerusalem 173

3834 Menelaus yn cynnyg tri chan' talent o arian am yr archoffeiriadaeth yn fwy nag a roddes Jason am dani, ac yn ei chael gan Antiochus 170

Menelaus yn peidio talu yr arian addawedig, ac yn cael ei ddiswyddo. Lysimachus ei frawd yn cael ei orchymmyn i weinyddu y swydd

Menelaus, wedi ennill Andronicus, llywodraethwr Antioch, o'i blaid, yn absennoldeb Antiochus Epiphanes, yn peri i Onias III. gael ei ladd

Lysimachus yn bwriadu yspeilio y deml yn Jerusalem, ac yn cael ei roddi i farwolaeth yn y deml

Antiochus yn parottoi i ryfela yn erbyn yr Aipht. Rhyfeddodau yn cael eu gweled yn yr awyr uwch ben Jerusalem

Y newydd yn myned ar led bod Antiochus wedi marw yn yr Aipht. Jason yn gwneuthur cynnyg yn erbyn Jerusalem, ond yn aflwyddo

Antiochus yn clywed bod rhai Iuddewon wedi gorfoleddu pan glywsant y newydd am ei farwolaeth, yn yspeilio Jerusalem, ac yn lladd pedwar ugain mil o bobl

3836 Apollonius yn cael ei anfon i Judea gan Antiochus. Efe yn dinystrio muriau Jerusalem, ac yn gorthrymu y bobl yn dost. Yn adeiladu ymddiffynfa ar y bryn yn ymyl y deml, lle yr oedd dinas Dafydd gynt 168

Judas Maccabeus, ynghyd â naw eraill, yn ffoi i'r anialwch

3837 Antiochus Epiphanes yn gyrru allan gyhoeddiad i rwymo ei holl ddeiliaid drwy ei lywodraethau i gydymffurfio â chrefydd y Groegiaid 167

Aberthau y deml yn cael eu rhwystro, a delw Jupiter Olympus yn cael ei gosod ar allor y poeth offrwm

Merthyrdod Eleazar yn Antioch, ynghyd â'r saith brawd Maccabeaidd a'u mam

Mattathias a'i saith mab yn ffoi i'r mynyddoedd. Yr Assideaid yn ymgyssylltu â hwynt

Ynghylch yr amser hyn y blodeuodd Jesus mab Sirach, awdwr llyfr Ecclesiasticus yn yr Apocrypha

3838 Mattathias yn marw, ac yn cael ei ganlyn gan Judas Maccabeus. Judas yn gorchfygu Apollonius, ac wedi hyn Seron 165

3839 Antiochus Epiphanes mewn diffyg arian i dalu y Rhufeiniaid, yn myned i Persia. Nicanor a Georgius, a Ptolemy mab Dorymenes yn myned i Judea gyda eu byddinoedd 165

3339 Judas Maccabeus yn gorchfygu Nicanor. Georgius yn gwrthod ymladd â Judas

3840 Lysias yn dyfod i Judea gyda byddin fawr, yn cael ei orchfygu, ac yn gorfod dychwelyd yn ol i Antioch 164

Oed y byd. Cyn Crist

Judas yn puro y deml, wedi iddi gael ei halogi dri diwrnod gan y Cenhedloedd

Timotheus a Bacchides, cadfridogion y fyddin Syriaidd, yn cael eu gorchfygu gan Judas

Antiochus Epiphanes yn marw yn Persia, a'i fab Antiochus Eupator, naw mlwydd oed, yn ei ddilyn yn y frenhiniaeth, dan raglawiaeth Lysias

Judas yn rhyfela â gelynion ei wlad yn Idumea, a thu hwnt i'r Iorddonen

Timotheus yr ail waith yn cael ei orchfygu gan Judas

3841 Y bobl tu hwnt i'r Iorddonen ac yn Galilea yn cynllunio bradwriaethau yn erbyn yr Iuddewon, ond yn cael eu gorchfygu gan Judas 163

Lysias yn dyfod i Judea, ond yn gorfod gwneuthur heddwch â Judas, ac yn dychwelyd i Antioch

Y cennadwr Rhufeinig yn anfon llythyr at yr Iuddewon, ac yn addaw eu pleidio gyda brenin Syria

Bradwriaethau Joppa a Samaria yn cael eu ceryddu gan Judas

Judas yn rhyfela o'r tu hwnt i'r Iorddonen, ac yn gorchfygu cadfridog y fyddin Syriaidd

Judas yn ymosod yn erbyn Georgius yn Idumea, ac yn ei orchfygu

Antiochus Eupator yn ymosod yn bersonol yn erbyn Judea; yn gwarchae ar Bethshur, ac yn ei chymmeryd; yn gwarchae ar Jerusalem

Phillip, yr hwn a bennodwyd yn rhaglaw gan Antiochus Epiphanes, yn dyfod i Antioch, ac yn llwyddo gyda y brenin i ymheddychu â'r Iuddewon, a dychwelyd yn ei ol i Antioch; ond cyn i'r brenin ddychwelyd, y mae yn myned i Jerusalem, ac yn gorchymmyn tynnu i lawr y mur a adeiladwyd gan Judas er ymddiffyn y deml rhag ymosodiadau y milwyr a gadwent yr ymddiffynfa

3842 Menelaus yr archoffeiriad yn marw, ac yn cael ei ddilyn yn yr archoffeiriadaeth gan Aleimus annuwiol 162

Onias IV. mab Onias III. etifedd cyfreithlon yr archoffeiriadaeth, yn myned i'r Aipht, lle yr adeiladodd Onion

Aleimus yn erfyn ar Demetrius am gael ei adferu i'w swydd

3843 Aleimus yn dychwelyd i Judea gyda Bacchides, ac yn myned i Jerusalem 161

Aleimus yn cael ei ymlid oddiyno, ac yn dychwelyd at Demetrius, yr hwn a bennododd Nicanor i lywyddu byddin i'w gymmeryd yn ol i Judea. Nicanor yn ymheddychu â'r Iuddewon

Aleimus yn cyhuddo Nicanor o fradychu achos y brenin. Demetrius yn gorchymmyn Nicanor i ddwyn Judas atto ef

Oed y byd. Cyn Crist.

Judas yn ymosod ar Nicanor, ac yn lladd pum' mil o'r gelynion

Judas yn cael buddugoliaeth gyflawn ar Nicanor, yn yr hon frwydr y lladdwyd Nicanor

Bacchides ac Alcimus yn cael eu danfon drachefn i Judea

Judas yn ymladd â hwynt; ond wedi cyflawni llawer o orchestion yn cael ei ladd

Jonathan Maccabeus yn cael ei ddewis yn bennaeth ei genedl, ac yn archoffeiriad yn lle Judas

Y cennadau a anfonwyd i Rufain gan Judas yn dychwelyd yn eu hol

Bacchides yn dilyn Jonathan, ond yn methu ei ddal. Yn nofio drwy yr Iorddonen yng ngolwg ei elynion

3844 Alcimus yn marw 160

3864 Jonathan a Simon Maccabeus yn cael ei gwarchae yn Bethbesson. Jonathan yn myned oddiyno, yn cyfodi milwyr, ac yn gorchfygu amryw finteioedd o'r gelynion 158

Simon brawd Jonathan yn gwrthwynebu Bacchides

Jonathan yn cynnyg ammodau heddwch i Bacchides, y rhai a dderbyniwyd

Jonathan yn gwneuthur ei artref yn Micmash, ac yn llywodraethu y bobl

3851 Alecsander Balas, bastardd Antiochus Epiphanes, yn dyfod i Syria, er cael ei gydnabod yn frenin 153

3852 Demetrius Soter, brenin Syria, yn ysgrifenu at Jonathan, i ddeisyf milwyr i'w gynnorthwyo yn erbyn Alecsander Balas. Balas ei hun yn ysgrifenu at Jonathan, âc yn cynnyg ei gyfeillgarwch iddo, ynghyd â'i sicrhau yn yr archoffeiriadaeth 152

Jonathan yn cynnorthwyo Balas, ac yn gweinyddu y swydd archoffeiriadol am y tro cyntaf yn Jerusalem

Demetrius yn ysgrifenu ail lythyr at Jonathan

3854 Demetrius Soter yn marw. Alecsander Balas yn cael ei gydnabod yn frenin Syria 150

Dadl fawr rhwng yr Iuddewon a'r Samariaid Alecsandriaidd ynghylch eu temlau yn Alecsandria

Aristobulus, Iuddew Peripateticaidd, yn blodeuo yn yr Aipht dan deyrnasiad Ptolemy Philopater

Demetrius Nicanor, mab hynaf Demetrius Soter, yn dyfod i Cilicia i adfeddiannu teyrnas ei dad

Apollonius, i'r hwn yr ymddiriedodd Alecsander Balas ei achosion, yn troi at Demetrius Nicanor

Apollonius yn myned yn erbyn Jonathan, ond yn colli y frwydr ac yn cilio ymaith

3858 Ptolemy Philometor, brenin yr Aipht, yn dyfod i Syria, ac yn cymmeryd arno ei fod yn bleidiwr i Alecsander Balas, ond mewn gwirionedd i'r diben o'i ddiorseddu 146

3859 Alecsander Balas yn brwydro â Philometor a Demetrius Nicanor, ond yn ei cholli; yn ffoi at Zabdiel brenin Arabia, yr hwn a dorrodd ei ben ymaith 145

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
|---|---|---|
| | Ptolemy Philometor yn marw yn Syria. Cleopatra, ei frenhines, yn rhoddi llywyddiaeth ei byddin i Onias, Iuddew, mab Onias III. | |
| | Jonathan yn gwarchae ymddiffynfa y Syriaid yn Jerusalem | |
| | Demetrius yn dyfod i Palestina, a Jonathan yn ennill ei ffafr drwy anrhegion | |
| 3860 | Demetrius Nicanor mewn perygl oddiwrth drigolion Antioch; a Jonathan yn anfon milwyr atto, y rhai a'u gwaredasant | 144 |
| | Tryphon yn dwyn Antiochus ieuangc, mab Alecsander Balas, o Arabia, ac yn cael gan y Syriaid ei gadnabod yn frenin. Jonathan yn ei bleidio yn erbyn Demetrius Nicanor | |
| | Jonathan yn adnewyddu y cyngrair â'r Rhufeiniaid a'r Lacedemoniaid | |
| | Jonathan yn cael ei gymmeryd yn fradwrus gan Tryphon yn Ptolemais, ac yn ei roddi i farwolaeth | |
| 3861 | Simon Maccabeus yn canlyn Jonathan yn ei swydd | 143 |
| | Tryphon yn lladd Antiochos Theos y brenin ieuangc, ac yn traws-feddiannu brenhiniaeth Syria | |
| | Simon yn cydnabod Demetrius Nicanor, yr hwn a ddifeddiannwyd o frenhiniaeth Syria, ac yn cael hollol ryddhad i'r Iuddewon ganddo | |
| 3862 | Y fyddin Syriaidd yn rhoddi yr ymddiffynfa i fynu yn Jerusalem | 142 |
| | Simon yn cael ei gydnabod yn archoffeiriad ac yn bennaeth yr Iuddewon mewn cymmanfa fawr yn Jerusalem | |
| 3864 | Antiochus Sidetes, brawd Demetrius Nicanor, yn cael ei gydnabod yn frenin Syria, ac yn cadarnhau yr Iuddewon yn eu breintiau | 140 |
| 3865 | Y cennadau a anfonwyd i Rufain i adnewyddu y cyngrair yn dychwelyd | 139 |
| 3866 | Antiochus Sidetes yn ymrafaelio â Simon, ac yn anfon Cendebeus i Palestina er difrodi y wlad | 138 |
| | Cendebeus yn cael ei orchfygu gan Ioan a Judas, meibion Simon | |
| 3869 | Simon a dau o'i feibion yn cael eu lladd drwy fradwriaeth gan Ptolemy ei fab-yng-nghyfraith, yng nghastell Docus | 135 |
| 3870 | Hyrcanus, neu Ioan Hyrcanus, yn canlyn ei fab Simon | 134 |
| | Antiochus Sidetes yn gwarchae ar Hyrcanus yn Jerusalem | |
| | Hyrcanus yn ymheddychu âg Antiochus | |
| | Hyrcanus yn cael arian ym meddrod Dafydd, neu yn hytrach yn cael gafael yn nhrysorau cuddiedig brenhinoedd Judah | |
| 3873 | Antiochus Sidetus yn myned i ryfela â'r Persiaid. Hyrcanus yn myned gydag ef | 131 |
| | Antiochus yn cael ei orchfygu a'i ladd | |

Oed y byd. Cyn Crist.

3874 Hyrcanus yn ysgwyd ymaith iau brenhinoedd Syria; yn gosod yr Iuddewon mewn rhyddid; ac yn cymmeryd amryw ddinasoedd yn Syria 130

3875 Hyrcanus yn ymosod yn erbyn yr Idumeaid, ac yn peri iddynt dderbyn yr enwaediad 129

3877 Hyrcanus yn anfon cennadau i Rufain 127

3894 Hyrcanus yn gwarchae ar Samaria, ac yn ei chymmeryd 110

3895 Hyrcanus yn marw, wedi teyrnasu 29 o flynyddoedd 109

3898 O gylch y pryd hwn y tybir i Sectau y Phariseaid, y Saduceaid, a'r Esseniaid, gyfodi, ond nid oes wybodaeth sicr 106

Judas, yr hwn a elwid hefyd Aristobulus, neu Philellen, yn dilyn Hyrcanus yn ei awdurdod, ac yn cyssylltu ei frawd Antigonus gydag ef yn y llywodraeth. Yn gadael ei frodyr eraill a'i fam mewu rhwymau. Ei fam yn newynu yn y carchar. Antigonus yn gwisgo y goron, ac yn cymmeryd yr enw brenin am un flwyddyn. Aristobulus yn cyhoeddi rhyfel yn erbyn yr Itureaid. Antigonus ei frawd yn eu gorchfygu, ac yn cymmeryd eu henwaedu. Antigonus yn cael ei ladd wedi iddo ddychwelyd drwy orchymmyn ei frawd Aristobulus

3899 Aristobulus yn marw, wedi teyrnasu un flwyddyn. Alecsander Janneus yn ei ddilyn yn ei awdurdod. Yn ymosod yn erbyn Ptolemais, ond yn cilio wedi iddo glywed bod Ptolemy Lathurus yn dyfod i'w gynnorthwyo 105

3900 Ptolemy Lathurus yn gorchfygu Alecsander, brenin yr Iuddewon, wedi brwydr waedlyd 104

3901 Cleopatra, brenhines yr Aipht, yn ofni i Lathurus achosi terfysg yn yr Aipht, yn anfon cymmorth i'r Iuddewon yn ei erbyn. Ptolemais yn cael ei chymmeryd gan ei lluoedd 103

3902 Alecsander Janneus, brenin yr Iuddewon, yn gwneuthur cynghrair â Cleopatra 102

3906 Alecsander yn ymosod ar Gaza; yn ei chymmeryd, ac yn ei dinystrio 98

3907 Yr Iuddewon yn gwrthryfela yn erbyn Alecsander, ond yn cael eu gorchfygu ganddo 97

Yr Iuddewon yn rhyfela drachefn yn erbyn Alecsander am chwech mlynedd, ac yn gwahodd Demetrius Eucerus, brenin Syria, i'w cynnorthwyo.

Alecsander yn colli y frwydr, ond yn ymheddychu â'i ddeiliaid

3919 Antiochus Dionysius, brenin Syria, yn ymosod yn erbyn Judea, ond yn cael ei ladd yn ei ymgyrch yn erbyn yr Arabiaid 85

3920 Alecsander Janneus yn cymmeryd dinasoedd Dion, Gerasa, Gaulon, a Seleusia 84

3926 Alecsander Janneus yn marw, yn naw a deugain oed 78

Oed y byd. Cyn Crist.

Alecsandra, neu Salome, ei frenhines, yn ei ddilyn yn ei awdurdod; yn ennill y Phariseaid o'i phlaid, ac yn teyrnasu naw mlynedd

3933 Aristobulus II. mab Alecsander Janneus, yn llywyddu byddinoedd ei dad, oblegid ei anfoddlonrwydd i lywodraeth ei fam a'r Phariseaid 71

3934 Aristobulus yn cymmeryd meddiant o amryw ddinasoedd yn Judea yn amser afiechyd ei fam 70

3935 Alecsandra yn marw, a Hyrcanus ei mhab hynaf, brawd Aristobulus, yn cael ei gydnabod yn frenin. Yn teyrnasu yn heddychol ddwy flynedd 69

Brwydr rhwng Hyrcanus ac Aristobulus. Hyrcanus yn cael ei orchfygu yn agos i Jericho

3938 Heddwch yn cael ei wneuthur rhwng y brodyr, ar yr ammod i Hyrcanus fyw yn llonydd, ac i Aristobulus gael ei gydnabod yn frenin ac yn offeiriad. Ac felly wedi i Hyrcanus deyrnasu dair blynedd a thri mis, yn rhoddi y llywodraeth i Aristobulus II. yr hwn yntau a deyrnasodd dair blynedd a thri mis 66

3939 Hyrcanus yn ymofyn nodded gan frenin yr Arabiaid 65

Aretas yn addaw ail osod Hyrcanus ar yr orsedd

Aristobulus yn cael ei orchfygu, ac yn cael ei osod dan yr angenrheidrwydd o gauad ei hun i fynu yn Jerusalem

Aristobulus yn gyrru yn gyntaf at Gabinus, ac wedi hynny at Scaurus, y rhai a anfonwyd gan Pompey i Syria, ac yn addaw symiau mawrion iddynt os gwnaent i Aretas gyfodi gwarchae y deml

Scaurus yn ysgrifenu at Aretas, ac yn bygwth rhyfela yn ei erbyn, a'i gyhoeddi yn elyn i Rufain oni elai efe ymaith

Aretas yn ymadael, ac Aristobulus yn myned ar ei ol, yn ymladd âg ef, ac yn cael buddugoliaeth arno

3940 Pompey yn dyfod i Damascus, ac yn gorchymmyn i Aristobulus a Hyrcanus ymddangos ger ei fron ef. Cynghorodd y ddau frawd i fyw mewn heddwch â'u gilydd 64

3941 Aristobulus yn myned i Jerusalem, ac yn cadarnhau y ddinas yn erbyn Pompey, yr hwn a warchaeai arni. Y ddinas a'r deml yn cael eu cymmeryd. Aristobulus yn cael ei gymmeryd yn garcharor, ac Hyrcanus yn cael ei wneuthur yn archoffeiriad ac yn dywysog y bobl. Judea yn cael ei gosod o fewn i'w hen derfynau, ac yn gorfod talu teyrnged i'r Rhufeiniaid 63

Alecsander, mab Aristobulus, yn diengyd o ofal ei warcheidwyr, y rhai a'i dygent i Rufain, yn dychwelyd i Judea, ac yn cyfodi milwyr

*Diwedd Teyrnas Syria.*

Oed y byd. Cyn Crist.

3941 Augustus, wedi hynny ymerawdwr Rhufain, yn cael ei eni 63

3947 Gabinus, cadfridog Rhufeinig, yn gorchfygu Alecsander, ac yn gwarchae arno yng nghastell Alecsandrion. Alecsander yn rhoddi ei hun i fynu, ynghyd â'i holl ymddiffynfeydd 57

3948 Aristobulus yn diengyd o Rufain, ac yn dychwelyd o Judea, ac yn ymdrechu adgyweirio castell Alecsandrion. Yn cael ei rwystro gan y Rhufeiniaid, y rhai a yrrasant ei fyddin ar encil. Aristobulus yn ffoi i Machaeron, gydag amcan i'w chadarnhau; ond gwarchaewyd arno yn fuan yno, a chymmerwyd ef, ac efe a anfonwyd yr ail waith i Rufain yn garcharor 56

3949 Ptolemy Auletes, brenin yr Aipht, trwy roddi arian i Gabinus, yn cael ganddo ddyfod i'r Aipht i'w adferu i'w orsedd. Ioan Hyrcanus yn parottoi angenrheidiau i fyddin Gabinus, ac yn ysgrifenu at yr Iuddewon yn Pelasium, i fod yn ffafriol i'r fyddin Rufeinig 55

3950 Crassus yn canlyn Gabinus yn llywodraeth Syria 54

Crassus yn rhyfela yn erbyn y Parthiaid

3951 Crassus yn dyfod i Jerusalem, ac yn cymmeryd trysorau o'r deml. Crassus yn myned yn erbyn y Parthiaid, yn cael ei orchfygu a'i ladd gan Orodes 53

3952 Cassius yn dyfod â gweddill y fyddin Rufeinig dros yr Euphrates; yn cymmeryd Tirpacah, ac yn dyfod â deng mil ar hugain o Iuddewon caethion oddi yno 52

Rhyfel gwladol rhwng Cæsar a Pompey

3955 Julius Cæsar yn gwneuthur ei hun yn ben yn Rhufain, yn rhoddi Aristobulus mewn rhyddid, ac yn ei anfon gyda dwy long i Syria 49

Plaid Pompey yn gwenwyno Aristobulus

Scipio yn lladd Alecsander ieuangc, mab Aristobulus

Brwydr Pharsalia. Antipater yn llywodraethwr Judea

Llyfrgell fawr Alecsandria yn cael ei llosgi

3957 Antipater, trwy orchymmyn Hyrcanus, yn ymgyssylltu â Mithridates, yr hwn oedd yn myned i'r Aipht âg adgyfnerthion i Cæsar, ac yn ei gynnorthwyo i ddarostwng yr Aiphtiaid 47

Cæsar, wedi gorphen y rhyfel yn yr Aipht, yn dyfod i Syria, ac yn cadarnhau Hyrcanus yn yr arch-offeiriadaeth

Antigonus, mab Aristobulus, yn achwyn yn erbyn Hyrcanus wrth Cæsar, ond yn methu gwneuthur niweid iddo

Antipater yn cymmeryd cyfleusdra oddiwrth ddiogi Hyrcanus; yn gwneuthur ei fab hynaf, Phazael, yn llywodraethwr Jerusalem, a Herod, un o'i feibion eraill, yn llywodraethwr Galilea

Herod yn cael ei alw i Jerusalem i roddi cyfrif am ei ymddygiad, ond yn ystyried ei hun mewn perygl o gael ei gondemio, yn rhoddi ei lywodraeth heibio

Oed y byd. Cyn Crist.

3457 Hillel a Shammai, dau Rabbin enwog, yn blodeuo ynghylch yr amser hyn. Shammai ydoedd athraw i Hillel. Jonathan mab Uzziel, awdwr yr aralleiriad Caldeaidd, ydoedd ddisgybl i Hillel. Dyweda Josephus mai Pollio ydoedd athraw Shammai. Dyweda Jerome mai Akiba a ganlynodd Shammai a Hillel yn ysgol yr Hebreaid 47

Cæsar yn myned drosodd i Affrica. Cato yn lladd ei hun yn Utica

3959 Hyrcanus yn anfon cennadau at Julius Cæsar i adnewyddu y cyngrair rhwng yr Iuddewon a'r Rhufeiniaid 45

3960 Wedi marwolaeth Julius Cæsar, cyflwynir y cennadau Iuddewig i Senedd Rhufain, lle y rhoddir iddynt eu dymuniad 44

Iuddewon Asia yn cael eu cadarnhau yn eu breintiau o beidio cael gwasanaethu yn y rhyfeloedd

3961 Cassius yn gorchymmyn am saith mil o dalentau allan o Judea. Malchus yn peri i Antipater gael ei wenwyno 43

Herod yn peri i Malchus gael ei ladd, er dial marwolaeth ei dad Antipater

3962 Felix, wedi iddo ymosod ar Phazael, yn cael ei gau i fynu mewn tŵr, ond ar ammodau yn cael ei ryddhau 42

Herod a Phazael yn detrarchiaid Judea

3963 Antigonus II. mab Aristobulus, yn casglu byddin ac yn myned i Judea 41

Herod yn gorchfygu Antigonus mewn brwydr

Marc Anthony yn dyfod i Bythinia, a rhai Iuddewon yn myned atto, gan gyhuddo Herod a Phazael o'i flaen; ond Herod yn dyfod yno, ac yn ennill serchiadau ac ewyllys da Anthony

Marc Anthony yn Ephesus, yn caniattau breintiau eu cenedl i'r Iuddewon hynny a gymmerwyd yn gaethion gan Cassius, ond yn adferu eu tiroedd i'r rhai hynny oddiwrth ba rai y cymmerwyd hwynt yn anghyfreithlon

Marc Anthony yn dyfod i Antioch, a rhai o'r Iuddewon pennaf yn cyhuddo Herod a Phazael o'i flaen; ond yn lle eu gwrando, cadarnhaodd y ddau frawd yn eu swyddau o detrarchiaid yn Judea

Anfonodd yr Iuddewon drachefn fil o'u gwyr pennaf at Marc Anthony pan yn Tyrus, ond yn ofer

3964 Antigonus, mab Aristobulus, yn cael gan y Parthiaid at osod ar orsedd Judea. Y Parthiaid yn cymmeryd Hyrcanus a Phazael, ac yn eu rhoddi i fynu i Antigonus 40

Phazael yn lladd ei hunan; a'r Parthiaid yn cludo Hyrcanus o'r tu hwnt i'r Euphrates, wedi i Antigonus dorri ymaith ei glustiau

Herod yn gorfod ffoi i Jerusalem, ac oddiyno i Rufain, i erfyn am gynnorthwyon gan Anthony

Oed y byd. Cyn Crist.

3964 Herod yn cael teyrnas Judea gan y Senedd, ac yn dychwelyd â llythyrau gydag ef oddiwrth Anthony, yn gorchymmyn i lywodraethwyr Syria ei gynnorthwyo i ennill ei deyrnas 40

3965 Herod yn cymmeryd Joppa, ac wedi hynny yn myned i Massada, lle yr oedd Antigonus yn gwarchae ar Joseph, brawd Herod 39

Herod yn cyfodi y gwarchae hwnnw, ac yn myned tua Jerusalem, ond y tymmor yn rhy ddiweddar i warchae ar y ddinas

Herod yn cymmeryd yr yspeilwyr a ymguddient yn ogofeydd Galilea, ac yn eu lladd

Macherus, cadpen Rhufeinig, a Joseph brawd Herod, yn dwyn y rhyfel ym mlaen yn erbyn Antigonus. Herod yn myned â byddinoedd at Anthony, yr hwn ydoedd yn gwarchae ar Semosata

3966 Wedi cymmeryd Samosata, yn anfon Anthony Socius gyda Herod i Judea, er mwyn darostwng y wlad 38

3967 Wedi amryw frwydrau, aeth Herod i Jerusalem; y ddinas yn cael ei chymmeryd; Antigonus yn rhoddi ei hun i fynu i Sosius, yr hwn a'i ammharcha 37

Antigonus yn cael ei ddwyn yn garcharor at Anthony i Antioch, yr hwn a orchymmyna ar fod i'w ben gael ei dorri ymaith. Terfyn teyrnasiad yr Asmoneaid, yr hon a barhaodd am 126 o flynyddoedd

Ananel am y waith gyntaf yn archoffeiriad

3968 Brenin y Parthiaid yn ymddwyn yn hynaws at Hyrcanus, ac yn cael caniattad i ddychwelyd i Judea 36

3969 Alecsandra, mam Mariamne ac Aristobulus, yn cael gan Herod wneuthur Aristobulus yn archoffeiriad 35

3970 Herod yn gorchymmyn boddi Aristobulus, wedi iddo fod yn archoffeiriad un flwyddyn 34

Ananel yn cael ei wneuthur yn archoffeiriad yr ail waith

Anthony yn anfon am Herod, er mwyn cyfiawnhau ei hun mewn perthynas i farwolaeth Aristobulus

Rhyfel rhwng Augustus a Marc Anthony. Herod yn pleidio Anthony

3973 Rhyfeloedd Herod a'r Arabiaid 31

Daear-gryn mawr yn Judea

Brwydr Actium. Augustus yn ennill y frwydr ar Anthony

Herod yn dala Hyrcanus, ac yn ei roddi i farwolaeth

3974 Herod yn myned i Rufain i wneuthur ei foes i Augustus, ac yn cael ei gadarnhau yn frenin Judea 30

Anthony a Cleopatra yn lladd eu hunain

Terfyn teyrnasiad brenhinoedd Alecsandria, 294 o flynyddoedd wedi marwolaeth Alecsander Fawr

3975 Augustus yn dyfod i Syria, yn myned drwy Palestina, ac yn cael ei roesawu yn anrhydeddus gan Herod 29

3976 Herod yn rhoddi ei wraig Mariamne i farwolaeth 28

3978 Salome, chwaer Herod, yn ymysgaru oddiwrth Costobarus 26

| Oed y byd. | | Cyn Crist. |
| --- | --- | --- |
| 3979 | Pla a newyn yn Judea | 25 |
| 3982 | Herod yn adeiladu teiau croes i'r grefydd Iuddewig | 22 |
| 3983 | Agrippa, cyfaill Augustus, yn dyfod i Asia, a Herod yn ymweled âg ef | 21 |
| 3984 | Augustus yn rhoddi Trachonitus i Herod | 20 |
| 3985 | Herod yn myned i ail adeiladu teml Jerusalem | 19 |
| 3988 | Herod yn myned i Rufain at Augustus | 16 |
| 3989 | Dau fab Herod, Alecsander ac Aristobulus, yn priodi | 15 |
| 3990 | Herod yn dyfod i gyfarfod âg Agrippa, ac yn cael ganddo ddyfod i Jerusalem | 14 |
| 3991 | Rhaniadau teuluaidd yn nheulu Herod | 13 |
| 3995 | Herod yn myned i Rufain, ac yn cyhuddo ei ddau fab, Alecsander ac Aristobulus, wrth Augustus | 11 |
| 3994 | Herod yn cyssegru Cesarea mewn anrhydedd i Augustus | 10 |
| 3995 | Augustus yn parhau i adael i Iuddewon Alecsandria fwynhau eu hen freintiau | 9 |
| | Herod yn gorchymmyn agor beddrod Dafydd er mwyn cael trysorau | |
| | Ymrafaelion newyddion yn nheulu Herod | |
| 3996 | Archelaus, brenin Cappadocia, yn cymmodi ei fab-yngnghyfraith, Alecsander, â'i dad Herod | 8 |
| | Archelaus yn myned i Rufain gyda Herod | |
| 3997 | Herod yn myned i ryfel â'r Arabiaid | 7 |
| 3998 | Herod yn cael ei gyhuddo o flaen Augustus o ladd llawer o'r Arabiaid | 6 |
| | Angel yn ymddangos i Zecharias. Cenhedliad Ioan Fedyddiwr | |
| 3999 | Cyhoeddiad o gnawdoliaeth Mab Duw wrth Mair Forwyn, Mawrth 25 | 5 |
| | Herod yn condemnio ac yn lladd ei ddau fab, Alecsander ac Aristobulus | |
| | Antipater, mab Herod, yn cynnyg am y llywodraeth | |
| | Herod yn anfon Antipater i Rufain | |
| | Cynllwynion Antipater yn dyfod i'r amlwg | |
| | Genedigaeth Ioan Fedyddiwr, chwech mis cyn genedigaeth Crist | |
| 4000 | Genedigaeth ein Harglwydd a'n Hiachawdwr Iesu Grist, bedair blynedd cyn gwir flwyddyn yr Arglwydd | 4 |

## CYFNOD VIII.

## *O Enedigaeth Crist hyd gwblhad Canon y Testament Newydd.*

---

| | | Bl. Argl. | Cyf. Cyff. |
|---|---|---|---|
| 4001 | Enwaediad Iesu Grist | 1 | |
| | Antipater yn dychwelyd o Rufain; yn cael ei gyhuddo a'i gondemnio am amcanu gwenwyno Herod | | |
| | Y doethion o'r dwyrain yn dyfod i addoli Crist | | |
| | Crist yn cael ei gyflwyno yn y deml | | |
| | Y ffoedigaeth i'r Aipht | | |
| | Babanod Bethlehem yn cael eu lladd | | |
| | Antipater yn cael ei roddi i farwolaeth drwy orchymmyn Herod | | |
| | Herod yn marw bum' diwrnod ar ol Antipater | | |
| | Archelaus yn cael ei bennodi yn frenin Judea yn ewyllys Herod | | |
| | Archelaus yn myned i Rufain er ennill ffafr Augustus | | |
| | Yr Iuddewon yn gwrthryfela. Varus yn eu darostwng | | |
| | Archelaus yn cael rhan o frenhiniaeth ei dad, ynghyd â'r enw Tetrach, ac yn dychwelyd i Judea | | |
| | Twyllwr yn cymmeryd arno mai efe oedd Alecsander, mab Herod | | |
| 4002 | Archelaus yn cymmeryd yr archoffeiriadaeth oddiwrth Joazar, ac yn ei rhoddi i Eleazar | 2 | |
| 4004 | Y cyfrif cyffredin, neu flwyddyn yr Arglwydd, ond y bedwaredd o oed Crist | 4 | 1 |
| 4009 | Archelaus yn cael ei alldudio i Vienne, yn Gaul | 9 | 6 |
| 4010 | Y trethiad a wnaed gan Cyrenius yn Syria, sef yr ail | 10 | 7 |
| | Gwrthryfel Judas y Gauloniad, pennaeth yr Herodaniaid | | |
| 4012 | Iesu Grist yn ddeuddeg oed yn myned i'r deml yn Jerusalem | 12 | 9 |
| 4013 | Marcus Ambivius yn llywodraethwr Judea | 13 | 10 |
| 4017 | Marwolaeth yr ymerawdwr Augustus. Teyrnasodd 57 o flynyddoedd, 5 mis, a 4 diwrnod | 17 | 14 |
| | Tiberius yn ei ddilyn yn yr ymerodraeth | | |
| 4023 | Tiberius yn anfon o'r Eidal bawb a broffesent y grefydd Iuddewig, neu goel-grefydd yr Aiphtiaid | 23 | 20 |
| 4031 | Pilat yn cael ei anfon yn llywodraethwr Judea | 31 | 28 |
| | Pilat yn ymdrechu dwyn y llummanau Iuddewig i Jerusalem, ond yn cael ei rwystro gan y bobl | | |
| 4032 | Ioan Fedyddiwr yn dechreu pregethu | 32 | 29 |
| 4033 | Iesu Grist yn cael ei fedyddio gan Ioan Fedyddiwr | 33 | 30 |

| Oed y byd. | | B.A. | C.C. |
|---|---|---|---|
| 4033 | Crist yn myned i'r anialwch | 33 | 30 |
| | Wedi deugain diwrnod, yn dychwelyd, ac yn galw Andreas, Simon, Philip, a Nathanael | | |
| | Y briodas yn Cana Galilea | | |
| | Crist yn dyfod i Capernaum, ac oddi yno i Jerusalem lle y gweinyddodd efe y Pasg cyntaf wedi ei fedydd | | |
| | Nicodemus yn dyfod at Grist wedi'r nos | | |
| | Herod Antipas yn priodi Herodias, gwraig ei frawd Philip, a Philip yn fyw | | |
| | Ioan Fedyddiwr yn cyhoeddi yn erbyn y briodas hon ac yn cael ei fwrw i garchar | | |
| | Crist yn myned i Galilea, ac yn argyhoeddi y wraig o Samaria, ynghyd â rhai Samariaid eraill | | |
| | Crist yn pregethu yn Nazareth, ac yn gadael y ddinas honno, ac yn preswylio yn Capernaum | | |
| | Yr Iesu yn gwneuthur llawer iawn o wyrthiau | | |
| | Matthew yn cael ei alw | | |
| 4034 | Yr ail Basg wedi gweinidogaeth gyhoeddus Crist | 34 | 31 |
| | Crist yn gwella y claf o'r parlys ar y dydd Sabbath | | |
| | Yr Iuddewon yn penderfynu gosod Crist i farwolaeth | | |
| | Pregeth Crist ar y mynydd | | |
| | Ioan Fedyddiwr yn anfon cennadwri at Grist | | |
| 4035 | Cennadiaethau yr apostolion i amrywiol barthau Judea | 35 | 32 |
| | Ioan Fedyddiwr yn cael ei ladd drwy orchymmyn Herod | | |
| | Crist yn porthi pum' mil â phum' torth a dau bysgodyn | | |
| | Y trydydd Pasg wedi bedydd yr Arglwydd Iesu Grist | | |
| | Crist yn myned drwy Judea a Galilea, yn dysgu ac yn gwneuthur gwyrthiau | | |
| | Gwedd-newidiad Crist | | |
| | Cennadiaeth y deuddeg disgybl a thrugain | | |
| | Crist yn myned i Jerusalem i ŵyl y Pentecost | | |
| 4036 | Lazarus yn myned yn glaf ac yn marw, a'r Iesu yn ei adgyfodi oddiwrth y meirw | 36 | 33 |
| | Crist yn myned tuag Ephraim ar yr Iorddonen, er diangc rhag rhwydau yr Iuddewon | | |
| | Crist yn dyfod i Jerusalem, ac yn bresennol ar y pedwerydd pasg, neu y diweddaf cyn ei farwolaeth | | |
| | Crist yn sefydlu yr ordinhad o Swper yr Arglwydd; yn cael ei fradychu, a'i groeshoelio. Ei adgyfodiad a'i ymddangosiad i lawer. Ei esgyniad i'r nefoedd, a thywalltiad yr Yspryd Glân | | |
| 4037 | Y saith diacon yn cael eu dewis | 37 | 34 |
| | Stephan yn cael ei ferthyru | | |
| | Saul yn erlid yr eglwysi | | |
| | Iago y lleiaf yn cael ei wneuthur yn esgob yn Jerusalem | | |
| | Philip y diacon yn bedyddio eunuch y frenhines Candace | | |

| Oed y byd. | | B.A. | C.C. |
|---|---|---|---|
| | Gwasgariad yr apostolion o Jerusalem | | |
| 4038 | Argyhoeddiad Saul | 38 | 35 |
| | Matthew yn ysgrifenu ei Efengyl y flwyddyn hon neu y nesaf | | |
| 4040 | Pilate yn cael ei orchymmyn i'r Eidal | 40 | 37 |
| | Tiberius yn marw. Caius Caligula yn cael ei wneuthur yn ymerawdwr | | |
| 4041 | Paul yn diengyd o Damascus | 41 | 38 |
| | Paul yn dyfod i Jerusalem, ac yn myned oddiyno i Tarsus yn Cilicia | | |
| | Caligula yn rhoddi tetrarchaeth Philip i Agrippa | | |
| | Pilate yn lladd ei hun | | |
| 4042 | Herod y tetrarch yn myned i Rufain, mewn gobaith o gael rhyw ffafr gan yr ymerawdwr; ond yn cael ei alltudio i Lyons gan Caligula | 42 | 39 |
| 4043 | Caligula yn gorchymmyn i Pendronius osod ei ddelw ef i fynu yn y deml yn Jerusalem | 43 | 40 |
| | Agrippa yn cael gan yr ymerawdwr roddi y bwriad heibio | | |
| | Philo yr Iuddew yn myned gydag eraill o Alecsandria at Caligula | | |
| 4044 | Philo yn cael gwrandawiad gan yr ymerawdwr, er yn peryglu ei fywyd wrth hynny | 44 | 41 |
| | Yr Iuddewon yn ymadael â Babilon, ac yn myned i Seleucia | | |
| | Caius Caligula yn marw. Claudius yn ei ddilyn yn yr ymerodraeth. Claudius yn rhoddi Samaria a Judea at lywodraethau Agrippa | | |
| | Agrippa yn dychwelyd i Judea; yn cymmeryd yr archoffeiriadaeth oddiwrth Theophilus mab Ananus, ac yn ei rhoddi i Simon Cantharus; yn ei chymmeryd drachefn oddiwrth Cantharus, ac yn ei rhoddi i Matthias | | |
| 4045 | Saul yn pregethu yn Antioch | 45 | 42 |
| 4046 | Agrippa yn cymmeryd yr archoffeiriadaeth oddiwrth Matthias, ac yn ei rhoddi i Elioneus mab Citheus | 46 | 43 |
| 4047 | Agrippa yn torri pen Iago y mwyaf | 47 | 44 |
| | Agrippa yn carcharu Pedr, ac angel yn ei ryddhau | | |
| | Agrippa yn cael ei daro gan Dduw, ac yn marw | | |
| | Paul a Barnabas yn myned i Jerusalem | | |
| | Paul a Barnabas yn dychwelyd i Antioch o Jerusalem, ac yn myned i bregethu i blith y Cenhedloedd | | |
| 4048 | Caspius Fadus yn cael ei osod yn llywodraethwr ar Judea | 48 | 45 |
| | Newyn mawr yn Judea | | |
| | Paul a Barnabas yn myned i Cyprus; ac oddi yno i Pamphylia, Pisidia, a Lycaonia | | |
| | Y bobl yn myned i aberthu i Paul a Silas yn Lystra | | |
| 4049 | Paul a Silas yn dychwelyd i Antioch | 49 | 46 |
| | Caspius Fadus yn cael ei alw o Judea, a'r llywodraeth yn cael ei rhoddi i Tiberius Alecsander | | |

| Oed y byd. | | B.A. | C.C. |
|---|---|---|---|
| 4051 | Herod brenin Chalcis yn cymmeryd yr archoffeiriadaeth oddiwrth Joseph mab Camides, ac yn ei rhoddi i Ananias mab Nebedeus | 51 | 48 |
| | Herod brenin Chalcis yn marw | | |
| 4051 | Ventidius Cumanus yn cael ei wneuthur yn llywodraethwr Judea yn lle Tiberius Alecsander | | |
| 4052 | Trallodion yn Judea dan Ventidius Cumanus | 52 | 49 |
| | Yr Iuddewon Cristionogol yn ymdrechu gosod y Cenhedloedd Cristionogol dan ddeddf Moses | | |
| | Y Cynghor yn Jerusalem yn cael ei gynnal, a phenderfyniad yn cael ei wneuthur nad oedd y Cenhedloedd i gadw y seremoniau Iuddewig | | |
| | Pedr yn dyfod i Antioch, ac yn cael ei geryddu gan Paul | | |
| 4053 | Paül a Barnabas yn ymadael oblegid Ioan Marc | 53 | 50 |
| | Timotheus yn ymlynu wrth Paul, ac yn derbyn enwaediad | | |
| | Luc gyda Paul y pryd hwn | | |
| | Paul yn myned o Asia i Macedonia | | |
| | Paul yn dyfod i Athens | | |
| 4054 | Paul yn myned o Athens i Corinth | 54 | 51 |
| | Yr Iuddewon yn cael eu gyrru o Rufain dan deyrnasiad Claudius | | |
| | Felix yn cael ei osod yn llywodraethwr Judea yn lle Cumanus | | |
| 4055 | Epistol cyntaf Paul at y Thessaloniaid | 55 | 52 |
| | Ail Epistol Paul at y Thessaloniaid yn cael ei ysgrifennu ychydig fisoedd wedi y cyntaf | | |
| | Epistol Paul at y Galatiaid yn cael ei ysgrifenu y flwyddyn hon neu yn nechreu y nesaf | | |
| 4056 | Paul yn ymadael â Chorinth; yn myned i Jerusalem, ac yn ymweled âg Ephesus wrth fyned yno | 56 | 53 |
| | Apollos yn myned i Ephesus | | |
| 4057 | Paul yn myned o Jerusalem i Antioch | 57 | 54 |
| | Paul yn myned drwy Galatia a Phrygia, ac yn dychwelyd i Ephesus, lle yr arosodd am ynghylch tair blynedd | | |
| | Claudius yr ymerawdwr yn marw, oblegid cael ei wenwyno gan Agrippina. Nero yn ymerawdwr yn ei le ef | | |
| 4059 | Epistol cyntaf Paul at y Corinthiaid | 59 | 56 |
| | Paul yn gorfod ymadael âg Ephesus | | |
| | Paul yn myned i Macedonia | | |
| | Ail Epistol Paul at y Corinthiaid | | |
| 4060 | Yr Epistol at y Rhufeiniaid | 60 | 57 |
| 4061 | Paul yn myned â'r casgliadau i Judea | 61 | 58 |
| | Paul yn cael ei gymmeryd yn y deml yn Jerusalem | | |
| | Paul yn cael ei anfon yn garcharor i Cesarea | | |
| | Ismael mab Tabli yn cael ei wneuthur yn archoffeiriad yn lle Ananias | | |

Oed y byd.
Terfysgoedd rhwng Iuddewon Cesarea a'r trigolion eraill
4063 Porcius Festus yn cael ei wneuthur yn llywodraethwr Judea yn lle Felix
4063 Paul yn appelio at yr ymerawdwr, ac yn cael ei anfon i Rufain
Llongddrylliad Paul yn Malta
4064 Paul yn dyfod i Rufain, ac yn aros yn garcharor am ddwy flynedd
Epistol Cyffredinol Iago yn cael ei ysgrifenu o ddeutu yr amser hyn
Yr Iuddewon yn adeiladu mur er rhwystro Agrippa i edrych i mewn i'r deml
Ismael yr archoffeiriad yn cael ei fwrw o'r archoffeiriadaeth
4065 Epistol Paul at y Philippiaid
Yr Epistolau at y Colosiaid, yr Ephesiaid, a Philemon
Merthyrdod Iago y lleiaf, esgob Jerusalem
4066 Epistol Paul at yr Hebreaid
Luc yn ysgrifenu ei Efengyl ac Actau yr Apostolion y flwyddyn hon neu y nesaf
Pedr yn dyfod i Rufain
Albinus, canlyniedydd Felix, yn dyfod i Judea
Yr Epistolau at Titus a'r cyntaf at Timotheus
Marc yn ysgrifenu ei Efengyl
4067 Paul yn dyfod o'r Eidal i Judea, ac yn ymweled âg eglwysi Crete, Ephesus, Macedonia, a Groeg
Agrippa yn cymmeryd yr archoffeiriadaeth oddiwrth Jesus mab Gamaliel, ac yn ei rhoddi i Matthias mab Theophilus
Gessius Florus yn cael ei wneuthur yn llywodraethwr Judea yn lle Albinus
Nero yn rhoddi dinas Rhufain ar dân, ac yn taflu y bai ar y Cristionogion, ac amryw o honynt yn cael eu rhoddi i farwolaeth
Pedr yn ysgrifenu ei Epistol cyntaf o ddeutu yr amser hwn
4668 Pedr yn ysgrifenu ei ail Epistol
Gweledigaethau rhyfedd yn Jerusalem yn amser y Pasg
Paul yn myned i Rufain y tro diweddaf; yn cael ei roddi yng ngharchar yno ynghyd â Phedr
Ail Epistol Paul at Timotheus
Epistol Judas yn cael ei ysgrifenu y flwyddyn hon neu y nesaf
4069 Paul a Phedr yn cael eu merthyru yn Rhufain
Cestius Gallus, llywodraethwr Syria, yn dyfod i Jerusalem, ac yn rhifo yr Iuddewon yn amser y pasg
Terfysgoedd yn Cesarea a Jerusalem

| Oed y byd. | | B.A. | C.C. |
|---|---|---|---|
| 4069 | Fflorus yn rhoddi amryw Iuddewon i farwolaeth | 69 | 66 |
| | Yr Iuddewon yn gwrthryfela, ac yn rhoddi y gwarchawdlu Rhufeinig i farwolaeth yn Jerusalem | | |
| | Iuddewon Cesarea a Palestina yn cael eu llofruddio | | |
| | Holl Iuddewon Scythopolis yn cael eu rhoddi i farwolaeth ar yr un noswaith | | |
| | Cestius, llywodraethwr Syria, yn dyfod i Judea | | |
| | Cestius yn gwarchae ar y deml yn Jerusalem, ond yn cael ei orchfygu gan yr Iuddewon, ac yn encilio | | |
| | Y Cristionogion yn Jerusalem yn gweled fod y rhyfel ar dorri allan, yn myned i Pella, o fewn teyrnas Agrippa, y tu hwnt i'r Iorddonen | | |
| | Vespasian yn cael ei bennodi gan Nero i ddwyn ym mlaen y rhyfel Iuddewig | | |
| | Josephus yn cael ei wneud yn llywodraethwr Galilea | | |
| | Josephus yn anfon ei fab Titus i Alecsandria; ac yn dyfod ei hun, ac yn ffurfio byddin liosog | | |
| 4070 | Vespasian yn dyfod i Judea, ac yn darostwng Galilea | 70 | 67 |
| | Gwarchae ar Josephus yn Jotapata | | |
| | Jotapata yn cael ei chymmeryd, a Josephus yn rhoddi ei hun i fynu i Vespasian | | |
| | Tiberias a Tarichea yn cael eu darostwng i ufudddod gan Vespasian | | |
| | Ymraniadau yn Jerusalem | | |
| | Yr archoffeiriadaeth yn cael ei chymmeryd oddiwrth Theophilus, ac yn cael ei rhoddi i Phanias | | |
| | Y Zelotiaid yn anfon i Idumea am gynnorthwyon i ymddiffyn Jerusalem | | |
| | Y Zelotiaid yn lladd Ananias, Jesus mab Gamala, a Zecharias mab Baruch | | |
| | Yr Idumeaid yn ymadael â Jerusalem | | |
| 4071 | Nero yr ymerawdwr yn marw; a Galba yn cael ei wneuthur yn ymerawdwr | 41 | 68 |
| | Vespasian yn cymmeryd yr holl leoedd cedyrn yn Judea ac oddi amgylch Jerusalem | | |
| | Timon, mab Gioras, yn dinystrio yn Judea a'r deheu i Idumea | | |
| | Ioan yn ysgrifenu ei dri Epistol y flwyddyn hon neu y nesaf | | |
| 4072 | Galba yn marw; ac Otho yn cael ei gyhoeddu yn ymerawdwr | | |
| | Otho yn marw; a Vitelius yn cael ei wneuthur yn ymerawdwr | | |
| | Vespasian yn cael ei gyhoeddi yn ymerawdwr gan y fyddin; a'i gydnabod gan yr holl ddwyrain | | |
| | Josephus yn cael ei roddi yn rhydd | | |
| | Ioan o Giscala yn bennaeth ar y Zolotiaid | | |
| | Eleazer, mab Simon, yn ffurfio trydydd plaid, ac yn cymmeryd meddiant o'r deml dufewnol, a chyntedd yr Offeiriaid | | |

Oed y byd.
4073 Titus yn myned yn erbyn Jerusalem i'w gwarchae
Yn dyfod i Jerusalem ychydig ddyddiau cyn y pasg
Y pleidiau yn un yn erbyn y Rhufeiniaid, ond yn ymrannu drachefn
Y Rhufeiniaid yn gwneuthur mur oddi amgylch y ddinas, a'r trigolion mewn trallod mawr oblegid y newyn
Yr aberth feunyddiol yn cael ei rhoddi heibio yn y deml
Y Rhufeiniaid yn cymmeryd cyntedd y Cenhedloedd, ac yn rhoddi y llofftydd ar dân
Milwr Rhufeinig yn rhoddi y deml ar dân, er i Titus orchymmyn peidio gwneuthur hynny
Y Rhufeiniaid yn feistri ar y ddinas a'r deml, yn aberthu eu duwiau
Yr ymddiffynfa ddiweddaf yn y ddinas yn cael ei chymmeryd
Ioan o Giscala, a Simon mab Gioras, yn ymguddio yng nghwtterydd y ddinas
4074 Titus yn dinystrio y deml hyd ei seiliau
Titus yn dinystrio yr holl ddinas, ond tri thŵr
Titus yn dychwelyd i Rufain gyda'i dad Vespasian, ac yn cael gorfoledd dros Judea
4083 Vespasian yn marw, a Domitian yn cael ei wneuthur yn ymerawdwr
4095 Ioan yn cael ei alltudio i Patmos
4099 Domitian yn marw ; a Nero yn cael ei wneuthur yn ymerawdwr
4100 Ioan yn cael ei ryddhau o'i alltudiaeth

# HANES

## GWLEDYDD, DINASOEDD, MYNYDDOEDD, LLYNOEDD, AFONYDD, &c.

### A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYR LAN.

ABANA, un o afonydd Damascus, am yr hon y crybwylla Naaman yn 2 Bren. 5. 12. pan orchymmynai Eliseus iddo ymolchi yn yr Iorddonen, er ei lanhau oddiwrth ei wahanglwyf, "Ond gwell Abana a Pharpan, afonydd Damascus, na holl ddyfroedd Israel." Meddylir ei bod yn gangen o'r afon Barrady, neu Carysoroas, yr hon a dardda o odreu mynydd Libanus, o'r tu dwyrain, a amgylchyna Damascus, ac a reda drwyddi, ond a 'gollir mewn anialwch tua phumtheg milldir o'r tu deheuol i'r ddinas.

ABARIM. Mynyddoedd Abarim y gelwir y dosparth deheuol o fynyddoedd Gilead, y rhai oeddynt tu hwnt i'r Iorddonen, yn nherfynau gogleddol tir Moab, y rhai a gawsant yr enw Abarim oddiwrth y mynedfeydd rhwng eu moelydd. Y rhai pennaf o'r mynyddoedd hyn ydyw Pisgah a Nebo, oddiar bennau y rhai y gellir gweled holl wlad Canaan. Deut. 3. 27. a 33. 48—50. a 34. 1—3. Oddiar fynydd Nebo y cafodd Moses olygfa ar wlad yr addewid, cyn ei gasglu at ei bobl, Num. 27. 12, 13.

ABEL-BETH-MAACAH, neu Abel-main, ydoedd ddinas yn nosparth gogleddol talaith Naphthali. I hon y ffodd Sheba, mab Bichri, pan ymlidid ef gan luoedd Dafydd oblegid iddo gyhoeddi gwrthryfel yn erbyn ei deyrnas; ac fel na ddinystrid y ddinas, torrwyd ymaith ei ben ef, a bwriwyd ef dros y mur i Joab. 2 Sam. 20. 14—22. Tua phedwar ugain mlynedd wedi hyn cymmerwyd hi gan Benhadad, brenin Syria; 1 Bren. 15. 20. ac ym mhen tua dau can' mlynedd wedi hyn, cymmerwyd hi gan Tiglath-pileser, yr hwn a drosglwyddodd ei phreswylwyr i gaethiwed i Assyria. 2 Bren. 15. 29. Ail adeiladwyd y ddinas drachefn, ac yn ol Josephus, a fu dan yr enw Abila, yn brif-ddinas dosparth Abilene.

ABELMEHOLAH. Y wlad hon ydoedd le genedigol Eliseus y prophwyd, 1 Bren. 19. 16. nid ydoedd ym mhell o Scythopolis. Nid ym mhell oddi yma y cafodd Gedeon y fuddugoliaeth fawr honno ar y Midianiaid. Barn. 7. 22.

ABEL-MISRAIM. Llawr dyrnu Atad y gelwid y lle hwn, ond wedi y galar a wnaeth yr Aiphtiaid yma am Jacob, pan ddanfonent ef i dŷ ei hir artref, i Ogof maes Machpelah, Gen. 50. 11. tybir ei alw yn Bethagalah, ryw ychydig bellder o Jericho a'r Iorddonen i'r gorllewin.

ABEL-SHITTIM, tref yng ngwastadedd Moab, o'r tu hwnt i'r Iorddonen, yng nghymmydogaeth mynydd Peor. Gwersyllodd Moses yma, cyn i lwythau Israel fyned dros yr Iorddonen. Num. 33. 4

Yma y syrthiodd yr Israeliaid i eilun-addoliaeth, drwy roddi g
anaeth ac addoliad crefyddol i Baal Peor; ac yma y cospodd D
hwynt yn drwm iawn drwy ddwylaw y Lefiaid. Num. 25. 1, 2,

ABILENE, un dosparth o dalaith Pereah, a'r fwyaf gogledd
honynt, yn gorwedd rhwng mynyddoedd Libanus ac Anti-liba
ac a gafodd ei henw oddiwrth ddinas Abila. Meddylir ei bod o f
terfyn llwyth Naphthali, ac yn un o'r tetrarchiaid a grybwylli
Luc 3. 1.

ACCHO. Gwel Ptolemais.

ACELLAMA. Lle o'r tu dehau i fur Jerusalem, y tu hwnt i
Siloam. Gelwir ef Maes y Crochenydd, Mat. 27. 7, 10. am
oddi yno y cloddient y pridd er gwneuthur llestri; a Maes y
nwr, am mai yno y sychid y brethynau. Ond wedi ei brynu
arian hynny a roddwyd i Judas am fradychu yr Arglwydd, gal
ef Aceldama, hynny ydyw, Maes y gwaed. Mat. 27. 7, 8. Act. 1

ACHAIA. Yn yr ystyr helaethaf, enw a roddid i wlad Groe
elwid yn briodol felly; ar ei therfyn y mae Epirus; gorllewin
mae y môr Aegaidd; ar ei thu gogleddol y mae Macedonia; a
ei thu deheuol y mae Peloponnesus. Hon oedd y wlad y ma
debygol a feddyliai yr Apostol yn 2 Cor. 11. 10. lle y crybwyll
holl wledydd Achaia. Achaia, yn Act. 19. 21. ydyw Groeg
Act. 20. 2. Achaia, a elwid yn neillduol wrth yr enw hwn, yd
y dosparth gogleddol o Peloponnesus, o ba un Corinth ydoe
brif-ddinas.

ACHMETHA. Gwel Ecbetana.

ACHOR, dyffryn yn nhalaith Jericho, o fewn llwyth Benja
Yma y llabuddiwyd Achan oblegid y diofryd beth. Jos. 7. 24.

ACSHAPH, dinas yn perthynu i lwyth Aser. Gorchfygwyd b
Acshaph gan Joshua. Jos. 12. 20.

ADMA, neu ADAMA, un o'r pum' dinas a losgwyd â thân o'r
oedd, ac wedi hynny a orchuddiwyd gan ddyfroedd y môr m
Gen. 19. 24. Y mae rhyw debygolrwydd na ddinystrwyd h
hollol, neu i dref arall gael ei hadeiladu ar lan ddwyreiniol y
marw.

ADRAMYTIUM, tref arforawl ym Mysia, yn Asia Leiaf.

ADRIA. Crybwyllir am y lle hwn yn Act. 27. 27. lle y dyv
bod Paul a'i gymdeithion yn morio yn Adria. Gelwid môr S
hefyd yn fôr Adria.

AHAFAH, afon yn Babilonia neu Assyria, lle y cynnullodd
ynghyd y caethion hynny a arweiniodd efe i Judea. Ezra 8
Tybir y rhedai drwy wlad o'r enw Afa, am yr hon y crybwylli
2 Bren. 17. 24. 18. 34. a 19. 13. O'r wlad hon y trosglwyd
brenhinoedd Assyria y bobl a elwid Afiaid i Palestina, yn lle p
y cyflewyd rhai o'r llwythau a gaethiwesid.

AINON, gair a arwydda lle ffynnonau. Yma y bedyddiai Ioan
mhlith lleoedd eraill. Ioan 3. 23. Y mae yn ansicr ym mha
oedd sefyllfa Ainon, pa un ai yn Galilea, neu Judea, neu Samar

AIPHT. Gwlad yn Affrica, hyd yr hon sydd yn anghyfartal
a'i lled. Ei hyd o enau yr afon Nilus hyd Syene ar derfyn N
sydd bum' can' milldir; ond yr oedd ychydig yn llettach
[illegible] drwy yr hwn y rheda y Nilus yn yr Aipht Uchaf, hyd

chyrhaedda yr Aipht Isaf, ychydig uwchlaw y Delta. Gelwir yr Aipht Uchaf neu Thebaid, yn yr Ysgrythyrau, wrth yr enw Porthros, er ei gwahaniaethu oddiwrth yr Aipht Isaf, a elwir yn y Datguddiad dwyfol Caphtor, neu yr Aipht. Ymddengys bod y wlad hon er yn foreu wedi cyrhaeddyd i raddau anghyffredin o wareidd-dra, yn fwy felly nag un gyfran arall o'r byd. Yn nyddiau Abraham yr oedd yn orsaf frenhinol, ac yno lys tywysogaidd, a phob cyflawnder o drugareddau, pan oedd y gwledydd cymmydogaethol, hyd yn nod Palestina ffrwyddlon, yn fynych yn agored i newyn trwm. Yn nyddiau Jacob yr oedd yr Aipht yn masnachu â'r gwledydd cymmydogaethol, a'r fasnach hon a ddygid drwy Palestina, o Arabia a'r dwyrain, ac a gynnwysai amryw beraroglau, ac yn debygol eu bod yn masnachu mewn caethion hefyd. Ei ffrwythlondeb anghyffredin a achosid gan orlifiadau blynyddol yr afon Nilus. Cyfodiad yr hon a ddisgwylid gan y trigolion, a byddai y llawenydd a'r gorfoledd mwyaf drwy y wlad pan gyfodai i'r graddau eithaf. A phan fyddo yr afon hon yn awr yn llifo, cluda gyda hi y fath wrtaith ar hyd y tir, fel y mae y wlad yn gwbl mor ffrwythlon yn awr a chynt. Y mae yr Aipht braidd yn fwy nodedig nag un wlad am ei hynafiaethau, ynghyd â cholofnau mawreddog, y rhai ydynt yn parhau i fod yn arwyddion o gelfyddyd yr oesau cyntefig; yn enwedigol y Pyramidiau ardderchog, amryw o'r rhai a ddarluniwyd gyda golwg ar eu rhannau tufewnol gan y teithiwr enwog Belzoni. Y coed ffrwythlon ydynt uwchlaw rhif yng nghymmydogaeth pentrefydd yr Aipht, aeron y rhai ydynt gyfran helaeth o gynnaliaeth y trigolion. Pan diriodd y Ffrangcod yn yr Aipht, bygwthiasant dorri y coed, a phan welodd y trigolion eu bod ar fedr rhoddi y bygwthiad mewn grym, ymostyngasant yn union-gyrchol iddynt, oblegid gwelent fod un o seiliau eu cynnaliaeth yn cael ei thynnu oddi wrthynt. Ni allasai dim fod yn fwy ofnadwy i'r Aipht na rhoddi y bygwthiad canlynol mewn grym:—"Ei llais hi a â allan fel sarph; canys â llu yr ant hwy, ac â bwyill y deuant yn ei herbyn hi, fel cymynwyr coed. Hwy a gymynant i lawr ei choed hi, medd yr Arglwydd, er na ellir ei chwilio; canys amlach fyddant na'r ceiliogod rhedyn, ac heb rifedi arnynt." Jer. 46. 22, 23. Nid ymddengys fod dim masnach na chyfeillgarwch yn cael ei ddwyn ym mlaen rhwng yr Aiphtiaid a'r Israeliaid, wedi ymadawiad y genedl olaf â'r Aipht, hyd deyrnasiad Salomon, yr hwn a briododd â merch Pharaoh, ac a sefydlodd fasnach fawr rhwng y ddwy deyrnas, a daethant yn dra chyfeillgar. Er mwyn gwaddoli ei ferch, rhoes brenin yr Aipht i Salomon amrywiol ddinasoedd, a gymmerodd efe oddiwrth y Philistiaid. Ar ol hyn darfu y cyfeillgarwch dywededig rhwng y ddwy genedl, oblegid yr ydym yn darllen i un o frenhinoedd yr Aipht roddi Jeroboam fab Nebat, ynghyd â Hadad mab brenin yr Edomiaid. Torrodd y cyngrair a'r cyssylltiad yn hollol rhwng y ddwy wlad yn amser teyrnasiad Rehoboam, mab a chanlyniedydd Salomon. Daeth Sisac brenin yr Aipht â byddin gadarn yn erbyn Judah, ac a yspeiliodd y deml o'i thrysorau.

Tua therfyn llywodraethau brenhinoedd Israel a Judah, yr oeddynt wedi myned mor weiniaid, fel na allasent wrthsefyll brenhinoedd Assyria a Babilon, a gofynnent am gynnorthwyon mynych o'r Aipht.

Ond yr oedd eu cyngreiriau bob amser â'r Aipht yn dra ni
iddynt; a dygir achwyniadau trymion yn eu herbyn oblegi
am yr ymddiriedent i dywysogion paganaidd, yn hytrach na
ddiried yng ngallu a chadernid Duw ein Ceidwad a'n Hac
Bu llwyddiant mawr droion ar arfau yr Aipht. Cymmerod
frenhinoedd yr Aipht Carchemish o'r tu hwnt i'r Euphrat
wrth ddychwelyd adref, dymchwelodd Jehoahaz brenin Judah
ar ei deyrngadair, ac a osododd Eliacim neu Jehoiacim i deyrn
ei le ef, ac a'i rhwymodd i dalu teyrnged.

Llywodraethwr Syria a Phenisia, yr hwn a ddaliai y tal
dywededig dan frenin Babilon, a'u rhoes dan lywodraeth bre
Aipht: oblegid yr hyn beth yr anfonodd Nabopolassar brenin
lon ei fab Nebuchodonosor yn ei erbyn; yr hwn yn gyntaf a gy
odd Carchemish, ac a ddarostyngodd yr holl wlad rhwng y
phrates a'r Nilus dan lywodraeth ei dad. Yn y flwyddyn o
byd 3334, a chyn Crist 670, esgynodd Psammetichus i ors
Aipht ar ol ei dad Pharaoh Necho, ac a deyrnasodd chwe' bl
Wedi ei farwolaeth ef, Apries, neu Pharaoh Hophra yr Ysgr
au, a esgynodd i'r orsedd. Gwnaeth hwn gyngrair â Zedeciah
Judah, ac â brenin Ethiopia, yn erbyn Nebuchodonosor bren
bilon, yr hwn frenin a aeth yn eu herbyn, ac a warchaeodd a
salem. Daeth brenin yr Aipht i gynnorthwyo Zedeciah
Judah â byddin liosog a chadarn, ond gorchfygwyd ef gan
Babilon, a gorfu arno encilio a myned yn ol i'w wlad ei hun
lynwyd ef gan frenin Babilon i'r Aipht, yr hwn a yspeiliodd
wlad, ac a gludodd ymaith niferi lliosog o'r trigolion i gaethiw
ol ffug-ddywediadau prophwydi Arglwydd y lluoedd. Rho
Apries i farwolaeth, ac Amasis ei elyn a'i wrthwynebwr a d
afwyd i'r orsedd yn ei le.

Bu yr Aipht yn ddarostyngedig i Nebuchodonosor a'i ganl
yddion hyd amser Cyrus Fawr. Gwrthryfelodd yr Aipht tu
fyn teyrnasiad Cyrus; a Chambysis ei fab a'i ganlyniedydd, a d
odd fyddin fawr i'r Aipht, a hi a ddarostyngwyd drache
arferodd y buddugoliaethwr bob creulonderau at yr Ai
gorchfygedig. Dan deyrnasiad Darius, mab Hystaspes, gwrth
odd yr Aiphtiaid drachefn, ac a ysgwydasant y iau ymaith odd
gwarau, ond dygwyd hwynt i gaethiwed calettach gan X
Yr aflwyddiant hwn o eiddo yr Aiphtiaid a ragddywedwyd
prophwyd Jeremiah.

Dan deyrnasiad Artacsercses Longimanus, yr Aiphtiaid un
drachefn a gymmerasant arfau, a thrwy gynnorthwy y Groeg
ryfelasant am chwe' blynedd, ond a ddygwyd drachefn dan
ac yn y diwedd Artacsercses, yr hwn a gyfenwid Ochus, a
ddinystriodd frenhiniaeth yr Aipht, ac a wnaeth y wlad yn d
o'r ymerodraeth Bersiaidd.

AJALON, dinas yn llwyth Dan, a roddwyd i'r Lefiaid o
Cohath. Yr oedd yn sefyll rhwng Timnath a Bethshemesh,
mae yn dra thebygol mai hi ydyw y ddinas y cyfeirir atti yn
Joshua, pen. 10. 12. Yr oedd tair dinas o'r enw Ajalon, un o
llwyth Benjamin, un o fewn llwyth Ephraim, a'r drydedd o
Zabulon.

Alecsandria. Seiliwyd hen ddinas Alecsandria gan Alecsander fawr, yr hwn yn ei ymweliad â'r Aipht yn y flwyddyn 332 cyn Crist, a roes orchymmyn ar fod i'r ddinas hon gael ei hadeiladu rhwng môr y Canoldir a llyn Moeris. Enw yr adeiladydd ydoedd Dinocrates, o Macedonia. Yr oedd y rhan fwyaf, ond nid yr holl ddinas, o fewn y muriau presennol, y rhai yn bennaf a gyfodwyd gan yr Arabiaid. Un brif heol, yr hon ydoedd yn ddeg stadia ar hugain, a hedai drwy yr holl ddinas, o'r terfyn gorllewinol hyd y Necropolis ar y tu gorllewinol, a'r heol hon a dorrid gan heol arall, deg stadia, yr hon a hedai yn union-gyrchol oddiwrth lyn Moeris. Y diben o'i hadeiladu yn y dull hwn ydoedd, er mwyn i'r awelon gogleddol gael rhwydd hynt i fyned drwy y ddinas er iechyd y dinasyddion. Y tir cyfan ac ynys Pharos a gyssylltwyd gan glawdd a wnaed, ym mhob pen i'r hwn yr oedd mynedfa i longau o un porthladd i'r llall. Dros y mynedfeydd hyn yr oedd pontydd. Ar y creigiau lle y mae y Pharos presennol, yr oedd goleu-dy mawr ac ardderchog, yr hwn a wnaed gan Sostratus,o Cnidus, dan deyrnasiad Ptolemy Philadelphus, yn y flwyddyn cyn Crist 283. Dywedir bod uchder y goleu-dy hwn yn bedwar can' troedfedd. Y tir ar gyfer y Pharos a elwid Lochias; ac yn gymmaint a bod y Lochias ei hun yn estynedig ar gyfer y Pharos, ar ryw greigiau, ar y rhai y mae y Pharillon yn awr, derbyniodd y lle hwn yr enw Acro-Lochias. Wrth fyned o'r Lochas tua'r tyrau meinion, eir dros y llannerchau, lle y safant balasau y Ptolemiaid, y chwareudy, ac amrywiol demlau. Gelwid y porthladd arall, Eunostus, yr hwn a gynnwysai borthladd bychan arall a enwid Kibotos. Yr oedd camlas yn cyssylltu y llyn â phorthladd Eunostus, ac yn terfynu yn agos i borthladd Kibotos. Ym mhellach tua'r deheu orllewinol, yr oedd y Necropolis, (dinas y marw,) sef claddfa fawr Alecsandria. Mewn un dosparth o'r ddinas hon yr oedd teml nodedig, yr hon, wedi sefydliad Cristionogaeth, a fu yn ofid mawr i Gristionogion. Cafodd Theophilus, patriarch Alecsandria, ganiattad gan yr ymerawdwr Theodosius i ddinystrio yr adeiladaeth hon, a dywedir na all neb ei feio am gyflawnu y gorchwyl yn ammherffaith, oblegid efe a lwyr ddinystriodd y deml. Lle o'r enw Soma, (y corph,) yn un o ddosparthion y palasau, a gynnwysai feddrod Alecsander Fawr. Addurnwyd y ddinas hon gan y Ptolemiaid â'r yspail a gymmerwyd o hen drefydd yr Aiphtiaid, ac am amryw ganrifoedd parhaodd y ddinas i dderbyn addurniadau beunyddiol. Bu unwaith gymmaint a Rhufain mewn maintioli, a'r ddinas fwyaf ei masnach drwy yr holl ddaear. Ynddi hi y cyfnewidid nwyfau y byd dwyreiniol a'r byd gorllewinol. Dyweda Diodorus, yr hwn a ymwelodd âg Alecsandria ychydig cyn dadymchweliad ymerodraeth y Ptolemiaid, bod llechres trigolion Alecsandria yn fwy na thri chan' mil o ddinasyddion breiniol.

Y mae hanes y ddinas hon mor nodedig ag y bu ei cholofnau yn yr oesau cyntefig. O'r flwyddyn cyn Crist 323, i'r flwyddyn cyn Crist 30, pryd y syrthiodd dan awdurdod y Rhufeiniaid, ynddi y cartrefai brenhinoedd Groegaidd yr Aipht; yr oedd yn ganol-fur masnach a gwybodaeth, a phreswyliai niferi lliosog o Iuddewon ynddi. Yn ymweliadau Julius Cæsar â'r Aipht ac âg Alecsandria, yn y flwyddyn cyn Crist 48, gwnaed niweidiau mawrion i'r ddinas.

O'r flwyddyn cyn Crist 30, hyd pan ei darostyngwyd gan Om
Arabiaid, yn y flwyddyn o oedran ein Harglwydd 640, yr
Alecsandria yn ddinas flodeuog dan yr ymerawdwyr Rhufei
Derbyniodd Alecsandria y grefydd Gristionogol yn foreu, a
oedd nifer y rhai a broffesent Gristionogaeth yn fuan wedi e
hoeddiad cyntaf. Yn y flwyddyn 969, meddiannwyd yr Aipht
Caliphiaid Ffatemitaidd, a'r rhai hefyd a adeiliadasant Grand
ac o'r amser hwn gwanychodd Alecsandria yn fawr iawn, ac a
odd i'r fath raddau, fel nad ystyrid hi ond ail ddinas Aipl
Darganfyddiad y ffordd heibio i Benrhyn Gobaith Da, yn y fl
yn 1497, a fu yn achos pellach o leihad masnach Alecsandria.

AMALECIAID. Y genedl hon a hanodd oddiwrth Eliphaz,
af-anedig Esau, o'i o. lderchwraig Timnah, a'r Idumeaid oedd
hiliogaeth o'i wraig gyfreithlon. Hyn y mae yn debygol y
sail yr amrywiaeth rhwng y ddwy genedl. Mewn pethau er
oeddynt yn dra chyffelyb, megis yn eu crefydd, yn eu harch
at gelfyddydau, ac yn eu masnach, at yr hyn yr oedd eu sefyl
gyfleus iawn, yn gorwedd rhwng Môr y Canoldir a'r Môr
Meddylir eu bod yn rhyfelwyr ac yn fuddugoliaethwyr, a'u b
ddosparth o'r bugeiliaid hynny a orchfygasant yr Aipht, ac a
odraethasant arni olynol am ddau can' mlynedd. Ac efallai
llwyddiant hwn fu yr achos iddynt gael eu galw gan yr han
Iuddewig, y Cenhedloedd cyntaf. Ond dywedwyd y dil
henwau o dan yr holl nefoedd. Dinystriwyd hwy i raddau
drwy eu rhyfeloedd â'u cymmydogion, yn neillduol â'r Iudd
Gwnaeth Saul laddfa fawr yn eu mysg, a darniwyd Agag, eu b
gan Samuel. Dafydd wedi hynny a'u llwyr ddarostyngodd,
chrybwyllir am danynt wedi ei amser, ond yn Llyfr Esther,
ceir hanes am Haman, yr Amaleciad, yr hwn a gynlluniodd
wriaeth er dinystrio yr holl Iuddewon drwy ymerodraeth
Ahasuerus. Ond wedi yr amser hyn ni sonir am danynt.

AMMONIAID, cenedl a hanasant oddiwrth Ammon, mab Lot,
19. 38. Dinystriasant y cewri a elwid Zamzummin, ac a fed
asant eu gwlad. Deut. 2. 19—21. Gorchymmynodd Duw i
beidio ymosod ar yr Ammoniaid. Ond ymddengys bod yr Am
iaid wedi ennill, ac wedi meddiannu cyfran o'u gwlad, yr
gymmerodd Moses oddi arnynt, ac a'i rhoddodd i lwythau Reu
Gad. Yn amser Jephtha cyhoeddasant ryfel yn erbyn Israel
hwy a orchfygwyd. Barn. 11. 13. Ymgyssylltent yr Ammonia
Moabiaid yn fynych yn erbyn Israel. Yn nechreuad teyrn
Saul gwarchaeodd Nahas, brenin Ammon, ar Jabes Gilead
gorchfygwyd ef gan Saul, 1 Sam. 11. 1. Gorchfygodd Dafyd
Ammoniaid, y Moabiaid, a'r Syriaid, a buont ddarostyngedig
ef ac i Salomon ei fab. Wedi ymraniad y deuddeg llwyth,
dan deyrnged i frenhinoedd Israel hyd amser Ahab, 2 Bren.
Gwnaeth yr Ammoniaid a'r Moabiaid ruthr yn erbyn Judah,
hwy a orchfygwyd gan Jehosaphat. 2 Chron. 20. 1. Wedi tyw
gaethiwed lwyth Reuben, a Gad, a hanner llwyth Manasse
Moabiaid a'r Ammoniaid a feddiannasant eu dinasoedd, am yr
y mae y prophwyd Jeremiah yn achwyn arnynt. pen. 49. 1. Y
y vyd Ezeciel yn rhag-ddywedyd eu hollol ddinystr,

25. 4—10. yr hyn a ddigwyddodd iddynt ym mhen pum' mlynedd wedi cymmeryd Jerusalem, pryd y gwnaeth Nebuchodonosor ryfel â'r holl genhedloedd oddi amgylch Judea, yn y flwyddyn o oed y byd 3420, a chyn Crist 583. Tebygol iddynt hwy a'r Moabiaid gael rhyddid i ddychwelyd o'u caethiwed gan Cyrus, ac iddynt gyfanneddu yn eu hen anneddau, weithiau yn ddarostyngedig i'r Aiphtiaid, bryd arall i'r Assyriaid. Ond collasant eu henwau fel cenedl; a dywed Origen eu bod yn adnabyddus yn ei ddyddiau ef wrth yr enwau Arabiaid.

AMORIAID. Y genedl hon a hanodd oddiwrth Amori neu Amorrhæus, pedwerydd mab Canaan. Poblogasant yn gyntaf y mynyddoedd gorllewinol i'r Môr Marw. Ymsefydlasant hefyd rhwng afonydd Jabboc ac Ainon, pryd y gorchfygasant yr Ammoniaid a'r Amoriaid. Jos. 5. 1. Num. 13. 29. a 21. 29. Moses a gymmerodd y wlad hon oddiar eu brenhinoedd, Sehon ac Og, yn y flwyddyn o oed y byd 2553, a chyn Crist 1451. Y mae y prophwyd Amos, pen. 2. 9. yn crybwyll eu maintioli anferth. Y wlad a feddiannid gan yr Amoriaid yr ochr hyn i'r Iorddonen, a roddwyd i lwyth Juda; a'r tir o'r tu arall, i lwythau Reuben a Gad.

AMPHIPOLIS. Dinas rhwng Macedonia a Thrace, ond yn ymddibynnu ar Macedonia. Crybwyllir am dani yn Act. 17. 1.

ANATHOTH. Dinas yn llwyth Benjamin, lle y ganed y prophwyd Jeremiah. Jos. 21. 18. Jer. 1. 1. Yr oedd tua thair milldir o'r tu gogleddol i Jerusalem. Rhoddwyd hi yn feddiant i'r Lefiaid o deulu Cohath, ac yr oedd yn un o'r dinasoedd noddfa.

ANTI-LIBANUS. Y nennau uchaf o fynydd Libanus a elwid Anti-Libanus; ac y mae eira parhaus ar ei ben. Y drum uchaf a elwid gan yr Hebreaid, Hermon; gan y Sidoniaid, Sirion; a chan yr Amoriaid, Senir. Y mynydd hwn ydoedd y terfyn gogleddol i'r wlad, o'r tu hwnt i'r Iorddonen. Yr oedd y gwlith a syrthiai arno yn nodedig. Salm 133. 3. Gwelir ym mhell iawn oddiar ei ben, a chymmerir amryw gyffelybiaethau oddiwrtho gan ysgrifenwyr yr Ysgrythyrau Sanctaidd. Esay 10. 34. a 29. 17. a 35. 2. Ystyrid y mynydd hwn yn gaer gadarn i wlad yr addewid; ac oblegid hyn y dywedai Sennacherib yr ymadroddion chwyddedig hynny yn Esay 37. 24. Gwel Libanus.

ANTIOCH. Prif ddinas Syria, a adeiladwyd, medd rhai, gan Antiochus Epiphanes. Yr oedd yn ddinas enwog a galluog iawn, ac ynddi y preswyliai brenhinoedd Syria. Yma y galwyd canlynwyr yr Arglwydd Iesu Grist yn Gristionogion gyntaf. Antioch ddiweddar, yr hon ydoedd yng nghymmydogaeth yr hen dref, a lwyr ddinystriwyd gan ddaeargryn yn hydref y flwyddyn 1822.

ANTIOCH, yn Pisidia, ydoedd ddinas a grybwyllir yn Act. 13. 14. Yma y pregethodd Paul a Barnabas; ond yr Iuddewon a godasant gymmaint o gythrwfl, am y pregethid yr efengyl i'r Cenhedloedd, fel y buont dan yr angenrheidrwydd o ymadael.

ANTIPATRIS. Tref fechan ar y ffordd rhwng Jerusalem a Cesarea. I hon y dygwyd Paul wedi cael o hono ei ddal yng Nghaersalem. Act. 23. 31.

ANTONIA. Enw tŵr cadarn a adeiladwyd ar sail hen amd a adeiladwyd gan Antiochus Epiphanes, ar graig i'r gogl

o'r deml, er blino yr Iuddewon; yr hwn, wedi ei ddinystrio, a ail adeiladwyd gan y tywysog Maccabeaidd, Ioan Hyrcanus, yn y flwyddyn cyn Crist 135. Herod fawr a'i hadgyweiriodd ac a'i hardderchogodd, ac yr oedd lleng o filwyr Rhufeinig ynddo yn wastadol. Galwyd ef Tŵr Antonia gan Herod, o barch i'w gyfaill Marc Antony. I'r castell hwn y dygwyd Paul er ei ddiogelu. Act. 21. 34, 35.

Aphec. Y mae amryw ddinasoedd yn yr Ysgrythyrau o'r enw hwn; megis,

1. Aphec, yn llwyth Juda, lle y gwersyllai y Philistiaid pan ddygwyd yr arch o Siloh, yr hon a gymmerwyd mewn brwydr gan y Philistiaid. 1 Sam. 4. Efallai mai hon ydyw yr Aphecah a grybwyllir yn Jos. 15. 53.

2. Aphec, yn nyffryn Jezreel. Yma y gwersyllai y Philistiaid pan oedd Saul a'i fyddin yn agos i Jezreel, ar fynyddoedd Gilboa. 1 Sam. 29. 1, &c.

3. Aphec, dinas yn llwyth Aser, yn agos i wlad y Sidoniaid. Jos. 19. 30. a 13. 4. Efallai mai hon ydoedd

4. Aphec, yn Syria, yr hon oedd ddinas enwog yn nheyrnas Benhadad; yn agos i'r hon yr ymladdwyd y frwydr rhwng Benhadad ac Ahab, pryd y gorchfygwyd y Syriaid. 1 Bren. 20. 26. Pan y ffoisant i'r ddinas, syrthiodd y mur arnynt, ac a laddodd saith mil ar hugain o honynt.

Apollonia. Dinas yn Macedonia, drwy yr hon yr aeth Paul, yn ei daith i Thessalonica. Act. 17. 1.

Arabia. Gwlad eang ydyw hon yn Asia Orllewinol, ac o'r tu dehau-ddwyreiniol i Judea. Rhennir Arabia i dri dosparth, sef Arabia Deserta, Arabia Petrea, ac Arabia Felix; ond nid oedd y rhaniadau hyn yn adnabyddus gynt i drigolion y dwyrain, ac ni enwir hwynt yn yr Ysgrythyrau Sanctaidd.

1. Arabia Deserta, (anial,) sydd â mynyddoedd Gilead o'r tu gorllewinol iddi, a'r afon Euphrates o'r tu dwyreiniol. Cynnwysa yr Itureaid, yr Edomiaid, y Nabatheaid, pobl Cedar, ac eraill, y rhai a arweinient fywydau crwydredig, oblegid nad oedd ganddynt ddinasoedd, teiau, na phreswylfeydd sefydlog; ond preswylient yn hollol mewn pebyll, a'r rhai o'r darluniad hwn a elwir yn bresennol yn Arabiaid Bedowinaidd. Cyfeirir at y wlad hon yn yr Ysgrythyrau, fel y tybir, wrth yr enw Arab, yr hwn a arwydda yn yr Hebraeg, y gorllewin, neu bobl wedi eu casglu ynghyd. Efallai iddynt gymmeryd yr enw Arabim, neu orllewinol, oddiwrth eu sefyllfa, am eu bod o'r tu gorllewinol i'r afon Euphrates; ac os felly, yr oedd eu henw wedi ei roddi arnynt cyn dyfodiad yr Israeliaid i Ganaan.

2. Arabia Petrea, (garregog,) sydd o'r tu deheuol i wlad Canaan. Petra ydoedd enw y brif-ddinas. Cynnwysai y wlad hon yr Edomiaid deheuol, yr Amaleciaid, y Cusiaid, (y rhai yn anmhriodol iawn a elwir Ethiopiaid gan y nifer liosocaf o gyfieithwyr yr Ysgrythyrau,) yr Hifiaid, y Meoniaid, &c. Y bobl hyn ydynt yn adnabyddus yn bresennol wrth yr enw cyffredinol Arabiaid. Yn y wlad hon yr oedd Cades-Barnea, Gerar, Beersheba, Lachish, Libnah, Paran, Arad, Hasmona, Oboth, Phunon, Dedan, Segor, &c. Yn y wlad

hon hefyd yr oedd mynydd Sinai, ar yr hwn y rhoddwyd y gyfraith i Moses.

3. Arabia Felix, (ddedwydd,) sydd ym mhellach i'r dehau, yn cael ei hamgylchynu o'r tu dwyreiniol gan y culfor Persiaidd, o'r tu deheuol gan y môr sydd rhwng Affrica ac India, ac o'r tu gorllewinol gan y Môr Coch. Yn gymmaint ag nad ydoedd yr Arabia hon yn gyssylltedig â gwlad Canaan, ni chrybwyllir mor fynych am dani yn yr Ysgrythyr Lân ag am y ddau ddosparth eraill o'r wlad. Tybia rhai mai o Arabia Felix y daeth brenhines Sheba i ymweled â Salomon, a'i bod yn frenhines y wlad hon.

Crybwylla yr Ysgrythyrau yn fynych am yr Arabiaid (gan feddwl y rhai a derfynent ar wlad Judea) fel dynion tra galluog, a'r rhai a ystyrient eu hunain yn enwog am eu doethineb. Eu cyfoeth oedd gynnwysedig gan mwyaf mewn diadelloedd. Talent deyrnged yn flynyddol i'r brenin Jehosaphat o saith mil a saith cant o hyrddod, a chynnifer a hynny o fychod. Anfonai brenhinoedd Arabia lawer iawn o aur ac arian i Salomon. Carent ryfel, ond ymddygent mewn rhyfel yn debycach i ladron ac yspeilwyr nag i filwyr. Yr oeddynt bob amser yn bobl ryddion, ac ni ymdrafferthent ond y peth nesaf i ddim â thrin y ddaear, ac nid oeddynt yn nodedig am eu hufudd-dod i unrhyw ffurf o lywodraeth. Dyma y darluniad a rydd yr Ysgrythyrau o honynt, a'r un ydyw eu cymmeriad hyd y dydd heddyw. Trigolion Arabia, y rhai a breswylient yno cyn i Abraham ddyfod i Ganaan, oeddynt hanedigion o Ham. Yr ydym yn darllen am Fidianiaid yno, o hiliogaeth Cus, yn mhlith y rhai y bu Moses yn trigo pan ffodd o'r Aipht. Crybwyllir am Abimelech brenin Gerar, yr hwn oedd gydoeswr ag Abraham, a'r Amaleciaid yn nyddiau Moses.

Gwlad Arabia sydd yn gyffredin yn garregog, yn greigiog, ac yn fynyddig; yn bennaf mewn rhannau yn mhell oddiwrth y môr, er gynt yn gyfagos iddo. Yn nhreigliad amser, y mae dyffryn mawr wedi myned rhwng y mynyddoedd a'r môr, er bod y mynyddoedd gynt ar lan y môr; ond y mae y môr wedi ymbellhau oddi wrthynt. Hwn yn awr ydyw y rhan fwyaf ffrwythlon a gwrteithiol o'r wlad, a'r rhan boethaf o honi hefyd; oblegid ar y mynyddoedd y mae yr awyr yn oerach nag ar y gwastadedd. Y mae eu llysiau a'u hanifeiliaid yn dra gwahanol oddiwrth rai y gwastattir.

Meddiannid Arabia Petrea ac Arabia Felix gan hiliogaeth Ismael, y rhai mewn modd enwedigol a elwid yn Arabiaid. Yn ol yr hanes a roddir i ni gan yr Arabiaid eu hunain, preswylwyr eu gwlad hwy a ddeilliasant oddiwrth Cahtan neu Joctan, mab Eber, a brawd Peleg; yr hwn, wedi cymmysgiad y ieithoedd, a boblodd y dosparth dan sylw o Asia. Canlynwyd y rhai hyn gan hiliogaeth Ismael, mab Abraham ac Agar, yr hwn a aeth ac a breswyliodd ym mhlith yr hen Arabiaid, ac a aeth yn dad i'r Arabiaid cymmysgedig, neu yr Ismaeliaid.

Yr oedd yr hen Arabiaid a'r Arabiaid pur wedi eu rhannu yn llwythau unwedd a hanedigion Ismael. Rhai o'r llwythau hyn a hanfodant yn awr yn Arabia, ond y mae rhai o honynt wedi darfod. Yr oedd yr Ismaeliaid yn ddeuddeg llwyth, yn ol nifer meibion Ismael; sef Nebaioth, Cedar, Abdeel, Mibsam, Misma, Dumah, Massa, Hadar, Thema, Jetur, Naphis, a Chedemah; ond er bod y

rhai hyn wedi cadw eu llinach yn ofalus, etto ni allant eu dilyn i fynu hyd at Ismael. Y maent yn gorfod aros gydag Adnan, un o'i hiliogaeth. Nid ydyw llinach Mahomet ei hun yn myned ym mhellach na hyn.

Heblaw hiliogaeth Ismael, y rhai a boblogasant y rhan fwyaf o Arabia, meibion Abraham a Ceturah, meibion Lot ac Esau, a meibion Nahor, ac eraill, a breswylient yn yr un wlad, ac a gydgymmysgent a'r hen drigolion, neu a'u hymlidiasant ymaith.

Trigolion Arabia a rennir, 1. i'r dosparth a breswyliant mewn pebyll; ac yn 2. i'r dosparth a breswyliant mewn maesydd ac anialdiroedd. Yr Arabiaid a breswyliant yn y maesydd a'r anialdiroedd ydynt lawer yn onestach na'r rhai a breswyliant yn y trefydd. Mewn perthynas i'r llwythau hyn, y mae rhai o honynt yn Genhedloedd, ac eraill yn Fahometiaid; yr Arabiaid cenhedlig a elwid yn Arabiaid dyddiau anwybodaeth; a'r Mahometiaid yn Fuslemoun, hynny yw, Credinwyr. Y Mahometiaid hyn a orchfygasant, ac a feddiannant hyd yma y rhan fwyaf o Asia ac Affrica; a'r rhai hefyd a sylfaenasant y pedair brenhiniaeth ganlynol, sef eiddo y Tyrciaid, y Persiaid, Morocco, a Mogul, heblaw brenhiniaethau llai.

Arabia Deserta a elwir Hegiaz, ac y mae wedi dyfod yn enwog o herwydd bod dinasoedd Mecca a Medina ynddi. Adnabyddir y wlad hon yn bresennol wrth yr enw Hagar neu Hagiar, yr hwn enw sydd yn arwyddo carreg; ond ystyriai yr hynafiaid bod Arabia Deserta yn cyrhaedd ym mhellach i Syria, ac yn nes i'r Euphrates.

Wedi i Joctan mab Eber sefydlu yn Yemen, gosododd i fynu deyrnas, ac efe ydoedd ei brenin cyntaf. Canlynwyd ef gan ei fab Jarab, ac efe a ddygodd yr iaith Arabaidd i mewn, yr hon a gafodd ei henw oddi wrtho, ynghyd â'r wlad. Y trydydd brenin oedd Jaschab; a'r pedwerydd brenin ydoedd Abdalsschams, a gyfenwid Sobas. Dywedir i'w hiliogaeth deyrnasu yn Yeman am ddwy fil o flynyddoedd cyn sefydliad Mahometiaeth.

Yr Arabiaid yn gyffredin ydynt yn gyfrwys, yn ddeallgar, ac yn hael, ac yn caru areithyddiaeth a barddoniaeth; ond y maent yn dra choelgrefyddol, ac yn lled ddialgar. Tybiant ei bod yn gyfreithlon iddynt yspeilio pawb hyd y gallant, ac ymdrechant gyfiawnhau eu hymddiried yn hyn, oblegid na roddes Abraham ddim i'w fab Ismael mewn ffordd o gymmysgaeth.

Yr hen Arabiaid oeddynt eilun-addolwyr, ac a addolent garreg. Y garreg ddu, yr hon a fu yn wrthddrych eu haddoliad er yr oesau boreuol, a ddangosir yn bresennol yng Nghaaba Mecca. Dywedant i'r garreg hon fod yn wen yn yr amserau gynt, ond iddi wylo oblegid pechodau dynolryw nes myned yn ddu. Y mae yr Arabiaid hyd heddyw yn ddynion peryglus; ond os unwaith y gwahoddant ddieithr-ddyn i'w pebyll, collant eu bywydau cyn y caffo neb ei ddrygu.

Aram. Pummed mab Sem, a chyff cenedl y Syriaid. Gelwir y wlad yn yr Hen Destament wrth yr enw Aram, sef eang iawn, yn cyrhaeddyd o fynydd Taurus hyd Damascus, ac o Fôr y Canoldir hyd uwchlaw yr afon Tigris i Assyria. Gelwid gwahanol barthau y wlad wrth wahanol enwau, megis Aram Naharaim, sef Mesopotamia; Aram Damascus; Aram Soba; Aram Bethrehob; ac Aram Maaca.

ARARAT. Mynydd nodedig yn Armenia Fwyaf, ar yr hwn y gorphwysodd arch Noah wedi y diluw. Mynydd uchel iawn ydyw hwn, ac nid dichonadwy dringo i'w drum uchaf, oblegid yr eira oesol sydd yn ei guddio ac yn gorphwys arno. Agridagh ydyw yr enw a roddir ar y mynydd nodedig hwn gan y Tyrciaid; yr Armeniaid a'i galwant Macis; ond y maent oll yn cyduno i roddi i'r mynydd dan sylw bob parch, fel porthladd y llong fawr yn yr hon y diogelwyd ail dad y byd rhag ei foddi gan ddyfroedd y diluw. Ni fedrwyd mesur trum uchaf mynydd yr Ararat hyd yn hyn er un rhyw foddlonrwydd; etto dywedir fod mesuriad y Cadpen Monteith o Madras yn nes at y gwirionedd nag un a wnaed hyd yma. A ganlyn ydyw y sylwadau a wnaed gyda golwg ar fesuriad trum y mynydd dan sylw, a wnaeth y Cadpen yn Erivan. O Erivan hyd ben y trum uchaf, yr oedd 52,000 o latheni; ac oddi yno hyd ben y trum isaf 55,000 o latheni. Y pen lleiaf a elwir Ararat Leiaf, a'r pen uchaf a elwir Ararat Fwyaf, ac y mae deuddeg mil o latheni rhwng y naill ben a'r llall. Ni fu troed dyn ar un o'r pennau o amser Noah hyd yn awr, os y pryd hwnnw hefyd; oblegid fy marn i yw, i arch Noah orphwyso rhwng dau ben y mynydd, ac nid ar ben un o honynt. Gwnaed amryw gynnygiadau gan ddynion mewn gwahanol oesau i ddringo i bennau y mynyddoedd dan sylw, ond yn gwbl ofer. Y mae yr eira oesol a'r cestyll mawrion o ia yn rhwystr bythol yn erbyn pob ymegniadau dynol i gyrhaeddyd pennau y mynydd hwn; a phe byddai i ddyn gyrhaeddyd pen mynydd Ararat, rhewai yn y fan, ac ni ddychwelai byth yn ol. Wrth edrych ar y mynydd crybwylledig i'r tu gogleddol i'r gwastattir, ymddengys ei ddau pen yn wahanedig yng nghorph y mynydd. Y mae ochr greigiog iawn i'r pen uchaf, yn syth o'r tu gogledd-ddwyrain iddo; ond nid ydyw y pen isaf mor syth. Pennau y ddau ydynt yn orchuddiedig gan eira, ac y mae yr olygfa arnynt yn dra brawychus.

AREOPAGUS. Y llys gwladol a chrefyddol yn Athens, yr hwn a sefydlwyd gan Cecrops, sylfaenydd y ddinas. Yn y llys hwn y cymmerid dan sylw gyssegriad duwiau newyddion, a phethau cyffelyb; ac am y pregethai yr Apostol Grist a'i adgyfodiad, y dygid ef ger bron llys Areopagus. Cynnelid y llys hwn ar Fryn Mawrth, yng nghanol y ddinas. Yma y safodd yr Apostol, gan bregethu yn hy ddirgelion teyrnas nefoedd.

ARIMATHEA. Dinas fechan ynghylch pumtheg milldir ar hugain o Jerusalem, lle yr oedd Joseph, yr hwn a gafodd gorph yr Iesu gan Pilate, yn byw. Gelwir hi yn bresennol Ramla.

ARNON. Afon fechan yng ngwlad Caanan, a ddisgynai o fynydd Arnon, ac a ymarllwysai i'r Môr Marw.

ASDOD. Gwel AZOTUS.

ASIA. Un o'r dosparthiadau mwyaf o'r hen fyd, yr hwn ni chrybwyllir wrth yr enw hwn yn yr Hen Destament; ond y mae yn cael ei enwi yn aml yn y Testament Newydd.

ASCELON. Dinas yng ngwlad y Philistiaid, rhwng Azoth a Gaza, ar lan Môr y Canoldir. Wedi marwolaeth Joshua, llwyth Juda a gymmerasant Ascelon, yr hon drachefn a ddæth i fod yn un o bum' arglwyddiaeth y Philistiaid. Barn. 1. 18. Crybwyllir am y ddinas hon yn aml yn yr ysgrythyrau. Yr ydoedd yn amser rhyfeloedd y

groes yn orsaf o gryn gyfrifiad, ond y mae yn bresennol yn ddisylw.

Assos. Tref arforawl yn Mysia, neu yn ol eraill, yn Troas. Crybwyllir am dani yn Act. 20. 13, 14.

Assyria. Gwlad fechan yn Asia, am derfynau yr hon ni ellir dywedyd yn bresennol. Ymddengys ei bod yn gorwedd rhwng yr afonydd Tigris a'r Euphrates. Sefydlwyd ymerodraeth yr Assyriaid gan Ninus mab Belus, a safodd bum' cant ac ugain mlynedd. Teyrnasodd Ninus chwech ugain mlynedd; ac a helaethodd hen ddinas Ninefeh, yr hon a seiliasid gan Nimrod. Canlynwyd Ninus yn yr ymerodraeth gan ei wraig Semiramis, yr hon a deyrnasodd ddwy flynedd a deugain. Hon, wedi helaethu terfynau yr ymerodraeth, a'i gadawodd i'w mhab Ninyas, yn y flwyddyn o oed y byd 2831, a chyn Crist 1173. Y mae yr ysgrythyrau yn ddistaw am yr ymerodraeth dros oesau, hyd amser y prophwyd Jonah, yn y flwyddyn o oed y byd 3180, a chyn Crist 824. Yr oedd Ninefeh y pryd hwn yn ddinas fawr iawn, ac yn neillduol lygredig yn ei mhoesau; ond drwy bregeth Jonah, ymddarostyngodd y trigolion mewn edifeirwch ger bron Duw. Ym mhen tua hanner can' mlynedd wedi amser Jonah, crybwylla yr ysgrythyrau am frenin Assyria, o'r enw Pul, yr hwn a ryfelodd âg Israel yn amser Menahem. 2 Bren. 15. 19. 1 Chron. 5. 26. Meddylir mai Pul ydoedd tad Sardanapalus, brenin diweddaf yr Assyriaid, o dan deyrnasiad yr hwn yr aeth pechodau y Ninefeaid mor waeddfawr, fel y penderfynodd Duw eu cospi. Arabaces y Mediad, yn llidiog wrth afradlonedd Sardanapalus, gyda Belesis llywodraethwr Babilon, a benderfynasant fwrw ei iau ymaith ac wedi brwydrau gwaedlyd, parhasant iddo encilio i'w brif-ddinas, lle yr oedd yn meddwl y buasai yn gwbl ddihangol oblegid cadernid y ddinas. Ond yn y drydedd flwyddyn o'r gwarchae, gorlifodd yr afon Tigris dros ei cheulanau, ac a aeth dros gyfran o'r ddinas, gan fwrw rhan o'r mur i lawr, yn ol rhagddywediad Nahum, pen. 1. 8—10. Sardanapalus, er gochelyd syrthio i ddwylaw ei elynion, a losgodd ei hun, ei wragedd, ei drysorau, a'i balas, ac felly y terfynodd ei oes. Arabaces a Belesis wedi hyn a rannasant ei ymerodraeth rhyngddynt; y blaenaf a gafodd Media, a'r olaf a gafodd Babilon. Rhoddwyd Ninefeh i Ninus yr ieuangaf; ac felly o'r frenhiniaeth hon y tarddodd tair, sef Ninefeh, Babilon, a Media. Belesis, yr hwn a elwir Baladan yn Esay 39. 1. 2 Bren. 20. 12. a Nabonassar gan yr hen haneswyr, a sylfaenodd ymerodraeth Babilon, ac a'i gwnaeth yn brif-ddinas. Canlynwyd ef yn y llywodraeth gan ei fab, Merodach-Baladan, yn y flwyddyn o oed y byd 3291, a chyn Crist 713. Wedi hyn y mae yr ysgrythyrau yn ddistaw am ymerodraeth Babilon, hyd amser Esarhadon, am yr hon y crybwyllir etto. Ninus, yr hwn a osodwyd yn frenin Assyria a Ninefeh, ydyw y Tiglath-pileser y sonia yr ysgrythyrau am dano. 2 Bren. 15. 19. a 16. 7, 10. 2 Chron. 28. 20. Canlynwyd Tiglath-pileser yn y llywodraeth gan ei fab Shalmaneser, yr hwn a arweiniodd ei luoedd yn erbyn Moab, ac wedi eu gorchfygu, a aeth tua Samaria, gan gludo y gweddill o lwythau Israel i gaethiwed o'r tu hwnt i'r afon Euphrates, a thrwy hynny a osododd derfyn ar eu teyrnas. Esgynnodd Sennacherib orsedd Assyria yn y flwyddyn o oed y byd 3287, a chyn Crist

717. Pan oedd mewn rhyfel yn Asia a'r Aipht, bwriodd Hezeciah brenin Judah ei iau ymaith: yntau a arweiniodd ei luoedd tua Chaersalem; ond y prophwyd Esay a ddywedodd, y buasai dan yr angenrheidrwydd yn fuan o ddychwelyd yn ol i'w wlad ei hun. 2 Bren. 19. 20—34. Wedi marwolaeth Sennacherib, Esarhadon, un arall o'i feibion, a deyrnasodd yn ei le, yr hwn yn yr ysgrythyrau a elwir Sargon. Esay 20. 1. Gwarchaeodd hwn ar Gaersalem, ac a'i cymmerodd, gan arwain Manasseh brenin Judah i gaethiwed. 2 Chron. 33. Dilynwyd Esarhadon yn yr orsedd gan Saosduchin, neu Nebuchodonosor I. yr hwn a deyrnasodd ugain mlynedd. Wedi ei farwolaeth ef, esgynodd Saracus orsedd Assyria yn y flwyddyn o oed y byd 3356, a chyn Crist 648; ond o herwydd iddo dynnu gwg ei ddeiliaid, Nabopolassar llywydd Babilon, a Cyaxeres mab Astyages brenin Media a ymgyngreiriasant yn ei erbyn. Gwarchaewyd arno yn Ninefeh, ac wedi ei gymmeryd, rhannwyd ei frenhiniaeth. Nabopolassar a gafodd Ninefeh a Babilon, a Cyaxeres Media a'r gwledydd cymmydogaethol. Gwel NINEFEH.

ATHENS. Dinas enwog yng ngwlad Groeg, a fu un amser yn werin-lywodraeth gadarn,—yn enwog mewn dewrder milwraidd, ac yn fwy felly mewn dysgeidiaeth a gwybodau. Aeth Paul yno tua'r flwyddyn 52, ac a gafodd yr Atheniaid yn gladdedig mewn eilunaddoliaeth. Act. 17. Pregethodd Grist iddynt, a llawer o honynt a ddychwelwyd i'r ffydd.

ATTALIA. Tref arforawl yn Pamphylia, lle yr aeth Paul o Perga. Act. 14. 25.

AZOTUS, neu ASDOD. Dinas yn Judea rhwng Gaza a Jamnia, ar ben bryn yr hwn a amgylchynir gan ddyffryn hyfryd. Yma y buddugoliaethodd arch Jehofah ar Dagon, eilun y Philistiaid. 1 Sam. 5. 2; ac yma y cafwyd Philip yr Efangylwr, wedi bedyddio o hono yr eunuch galluog o Ethiopia. Act. 8. 40.

BABILON. Prif ddinas Caldea, yr hon y dechreuwyd ei hadeiladu gyda thŵr Babel, ond a adawyd yn anorphenedig yng nghymmysgiad yr ieithoedd. Gen. 11. 4—8. Yr hanes cyntaf y mae hen haneswyr yn ei roddi am Babilon ydyw, i Belus II. yr hwn yn fynych a gymmysgir â Belus I. neu Nimrod, adeiladu tŵr Belus yn Babilon, lle ei claddwyd ac y cyssegrwyd teml iddo. Herodotus, yr hwn a ymwelodd â Babilon, ni sylwodd ddim mewn perthynas i'w sylfaenydd, ond i'r ddinas gael ei gwellhau gan ddwy frenhines, sef Semiramis a Nicotris, y rhai a'i cadarnhasant ac a'i harddasant. Nicotris ydoedd gwraig Nebuchodonosor; yr oedd yn rhaglaw yr amser y bu efe yn orphwyllog, ac a orphenodd y gweithiau a ddechreuodd efe. Dechreuwyd adeiladu Babilon a'r tŵr gan Nimrod, ar lan orllewinol yr afon Euphrates. Gen. 10. 10. a 11. 4. Nid ydoedd ond bychan ar y dechreu, ond a helaethwyd gan Belus, Semiramis, Nebuchodonosor a'i wraig, hyd oni ddaeth yn un o ryfeddodau y byd. Dywed Herodotus fod Babilon yn berffaith ysgwar,—pob ochr yn chwech ugain stadia; ac felly yr oedd ei hamgylchiad yn 480 stadia. Ei muriau oeddynt yn 200 o gyfyddau o uchder, ac yn 50 o led. Ar ben y mur yr oedd tyrau bychain, un llofft o uchder, a lle rhyngddynt, drwy yr hwn y gallai cerbyd a phedwar ceffyl fyned a throi. Yn amgylchiad y muriau yr oedd, yma ac accw, gant o byrth pres,

ac iddynt ddorau o'r un defnydd. Amgylchynid yr holl ddin
ffos fawr lawn o ddwfr, o'r hon y cloddiwyd y pridd er gwne
priddfeini i adeiladu y ddinas. Bod Babilon yn dri ugain mil
amgylchiad sydd braidd yn anghredadwy, ond hyn ydyw tysti
yr hen haneswyr, ac nid oes genym ni sail i'w hammeu. Y p
hynottaf yn Babilon oeddynt, 1. Tŵr Belus, yr hwn ydoe
llydan iawn yn ei sail, ond yn meinhau at ei nen; yr oedd yn
llofft o uchder, a'r isaf o honynt yn bum' can' troedfedd o led,
gymmaint o uchder. Ar nen y tŵr yr oedd delw Belus, yn dde
troedfedd o uchder. Amgylchynid y tŵr gan gyntedd, dwy
o hyd, ac iddo byrth amrosgo o bres. 2. Y palas brenhinol, y
ydoedd fawr a chadarn iawn. Yr oedd hwn yn betrual o
stadia yn ei amgylchiad. 3. Y gerddi crogedig, y rhai oedd
gyfagos i'r palas brenhinol, ac a adeiladwyd gan Nebuchodon
boddhau ei wraig, yr hon oedd enedigol o Media, gwlad fyn
Yr oedd y gerddi yma yn betrual o 400 troedfedd, neu dair
hanner. Cynnelid hwynt gan ugain o furiau bwäog, yn hann
cyfydd o uchder. Tyfai pob rhywogaethau o goedydd yn
hyn, o faintioli aruthrol; a dyfrheid hwynt gan beiriannau, y
godent y dwfr o'r Euphrates. Y mae y wlad oddi amgylch
Babilon yn awr yn dra chyfoethog, a glennydd yr Euphrat
llawn o helyg, ar y rhai y crogodd caethion Juda eu telyn
nydd eu gofid.

Yn y flwyddyn o oed y byd 3398, a chyn Crist 606, Nabop
a wnaeth ei fab Nebuchodonosor yn gyd-frenin âg ef ei hun,
hanfonodd i ddarostwng Syria a Phalestina, y rhai a wrthryfe
yn ei erbyn. Yn ei ffordd at y taleithiau hyn, cyfarfyddodd â
raoh-Necho brenin yr Aipht, ac a'i gorchfygodd, gan adgym
Carchemish. Jer. 46. 2. Cymmerodd Jerusalem, ac a dd
Jehoiachim mewn cadwynau i Babilon; ond wedi ei gyffroi g
edifeirwch, adferodd ef i'w frenhiniaeth. 2 Chron. 36. 6. Clu
amryw o'r Iuddewon i Babilon, a thrysorau yn aneirif. 2 Chro
7. Wedi marwolaeth Nabopolasar, Nebuchodonosor ei fab a d
asodd ei hun; ac efe a anfonodd ei gadpeniaid i Jerusalem, y
ddygasant Jehoiachim, y tywysogion, a mawrion Juda yn g
Babilon. 2 Bren. 24. 6—16. a gosodasant Sedeciah yn frenin ar
Gwrthryfelodd hwn drachefn, a Nebuchodonosor a arweinio
luoedd yn ei erbyn, ac a gymmerodd y ddinas, wedi gwarcha
ddwy flynedd; a Sedeciah, wedi tynnu ei lygaid, a ddygwyd
cadwynau i Babilon. Wedi teyrnasu ddwy flynedd a deugai
farw, a'i fab Efil-Merodach a esgynodd yr orsedd yn y flwydd
oed y byd 3442, a chyn Crist 563. Brad-fwriadwyd yn ei erby
ac efe a laddwyd, a Neriglissar a gymmerodd feddiant o'r or
Hwn, wedi ei ladd mewn brwydr, a ganlynwyd gan Labro
archod yn y frenhiniaeth, yr hwn yn fuan a roddwyd i farw
am ei amryfuseddau. Belsassar ydoedd ei brenin nesaf, yr h
halogodd lestri y deml, ac a laddwyd y noswaith honno gan ga
iaid Cyrus o Persia. Y mae Babilon er ys oesau

Basan, neu Batanea. Y dosparth gogleddo
lead, y tu hwnt i'r Iorddonen, a elwid mynydd
yn enwog o herwydd y derw a dyfent arno. Eze

Crybwyllir hefyd am wrdd deirw Basan yn Salm 22. 12. Cyfeirir atto yn aml yn yr ysgrythyrau, megis Deut. 32. 14. Salm 68. 15. Esay 2. 13. Ezec. 39. 18. Amos 4. 1.

BEERSEBA. Ffynnon y llw, neu ffynnon y saith, oblegid yma y gwnaeth Abraham gyngrair âg Abimelech brenin Gerar, ac a roddes iddo saith hespin. Gen. 21. 31. Rhoddwyd Beerseba gan Joshua i lwythau Juda, Jos. 15. 28; ond a drosglwyddwyd wedi hynny i lwyth Simeon, Jos. 19. 2. Yr ydoedd tuag ugain milldir i'r dehau o Hebron. Yr oedd terfynau gwlad yr addewid yn fynych yn cael eu henwi o Dan hyd Beerseba. 2 Sam. 7. 11. Dan ydoedd y terfyn gogleddol, a Beerseba y terfyn deheuol o'r wlad.

BENJAMIN. Dosparth llwyth Benjamin o wlad Canaan, ydoedd rhwng Judah a Joseph. Ni chynnwysai lawer o drefydd a dinasoedd; ond yr oedd hyn yn cael ei wneuthur i fynu am y perthynai Caersalem, y brif ddinas, i'r llwyth hwn.

BEREA. Dinas ym Macedonia, lle y pregethodd Paul yr efengyl gyda llwyddiant mawr; ac y mae Luc yn rhoddi cymmeriad anrhydeddus i'r Bereaid. Act. 17. 10.

BESOR. Afon a ymarllwysai i'r môr, yn agos i Gaza. 1 Sam. 30. 9.

BETHABARA. Tref tu hwnt i'r Iorddonen, lle y bedyddiai Ioan. Pen. 1. 28.

BETHANIA. Tref yn Judea, lle yr oedd Lazarus yn byw, a lle yr adgyfodwyd ef oddiwrth y meirw. Yr oedd ei sefyllfa ar ochr mynydd yr Olewydd, o'r tu dwyreiniol i Jerusalem, ar y ffordd i Jericho. Ioan 11. 1.

BETHPHAGE. Llain o dir a phentref bychan wrth odreu mynydd yr Olewydd, rhwng Bethania a Jerusalem. Galwyd ef wrth yr enw hwn oblegid amlder y ffigys a dyfent yno. Crybwyllir am dano yn Mat. 21. 1.

BETHLEHEM. Dinas nodedig, chwech milldir o Jerusalem, a elwid hefyd Ephratah. Gen. 35. 19. a 48. 7. Mica 5. 2. Yr oedd yn ddinas yn amser Boaz. Ruth 3. 11. Cadarnhawyd hi gan Rehoboam. 2 Chron. 11. 6. Yn Mat. 2. 1—5. gelwir hi Bethlehem Judea, i'w gwahaniaethu oddiwrth dref arall yn Galilea isaf. Yn Luc 2. 4. gelwir hi Dinas Dafydd, am iddo gael ei eni a'i ddwyn i fynu yno. Ioan 7. 42. 1 Sam. 16. 1, 18. Yma y ganed ein Harglwydd Iesu Grist. Mat. 2. 6. Luc 2. 6. Y mae ei sefyllfa ar ben bryn mewn lle hyfryd; ac y mae yma ffynnon o ddwfr neillduol. 2 Sam. 23. 15.

BETHSAIDA. Dinas o'r tu hwnt i'r Iorddonen, ar lan môr Tiberias. Yr oedd yn un o'r dinasoedd y cyhoeddodd Crist wae yn ei herbyn am ei hanedifeirwch. Mat. 11. 1.

BETHULIA. Dinas fechan heb fod ym mhell o'r mynydd, yr hwn a elwir yn fynydd y bendithion. Meddylia rhai mai hi ydoedd y ddinas ar fryn yn Mat. 5. 14. Y mae ar le uchel ac amlwg iawn.

BITHYNIA. Dosparth o Asia Leiaf. Annerchodd Pedr ei Epistol Cyntaf, ym mhlith eraill, at y Cristionogion Hebreaidd oeddynt yn wasgaredig drwy Bithynia. 1 Pedr 1. 1.

BENDITH. Dyffryn y fendith ydoedd yn llwyth Juda, y tu gorllewinol i fôr Sodom, yn anialwch Zehoah. Cafodd ei euw oddiwrth y fuddugoliaeth a ennillodd Jehosaphat ar y Moabiaid a'r Edomiaid.

BOCHIM. Dyffryn Bochim, neu wylofain. Galwyd ef felly wrth y galar a wnaeth yr Israeliaid yno, o herwydd y cyhoedd bygythiol a wnaed yno arnynt am eu hanufudd-dod i orchymn Duw. Barn 2. 5.

CESAREA PALESTINA. A elwir felly am ei bod yn brif- Palestina, lle y gorsafai y Pro-Consul Rhufeinaidd, ond a elwi Tŵr Strato. Crybwyllir am y lle hwn yn aml yn yr Hen Dest ac a elwir mewn ffordd o uchafiaeth Cesarea. Yma y bu P offerynol i argyhoeddi Cornelius, blaenffrwyth y Cenhedloedd 10. Y mae y lle yn bresennol yn anghyfannedd, ac yn ll anifeiliaid rheibus.

CESAREA PHILLIPI. Dinas wrth odreu mynydd Paneus, y i ffynnonau yr Iorddonen. Galwyd hi yn gyntaf Luish, Barn. ac wedi ei chymmeryd gan y Daniaid, a alwyd Dan. Phillip y te a'i cadarnhaodd, ac a'i henwodd Cesarea, er anrhydedd i Tibe ymerawdwr.

CALFARIA. Mynydd o'r tu allan i gaerau Caersalem, y hefyd a elwid Golgotha, oblegid ei debygolrwydd i benglog 27. 33. Ond yn fwyaf tebygol gelwid ef Golgotha, am mai marwolaethid drwg-weithredwyr. Ar hwn y croeshoeliwyd wydd y gogoniant; ac y mae yn bresennol yn llawn o eglwy aidd.

CANA. Tref fechan yn Galilea, ar fryn isel o'r tu gorlle Capernaum. Yn y lle hwn y gwnaeth yr Arglwydd Iesu G wyrth gyntaf.

CANAAN. Y mae y wlad hon mewn gwahanol oesoedd we ei galw wrth wahanol enwau, y rhai a ddeilliasant, naill ai od ei thrigolion, neu oddiwrth ryw amgylchiadau a berthynant id Jer. 4. 20. gelwir y wlad dan sylw wrth yr enw, Tir; ac yn f yn yr Hen Destament a'r Newydd, y mae y gair Groeg, *Ge*, y weithiau a gyfieithir daear, yn arwyddo gwlad yr addewid, et iaeth meibion Jacob; Jos. 2. 3. ond y wlad a feddiennid gan yr reaid a elwir yn yr Ysgrythyrau wrth yr enwau canlynol:—

1. Gwlad Canaan. Cafodd yr enw hwn oddiwrth C mab ieuangaf Ham, ac ŵyr Noah, yr hwn a sefydlodd yno cymmysgiad yr ieithoedd yn Babel, ac a'i rhannodd rhwng mab ar ddeg. Aeth pob un o'r rhai hyn yn bennaeth llwyth llio rhai mewn amser a aethant yn genhedloedd gwahanol. Gen. 10.

2. Gwlad yr addewid. Cafodd yr enw hwn oddiwrth yr ad a wnaed gan Jehofah i Abraham, y byddai iddi fod yn feddia hiliogaeth. Gen. 12. 7. Galwyd hiliogaeth Abraham mewn dyfodol yn Hebreaid, ac oddiwrth yr enw hwn galwyd y wl wlad yr Hebreaid. Gen. 40. 15.

3. Gwlad Israel. Galwyd y wlad wrth yr enw hwn oddiw Israeliaid, hiliogaeth Jacob, y rhai a'i preswyliasant. Defnyd enw hwn yn fynych yn yr Hen Destament, ac y mae i'w gael yn y Testament Newydd; Mat. 2. 20, 21. ac yn ei ystyr hel arwydda gwlad Israel, yr holl wlad o'r ddau tu i'r Iorddon hon a roddes Duw yn etifeddiaeth i feibion Israel. O fewn y hwn y mae yr holl daleithiau yr ymwelodd ein Harglwyd Grist â hwynt, ond yr Aipht.

4. Gwlad Judah. Ni chynnwysai yr enw hwn ar y cyntaf ond y dosparth hwnnw o'r wlad a roddwyd i lwyth Judah, er yr ymddengys y byddai holl wlad Israel weithiau yn cael yr enw hwn, pan y rhagorai llwyth Judah ar y llwythau eraill mewn mawredd ac ardderchawgrwydd. Wedi i'r deg llwyth ymneillduo, y dosparth hwnnw o'r wlad a berthynai i lwythau Benjamin a Judah, a'r hon hefyd ydoedd yn deyrnas ar ei phen ei hun, a wahaniaethid wrth yr enw tir neu wlad Judah, neu Judea; wrth ba enw y gelwid yr holl wlad tra parhaodd yr ail deml, a thra bu dan lywodraeth y Rhufeiniaid.

5. Y Wlad Sanctaidd. Gelwir hi fynychaf wrth yr enw hwn gan bawb Cristionogion hyd heddyw, a hynny oblegid iddi gael ei neillduo yn yr amserau gynt i fod yn unig le i'w addoli ef, ac a gyssegrwyd gan ei bresennoldeb; ac hefyd am mai yn y wlad hon yr ymddangosodd ein Harglwydd Iesu Grist, ac y bu efe farw dros bechaduriaid. Nid ymddengys i'r enw hwn gael ei ddefnyddio gan yr Hebreaid eu hunain hyd ar ol y caethiwed Babilonaidd; ac ym mhlith eraill, defnyddiwyd yr enw dan sylw i arwyddoccau y wlad hon gan Zechariah, pen. 2. 12. "A'r Arglwydd a etifedda Judah, ei ran yn y tir sanctaidd, ac a ddewis Jerusalem drachefn." Wedi y caethiwed Babilonaidd, ymddengys bod hwn yn enw a ddefnyddid yn gyffredinol. Defnyddir ef yn yr Apocrypha mewn gwahanol fannau, a chan deithwyr a haneswyr drwy holl gred.

6. Palestina. Gelwid y wlad wrth yr enw hwn yn nyddiau Moses; Ecsod. 15. 14. ac y mae yn deilliaw oddiwrth y Philistiaid, pobl a symmudasant o'r Aipht, ac wedi ymlid y trigolion cyntefig ymaith, a ymsefydlasant ar ororau Môr y Canoldir. Daethant o ychydig i ychydig mor enwog, fel y galwyd yr holl wlad ar eu henw, er na feddiannent ond dosparth fechan o honi.

Mewn perthynas i wlad Canaan, o ran ei maintioli, y mae daearyddwyr wedi rhoddi gwahanol fesuriadau. Dyweda rhai nad ydyw dros gant a thrugain a deg, neu bedwar ugain milldir o hyd o'r gogledd i'r dehau, a chant a deugain milldir yn ei lledandra mwyaf o'r dwyrain i'r gorllewin. Ond oddiwrth yr hanesion diweddaraf, a'r rhai cywiraf hefyd, ymddengys bod gwlad Canaan yn agos i ddau can' milldir o hyd, ac ynghylch pedwar ugain milldir o led yn ei chanol. Trwy y cyfammod Abrahamaidd a grybwyllir yn Gen. 15. 18. yr oedd caniattad gwreiddiol gwlad yr addewid fel etifeddiaeth i Israel, i fod o afon yr Aipht hyd afon Euphrates. Darlunir ei therfynau gyda manyldra neillduol gan Moses yn Num. 34. 1—16. Ni roddwyd Israel mewn meddiant union-gyrchol o'r wlad hon; oblegid ni feddiannodd Joshua ond y dosparth gogleddol a deheuol o honi, a'r relyw a gymmerwyd gan Dafydd a chan Salomon ei fab. Dan deyrnasiad Salomon y meddiannwyd hi yng nghyflawnder yr addewid a wnaed i Abraham. 2 Chron. 9. 26. "Ac yr oedd efe yn arglwyddiaethu ar yr holl frenhinoedd, o'r afon hyd wlad y Philistiaid, a hyd derfyn yr Aipht." Ond nid oedd Israel bob amser yn ei meddiannu yn yr helaethrwydd hwn, fel y mae yr hanes yn dangos yn eglur i ni.

Y mae gwlad Canaan o fewn cylch tymherus, rhwng 31 a 33 o raddau y lledred gogleddol, a Môr y Canoldir, neu y Môr Mawr, yn derfyn iddi ar y tu gorllewinol; Arabia yn derfyn iddi ar y tu

dwyreiniol; afon yr Aipht, (Sichor,) yn derfyn iddi ar y tu deheuol; ynghyd âg anialwch Sin, neu Beerseba, a glan ddeheuol y Môr Marw ac afon Arnon, ac Anti-libanus yn derfyn iddi ar y tu gogleddol. Yr ydym yn fynych yn yr hanesyddiaeth sanctaidd yn cyfarfod â'r ymadrodd, "O Dan hyd Beerseba," er dangos hyd gwlad Israel.

Gwlad Canaan, cyn iddi gael ei meddiannu gan yr Israeliaid, ydoedd ym meddiant hiliogaeth Ham, y rhai a'i preswyliasant am o ddeutu saith can' mlynedd, ac yr oedd yn eu plith amryw werinlywodraethau a theyrnasoedd. Yn nyddiau Abraham meddiannid y wlad hon gan ddeg cenedl, y Ceniaid, y Cenesiaid, a'r Cadmoniaid, i'r dwyrain o'r Iorddonen; yr Hittiaid, y Peresiaid, y Rephamiaid, yr Amoriaid, y Canaaneaid, y Girgasiaid, a'r Jebusiaid, y gorllewin. Y Cenhedloedd hyn oedd y rhai y gorchymmynwyd i feibion Israel eu difrodi a'u difetha o'r tir. O fewn saith mlynedd gorchfygodd Moses ddwy genedl gref o'r tu dwyreiniol, a Joshua un ar ddeg ar hugain ar y tu gorllewinol i'r Iorddonen, ac a rannasant eu gwlad rhwng llwythau Israel, er yr ymddengys bod rhai o'r hen drigolion wedi cael caniattad gan yr Arglwydd i aros yno, er profi eu gorchfygwyr; a chaniattawyd mewn amserau dyfodol i orthrymu yr Israeliaid yn dost am ac oblegid eu pechodau. Ac ni lwyr orchfygwyd y Cenhedloedd hyn hyd deyrnasiadau Dafydd a Salomon, yr hwn a'u darostyngodd yn hollol i sefyllfa caethion, ac a ddefnyddiodd 153000 o honynt mewn gwasanaeth isel gyda'r adeiladaethau a ddygid ym mlaen ganddo.

Heblaw y Cenhedloedd dywededig a ddiofrydwyd i ddinystr, yr oedd amryw o rai eraill, naill ai yn breswyledigion yn y tir pan feddiannwyd hi gan yr Israeliaid, neu ar ei therfynau, â'r rhai y brwydrent ac y byddent braidd mewn rhyfel parhaus; yr oeddynt yn chwech o nifer.

1. Y Philistiaid, y rhai oeddynt yn hiliogaeth Mizraim, mab Ham, y rhai a ddaethant o Caphtor, neu barth gogledd-orllewin yr Aipht, ac a sefydlasant ar lain o dir ar lan y môr, o'r tu dehau orllewinol i wlad Canaan, wedi iddynt yn gyntaf ymlid yr Afiaid ymaith. Yr oedd y dalaith a feddiennid gan y Philistiaid yn amser Joshua, wedi ei rhannu yn bum' arglwyddiaeth, sef Gaza, Asdod, Ascelon, Gath, ac Ecron. Yr oedd y Philistiaid y gelynion gwrolaf a chadarnaf y bu plant Israel yn ymladd â hwynt, ac ymddengys oddiwrth yr hanes ysgrythyrol bod eu cenfigen a'u llid yn anghymmodlon yn erbyn Israel. Er eu gorchfygu a'u darostwng gan Dafydd, ni lwyr orchfygwyd hwynt hyd amser Judas Maccabeus, ac ym mhen o ddeutu trugain mlynedd a phump ar ol Judas, llosgodd Janneus eu dinas Gaza, ac a gorpholodd y Philistiaid gweddilledig â'r Iuddewon a gyfleodd efe yn y wlad.

2. Y Midianiaid. Hanodd y Midianiaid o Midian, pedwerydd mab Abraham o Ceturah. Crybwyllir yn yr ysgrythyrau am ddau le, fel preswylfeydd y Midianiaid; un ar y pen gogledd-ddwyrain i'r Môr Coch, lle yr oedd Jethro, tad-yng-nghyfraith Moses, yn dywysog ac yn offeiriad. Gelwid y Midianiaid deheuol weithiau wrth yr enw Cushiaid, am y meddiannent y wlad a berthynai gynt i Cus. Cadwodd y rhai hyn yr wybodaeth am y gwir Dduw, yr

hon a gollwyd gan y Midianiaid gogleddol a breswylient ar y tu dwyreiniol i'r Môr Coch. Yr oedd y Midianiaid gogleddol naill ai yn ddarostyngedig i'r Moabiaid, neu mewn cyngrair â hwynt; a bu eu menywaid yn offerynau llwyddiannus i ddenu Israel i eilun-addoliaeth ac i bechodau eraill; a'r pechod hwn o'r eiddynt a gyffrodd ddigofaint y Jehofah, fel y cospwyd y genedl hon agos â hollol ddinystr; ond cryfhasant wedi hyn i'r fath raddau, fel y gorthrymasant Israel, ac y buont dan deyrnged iddynt. O'r caethiwed blin hwn cyfododd yr Arglwydd Gedeon i'w gwaredu, a dinystriwyd hwynt i'r fath raddau ganddo, fel y tybir i'r gweddill o honynt gael eu corpholi gyda y Moabiaid neu yr Ammoniaid.

3, 4. Y Moabiaid a'r Ammoniaid. Hanodd y rhai hyn oddiwrth ddwy ferch Lot. Preswyliai y Moabiaid o'r tu dwyrain i'r Iorddonen, mewn talaith o'r hon y gyrrasant yr Emimiaid ymaith, y rhai a elwid y cewri. Yr oedd preswylfa yr Ammoniaid ar y tu gogledd-ddwyrain i'r Moabiaid, talaith berthynol i'r Zamzumiaid, ond fel y gorchfygwyd hwynt ac y cymmerwyd eu gwlad. Yr oedd y taleithiau a breswylid gan y ddwy genedl hon yn dra hyfryd a ffrwythlon, ac yr oeddynt yn elynion anghymmodlon i Israel.

5. Yr Amaleciaid. Hanodd y rhai hyn o Amalec mab Ham, ac yr oeddynt yn elynion enbyd i Israel. Yr Amaleciaid oedd y genedl gyntaf a wrthwynebodd Israel wedi eu dyfodiad allan o'r Aipht, ond gorchfygwyd hwynt, a dedfrydwyd hwynt gan yr Arglwydd i farwolaeth, a'r ddedfryd a roed mewn grym gan Saul brenin Israel.

6. Yr Edomiaid. Deilliodd cenedl yr Edomiaid oddiwrth Esau neu Edom, a phreswylient y wlad o'r tu dehau i Judea, yr hon wlad a feddiannid gynt gan yr Horiaid, y rhai fel y tybir a gydgorpholwyd â'r buddugoliaethwyr. Yr oedd y wlad hon yn fynyddig, ac yn cynnwys mynyddoedd Seir a Hor, ynghyd â thaleithiau Dedan, Teman, &c. Yr oeddynt yn dra gelynol i Israel, ond dygwyd hwy dan deyrnged gan Dafydd, ac am gant a hanner o flynyddoedd buont yn ddarostyngedig i deyrnas Judah.

Rhoddwyd y wlad tu hwnt i'r Iorddonen gan Moses i'r Reubeniaid, y Gadiaid, a hanner llwyth Manasseh; a'r naw llwyth a hanner eraill a gyflewyd o'r tu gorllewinol i'r Iorddonen. Rhannwyd y wlad wedi hyn gan Salomon, yr hwn a'i dosparthodd i ddeuddeg talaith, a phob un o honynt dan swyddog neillduol. Enwir y taleithiau hyn a'u swyddwyr yn 1 Bren. 4. 7—19. O gynnyrch y taleithiau hyn yr oedd pob swyddwr i barottoi ar gyfer angenrheidiau y brenin bob yn ail fis. Arosodd y wlad dan y rhaniad hwn hyd oni wrthryfelodd y deg llwyth dan deyrnasiad Rehoboam, ac a wnaethant eu hunain yn deyrnas wahanol dan Jeroboam, ac a alwyd yn deyrnas Israel. Y ddau lwyth eraill, sef Judah a Benjamin, a arosasant yn ffyddlon i Rehoboam, yr hon a alwyd yn deyrnas Judah. Cynnwysai y deyrnas ddiweddaf hon holl barthau deheuol y wlad, sef yr hyn a ganiattawyd iddynt, yngbyd â'r tiriogaethau a berthynent i Dan a Simeon, ag oedd o fewn Judah a Benjamin. Prif ddinas y deyrnas hon ydoedd Jerusalem, yr hon oedd yn llwyth Judah. Teyrnas Israel a gynnwysai y parthau gogleddol a chanol o'r wlad, a feddiennid gan y deg llwyth, prif ddinas yr hon ydoedd Samaria, o ddeutu deng milldir ar hugain y gogledd-ddwyrain i Jerusalem.

Ond darfu y rhaniad hwn pan ddymchwelwyd teyrnas Israel gan Salmaneser, brenin Assyria, wedi iddi aros ddau cant a phedair blynedd ar ddeg a deugain.

Bu gwlad Canaan dan awdurdod y brenhinoedd Syriaidd, y Groegiaid, a'r Rhufeiniaid. Yr oedd ym meddiant y Rhufeiniaid pan ymddangosodd ein Harglwydd Iesu Grist yn y cnawd, ac wedi ei rhannu yn bum' talaith, sef Galilea, Samaria, Judea, Perea, ac Idumea.

1. Galilea. Crybwyllir am y dosparth hwn yn fynych yn y Testament Newydd, ond ymddengys nad ydoedd o'r un faintioli bob amser. Cynnwysai y wlad a elwid Galilea yr etifeddiaethau a feddiennid gynt gan lwythau Isachar, Naphthali, ac Aser, a rhan o etifeddiaeth llwyth Dan. Rhennir Galilea gan Josephus i ddwy ran, sef Galilea Uchaf a Galilea Isaf. Yr oedd Galilea Uchaf yn llawn o fynyddoedd, ac am ei bod yn gyfagos i'r Cenhedloedd a breswylient ddinasoedd Tyrus a Sidon, gelwid y dosparth hwn yn Galilea y Cenhedloedd. Yr oedd Galilea Isaf rhwng Môr y Canoldir a llyn Genesaret, yn wastadir ffrwythlon, ac yn ol Josephus, mor boblogaidd, fel y cynnwysai ddau cant o ddinasoedd a threfydd. Anrhydeddwyd y dosparth hwn yn fynych â phresennoldeb ein Harglwydd Iesu Grist, ac yr oedd y rhan fwyaf o apostolion ein Harglwydd yn enedigol o'r lle hwn, a gelwid hwy gan yr angel yn wyr o Galilea. Act. 1. 11. Siaradai y Galileaid gangen lygredig o'r Syriaeg, oblegid yr hyn beth yr adnabyddwyd Pedr fel un o ddisgyblion ein Harglwydd Iesu Grist. Yr oedd y Galileaid yn bobl derfysglyd, a gwrthryfelent beunydd, a thrwy hynny dygent arnynt eu hunain yn fynych ddialedd yr awdurdodau. Prif drefydd Galilea Isaf a grybwyllir yn y Testament Newydd, ydynt Tiberias, Chorazin, Bethsaida, Nazareth, Cana, Capernaum, Nain, Cæsarea, a Ptolemais.

2. Samaria. Y rhaniad hwn o wlad Canaan a gafodd yr enw Samaria oddiwrth y ddinas a elwid wrth yr enw hwn. Cynnwysai y wlad a feddiennid gan y llwythau Ephraim a Manasseh, yn y canol rhwng Judea a Galilea, fel yr oedd yn rhaid i'r rhai a fynnent fyned yn ebrwydd o Galilea i Jerusalem, fyned drwy Samaria. Hyn a eglura y sylw yn Ioan 4. 4. "Ac yr oedd yn rhaid iddo fyned drwy Samaria."

3. Judea. Y dosparth hwn o'r wlad ydoedd yr enwocaf. Cynnwysai y wlad a etifeddid gynt gan lwythau Judah, Benjamin, Simeon, a rhan o etifeddiaeth llwyth Dan. Yr oedd y dosparth hwn agos gymmaint ei faintioli a hen deyrnas Judah. Prif ddinas y dosparth hwn ydoedd Jerusalem, ond yr oedd yn dra llawn o ddinasoedd a threfydd eraill.

4. Talaith Perea, a gynnwysai ddosparthiadau Abilene, Trachonitus, Iturea, Gaulonitus, Batanea, a Perea.

5. Idumea. Ychwanegwyd y dalaith hon at y lleill gan y Rhufeiniaid pan orchfygasant Palestina. Cynnwysai y rhan ddeheuol o Judea, ynghyd âg ychydig gyfran o Arabia.

Capernaum, tref yn Galilea, yn agos i lyn Genesaret. Y mae y lle hwn yn nodedig am amryw o weithredoedd nerthol, y rhai a gyflawnwyd gan Fab Duw yn nyddiau ei gnawd, ac uwch ben ei phres-

wylwyr y cyhoeddodd yr Arglwydd wae ddychrynllyd am eu hanghrediniaeth. Mat. 11. 23.

CAPPADOCIA, teyrnas yn Asia, yn cael ei therfynu gan Armenia, Paphlagonia, Galatia, y Môr Du, a chan gyfran o fynydd Taurus. Crybwyllir am y wlad hon yn Act. 2. 9. ac y mae yr Apostol Pedr yn cyfarwyddo ei Epistol at y saint gwasgaredig yn Cappadocia ym mhlith eraill.

CARCHEMISH, tref ar yr afon Euphrates, berthynol i'r Assyriaid. Cymmerwyd hi gan Pharaoh Necho, brenin yr Aipht, ond hi a adgymmerwyd gan Nebuchodonosor, brenin Babilon. 2 Chron. 35. 20. 2 Bren. 23. 29.

CARMEL, mynydd tua deng milldir o'r tu deheuol i Acre, neu Ptolemais, ar oror Môr y Canoldir. Mynydd Carmel sydd gadwyn o fryniau o chwech i wyth milldir o hyd, yn dechreu yng ngwastadedd Esdrealon, ac yn terfynu mewn penrhyn, yr hwn a ffurfia gilfach Accho neu Acre. Y mae y mynydd hwn yn dra chreigiog, ac yn gynnwysedig o gerrig gwynion, a cherrig callestr yn gyd-gymmysgedig â hwynt. O'r tu dwyreiniol i'r mynydd hwn y mae gwastadedd ehang, yr hwn a ddyfrheir gan yr afon Cison; ac o'r tu gorllewinol gan wastadedd llai, yn disgyn i'r môr. Nid ydyw trum uchaf y mynydd hwn dros bumtheg can' troedfedd o uchder. Dywedir fod pennau y mynydd hwn yn llawn o dderw, a choedydd eraill, ac ym mhlith y mieri y tyfa y gwinwydd a'r olewydd gwylltion, yr hyn a brawf fod y mynydd hwn wedi cael ei drin yn yr amserau gynt. Y mae amryw gornentydd yn rhedeg o'r mynydd hwn, yr hyn a ystyrir yn fendith ac yn drugaredd fawr gan drigolion y dwyrain. Ac ar yr ochr nesaf i'r môr y mae ogof, yn yr hon y tybir i Elias aros am ryw amser. Ymddengys mai Carmel ydoedd yr enw, nid yn unig ar y bryn lle yr offrymodd y prophwyd Elias ger bron yr holl bobl, ond yn enw perthynol i'r holl dalaith, yr hon ydoedd yn nodedig am borfeydd breision. Llefarir yn fynych yn yr Ysgrythyrau am y mynydd hwn, am ardderchawgrwydd Carmel, ynghyd â'i fod yn breswylfa bugeiliaid, Esay 35. 2. Amos 1. 2. Yr oedd mynydd Carmel arall heblaw hwn, ynghyd â dinas o'r un enw yn llwyth Judah, a chrybwyllir am dano yn Jos. 15. 55. 1 Sam. 25. 2. a 2 Sam. 3. 3.

CEDRON, afon a redai drwy ddyffryn Jehosaphat, rhwng Jerusalem a mynydd yr Olewydd. Yr oedd yn sych ond yn y gauaf, neu ar wlawogydd trymion, pryd y chwyddai, ac y cludai ymaith fudreddi y ddinas.

CENCHREA, dinas a phorthladd yn Corinth. Act. 18. 18.

CHALDEA, gwlad yn Asia, yn gyfagos i ymuniad y Tigris a'r Euphrates, prif ddinas yr hon ydoedd Babilon, oddiwrth ba enw y gelwid hi hefyd Babilonia. Yr oedd yn adnabyddus wrth yr enwau Shinar a Sinar yn yr hen oesoedd.

CHINERETH. Môr Chinereth, môr Galilea, llyn Genesaret, neu Genesareth, a môr Tiberias. Num. 34. 11. Jos. 12. 3. Luc 5. 1. Mat. 14. 34. Marc 6. 53. Ioan 6. 1. a 21. 21. Yr oedd hwn yn gasgliad o ddyfroedd, ac ynddo liosogrwydd o bysgod. Mewn llong ar y llyn hwn y traddododd ein Harglwydd y ddammeg ynghylch bwrw y rhwyd i'r môr, Mat. 13. 47, 48. Y mae ei ddyfroedd yn dra

gloyw a phur, yn ol yr hanesion a roddir gan yr ysgrifenwyr a fuont yn teithio y ffordd honno.

CHIOS, ynys ym môr Egea, rhwng Lesbos a Samos, yn nodedig drwy yr oesau am ei gwin a'i ffigys. Sonir am dani yn Act. 20. 15.

CHITTIM. Gwlad Chittim, ac ynysoedd Chittim, a arwyddocant yn gyffredinol gwledydd arforawl, ac ynysoedd Môr y Canoldir, megis Groeg, yr Eidal, Crete, Cyprus, Corsica, &c. Rhag-ddywedodd Balaam y byddai i longau o dueddau Chittim, flino Asur, ac Eber, sef yr Hebreaid, yr hyn a arwyddai ymosodiadau y Groegiaid a'r Rhufeiniaid ar y gwledydd crybwylledig. Dywedodd Daniel y byddai i longau Chittim ddyfod yn erbyn brenin y Gogledd; a gelwir Perseus, brenin Macedon, yn frenin Chittim.

CHORAZIN, tref fechan ar lan orllewinol môr Galilea, yn gyfagos i Capernaum. Yr oedd yn un o'r llefydd y cyflawnodd Mab Duw ei wyrthiau rhyfeddol. Cyhoeddodd Crist wae uwch ei phen. Mat. 11. 21. Luc 10. 13.

CILISIA, gwlad yn Asia Leiaf, yn nodedig am i Cisero fod yn *Proconsul* yno, ond yn fwy am fod yr Apostol Paul wedi ei eni yn Tarsis, yn Cilisia. Act. 22. 4.

CLAUDA, ynys yn agos i Crete, yn agos i'r mor deheuol a gorllewinol. Crybwyllir am dani yn Act. 27. 16. ac hefyd

CNIDUS, yr hon oedd ddinas ym mhenrhyn Caria, yn hynod am yr addoliad a roddid yno i Venus, sef Gwener, yn Act. 27. 7.

COLOSSA, dinas yn Phrygia Pacatiana, yn Asia Leiaf, yn agos i gyd-lifiad yr afon Lycus a Meander. Dinystriwyd hon gan ddaeargryn yn y ddegfed flwyddyn o deyrnasiad Nero, ac ym mhen tair blwyddyn wedi ysgrifenu o'r Apostol Paul ei epistol at y Colossiaid.

Coos, ynys ym môr Egea, neu Icaria, yn agos i Myndos a Cnidus, ac arni ddinas o'r un enw. Yr oedd yn gyfoethog iawn mewn gwin.

CORINTH, prif ddinas Achaia Briodol, ynghyd â harddwch holl wlad Groeg. Yr oedd dinas Corinth yn sylfaenedig ar wddf o dir rhwng y moroedd Egeaidd ac Ionaidd. Oblegid cyfleusdra sefyllfa y ddinas hon gyda golwg ar fasnach, yr oedd yn gyforiog o gyfoeth, ynghyd â phob peth a berthynent i lawnder a gormodedd y bywyd hwn. Yn y rhyfel Acheaidd dinystriwyd dinas Corinth gan y *Conswl* Rhufeinaidd, Memmius, ynghylch un cant a chwech mlynedd a deugain cyn dyfodiad Crist yn y cnawd, ac adeiladwyd hi ym mhen can' mlynedd wedi hyn gan Julius Cæsar, yr hwn a gyfleodd Rufeiniaid ynddi, ac a'i gwnaeth yn orsaf i *Broconsul* Achaia. Gan fod ei sefyllfa mor fanteisiol rhwng dau fôr, cyrhaeddodd y ddinas newydd yn fuan i'w hardderchogrwydd a'i gogoniant cyntefig; aeth mewn ychydig amser yn gyfoethog iawn; ac yn wyneb pob cyfoeth a ddylifai iddi, llygrodd moesau ei thrigolion i'r fath raddau, fel yr aethant yn ddihareb ym mhlith yr holl genhedloedd. Yng nghymmydogaeth y ddinas hon y cyflawnid y campiau Isthmiaidd, am y rhai y crybwylla yr Apostol Paul yn amryw o'i epistolau. Yr oedd yn Corinth hefyd amryw ysgolion, yn y rhai y dysgid philosophyddiaeth, ynghyd â gwahanol ganghenau eraill o ddysgeidiaeth, gan athrawon clodfawr, a mawr ydoedd y gynniweirfa yno o bob gwledydd.

**Cush**, y wlad a elwir yn yr ysgrythyrau wrth yr enw Ethiopia. Cynnwysai holl derfynau deheuol a gorllewinol yr Aipht, ac mewn rhai mannau o brophwydoliaethau Ezeciel y mae yn arwyddo Ethiopia Affrica, neu Nubia ac Abyssinia, Esay 18. 1. a 20. 2. Ezec. 30. 5. Mewn mannau y mae yn arwyddo Ethiopia yn Asia, sef Arabia, Gen. 2. 12.

**Cyprus**, ynys ym Môr y Canoldir, rhwng Cilisia a Syria; yr oedd yn nodedig gynt am afradlonrwydd ei thrigolion, duwies bennaf y rhai oedd Venus. Yma y glaniodd Paul a Barnabas yn y flwyddyn 44, ac a bregethasant yr efengyl yn llwyddiannus. Act. 13. 4.

**Cyrene**, prif ddinas talaith Lybia, yn Affrica. Y mae y Cyreniaid yn cael eu crybwyll yn Act. 11. 20.

**Dalmanutha.** Gwel Magdala.

**Damascus**, dinas enwog iawn yn yr amser boreuol, yr hon a adeiladwyd, yn ol Josephus, gan Uz, mab Aram, am yr hwn y sonir yn Gen. 10. 23. Y mae yn gorwedd mewn dyffryn rhwng Libanus ac Anti-Libanus, ac yn cael ei dyfrhau gan yr afonydd Abana a Pharphar. Y mae yn awr yn ddinas o gryn fri, ac yn cael ei hamgylchynu gan y gerddi prydferthaf ar wyneb yr holl greadigaeth.

**Dan.** Etifeddiaeth llwyth Dan ydoedd o fewn eiddo llwyth Judah, ac yn dra lliosog mewn trefydd a phentrefydd.

**Decapolis**, talaith a elwid felly oddiwrth y deg dinas a gynnwysai. Yn ol Josephus, enwau y dinasoedd hyn oeddynt Damascus, Otopos, Philadelphia, Ruhana, Scythopolis, Gadara, Hippos, Dios, Pella, a Gerasa. Marc 4. 5. a 5. 20.

**Derbe**, dinas yn Lycaonia, yn gyfagos i Isauria. Hon ydoedd gwlad Timotheus, ac a grybwyllir yn Act. 14. 6.

**Ecbatana**, prif ddinas Media, yr hon a elwir Achmetha yn Ezra 6. 2. Hon, oblegid dymunoldeb yr hîn, a wnaed yn breswylfa yn yr haf gan Cyrus, ac eraill o frenhinoedd Persia. Adeiladwyd a chadarnhawyd hi gan Dioces, brenin y Mediaid.

**Edomiaid.** Yr Edomiaid a ddeilliasant oddiwrth Esau, a meddiannasant y wlad o'r tu deheuol i Judea wedi darostwng o honynt yr Horiaid. Cynnwysai fynydd Seir a Hor, a thaleithiau Dedan a Theman. Yr oeddynt yn elynion ffyrnig i Israel, ond buont yn ddarostyngedig iddynt am 150 o flynyddoedd.

**Ekron**, dinas a llywodraeth berthynol i'r Philistiaid, a roddwyd i Judah gan Joshua, Jos. 15. 25. ond wedi hynny i lwyth Dan, Jos. 19. 43. Yr oedd yn agos i Fôr y Canoldir, ac yn ddinas gadarn iawn.

**Elah**, dyffryn dair milldir o Bethlehem, lle y gorchfygodd Dafydd Goliath, cawr y Philistiaid. 1 Sam. 17.

**Emmaus**, pentref bychan yn Judea, nid ym mhell o Jerusalem. Ar y ffordd i'r pentref hwn y bu ein Harglwydd yn ymddiddan â'r ddau ddisgybl. Luc 24.

**Engadda**, mynyddoedd o'r tu dehau i fynydd Tabor.

**Ephesus.** Hon ydoedd prif ddinas Proconsuliaeth Asia. Y mae gweddillion y ddinas hon yn brofion o'i hardderchawgrwydd mawr yn yr amserau ac yn yr oesau sydd wedi myned heibio, oblegid yr oedd o faintioli mawr, heblaw godidogrwydd ei hadeiladau. Safai

y ddinas hon yn y parth hynny o Asia a elwid gynt Ionia, ond yn awr Natalia, o ddeutu pum' milldir o'r môr Egeaidd, ar ochrau ac wrth odreon cadwyn o fynyddoedd a grogent dros wastattir hyfryd a ddyfrheid ac a ffrwythlonid gan yr afon Cayster. Yr oedd dinas Ephesus yn nodedig drwy holl Asia oblegid teml Diana, yr hon ydoedd yn adeiladaeth a wnaed ar draul holl drigolion Asia Briodol, ac a ystyrid yn un o saith rhyfeddodau y byd. Dengys ysgarthion y deml hon ei bod unwaith yn un o'r adeiladaethau mwyaf yn yr holl fyd, yn gystal a'r chwareudy am yr hwn y crybwyllir yn Act. 19. 31. Yn amser yr Apostol Paul yr oedd y ddinas hon yn orlawn o areithwyr a philosophyddion, ac yr oedd ei thrigolion yn eu cyflwr cenhedlig yn nodedig am eu heilunaddoliaeth a'u gwybodaeth mewn dewiniaeth, yn gystal ag am eu glythineb a'u gwammalrwydd. Dan lywodraeth y Tyrciaid y mae Ephesus yn bresennol, ond mewn hollol ddinystr, yn cynnwys o ddeutu pumtheg o fythod tlodion, ac nid ydyw y rhai hynny ar y lle yr oedd yr hen Ephesus gynt. Bu yno eglwys Gristionogol flodeuog unwaith, ond yn y flwyddyn 1822 nid oedd yno yn proffesu y grefydd Gristionogol ond deg o Roegiaid tlodion. Nid ydyw yn gwbl hyspys o ba le y deilliodd yr enw Nicolaiaid a grybwyllir yn yr Epistol at angel yr eglwys yn Ephesus, yn llyfr y Datguddiad. Tybir eu bod yn dal yr un athrawiaeth a ddaliwyd wedi hynny gan y Gnosticiaid, y rhai a wadent ddynoliaeth ein Harglwydd Iesu Grist, ynghyd â'i ddioddefiadau yn y cnawd; ac yn eu hymarferiadau yr oeddynt yn dra ffiaidd ac annuwiol. Meddylir mai at y Nicolaiaid y cyfeirir yn 2 Pedr 2. a Judas 7—19. O dan ymerodraeth y Rhufeiniaid, Ephesus ydoedd prif ddinas Asia.

Ephraim, dinas helaeth yn llwyth Judea, o ddeutu wyth milldir i'r gogledd o Jerusalem, ac yn gyfagos i anialwch o'r un enw. I'r ddinas hon yr aeth yr Arglwydd Iesu Grist wedi iddo gyfodi Lazarus oddiwrth y meirw, Ioan. 11. 54.

Ephraim. Etifeddiaeth llwyth Ephraim ydoedd o'r tu gogleddol i etifeddiaeth llwyth Benjamin. Yn etifeddiaeth llwyth Ephraim hefyd yr oedd etifeddiaeth hanner llwyth Manasseh. Ni ellir dywedyd gyda chywirdeb am derfynau yr etifeddiaeth dan sylw. Y lluoedd mwyaf nodedig yn Ephraim oeddynt Bethoron, Gezer, Lydda, Michmas, Naioth, Samaria, Sichem, Siloh, a Timnath Serah. Wedi rhwygiad y deg llwyth, yr oedd prif orsaf teyrnas Israel yn llwyth Ephraim, a hyn ydyw yr achos oblegid pa un y gwneir crybwylliadau mor fynych am y llwyth hwn yn yr ysgrythyrau sanctaidd. Abel-Meholath, Bethbara, Bethshan, Bezec, Endor, Enon, Gath-rimmon, Megido, Salim, Ophra, a Tirzah, oeddynt y prif leoedd yn llwyth Manasseh.

Ephraim. Gelwid mynyddoedd Israel weithiau yn fynyddoedd Ephraim, y rhai oeddynt yng nghanol gwlad Canaan, a chyferbyn â mynyddoedd Judah. Yr oedd y mynyddoedd hyn yn dra ffrwythlon oddigerth y llechweddau hynny a wynebent ar, ac a ddynesent at yr Iorddonen, y rhai oeddynt yn dra anwastad, ac yn anhawdd iawn i'w dringo. Gelwid trum uchaf y mynyddoedd, Craig Rimmon, yr hwn sydd yn adnabyddus yn bresennol wrth yr enw Quarantania, a thybir mai yma y temtiwyd ein Harglwydd Iesu Grist gan ddiafol.

Dyweda y teithiwr Maundrell bod golwg greigiog ac anwastad iawn ar bennau y mynyddoedd hyn. Y mae mynyddoedd nodedig Ebal a Gerizim yn wahanedig oddiwrth eu gilydd gan ddyffryn bychan.

EPHRAIM. Coed Ephraim. Dechreuodd llwyth Ephraim gymmynu y goedwig hon, yn ol yr hyn a adroddir yn Jos. 17. 18. ond yr oedd yn goedwig fawr yn amser y brenin Dafydd. 2 Sam. 18. 6, 8, 17. Ymddengys mai rhan o goedwig Ephraim ydoedd coed Bethel, am y rhai y crybwyllir yn 2 Bren. 2. 24.

ESDRAELON. Gwastadedd Jezreel, neu wastadedd Esdraelon, a elwir hefyd yn wastadedd Mawr, ac Armageddon, yn llyfr y Datguddiad. Cyrhaeddai y gwastadedd hwn o fynydd Carmel a Môr y Canoldir i'r lle y mae yr Iorddonen yn ymarllwys i fôr Tiberias. Dyma y lle mwyaf ffrwythlon yn holl wlad yr addewid, ac y llawenychai meibion Issachar yn eu pebyll. Yn oesau cyntaf yr hanes Iuddewig, yn gystal ag yn amser yr ymerodraeth Rufeinig a'r Croesadau, y mae y maes neu y gwastadedd nodedig hwn wedi bod yn lle y brwydrwyd llawer arno o bryd i bryd. Ar y gwastadedd hwn y disgynodd Barac o fynydd Tabor, ac y gorchfygodd Sisera a'i holl luoedd, ynghyd â'i naw can' cerbyd haiarn: yma hefyd y bu Josiah, brenin Judah, yn ymladd â Pharaoh Necho, brenin yr Aipht, ac y syrthiodd drwy saethau ei elyn; a'r fath ydoedd y galar a wnaed oblegid ei farwolaeth, fel y gwnaed galar Josiah yn ddeddf yn Israel. Rhag-ddywedai Zechariah am y galar mawr a ddigwyddai i Jerusalem, y byddai yn gyffelyb i alar gwastadedd Esdraelon, neu yn ol iaith y prophwyd, yn gyffelyb i alar Hadadrimmon, yn nyffryn Megidon. Crybwylla Josephus yn fynych yn ei hanesion Iuddewig am y dosparth hwn o wlad Canaan, a hynny wrth yr enw o Wastadedd Mawr, ac o dan yr un enw y gelwir ef gan Eusebius a Jerome. Dewiswyd y gwastadedd hwn yn lle o wersyllfa ym mhob rhyfel a ddygwyd ym mlaen yn y wlad hon o amser Nebuchodonosor, brenin yr Assyriaid, hyd yr amser y daeth Napoleon Buonaparte iddo yn ei daith o'r Aipht i Syria. Yn y gwastadedd hwn y mae Iuddewon, Cenhedloedd, Saraceniaid, Croeswyr Cristionig, Ffrangcod, Aiphtiaid, Persiaid, Tyrciaid, ac Arabiaid, ynghyd â rhyfelwyr braidd o bob gwlad dan y nefoedd, wedi pabellu; ac ar wastadedd Esdraelon y gwlychwyd banerau yr hol Genhedloedd gan wlith Tabor a Hermon. Y mae y gwastadedd hwn yn amgylchynedig gan fynyddoedd. Gelwir ei enw yn bresennol Fooli, ac yn yr amser diweddar y mae yn nodedig am y fuddugoliaeth a gafodd Murat ar y Mameluciaid a'r Arabiaid, yn eu cynnyg i gyfodi gwarchae Acri neu Acre yn Ebrill 1799.

GAD. Yr oedd etifeddiaeth llwyth Gad y tu draw i'r Iorddonen, gydag eiddo Reuben, a hanner llwyth Manasseh, yn neillduol i fagu a meithrin anifeiliaid.

GADARA. Yr oedd Gadara, yn ol yr hanesydd Josephus, yn brif ddinas Perea, neu y wlad tu hwnt i'r Iorddonen. Yr oedd yn un o brif ddinasoedd talaith Decapolis; o ganlyniad, gan lywodraeth genhedlig, oblegid pa achos y mae yn debygol y dinystriwyd hi gan yr Iuddewon, ond a adeiladwyd gan Pompey. Yn gymmaint a bod trigolion y ddinas hon yn dra chyfoethog, anfonasant gennadau at Vespasian pan ddaeth efe â'i luoedd Rhufeinig yn erbyn Judea, ac

a roddasant y ddinas i fynu iddo ef. Yr oedd y ddinas a'r pentrefydd a berthynent iddi yng ngwlad y Gergesiaid, oblegid hyn pan aeth i wlad y Gadareniaid, dywedir iddo fyned i dueddau y Gergeseniaid. Gelwir Gadara yn bresennol wrth yr enw Oomkais.

GALATIA. Talaith yn Asia Leiaf, yn cael ei therfynu o'r tu gorllewinol gan Phrygia, o'r tu dwyreiniol gan yr afon Halys, o'r tu gogleddol gan Paphlagonia, ac o'r tu deheuol gan Lycaonia. Ei phrif ddinasoedd oeddynt Ancyra, Pavium, a Pissinuntum, i ba leoedd, yn ol Grotius, yr ysgrifenodd yr Apostol Paul yr Epistolau a anfonodd at eglwysi Galatia. Addolai y Galatiaid fam y duwiau, ac felly, yn ol yr hyn a ddywedai yr Apostol wrthynt, nid oeddynt yn adnabod Duw. Callimachus, yn ei hymnau, a Hilary, yr hwn ydoedd ei hun yn un o'r Gauliaid, a ddywedent bod y Galatiaid yn ddynion tra ynfyd; ac felly hefyd Paul, yr hwn a ddyweda, "O Galatiaid ynfyd, pwy a'ch llygad-dynnodd?" Yr oedd yr eglwys wedi ei harwain yn rhyfedd ar gyfeiliorn gan yr athrawon Iuddewig, a hynny i'r fath raddau, fel nad ydyw yr Apostol gymmaint ag un waith yn eu galw yn saint.

Yr oedd y Galatiaid wedi hanu oddiwrth y Gauloniaid hynny a adawsant eu gwlad eu hunain oblegid bod ei chynnyrch yn rhy fychan i gynnal lliosogrwydd ei thrigolion, ac ymadawodd nifer lliosog o honynt â hi wedi marwolaeth Alexander Fawr, yn y flwyddyn cyn Crist 271. Wedi iddynt ymadael a Gaul, aethant tua'r dwyrain gyda y Danube hyd ei chyssylltiad â'r afon Saave; yma rhanasant eu hunain yn dair mintai, dan dri arweinydd; aeth un fintai i Pannonia, un arall i Thrace, a'r drydedd i Illyricum a Macedonia. Y fintai a aeth i Thrace a groesodd y Bosphorus i Asia Leiaf, ac wedi cyflogi eu hunain i wasanaeth Nicomedes, brenin Bythinia, a'i cynnorthwyasant i orchfygu ei frawd Zipetes, â'r hwn yr oedd y pryd hwnnw mewn rhyfel, ac yn wobr am eu gwasanaeth efe a roddes dalaith ehang iddynt rhwng Bithynia a Cappadocia, lle yr ymsefydlasant yn y flwyddyn cyn Crist 227. Hiliogaeth y rhai hyn a gyd-gymmysgasant â'r trigolion Groegaidd, a'r wlad a alwyd Gallo-Graecia, a'i thrigolion Gallo-Greeks. Yn amser yr ymerawdwr Augustus, gwnaed Galatia yn dalaith Rufeinig, a llywodraethid hi gan ddeddfau Rhufeinig.

GALILEA. Crybwyllir am y dosparth hwn o wlad yr addewid yn dra mynych yn y Testament Newydd, ac ymddengys bod ei therfynau yn amrywio ar wahanol amserau. Cynnwysai y dosparth hwn yr etifeddiaethau a feddiennid gynt gan lwythau Issachar, Naphthali, ac Aser, a chan ran o lwyth Dan. Rhennir Galilea gan Josephus yn ddau ddosparth, sef Galilea Uchaf a Galilea Isaf. Gwel CANAAN.

GALILEA. Môr Galilea. Gwel CHINNERETH.

GATH, dinas enwog, berthynol i'r Philistiaid, ac un o'r pum' arglwyddiaethau, 1. Sam. 6. 17. Un o Gath ydoedd Goliath y cawr. Gorchfygodd Dafydd y ddinas hon yn nechreuad ei deyrnasiad, a bu yn ddarostyngedig i'w ganlynwyr yn y frenhiniaeth hyd wanychiad teyrnas Judah. Ail adeiladwyd hi gan Rehoboam. Dyweda Josephus bod Gath yn perthynu i lwyth Dan, ond ni chrybwyllir hyn gan Joshua. Tybia Calmet mai y Mithcah a grybwyllir gan Moses yn Num. 23. 29. ydyw y Metheg yn 2 Sam. 8. 1. Yn ein

cyfieithad awdurdodedig ni, dywedir i Dafydd gymmeryd Metheg Ammah, hynny ydyw, Metheg y Fam, yr hyn yn 1 Chron. 18. 1. a esbonir fel y canlyn,—"A darfu wedi hyn, i Dafydd daro'r Philistiaid, a'u darostwng hwynt, a dwyn Gath a'i phentrefydd o law y Philistiaid;" neu Gath a'i merched o law y Philistiaid. Dyweda rhai am Gath y Philistiaid, lle genedigaeth y cewri, ei bod ym mhell yn Arabia Garregog, tua thueddau yr Aipht, yr hyn a gadarnheir gan awdwr llyfr y Chroniclau, yr hwn a ddywed bod meibion Ephraim yn yr Aipht, ac iddynt ymosod ar ddinas Gath, a chael eu lladd yno, 1 Chron. 7. 1. Dyweda Jerome bod tref fawr o'r enw Gath ar y ffordd rhwng Eleutheropolis a Gaza, a chrybwylla Eusebius am Gath arall, yn gyfagos i Lydda. Gath ydoedd y ddinas fwyaf ddeheuol yng ngwlad y Philistiaid, fel yr oedd Ecron yn fwyag gogleddol. Yr oedd Gath yn ddinas gadarn yn amser y prophwydi Amos a Micah, ond cymmerwyd hi gan Uzziah, brenin Judah.

Gaza, dinas nodedig ym mhlith yr Iuddewon, tua thrugain milldir o Jerusalem. Yr oedd hon yn un o bum' dinas y Philistiaid, ac a syrthiodd i ran Judah. Jos. 15. 47. Y Gaziaid a offrymasant y pum' llygoden aur i Dduw Israel, 1 Sam. 6. 17. Dygwyd ei phyrth gan Samson ar ei gefn, Barn. 16. 2. I Gaza y dygwyd ef pan gymmerwyd ef gan y Philistiaid.

Genesaret. Gwlad hyfryd a ffrwythlon iawn wrth odrau llyn Genesaret; yn lliosog mewn gerddi mawrion.

Genesaret. Llyn Genesaret. Gwel Chinereth.

Gergesa, tref yn agos i Gadara, yn yr hon y preswyliai y Gergesiaid.

Gethsemane. Gardd o'r tu draw i afon Cedron, wrth odrau mynydd yr Olewydd, yr hon a gafodd ei henw oddiwrth y gwinwryf. Y mae yn enwog am boenau ein Hiachawdwr ynddi, lle y chwysodd megis defnynau o waed. Y mae yn cael ei hamgylchu yn bresennol gan fur cerrig isel, heb ddim yn neillduol yn tynnu sylw yr ymdeithiwr oddigerth wyth hen olewydden sydd yno.

Gibeon. Prif ddinas y Gibeoniaid, y rhai a dwyllasant Joshua, a hunuriaid Israel, i wneuthur cyfammod â hwynt, trwy ddywedyd wrthynt eu bod wedi dyfod o wlad bell. Gwnaeth Joshua a henuriaid Israel gyfammod â hwynt heb ymofyn nac ymgynghori dim â Duw; ond yn dra buan wedi hynny cawsant y twyll allan; ond gan na allent ddiddymu y cyfammod a wnaed â hwynt, hwy a wnaethant y Gibeoniaid yn gaethion iddynt, gan eu gosod yn gymmunwyr coed ac yn wehenyddwyr dwfr i wasanaeth y babell, yn yr hon sefyllfa yr arosasant hyd wasgariad y genedl Iuddewig. Ym mhen y tri diwrnod wedi i'r Gibeoniaid ymostwng i Israel, ymosododd brenhinoedd Canaan arnynt, ac a warchaeasant ar eu dinas Gibeon. Daeth y Gibeoniaid at Joshua a meibion Israel, gan adrodd wrthynt fel yr oedd eu hamgylchiad, ac i ofyn am gynnorthwyon buan. Gorchymmynodd Joshua am i'r fyddin gychwyn yn erbyn y brenhinoedd; ac yn y boreu ymosododd Joshua yn erbyn y pum' brenin, gan eu gorchfygu yn hollol. Y Gibeoniaid a hanasant oddiwrth yr Hefiaid, hen drigolion y wlad, y rhai a feddiannent bedair dinas, sef Cephirah, Beeroth, Ciriath-jearim, a Gibeon, y brif ddin-

as, yr hon a roddwyd yn rhaniad y wlad i lwyth Benjamin. Arosodd y Gibeoniaid dan y beichiau a osodwyd arnynt gan Joshua, ac yr oeddynt yn ffyddlon iawn i'r Israeliaid. Saul, brenin Israel, yn ei ben-boethni, a ddinystriodd lawer o'r Gibeoniaid ; ond Duw, yn amser Dafydd, a gospodd y wlad oblegid y sarhad hwn, â newyn mawr am dair blynedd. Pan ymofynodd Dafydd ynghylch hyn, dywedodd y prophwydi wrtho mai y dinystr a wnaed gan Saul ar y Gibeoniaid ydoedd yr achos o'r farn hon, ac y byddai iddi barhau hyd oni ddialid ei gwaed. Gofynodd Dafydd i'r Gibeoniaid pa iawn a ofynent am y dinystr a wnaeth Saul arnynt. Attebodd y Gibeoniaid drwy ddywedyd mai saith o feibion Saul er eu rhoddi i farwolaeth, ac felly i ddial oblegid gwaed eu brodyr. Crogodd y Gibeoniaid y rhai hynny o flaen yr Arglwydd. O'r pryd hwn nid oes fawr o grybwylliad am y Gibeoniaid, ond y mae yn debygol eu bod yn cael eu cynnwys yn y Nethiniaid, y rhai a gyflawnent is wasanaeth y deml.

Gog a Magog. Tybia yr amserydd enwog Dr. Hales, bod Gog a Magog yn enw cyffredinol ar holl Genhedloedd gogleddol Ewrop, neu y taleithiau gogleddol i Carasus, neu fynydd Taurus, a breswyliwyd gan Gog neu Magog, un o feibion Japheth. Dywedir yr arwydda Gog y bobl, a Magog y wlad. Rhag-ddywedodd Balaam am Grist y byddai efe yn frenin mwy nag Agag, neu Gog yn ol y darlleniad Samaritanaidd o'r Bibl Hebraeg, ac hefyd yn ol darlleniad y Septuagint yn Num. 24. 7. A phan y dyweda Ezeciel am oresgyniad gwlad Israel gan y Cenhedloedd gogleddol, Mesech, Tubal, a Togarmah, geilw eu pennaeth wrth yr enw Gog, ac a ddarlunia eu lluoedd fel eiddo Scythia, neu Tartari, yn dyfod o'r gogledd, ac oll yn marchogaeth ar feirch. Mai bwäau a saethau fyddent eu hofferynau ; y cuddient y wlad fel cwmmwl, ac y deuent fel tymhestl yn y dyddiau diweddaf. Ezec. 28. 1—17. Adnewyddir y brophwydoliaeth am Gog a Magog yn llyfr y Datguddiad, lluoedd y rhai a ddeuant hyd at y ddinas anwyl, a'r rhai a ddinystrir â dinystr mawr yn Armagedon. Dat. 16. 14—16. a 20. 7—10.

Golgotha. Calfaria neu Golgotha, ydoedd fynydd cyfagos i Jerusalem, ond o'r tu allan i'r muriau. Gelwir Golgotha yn lle'r benglog, oblegid y dychymmygid bod rhyw debygoliaeth rhwng y mynydd â phenglog. Ond y mae yn fwy tebygol iddo gael yr enw crybwylledig am mai arno y dihenyddid drwg weithredwyr, neu am y cynnwysai gromgellau er rhoddi y meirwon ynddynt.

Gosen. Gwlad Gosen, y tir goreu ei borfa drwy yr holl Aipht Isaf, ac a alwyd Gosen, o'r gair Arabaidd Gush, calon, neu beth bynnag sydd yn ddetholedig a gwerthfawr. Yr oedd Gosen hefyd yn nhiriogaeth Judah, ac a alwyd felly oblegid yr un rheswm. Gosen ydoedd â'i sefyllfa gyda changen ddwyreiniol yr afon Nilus, ac ar y dwyrain iddi, oblegid yn adeg ymadawiad yr Israeliaid â'r Aipht, y mae yn amlwg nad aethant drwy na thros yr afon grybwylledig. Yn yr hen amserau yr oedd y dosparth hwn o wlad yr Aipht yn ehangach nag yn bresennol.

Groeg. Yn yr ysgrythyrau sanctaidd y mae yr enw Groeg yn cael ei roddi i bob gwledydd a breswylid gan hiliogaeth Jafan. Hefyd gelwid yr holl Genhedloedd wrth yr enw Groegiaid. Ond

yn yr Hen Destament gelwir Groeg wrth yr enw Jafan. Yn briodol, dosparth yn Asia Leiaf ydyw gwlad Groeg. Y mae Groeg yn enwog yn ei dysgawdwyr a'i doethion.

HARETH. Anialwch yn llwyth Judah, i'r hwn yr ymneillduodd Dafydd pan oedd Saul yn ei erlid. 1 Sam. 22. 5.

HEBRON. Dinas yn llwyth Judah, ar fryn, tuag ugain milldir o Jerusalem. Yn agos i Hebron y mae ogof maes Macpelah, lle y claddwyd y patrieirch. Dywedir ei bod wedi ei hadeiladu saith mlynedd o flaen Soan, yn yr Aipht, Num. 13. 12. Rhoddodd yr Arglwydd hi yn etifeddiaeth i Caleb, Jos. 14. 15. Bu Dafydd yma wedi ei goroni yn frenin Judah saith mlynedd, ac yma y ganed Ioan Fedyddiwr.

HERMON. Hermon y gelwid trum uchaf Anti-Libanus, yr hwn a elwid Sirion gan y Sidoniaid, a chan yr Amoriaid, Senir, Deut. 3. 9. Hermon ydoedd y terfyn gogleddol i'r wlad o'r tu hwnt i'r Iorddonen. Disgyna y gwlith mewn llawnder mawr ar Hermon yn bresennol, fel y disgynai yn yr amseroedd gynt; Salm 133. 3. Gelwir y mynydd hwn yn Sïon yn Deut. 4. 38. yr hyn sydd dalfyriad neu ddarlleniad gwallus o'r gair Sirion. Yr oedd mynydd arall o'r enw Hermon yng ngwlad Canaan, ar y tu gorllewinol i afon yr Iorddonen, ac nid ym mhell o fynydd Tabor.

HIERAPOLIS. Dinas yn Phrygia, yn agos i Colossa a Laodicea. Col. 4. 14.

HINNOM. Dyffryn wrth odrau mynydd Sïon, lle yr addolid Moloch, ac yr offrymid plant iddo drwy dân, 2 Bren. 23. 10. 2 Chron. 28. 3. Er boddi eu lleisiau, cenid offerynau o'r enw Tuph, oddiwrth yr hwn enw y galwyd ef Tophet. Ge Hinnom yw dyffryn Hinnom, odiwrth yr hwn y deilliodd Gehenna, yr hwn weithiau a arwydda dân uffern.

HOREB. Mynydd yn Arabia Garregog, ac mor agos i fynydd Sinai, fel yr ymddengys Horeb a Sinai yn ddau fryn perthynol i'r un mynydd. Sinai ydoedd y bryn dwyreiniol, a Horeb yr un gorllewinol, ac felly pan gyfodai yr haul, yr oedd Horeb yn cael ei gysgodi gan Sinai. Dyweda haneswyr bod ffynnonau a choed ffrwythau ar Horeb, ond nad oes ond dwfr gwlaw ar fynydd Sinai. Ar fynydd Horeb yr ymddangosodd Duw mewn fflam dân yng nghanol perth i Moses; ac wrth odrau y mynydd hwn y tarawodd Moses y graig, ac y tynnodd ddwfr o honi i blant Israel. Ciliodd Elias yma pan gyfododd Jezebel erledigaeth yn ei erbyn, ac y cynnygai am ei fywyd. Dywedir yn fynych i Dduw roddi y gyfraith yn Horeb, ac mewn mannau eraill yn yr ysgrythyrau iddo ei rhoddi oddiar Sinai, a hynny oblegid mai yr un mynydd ydoedd Sinai a Horeb.

ICONIUM. Dinas yn Lycaonia, lle yr oedd Synagog gan yr Iuddewon, i'r hon yr aeth Paul a Barnabas i bregethu, ac a ddychwelasant lawer i'r ffydd, Act. 14. 1.

ILLYRICUM. Talaeth o'r tu gogleddol i Macedonia; yma y mae Paul yn dywedyd wrth Timotheus i Titus fyned, 2 Tim. 4. 10. Rhuf. 15. 19.

IORDDONEN. Yr afon bennaf yng ngwlad Canaan ydoedd yr Iorddonen, neu Yar-Dan, sef afon Dan, a alwyd felly am ei bod y-

tarddu yng nghymmydogaeth tref fechan Dan. Gwir darddiad yr afon sydd yn llyn Phiala, yn agos i Caesarea Philipi, wrth droed mynydd Anti-Libanus, o ba le y mae yn myned dan y ddaear, ac yn dyfod allan o ogof yng nghymmydogaeth Paneus. A yr afon drwy ganol y wlad, a thrwy lyn Merom, a môr Galilea, ac fel y dywedir, heb gymmysgu â'i ddyfroedd. Wedi rhedeg i'r Môr Marw, y mae yn darfod. Tywallta gorph mawr o ddwfr i'r Môr Marw. Y mae yr Iorddonen yn rhedeg tua chan' milldir, ac y mae ei lled a'i dyfnder yn amrywiol. Dyweda Dr. Shaw bod ei lled o ddeutu deg llath ar hugain, ac ynghylch tair llath o ddyfnder. Croesodd y Meistriaid Banks a Buckingham yr Iorddonen ym mis Ionawr, yn y flwyddyn 1816, yn gyfagos i'r fan yr aeth yr Israeliaid drwyddi yn eu mynediad i wlad yr addewid. Dyweda y teithwyr crybwylledig fod ei ffrwd yn gadarn iawn, a'i dyfroedd yn dywyll yn y fan honno, oblegid amledd y cerrig yng ngwely yr afon. Yn yr amserau gynt yr oedd afon yr Iorddonen yn llifo dros ei cheulanau yn amser y cynhauaf, pryd yr oedd yr eira yn toddi ar y mynyddoedd. Pan ymwelodd Mr. Maundrell â'r Iorddonen tua diwedd y ganrif ddiweddaf, ni welodd un arwydd o ymchwydd ei dyfroedd; ac er mai ym mis Mawrth ydoedd, yr oedd ei dyfroedd tua dwy lath yn îs na'r ceulanau. Dyweda teithwyr bod dwy geulau i'r afon, a hynny ar yr un ochr; o fewn i'r ceulanau cyntaf y rheda yr afon yn ei sefyllfa naturiol, ac o fewn y ceulanau pellaf y rhedai gynt pan lifai ei dyfroedd. Ei cheulanau sydd yn llawn hesg a llwyni, lle yr ymlecha amryw anifeiliaid gwylltion, ac yr oeddynt yn lliosog yma yn yr amserau gynt. At hyn y cyfeiria y prophwyd Jeremiah pan y cydmara anesmwythder Edom a Babilon o dan y barnedigaethau dwyfol i ddyfodiad llew i fynu o ymchwydd yr Iorddonen. Lled debygol mai rhwng y ceulanau pellaf a'r ceulanau agosaf i'r Iorddonen y safai Ioan Fedyddiwr pan yn pregethu i'r tyrfaoedd, ac mai at y cerrig rhwng y ddwy geulan y cyfeiriai pan ddywedai y gallai Duw o'r meini hynny gyfodi plant i Abraham. Croesodd yr Israeliaid yr afon hon pan oedd ei dyfroedd wedi llifo dros y ceulanau, ac agorwyd ei dyfroedd mewn modd gwyrthiol, yr hyn a darawodd y dychryn mwyaf yn yr Amoriaid a'r Canaaneaid.

Issachar. Etifeddiaeth llwyth Issachar ydoedd i'r gogledd-ddwyrain i etifeddiaeth hanner llwyth Manasseh. Terfynid y dosparth gan wastadedd Jezreel, a'i derfyn gogleddol ydoedd mynydd Tabor. Rhai ysgrifenwyr a wnant i etifeddiaeth y llwyth hwn gyrhaedd hyd Fôr y Canoldir, ond nid oes unrhyw sail i hyn. Prif ddinasoedd Issachar oeddynt Aphec, Beth-Shemesh, Dothan, Cison, Jezreel, Nain, Ramoth, a Shanem.

Jabboc. Afon fechan yn tarddu o fynyddoedd Arnon, ac yn rhedeg i'r Iorddonen.

Jabes. Dinas yn etifeddiaeth hanner llwyth Manasseh, o'r tu hwnt i'r Iorddonen. Gelwir y ddinas hon yn gyffredin wrth yr enw Jabes-Gilead, oblegid ei bod yn Gilead, wrth odrau mynyddoedd Gilead. Dyweda Eusebius ei bod chwech milldir o Pella tua thueddau Geraza, o ganlyniad rhaid ei bod o'r tu dwyrain i Fôr Tiberias. Gwnaed difrod tost yn Jabes-Gilead gan yr Israeliaid, oblegid i'w thrigolion naccau cyduno â hwynt yn eu rhyfelgyrch yn

erbyn y Benjaminiaid. Gwarchaeodd Nahas, brenin yr Ammoniaid, ar Jabes Gilead, ond gwnaeth Saul iddo gyfodi y gwarchae. Er y pryd hwn, dangosodd trigolion Jabes Gilead gariad mawr at deulu Saul, ac a ddygasant ei esgyrn ef ac esgyrn ei feibion, y rhai a grogwyd gan y Philistiaid, ac a'u llosgasant yn anrhydeddus mewn coed cyfagos.

Jacob. Ffynnon Jacob. Yr oedd y ffynnon hon yn gyfagos i Sichem, neu Sechem, yr hon hefyd a elwid Sychar, ac yn bresennol Naplose. Dyma lle yr arosai Jacob cyn i'w feibion ladd y Sechemiaid. Ymwelwyd â'r ffynnon dan sylw ym mhob oesau gan bererinion, yn neillduol gan Gristionogion, at yr hon yr ymgynniweiriant, am mai yma y bu ein Hiachawdwr yn ymddiddan â'r wraig o Samaria. O achos y diffyg o ddwfr yn y dwyrain, y mae teithwyr yn fynych dan yr angenrheidrwydd o wneuthur eu harosfa mor agos ag y gallant wrth afon neu ffynnon ; ac oblegid hyn y mae yn debygol yr arosodd Jacob a'i deulu wrth afon Jabboc.

Jericho. Dinas enwog yn llwyth Benjamin, am yr hon y mae crybwylliad aml yn y Testament Newydd. Hon ydoedd y ddinas gyntaf a gymmerwyd oddiar y Canaaneaid gan Joshua, yr hwn a'i dymchwelodd hyd ei seiliau, ac a gyhoeddodd felldith ar bwy bynnag a'i hail adeiladai. Ond ail adeiladwyd hi gan Hiel y Betheliad, ac yn fuan iawn daeth i enwogrwydd. 1 Bren. 16. 34. 2 Bren. 2. 5. Iachaodd Eliseus ei dyfroedd, 2 Bren. 2. 21. Yr oedd y ffordd o Jerusalem i Jericho yn beryglus iawn, ac yn parhau felly hyd heddyw.

Jerusalem. Prif ddinas gwlad yr addewid. Hon yn yr ysgrythyrau a elwir y Ddinas Sanctaidd ; ac y mae mewn bri mawr hyd heddyw gan Gristionogion yn gystal a Mahometiaid. Ei henw cyntefig ydoedd Salem, sef heddwch, Gen. 14. 18. Gelwid hi hefyd Jebus; ac wedi ei chymmeryd gan Joshua, cyfanneddid hi gan yr Iuddewon a'r Jebusiaid am tua phum' can' mlynedd, sef hyd amser Dafydd, yr hwn a'u bwriodd allan, ac a'i gwnaeth yn orsaf ei lywodraeth. 2 Sam. 5. 6—9. Adeiladodd balas brenhinol ynddi, ac a'i cadarnhaodd. Enw y mynydd ar fryniau yr hwn yr adeiladwyd hi ydoedd Moriah; ond rhoed yr enw yn neillduol i'r pen uchaf o hono, ar yr hwn yr adeiladwyd y deml. Harddwyd y ddinas hon gan Salomon ; ond wedi hyn a gymmerwyd gan elynion, y naill ar ol y llall,—dinystriwyd y deml, a bwriwyd ei muriau i lawr, fel ei gwnaed yn un garnedd. Ond wedi dychweliad Juda yn ol o'r caethiwed, adgyfododd megis o'i hysgarthion mewn ail gryfder a gogoniant, fel pan ei cymmerwyd gan y Rhufeiniaid, yr oedd yn amgylchynedig gan dri mur, heblaw adeiladau gorwych eraill ; ond llwyr ddinystriwyd hi gan luoedd Rhufain dan Titus Vespasian, wedi y gelanedd fwyaf echrydus a ddigwyddodd er pan y mae y cleddyf wedi ei ddiweinio hyd yn awr. Er y pryd hwnnw hyd yn bresennol, nid oes fawr o lewyrch ar Jerusalem. Y Twrc ydyw ei harglwydd presennol, ac nid ydyw ei hadeiladau ond gwaelion, ei heolydd yn gulion, a'i muriau yn dra gweinion. Y mae yno amryw o Gristionogion Pabaidd, Groegaidd, ac eraill, yn dra rhagfarnllyd wrth eu gilydd, a'r Tyrciaid hwythau yn eu gormesu yn dost.

Jezreel. Gwel Esdraelon.

Joppa. Porthladd ar Fôr y Canoldir, a elwir hefyd Japha, ond yn bresennol Jaffa. Hwn ydoedd porthladd holl wlad Canaan yn yr amseroedd gynt. Yma y trosglwyddid holl ddefnyddiau y deml yn amser Salomon, y rhai a ddygid o fynydd Libanus, ac oddi yno a gludid tros y tir i Jerusalem. O'r lle hwn yr hwyliodd y prophwyd Jonah i Ninefeh.

Laodicea. Dinas yn Asia Leiaf, ynghylch dwy filldir a deugain o Ephesus. Bu yma eglwys Gristionogol flodeuog iawn yn yr oes Apostolaidd; ond y mae y dref yn awr yn anghyfannedd, a chanwyll crefydd wedi diffodd.

Libanus. Cadwyn o fynyddoedd, estynedig o gymmydogaeth Sidon, ar y tu gorllewinol, hyd gymmydogaeth Damascus ar y tu dwyreiniol, a'r gadwyn hon o fynyddoedd a ffurfiai y terfyn gogleddol i wlad yr addewid. Yn yr amserau gynt yr oedd y mynydd dan sylw yn llawn o goed peraroglus o wahanol rywiau, oblegid yr hyn beth, yn ol barn rhai, y cafodd y mynydd hwn yr enw Libanus, yr hyn a arwydda Thus. Rhennir y mynydd hwn i ddau ddosparth, y rhai a gyferbynant a'u gilydd; y dosparth gorllewinol a elwir wrth yr enw Libanus, a'r dosparth dwyreiniol wrth yr enw Anti-Libanus; ond ni wnai yr Hebreaid y gwahaniaethad hwn yn yr enwau, o herwydd hwy a alwent yr holl fynydd wrth yr enw Libanus. Gwelir y mynyddoedd hyn o bell ffordd, ac y mae rhyw barth neu gilydd o honynt yn orchuddiedig gan eira drwy yr holl flwyddyn. Ar drum uchaf y mynyddoedd hyn yr oedd yr eira yn gorwedd mewn trwch mawr. Nid ydyw y mynyddoedd dan sylw yn anffrwythlon, ond gan mwyaf yn wrteithiedig, ac yn lliosog o drigolion; hauir hwynt, a cheir ffrwyth toreithiog arnynt. Llechweddi y mynyddoedd hyn ydynt yn lliosog o winllanoedd, ac yn cynnyrchu gwin ac olew mewn cyflawnder mawr. Yr oedd mynydd Libanus yn yr amserau gynt yn nodedig am ei gedrwydd, y rhai nid ydynt yn bresennol mor lliosog ag yn yr amserau hynny. Tyfant yn yr eira ar barthau uchaf y mynydd, ac y maent yn nodedig am eu maintioli ac am eu henaint, a gwneir crybwylliadau mynych am danynt yn yr ysgrythyrau sanctaidd. Safant ar dir anwastad, gan ffurfio coedwig fechan, ac y mae nifer y cedrwydd wedi amrywio ar wahanol amserau. Dyweda Belloni, yr hwn a ymwelodd â mynydd Libanus yn y flwyddyn 1550, bod yno wyth ar hugain o gedrwydd mawrion. Dyweda Ranwolf mai pedair ar hugain oeddynt yn 1575; Dandini, tair ar hugain, yr hwn a'u rhifodd o ddeutu hanner can' mlynedd ar ol Ranwolf. Ymwelodd Maundrell â Libanus yn y flwyddyn 1696, ac ni rifodd efe ond un ar bumtheg o gedrwydd mawrion, un o ba rai ydoedd yn ddeuddeg llath a chwech modfedd o amgylchiad. Bu Mr. Burckhardt ar fynydd Libanus yn y flwyddyn 1810, a rhifodd ddeuddeg o gedrwydd mawrion, pump ar hugain o rai lled fawrion, ac o ddeutu hanner cant o rai canolig. Dyweda Dr. Richardson, yr hwn a ymwelodd â'r lle yn 1818, nad oedd yno dros saith o gedrwydd mawrion. Ar ganghenau y cedrwydd uchaf y nythai yr eryrod, yr hyn a grybwyllir yn Ezec. 17. 3. Cyfanneddir mynydd Libanus gan wahanol drigolion o wahanol ddefodau.

Lybia. Defnyddiai y Groegiaid yr enw Lybia am Affrica. Y Lybia a grybwylla Luc yn Act. 2. 10. ydoedd yr un a alwai Ptolemy

Lybia Cyrenacea; a gelwir hi gan Pliny, Penta Politana Regio, oddiwrth y pum' dinas a gynnwysai, sef Berenice, Arsinoe, Ptolemais, Apollonia, a Cyrene. Y mae Lybia yn nodedig yn yr Hen Destament am ei cherbydau a'i meirch. 2 Chron. 16. 8.

LYCAONIA. Talaith yn Asia Leiaf, a ystyrid y parth mwyaf deheuol o Cappadocia; ar y tu gorllewinol y mae Isauria; Armenia Minor ar y tu dwyreiniol; a Lilian ar y tu deheuol. Crybwyllir am ei holl ddinasoedd yn Act. 14. 6. sef Iconium, Lystra, a Derbe. Yr oedd iaith y Lycaoniaid yn dra llygredig,—yn gymmysgedd o'r iaith Roeg a Syriaeg.

LYDDA. Tref a alwyd mewn amseroedd diweddarach wrth yr enw Diospolis, ac y mae yn bresennol yn adnabyddus wrth yr enw Loud. Dyweda Josephus ei bod o ran maintioli agos gymmaint a dinas. Crybwyllir am Lydda yn Act. 9. 32, 34. lle y gwellhawyd Aeneas yn wyrthiol gan yr Apostol Pedr. Nid ydoedd yn mhell o Joppa, ac ar y ffordd rhwng Joppa a Jerusalem.

LYSTRA. Dinas yn Lycaonia. Act. 14. 10, 11.

MACEDONIA. Talaith eang yng ngwlad Groeg, a elwid gynt Aemathia; ac oddiwrth frenhinoedd Macedon, yn Macedonia. Terfynid y dalaith hon ar y tu gogleddol gan fynyddoedd Hæmus; ar y tu deheuol gan Epirus ac Achaia; ar y tu dwyreiniol gan Fôr Egea; ac ar y tu gorllewinol gan y Môr Adriaticaidd. Y mae Macedonia yn nodedig ym mhlith taleithiau y greadigaeth, oblegid mai hi ydoedd y drydedd deyrnas a fu yn ymerodraeth y byd dan Alecsander Fawr. Llywodraethai gant a hanner o genhedloedd. I'r wlad hon y cyfeiriwyd Paul i fyned mewn gweledigaeth; a chrybwyllir am yr eglwysi a blannodd efe yno fel rhai enwog am eu cariad a'u helusengarwch, a'u parodrwydd i gyfrannu i'r Iuddewon trallodedig yn Judea, 2 Cor. 8. 9. a hynny pan yr oeddynt hwy eu hunain mewn tlodi mawr.

MAGDALA. Gwlad a dinas o'r tu hwnt i'r Iorddonen, ar lan yr afon Gadara, ac a gynnwysai Dalmanutha. Mat. 15. 39. Marc 8. 10.

MAGOG. Gog a Magog. Enwau a roddid i genhedloedd gogleddol Ewrop ac Asia. Gog a arwydda y gwledydd, a Magog y bobl. Meddylir mai y Tartariaid a'r Scythiaid a olygir yn bennaf wrthynt yn Ezec. 38. 1—17.

MAMRE. Gwastadedd yng ngwlad Canaan, a gafodd ei enw oddiwrth Mamre yr Amoriad, pan yr ydoedd mewn cyngrair âg Abraham. Yr oedd yn nodedig am y dderwen dan yr hon yr eisteddai y patriarch. Gen. 13. 18.

MEDIA. Gwlad fawr ac eang yn Asia, a alwyd felly oddiwrth Madai mab Japheth, a grybwyllir yn Gen. 10. 2. Yng nghaethiwed y llwythau etholedig, cyflewyd amryw o honynt yn ninasoedd y Mediaid. 2 Bren. 17. 6. Yr oedd y Mediaid yn ddarostyngedig i frenhinoedd Assyria hyd ddyddiau Sardanapalus, pryd y rhyddhaodd Arbaces ei wlad oddi dan yr Iau. Teyrnasodd amryw frenhinoedd olynol yn Media; a'r brenin diweddaf y crybwyllir am dano yn yr ysgrythyrau ydyw Cyaxeres II. yr hwn a elwir Darius y Mediad.

MELITE, neu MALTA. Ynys ym Môr y Canoldir, ar yr hon y llong-ddrylliwyd Paul. Act. 28. 1.

MESOPOTAMIA. Talaith enwog rhwng yr afon Tigris a'r afon Euphrates. Gelwid y dalaith hon gan yr Hebreaid, Aram Naharaim, neu Aram yr afonydd; am ei phreswylio yn gyntaf gan Aram tad y Syriaid, ac am fod ei sefyllfa rhwng dwy afon. Y mae y wlad hon yn nodedig yn yr ysgrythyrau, am mai ynddi y preswyliodd dynion gyntaf wedi y diluw; ac ynddi y ganed Peleg, Heber, Terah, Abraham, Nahor, Sarah, Rebeccah, Rachel, Lea, ynghyd â meibion Jacob. Yr oedd Babilon a'i sefyllfa gynt ym Mesopotamia, hyd oni chyssylltwyd yr afonydd Tigris ac Euphrates ynghyd. Yr oedd gwastadedd Sinai yn y wlad hon. Balaam mab Beor ydoedd o Mesopotamia; a bu yr Hebreaid am ryw hyd dan deyrnged i Cusanrisathaim, Brenin Mesopotamia.

MIDIAN. Y wlad i'r hon y ffodd Moses o'r Aipht. Act. 17. 29. Yma yr oedd Jethro yn byw. Exod. 18. 1. Y Midianiaid a ddeilliasant oddiwrth Madian mab Abraham o Ceturah. Gen. 25. 2. Yr oedd yn Arabia garregog.

MIGDOL. Tref ar derfyn yr Aipht Isaf, ar dueddau y Môr Coch, rhwng yr hon a'r môr y gwersyllodd yr Israeliaid. Gelwir hi yn y Septuagint, Magdolus. Dyweda Jeremi yn pen. 46. 14. ei bod yn perthynu i'r Aipht briodol, ac yng nghymmydogaeth Tapanes.

MILETUS. Porthladd yn Asia Leiaf, a dinas Ionia, lle y traddododd yr apostol Paul yr ymadrodd neillduol hwnnw a grybwyllir yn Act. 20. 17—35. i glywedigaeth henuriaid yr Eglwys yn Ephesus. Yn y ddinas hon y ganed Thales, un o seithwyr doeth gwlad Groeg. Yr oedd Miletus arall yn Crete, lle y gadawodd Paul Trophimus yn glaf.

MITYLENE. Dinas fawr a hardd yn ynys Lesbos, lle y ganed Pittacus, un o'r seithwyr doeth; yma hefyd y ganed Alceus y prydydd, Diophanes yr areithiwr, a Theophilus yr hanesydd. Gelwid yr holl ynys wrth yr enw Mitylene; ac weithiau wrth yr enw Pentapolis, oblegid ei phum' dinas; sef Issa, neu Antissa, Pyrha Eressos, Arisba, a Mitylene. Os gelwid hi wrth yr enw Mitylene yn amser Luc, rhaid i ni ddeall naill ai yr ynys neu y ddinas pan ddywedir, "Ni a ddaethom i Mitylene." Act. 20. 14.

MOABIAID. Cenedl wedi hanu oddiwrth Moab, mab Lot. Preswylient o'r tu hwnt i'r Iorddonen, ac o bob tu i'r afon Arnon. Yr oedd y Moabiaid yn elynion chwerw i Israel, ac weithiai yn eu gorthrymu yn dost. Bygythir hwynt yn enbyd gan Brophwydi Duw, a syrthiodd y dialeddau yn drwm arnynt yn ol y rhagddywediadau.

MOR MARW. Llyn neu Fôr Sodom, neu y Môr Marw, am yr hwn y crybwyllir yn fynych yn yr ysgrythyrau Sanctaidd; a chan Josephus, yn gystal a chan laweroedd o haneswyr cenhedlig. Gelwid ef yn yr amserau gynt Môr y Gwastadedd. Deut. 3. 17. a 4. 49. Y mae y môr hwn â gwastadedd o'r tu deheuol iddo; ac yma gynt yr oedd dinasoedd Sodoma a Gomorrah, ynghyd â dinasoedd y gwastadedd. Gelwir ef yn Deut. 3. 17. y Môr Heli, a hynny oblegid ei helltni mawr. Yn Num. 34. 3. gelwir ef y Môr Heli tua'r dwyrain; ac yn Ezec. 47. 18. Môr y Dwyrain. Josephus a haneswyr eraill a'i galwant Llyn Asphaltites, oblegid cyflawnder y Bitumen (math o byg) a geir ynddo. Gelwir ef gan Jerome, y Môr Marw,

oblegid rhyw hen draddodiadau cyfeiliornus a gredid yn y dyddiau a'r oesau gynt, na allai unrhyw greaduriaid fyw ynddo, nac unrhyw aderyn ehedeg drosto. Ei ddyfroedd sydd hallt i'r graddau uwchaf, yn chwerw, ac yn chwydlyd; ac y mae ei ddyfroedd mor bwysig fel y gall dyn sefyll ar ei wyneb heb wneuthur un ysgogiad. Ei ddyfroedd sydd lawer halltach na dyfroedd y moroedd cyffredin, ac y mae y tir ar ei lennydd mor hallt fel nad ydyw yn rhoddi cynnyrch. Cyfeiria Moses at hyn yn Deut. 29. 23. Yr awyr, yn holl gymmydogaeth y Môr Marw, sydd mor gyflawn o ronynau heillt, fel nad ydyw y wlad yn cynnyrchu nemmawr neu ddim; ac y mae hyn yn gwneuthur golwg frawychus ar y wlad. Fel y crybwyllwyd yn barod, lle y mae y Môr Marw yn bresennol, yr oedd gynt ddinasoedd Sodoma, Gomorrah, Admah, a Zeboim, at ddinystr dychrynllyd y rhai y cyfeirir yn fynych yn yr ysgrythyrau. Pan edrychir ar y môr dan sylw, lle yr ymarllwysa dyfroedd yr Iorddonen iddo, ymddengys bod ei ddyfroedd yn myned ychydig tua'r dwyrain, ac yna collir yr olygfa arno. Wyneb y môr hwn yn gyffredin sydd wastadlyfn, ac anfynych iawn y gwelir ef yn donnog. Ei ddyfroedd ydynt dra gloyw, ond yn chwerw iawn ac yn dra gwrthwyneblyd. Y mynyddoedd o bob ochr a ymddangosant o ddeutu wyth milldir oddiwrth eu gilydd; ond fel yr eir tua'r deheu, y mae yn lledanu. Dyweda Pliny yr hanesydd fod ei hyd yn gan' milldir, a'i led yn y fan llettaf yn bum' milldir ar hugain. Ond ymddengys bod teithwyr diweddarach wedi bod yn fwy manwl, ac yn ol eu mesuriadau hwynt, nid ymddengys ei fod dros ddeuddeg milldir a thrugain o hyd, a'i led mwyaf sydd tua phedair milldir ar bumtheg. Teyrnasa distawrwydd y bedd yn amgylchoedd y môr hwn, a dywedir chwedlau brawychus am dano gan drigolion y wlad.

Môr Coch. Caingc o'r môr deheuol, yn myned rhwng yr Aipht o'r tu gorllewinol, ag Arabia Ddedwydd, ac yn cyffwrdd â thir Edom. Gelwir ef Môr Coch, oddiwrth Edom, yr hwn air a arwydda coch. Drwy hwn yr aeth yr Israeliaid yn eu ffoedigaeth o'r Aipht, megis ar hyd tir sych. Ac er pob gwrthddadleuon yn erbyn y wyrth a wnaed yno. Y mae pawb teithwyr yn cyduno i dystio, mai annichonadwy iddynt fyned drwyddo, oni buasai i Dduw Hollalluog gyfryngu, ac agoryd y ffordd iddynt.

Môr y Canoldir. Gwastadedd Môr y Canoldir a gyrhaeddai o afon yr Aipht hyd Fynydd Carmel. Y tir rhwng Gaza a Joppa a elwir yn yr ysgrythyrau, y gwastadedd; ac yn hwn yr oedd pum' dinas y Philistiaid. Y tir rhwng Joppa a mynydd Carmel a elwid Saron; ond nid yr un a Saron rhwng mynydd Tabor a môr Tiberias.

Myra. Un o chwech dinas fawr Lycia, am yr hon y crybwyllir yn Act. 27. 5.

Mysia. Gwlad yn Asia, yr hon yr oedd ei phobl yn waradwyddus i ddiareb.

Nain. Dinas fechan yn Galilea, nid ym mhell o Capernaum, wrth borth yr hon yr adgyfododd Crist fab gwraig weddw. Luc. 7. 11—15.

Nazareth. Dinas fechan yn Galilea Isaf, yn nodedig am mai yno y dygwyd ein Hiachawdwr i fynu, ac y pregethodd lawer, oblegid yr hyn y gelwid ef Iesu o Nazareth. Yn amser Crist, nid oedd

iddo ond cymmeriad gwael. Ioan 1. 46. Y mae Nazareth, yr hon a elwir yn bresennol Nassara, yn sefyll ar ochr bryn creigiog diffrwyth, yn wynebu ar y deheu-ddwyrain. Oddiar ben y bryn uwch y dref y mynnai y trigolion fwrw ein Harglwydd bendramwnwgl. Pan ymwelodd y Dr. Clarke â'r lle yn y flwyddyn 1801, yr oedd wedi lleihau yn fawr iawn. Yr oedd y dref yn dra gresynol yr olwg arni, a'r holl dir oddi amgylch yn gwbl ddiffrwyth; a chyda bod y newyn yn frawychus yno, yr oedd y pla hefyd yn teyrnasu yn ei holl frawychdod. Ond yn y flwyddyn 1820, pan ymwelwyd â'r lle gan Mr. Connor, yr oedd yr olygfa yn well o lawer; a dyweda y teithiwr dywededig bod trigolion Nazareth ynghylch tair mil o nifer, a'r rhan liosoccaf yn Gristionogion.

NEBO. Un o bennau mynyddoedd Abarim, o'r tu hwnt i'r Iorddonen. Gwel Abarim.

NINEFEH. Prif ddinas ymerodraeth Assyria, ac yn un o'r rhai hynaf yn yr holl fyd. Dywedir ei adeiladu neu osod ei seiliau gan Nimrod. Gen. 10. 11. Bu yn hir cyn dyfod i fawredd a chlod, hyd amser ei hail seilydd, sef Ninas yr II. yr hwn a'i gwnaeth y ddinas fwyaf drwy yr holl fyd. Yr oedd ei hamgylchiad yn wyth milldir a deugain, ei mhuriau yn gan' troedfedd o uchder, a deg o led; ac ar ei mhuriau yr oedd pumtheg cant o dyrau, yn ddau can' troedfedd o uchder. Dywedir yn Jonah, ei bod yn ddinas fawr iawn; ond yn awr, braidd y gwyddis pa le yr oedd, ond yn unig bod dinas Mosul yn rhyw le ar ei chyfer.

NO, neu NO AMMON. Diospolis, neu Thebes, prif ddinas yr Aipht Uchaf. Crybwyllir am dani yn Jer. 46. 25. Ei henw Aiphtiaidd ydoedd No, at yr hon yr ychwanegwyd Ammon, un o enwau Jupiter.

OLEWYDD. Mynydd o'r tu dwyrain i Jerusalem, yn wynebu ar y deml. Crybwyllir am dano yn aml yn yr efengyl, oblegid y cynniweiriai Crist yn fynych iddo. Y mae amryw olewydd yn tyfu arno yn bresennol. Gwersyllodd Titus a'i fyddin Rufeinig ar y fan y rhagddywedodd Crist am ddinystr y deml a'r ddinas. Y mae hwn yn cael ei ddangos i bob dieithriaid a ymwelant â Jerusâlem, ac y mae yn dra serth i ddringo i'w ben.

ON, AUN, neu HELIOPOLIS. Dinas yn yr Aipht. Chwegrwn Joseph ydoedd yn offeiriad On ar un amser. Dywedir mai yn hon y dygwyd Moses i fynu mewn dysgeidiaeth.

OPHIR. Y wlad i'r hon yr anfonodd Salomon lynges, ac o'r hon y dygasant aur adref. 1 Bren. 9. 27. ynghyd â choed Almugim. Enwir tua phumtheg neu un ar bumtheg o wledydd, fel Ophir yr ysgrythyrau; ond ymddengys mai tyb M. Huet, esgob Aoranches, ydyw y gywiraf, sef mai goror ddwyreiniol Affrica a feddylir wrth Ophir, ac a elwir gan yr Arabiaid Zanginbur.

PAMPHYLIA. Talaith yn Asia Leiaf, am yr hon y crybwyllir yn Act. 27. 5. Yr oedd lliosogrwydd o Iuddewon yn byw yma, a thramwyodd Paul trwy y lle.

PAPHOS. Prif ddinas ynys Cyprus, a phreswylfa y pro-consul Iuddewig. Paphos ydoedd yn nodedig gynt am yr addoliad halogedig a roddid yno i'r dduwies Venus. Yn y ddinas hon y tarawodd yr Apostol Paul Elymas y swynwr â dallineb, ac y dychwelodd efe

Sergius y pro-consul i'r ffydd Gristionogol. Preswyliai llawer o Iuddewon yn y lle hwn.

PARAN. Anialwch mawr yn Arabia, yn agos i'r lle y cyfanneddai Ishmael, ac o hwn yr anfonodd Moses ysbiwyr i wlad yr addewid. Num. 13.

PARTHIAID. Crybwyllir am y bobl hyn yn Act. 2. 9. mewn cyssylltiad â'r Mediaid. Safodd ymerodraeth Parthia tua phedwar can' mlynedd, a rhyfelodd y Parthiaid yn bybyr â'r Rhufeiniaid ynghylch ymerodraeth y dwyrain. Yr oedd y Parthiaid yn nodedig am eu parch i'w brenhinoedd, ac am eu dull yn rhyfela pan fyddent ar encilio o'r frwydr, oblegid yr oedd ganddynt ddull neillduol o ollwng eu saethau yn ol. Preswylient rhwng Media a Mesopotamia; ac yn yr holl daleithiau o'r tu hwnt i'r Euphrates yr oedd yr Iuddewon yn dra lliosog, ac yr oedd llawer o honynt wedi dyfod i fynu i Jerusalem, ac yn wyddfodol ar ddydd y Pentecost, pan syrthiodd yr Yspryd Glân yn weledig ar yr Apostolion.

PATHROS. Dinas yn yr Aipht, am yr hon y sonia Jeremiah, pen. 44. 1, 15.

PATARA. Porthladd yn Syria.

PATMOS. Ynys yn Môr Egea, lle yr alltudiwyd yr Apostol a'r Efangylwr Ioan, yn y flwyddyn 94, a lle y dangoswyd iddo y gweledigaethau yn Llyfr y Datguddiad.

PERGA. Dinas yn Pamphylia, lle yr oedd teml fawr i Diana.

PERGAMOS. Prif ddinas Myssia, ac yn cynnwys yn bresennol tua deng mil ar hugain o drigolion; o ba rai y mae tair mil yn Gristionogion. Y mae drugain milldir a phedair i'r gogledd o Smyrna.

PERSIA. Gwlad eang yn Asia, yn terfynu ar Media a Susiana. Hyd amser Cyrus, yr oedd Persia yn ddarostyngedig i'r Assyriaid, y Babiloniaid, neu y Mediaid. Ei phrif ddinas ydoedd Persepolis, yn awr Chelminar. Gwlad uchel fynyddig ydyw. Cyrus Fawr, mab Cambyses, o Mandane, merch Astyages brenin Media, a annogodd y Persiaid i fwrw ymaith iau y Mediaid, a gorchfygodd ei daid Astyages mewn brwydr, gan ddarostwng Media i Persia. Cyhoeddodd ryfel yn erbyn y Babiloniaid, a'i fyddinoedd a warchaeasant ar Babilon fawr; ac er cymmeryd y ddinas, trodd yr Euphrates o'i rhedegfa i lynoedd a gloddiasid er derbyn ei dyfroedd. Ac wedi sychu, y lluoedd a'i rhydiasant dan y llywyddion Gobryas a Gatates, a chyfarfuasant â'u gilydd yng nghanol y ddinas yn y nos; a Belshazzar a bwyswyd y noswaith honno yn y glorian fawr. Gosododd Cyrus ei ewythr Darius y Mediad ar orsedd Babilon, ac yn fuan a gyhoeddodd ryddid i'r Iuddewon ddychwelyd adref o'u caethiwed. Canlynwyd Cyrus yn y llywodraeth gan Cambyses, yr hwn ydoedd ddyn creulon iawn. Wedi marwolaeth Cambyses, esgynodd saith o'r Magiaid i'r orsedd; ond wedi eu diorseddu, esgynodd Darius mab Hystaspes i'r orsedd, yr hwn ydyw Ahasferus yr ysgrythyrau. Dilynwyd hwn yn y deyrnas gan Xercses, ac wedi hynny gan Artacsercses, yr hwn a anfonodd Ezra, ac wedi hynny Nehemiah, yn ol i Judea, i ail-adeiladu Jerusalem.

PHILADELPHIA. Dinas yn Asia Leiaf, a gafodd ei henw oddiwrth ei sylfaenydd, Attalus Philadelphus. Y mae yn sefyll o ddeutu saith milldir ar hugain i'r de-ddwyrain o Sardis. Ychydig amser

cyn ysgrifenu y llythyr a welir yn y Datguddiad, yr oedd y ddinas hon wedi goddef cymmaint gan ddaeargrynfâu, fel yr oedd wedi ei gadael gan lawer iawn o'i hen drigolion; yr hyn a rydd eglurhad ar dlodi yr eglwys hon, yr hwn y cyfeirir atto yn y llythyr dan sylw; a gall ei thlodi hefyd i ryw raddau fod yn achos o'i rhinwedd, yr hon a ganmolir mor fawr. Gwrthsafodd Philadelphia ymgyrch y Tyrciaid yn y flwyddyn 1312, gyda mwy o lwyddiant nag unrhyw ddinasoedd eraill. Amddiffynodd y dinasyddion eu hunain dros bedwar ugain mlynedd, ond o'r diwedd rhoddasant eu hunain i fyny i'r balchaf o'r Ottomaniaid yn y flwyddyn 1390.

Philippi. Dinas yn Macedonia, lle y plannodd Paul Gristionogaeth. Act. 16. 9—40.

Phœnice, neu Phenicia. Talaith yn Syria, yn yr hon yr oedd Tyrus a Sidon yn brif ddinasoedd.

Phrygia. Talaith yn Asia Leiaf.

Pisgah. Gwel Abarim a Nebo.

Pisidia. Gwlad yn Asia Leiaf, prif ddinas yr hon oedd Antioch. Act. 13. 14.

Pontus. Talaith yn Asia Leiaf.

Ptolemais. Gelwid y ddinas hon hefyd Archo; ond yn adnabyddus yn awr wrth yr enw Acre, ar lan Môr y Canoldir. Y mae y lle hwn yn nodedig am y gwrthwynebiad a gafodd Bonaparte yma gan y Tyrciaid, dan lywyddiaeth Syr Sidney Smith, pan y gorfu i'r Ffrangcod adael Syria.

Puteoli. Dinas a phorthladd dan lywodraeth Naples, wyth milldir o'r brif ddinas. Yma y glaniodd Paul yn ei daith tua Rhufain; enwir hi yn bresennol Dozzuolo.

Rabbath, neu Rabbath Ammon. Prif ddinas yr Ammoniaid. Yn erbyn hon yr oedd Joab yn rhyfela, pan laddwyd Uriah yn fradwrus. Cymmerwyd hi gan Dafydd, a bu yn hir ym meddiant Judah.

Rabbath Moab. Prif ddinas y Moabiaid, a elwid hefyd Ar, a Kicheres; y mae Jeremiah, pen. 48. 31, 36. yn rhoddi barnedigaethau trymion arni.

Rama. Tref fechan yn llwyth Benjamin, tua deng milldir ar hugain o Jerusalem. Gwneir crybwylliadau aml am dani yn yr Hen Destament. Ei thrigolion yn bresennol ydynt tua phum' mil, ac yn cael ei phreswylio gan Gristionogion ac Arabiaid. Ei mhasnach yn fwyaf neillduol sydd yn gynnwysedig mewn ŷd, olewydd, blew, a brethynau.

Ramoth. Dinas enwog ym mynyddoedd Gilead, yr hon a fu yn achlysur o ryfeloedd trymion rhwng brenhinoedd Israel a brenhinoedd Damascus. 1 Bren. 22. 3—36. 2 Bren. 8. 28. Jehoram brenin Judah a glwyfwyd yn llym wrth warchae ar y ddinas hon. Ynddi yr enneiniwyd Jehu yn frenin, ac o'i blaen y lladdwyd Ahab pan mewn brwydr â'r Syriaid.

Rephaim. Dyffryn y Cewri. A alwyd felly oddiwrth faintioli ei breswylwyr. Yr oedd rhwng llwyth Judah a llwyth Benjamin. Bu brwydrau trymion rhwng y Philistiaid â gwyr Israel. 2 Sam. 5. 18. a 23. 13. 1 Chron. 11. 15.

Rhegium. Porthladd yn Itali.

**Rhodes.** Ynys a dinas ym Môr y Canoldir. Act. 21. 1.

**Rhufain.** Prif ddinas y byd unwaith. Sylfaenwyd y ddinas hon gan Remus a Romulus, tua saith cant ac wyth a deugain o flynyddoedd cyn geni Crist. Nid oedd ei dechreuad ond bychan iawn, na'i seilwyr ond cryg o ladron ac yspeilwyr; ond o ychydig i ychydig cyrhaeddoedd fri ac anrhydedd mawr, fel yr anfonodd allan fyddinoedd, ac y gwnaeth drwy eu dewrder, ddarostwng yr holl fyd adnabyddus i ufudd-dod iddi. Hi yn bresennol ydyw prif orsaf pabyddiaeth, oblegid dyma lle y mae y Pab yn byw: ond y mae rhyw bläau dychrynllyd yn ei haros, ac yn nydd ei gofid bydd ei gwasgfa a'i chyfyngderau yn ddigyffelyb.

**Samaria.** Prif ddinas teyrnas Israel. Adeiladwyd hi ar fynydd, yr hwn a brynwyd gan Omri brenin Israel. Enw y meddiannydd ydoedd Semer, oddiwrth yr hwn y galwyd y ddinas yn Samaria. Dinystriwyd hi gan Salmaneser; ond adeiladwyd hi drachefn;—nid ydyw yn bresennol ond pentref tlawd.

**Samos.** Ynys yn yr Archipelago, ar dueddau Asia Leiaf. Act. 20. 15.

**Samothracia.** Ynys ym Môr Egea, lle y glaniodd Paul. Act. 16. 11.

**Sardis.** Dinas yn Asia Leiaf, wrth odrau mynydd Timonus;—bu yn ddinas enwog, gyfoethog, a phoblogaidd; ond y mae yn awr yn dra thlodaidd.

**Sarephtah.** Dinas yn nhiriogaeth Sidon, rhwng Sidon a Tyrus Yma y bu Elias gyda'r wraig weddw. 1 Bren. 17. 9.

**Saron.** Tref yn agos i Lyda, yr hon a roes enw i ddyffryn ffrwythlon rhwng Cesarea a Joppa.

**Susan.** Prif ddinas Susiana, talaeth o Elam neu Persia. Yr oedd yma balas brenhinol gan frenhinoedd Caldea. Yr oedd y gauaf yma yn lled gymmedrol; ond yn yr haf cyn boethed, fel yr oedd pob peth braidd yn cael ei losgi.

**Sichem.** Dinas yn Samaria, deugain milldir o Jerusalem. Yma yr oedd ffynnon Jacob, wrth yr hon yr eisteddodd ein Hiachawdwr. Ioan. 4. 5.

**Sidon.** Hen ddinas enwog iawn, yr hon a roes Joshua i lwyth Aser, ond methiasant a'i mheddiannu. Yr oedd Sidon ar lan Môr y Canoldir, mewn gwlad wastad a ffrwythlon, ac yn helaeth iawn yn ei mhasnach.

**Sibor.** Afon sydd yn rhedeg drwy ddyffryn Esdraelon, ac yn myned i'r môr yng ngagendor Keilah.

**Siloam.** Llyn rhwng dinas Jerusalem ac afon Cedron. Y mae y ffynnon yn tarddu o graig, a'i ffrwd yn rhedeg yn ddistaw. Y mae yn gwneuthur dau lyn yn gyfagos i'r graig, y rhai sydd yn aros hyd heddyw. O'r llyn hwn, ar ddydd diweddaf gŵyl y pebyll, y cludid dwfr, yr hwn a yfid gyda bloeddiadau llawenydd, a chenid y ddeuddegfed bennod o Esay.

**Sinai.** Anialwch Sinai ydoedd yng nghymmydogaeth mynydd Sinai. Yma y bu plant Israel yn gwersyllu yn hir, ac y derbyniasant y rhan fwyaf o'u cyfraith. Mynydd Sinai ydoedd yn Arabia, ac a elwir Mynydd Duw, am ddisgyn o'r Arglwydd arno yn rhoddiad y ddeddf.

SMYRNA. Dinas enwog yn Asia Leiaf, tua phum' milldir a deugain i'r gogledd o Ephesus. Y mae yn bresennol yn gyfoethog iawn, ac yn cynnwys tua chant a deugain mil o drigolion. Chwech mil ar hugain yng nghymmundeb eglwys Groeg; pum' mil o babyddion, a'r lleill yn Fahometiaid.

SODOM. Un o'r pum' dinas a losgwyd â thân o'r nefoedd am ei drygioni.

SYRIA. Gwlad yn Asia, yr hon sydd yn helaeth iawn yn ei therfynau. Darostyngwyd hi gan Dafydd, wedi hynny gan yr Assyriaid, wedi hynny gan y Caldeaid, ac yn awr dan lywodraeth y Twrc.

TABOR. Mynydd uchel o'r neilldu i wastadedd Esdraelon, lle y gwersyllodd Barac, cyn ymosod ar Sisera a'i luoedd. Y mae tua milldir o uchder, ac yn llawn o hen adfeiliau eglwysi, ogfeydd, &c.

TADMOR. Dinas yn Syria, a adeiladwyd gan y brenin Salomon. Adeiladwyd hi yn anialwch Syria, oblegid yr hyn y galwyd hi, Tadmor yn yr anialwch. 1 Bren. 9. 18. Galwyd hi wedi hynny Palmyra, ac y mae yn awr yn ddadfeiliedig, etto yn ardderchog yn ei hysgarthion, ac amryw deithwyr o gywreinrwydd yn ymweled â hi.

TAHAPANES. Dinas yn yr Aipht, unwaith yn ddinas frenhinol.

TARSUS. Prif ddinas Cilicia. I'r lle hwn y bwriedai Jonah ffoi, yn lle myned i Ninefeh, ac y ganed Paul yr Apostol. Yr oedd yn ddinas gyfoethog a phoblogaidd iawn, ac yn enwog drwy y gwledydd.

TECOA. Anialwch Judea, a ddechreua yn Tecoa, ac a gyrhaedda drwy Arabia Garregog i fôr Persia. Yn yr anialwch hwn y bu Ioan Fedyddiwr hyd y dydd yr ymddangosodd efe i Israel. Luc 1. 80. ac yma y dysgodd efe ei gyd-wladwyr gyntaf. Mat. 3. 1. Marc 1. 4. Ioan 10. 40.

THESSALONICA. Dinas fawr a phologaidd, a phorthladd yn Macedonia, phrif ddinas un o'r pedair talaith, i ba rai y rhanodd y Rhufeiniaid y wlad. Yr oedd ei sefyllfa yn gyfagos i angorfa Termia. Yr oedd yr Iuddewon yn lliosog iawn yma: ei henw yn bresennol ydyw Salonichi, ac y mae yn cynnwys yn awr drugain mil o drigolion; deuddeg mil o ba rai ydynt Iuddewon.

THYATIRA. Dinas yn Asia Leiaf, ar y ffordd rhwng Pergamus a Sardis, ac y mae ynddi ychydig o Gristionogion hyd heddyw.

TIBERIAS. Un o brif ddinasoedd Galilea, a adeiladwyd gan Herod, ac a alwyd Tiberias mewn anrhydedd i'r ymerawdwr Tiberius. Yr oedd wedi ei sefydlu ar wastadedd yn agos i lyn Gennesareth, yr hwn a elwid hefyd oddiwrth y ddinas, yn llyn neu fôr Tiberias. Y mae ynddi yn bresennol o bumtheg i ddwy fil o drigolion, y rhai gan mwyaf ydynt Iuddewon, a'r rhai meddent hwy ydynt ddeilliedig oddiwrth y rhai a drigent yno yn nyddiau ein Hiachawdwr.

TROGYLIUM. Penrhyn wrth odre mynydd Mycale, ar gyfer, ac ynghylch pum' milldir o Samos. Act. 20. 15.

TYRUS. Dinas enwog a phorthladd yn Phenicia, yr hon ydoedd wedi ei hadeiladu er yr oesau boreuol. Yr oedd yn gadarn iawn yn nyddiau Joshua, oblegid crybwyllir am dani yn pen. 19. 28. Tyrus ydoedd yn ddinas ddyblig, un ar y tir, a'r llall ar ynys yn y môr

Tyrus yn y môr ydoedd ddwy filldir o amgylchiad, ond Tyrus ar y tir yn anferthol fawr. Gwrthsafodd yr Assyriaid pan warchaewyd hi gan Shalmaneser bum' mlynedd; ac wedi hynny am dair blynedd ar ddeg, pan warchaewyd hi gan Nebuchodonosor brenin Babilon: ac ni chymmerwyd hi wedi yr hir warchae, hyd oni symmudodd y Tyrciaid a'u holl feddiannau i Tyrus yn y môr, yr hon nid oedd neppell o'r lan. Cymmerwyd Tyrus yn y môr gan Alecsander Fawr, yr hwn a gododd ffordd o'r dyfnder i fynu; ac wedi cymmeryd y ddinas, efe a'i rhoddes ar dân; ac felly cyflawnwyd y brophwydoliaeth yn Zech. 9. 3, 4. Nid oes yno yn awr ond ychydig fythod pysgodwyr.

ZAREPHATH. Gwel SAREPHTAH.

ZIDON. Gwel SIDON.

ZIPH. Anialwch yn gyfagos i ddinas Ziph, lle y bu Dafydd yn ymguddio rhag Saul. 1 Sam. 23. 13, 14.

---

# ARWYDDOCCAD GEIRIAU CYFFELYBIAETHOL

YN YR

## YSGRYTHYRAU SANCTAIDD.

ADENYDD. 1. Amddiffyniad. Salm 17. 8. "Cudd fi dan gysgod dy adenydd." Salm 36. 7. a 91. 4. 2. Adenydd, pan eu defnyddir i ehedeg i fynu, a arwyddocca dderchafiad. Esay 40. 31. "Ehedant fel eryrod;" hynny yw, dyrchefir hwynt yn uchel.

AFON. 1. Afon yn gorlifo. Rhuthr neu ymosodiad gan fyddinoedd gelynol. Esay 59. 19. "Pan ddelo y gelyn i mewn fel afon." Jer. 46. 7, 8. "Pwy yw hwn sydd yn ymgodi fel afon, a'i ddyfroedd yn dygyfor fel yr afonydd? a hi a ddywed, Mi a af i fynu, ac a orchuddiaf y ddaear." Esay 28. 2. Jer. 47. 2. Amos 9. 5. Nahum 1. 4. 2. Afon yn fynych sydd yn derfyn gwlad a chenedl, ac y mae ei sychu i fynu yn arwydd o ddrygfyd i'r wlad gymmydogaethol, ac yn arwyddo y ca ei gelynion fuddugoliaeth esmwyth arni, am na fydd dyfroedd i'w rhwystro drosodd. Esay, pan yn rhagddywedyd am ddinystr Babilon gan Cyrus, a ddefnyddia yr ymadroddion canlynol: "A ddywed wrth y dyfroedd, Bydd sych; a mi a sychaf dy afonydd. Yr Arglwydd hefyd a ddifroda dafod môr yr Aipht, ac â'i wynt nerthol efe a gyfyd ei law ar yr afon, ac a'i tery hi yn y saith ffrwd, ac a wna fyned drosodd yn droedsych." Esay 19. 6. Zech. 10. 11. 3. Y mae afon loyw yn arwydd o'r daioni mwyaf. Salm 36. 8. "Llawn ddigonir hwynt â brasder dy dŷ; ac âg afon dy hyfrydwch y diodi hwynt: canys gyda thi y mae ffynnon y bywyd." Dat. 22. 1. "Ac efe a ddangosodd i mi afon bur o ddwfr y bywyd, disglair fel grisial, yn dyfod allan o orseddfainge Duw a'r

Oen;" hynny yw, cyflawnder o bob daioni a dedwyddwch i breswylwyr y Gaersalem newydd. Ei phurdeb a arwydda eu sancteiddrwydd a'u heddwch; a'i disgleirdeb sydd yn arwyddo bywyd gogoneddus y rhai a yfant o honi.

Aipht. Enw arwyddoccaol am ddrygioni. Dat. 11. 8. "A'u cyrph hwynt a orwedd ar heolydd y ddinas fawr, yr hon yn ysprydol a elwir Sodom a'r Aipht; lle hefyd y croeshoeliwyd ein Harglwydd ni."

Allweddau. Gallu ac awdurdod; yn neillduol pan fyddo gelynion wedi eu hollol ddarostwng. Dat. 1. 18. "Ac y mae gennyf agoriadau uffern a marwolaeth;" sef awdurdod ar angeu a'r byd anweledig. Wedi gorchfygu angeu, yn yr adgyfodiad oddiwrth y meirw; ac yn Dywysog y bywyd o fewn y gororau anfarwol. Cydmarer Esay 22. 22. â Dat. 3. 7. Agoriadau teyrnas nefoedd, yn Mat. 16. 19. a arwyddant, yr awdurdod a roes Crist i'w Apostolion i bregethu yr efengyl, ac i weinyddu ei ordinhadau i bobl yr Arglwydd. Agoriad gwybodaeth, yn Luc 11. 52. a arwydda y cyfryngau er cyrhaeddyd gwybodaeth.

Angeu. 1. Gwahaniad corph ac enaid oddiwrth eu gilydd. Gen. 25. 11. "Ac wedi marw Abraham;" hynny yw, er pan wahanwyd ei gorph a'i enaid oddiwrth eu gilydd,—ei farwolaeth naturiol; yr hon farwolaeth sydd i ddigwydd i bob dyn byw, yn ol y ddedfryd ddwyfol yn Gen. 3. 19. 2. Difuddiad dyn, wedi ei ymadawiad â'r fuchedd hon, o bresennoldeb a gogoniant Duw, yr hon ydyw yr ail farwolaeth. Dat. 2. 11. Yr hwn sydd yn gorchfygu, ni chaiff ddim niwed gan yr ail farwolaeth. Dianga anwyliaid Duw rhag eu cyfleu yn y carchardy tragywyddol, lle y poenir y damnedigion yn oes oesoedd. 3. Sefyllfa yr enaid hwnnw sydd yn annheimladwy o bechod a llygredd, ac yn amddifad o Yspryd y bywyd. Judas 12. "Ddwywaith yn feirw." Eph. 1. 1. "A chwithau a fywhaodd efe, pan oeddych feirw mewn camweddau a phechodau." Y mae y dynion hynny nad ydynt yn ymgeisio â daioni gymmaint o dan lywodraeth pechod, fel y maent megis meirwon: a than ei lywodraeth mor hollol a'r rhai sydd yn eu beddau dan awdurdod angeu.

Angylion. 1. Angel y cyfammod. Yr Arglwydd Iesu Grist, Mal. 3. 1. sef angel y cyfammod, yr hwn yr ydych yn ei chwennych. Y mae Iesu Grist yn gennad cyfammod Duw; oblegid efe ydoedd y cyntaf a bregethodd yr efengyl, ac a eglurodd ddirgelion teyrnas nefoedd. 2. Y bodau hynny a grewyd gan yr Hollalluog, y rhai ydynt heb gyrph fel yr eiddom ni, ond yn gwbl ysprydol. Heb. 1. 7. "Ac am yr angylion y mae yn dywedyd, Yr hwn sydd yn gwneuthur ei angylion yn ysprydion, a'i weinidogion yn fflam dân." Gwedir hanfodaeth y bodau hyn gan rai, ond y mae yr ysgrythyrau yn bendant ar y pwngc. 3. Pob cennadau y mae Duw yn eu defnyddio er cyflawni ei amcanion; megis y pläau â pha rai y mae efe wedi taro y cenhedloedd; lladd cyntaf-anedigion yr Aipht; dinystrio byddin Sennacherib; a lladd cynnifer o filoedd o Israeliaid am i Dafydd rifo y bobl. 4. Y gweinidogion hynny y mae Crist wedi eu hanfon, a'r Yspryd Glân wedi eu donio, er pregethu yr efengyl, ac er adeiladu y saint. Dat. 1. 20. "Y saith seren, angylion y saith eglwys ydynt." Dat. 2. 8, 12, 18. a 3. 1, 7, 14. 5. Yr ysprydion aflan, y

rhai a wrthryfelasant yn erbyn y llywodraeth ddwyfol, ac a ddymchwelwyd i uffern. Mat. 25. 41. "A barottowyd i ddiafol ac i'w angylion." 6. Yn Llyfr y Datguddiad, gelwir y gwahanol offerynau a ddefnyddir er gwaredu yr eglwys o'i chyfyngderau, a'i dwyn yn rhydd o'i chystuddiau, yn angylion. Dat. 15. 7. 7. Angel y pwll diwaelod. Dat. 9. 11. Rhai a feddyliant y diafol; eraill Lywydd y Saraceniaid, y rhai a wnaethant ddifrod ofnadwy ym mhlith y Cristionogion.

Anialwch. 1. Gwledydd paganaidd ac eilun-addolgar, lle ni ofnir Jehofah, ac ni pherchir ei gyfreithiau ef; ond yn ddiffrwyth o ras a gweithredoedd da. Esay 35. 1. "Yr anialwch a'r anghyfanneddle a lawenychant o'u plegid;" sef y cenhedloedd, yn nydd eu dychweliad at yr Arglwydd Iesu Grist. 2. Pob math o anghyfannedd-dra. Esay 27. 10. "Etto y ddinas gadarn fydd unig, a'r annedd wedi ei adael, a'i wrthod megis yn anialwch." Jer. 22. 6. Hos. 2. 3. 3. Y byd hwn, drwy ba un y mae anwyliaid yr Arglwydd yn teithio, ac yn cyfarfod âg amryw chwerwderau. Can. 8. 6. "Pwy yw hon sydd yn dyfod i fynu o'r anialwch?" 1 Cor. 10. 5, 6. Esay 41. 18. 4. Blinder a gofid mawr. Hos. 2. 3. "Rhag i mi ei diosg hi yn noeth-lymmun, a'i gosod fel y dydd y ganed hi, a'i gwneuthur fel anialwch, a'i gosod fel tir diffaeth, a'i lladd â syched."

Anifail. 1. Un heb ddeall ac amgyffredion i synied gweithrediadau rhagluniaethau Duw yn ei wahanol oruchwyliaethau tuag at ei greaduriaid. Salm 73. 22. "Anifail oeddwn o'th flaen di." 2. Dynion creulon, o ymddygiadau tebyg i anifeiliaid. 1 Cor. 15. 32. "Os yn ol dull dyn yr ymleddais âg anifeiliaid yn Ephesus." Dynion enbyd y mae yn debygol a feddyliai yr Apostol. 3. Cenhedloedd ffyrnig, drygionus, ac eilun-addolgar. Salm 8. 13. "A bwystfil y maes a'i pawr;" sef yr eglwys yn myned yn sathrfa i'r Cenhedloedd. 4. Teyrnas eilun-addolgar, yn byw mewn anwybodaeth o'r gwir Dduw. Dan. 7. 17. "Y bwystfilod mawrion hyn, y rhai sy bedwar, ynt bedwar brenin." 5. Pab Rhufain. Dat. 13. 2. "A'r bwystfil a welais i oedd debyg i lewpard, a'i draed fel traed arth, a'i safn fel safn llew."

Arfogaeth. 1. Grasusau ac arfau ysprydol, er ymddiffyn yr enaid yn wyneb ymosodiadau gelynion, a thrwy gynnorthwyon y rhai yr ymleddir ac y gorchfygir hwynt. Eph. 6. 11. "Gwisgwch holl arfogaeth Duw, fel y galloch sefyll yn erbyn cynllwynion diafol. 2. Arfau y goleuni. Plant y goleuni ydyw y saint, ac yn y goleuni y maent yn rhodio; a'r grasusau a roddir iddynt sydd yn disgleirio ym mhob sancteiddrwydd ac ymarweddiad. Rhuf. 13. 12. 3. Arfau cyfiawnder. Uniondeb calon a chydwybod, yr hyn sydd arf cadarn i'r Cristion yn wyneb rhuthriadau ei holl elynion. 2 Cor. 6. 7.

Arogl-darth. Gweddiau a gwasanaeth pobl yr Arglwydd, y rhai ydynt gymmeradwy ger ei fron ef, yn a thrwy eiriolaeth yr Arglwydd Iesu Grist. Salm 141. 2. "Cyfeirier fy ngweddi ger dy fron fel arogl-darth." Dat. 5. 8. "A chan bob un o honynt yr oedd telynau a phialau aur, yn llawn o arogl-darth, y rhai ydyw gweddiau y saint."

Aredig. 1. Ymwneuthur yn wirfoddol â drygioni. Job 4. 8.

"Hyd y gwelais i, y rhai a arddant anwiredd, ac a hauant ddrygioni, a'u medant." 2. Ymddwyn yn greulon, yn annhrugarog, a chiaidd. Salm 129. 3. "Yr arddwyr a arddasant ar fy nghefn, estynasant eu cwysau yn hirion;" hynny ydyw, ymddygasant yn greulon iawn." 3. Dymchwelyd a gwneuthur yn anghyfannedd. Jer. 46. 18. "Fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Sïon a erddir fel maes." 4. Parottoad y galon drwy wir edifeirwch. Hosea 10. 12. "Braenerwch iwch' fraenar." Jer. 4. 3.

Awyr. Gwynt, anadl. Yr Yspryd Glân yn ei dywalltiadau ysprydol ar y rhai a achubir i fywyd tragywyddol. Ioan 3. 8. "Canys y mae y gwynt yn chwythu lle y mynno." Ioan 10. 22. "Efe a anadlodd arnynt, ac a ddywedodd wrthynt, Derbyniwch yr Yspryd Glân." Act 2. 2, 4. "Ac yn ddisymmwth y daeth swn o'r nef, megis gwynt nerthol yn rhuthro. A hwy oll a lanwyd o'r Yspryd Glân."

Aur. 1. Y trysorau sydd yn yr Arglwydd Iesu Grist fel Cyfryngwr. Dat. 3. 18. "Prynwch gennyf fi aur wedi ei buro trwy dân." 2. Grasusau a doniau yr Yspryd Glân; yn bennigol ffydd, gobaith, a chariad. Salm 45. 19. "Gemwaith aur yw ei gwisg hi." 3. Athrawiaeth bur, gydweddol â gair yr Arglwydd. 1 Cor. 3. 12. "Eithr os goruwch-adeilada neb ar y sylfaen hwn, aur." 4. Dynion da yn dioddef cystudd, fel y mae aur dân. Job 23. 10. "Wedi iddo fy mhrofi, myfi a ddeuaf allan fel aur."

Babanod. 1. Tywysogion ynfyd ac anneallus. Esay 3. 4. "A rhoddaf blant yn dywysogion iddynt, a bechgyn a arglwyddiaethant arnynt. 2. Rhai yn wan yn y ffydd Gristionogol, yn fychain mewn gwybodaeth, ac anwadal fel babanod. 1 Cor. 3. 1. "Megis wrth rai bach yng Nghrist."

Babilon. Rhufain, sef llywodraeth a gwasanaeth crefyddol eglwys Rhufain, yr hon sydd dra eilun-addolgar unwedd a Rhufain baganaidd. Dat. 14. 8. "Syrthiodd, syrthiodd Babilon, y ddinas fawr honno."

Balaam. Twyll a chyfeiliornad Balaam. Athrawiaeth y Nicolaiaid, yr hon a ddysgai ddynion i odinebu, gan haeru ei fod yn gyfreithlon; ynghyd â bwytta o'r pethau oeddynt wedi eu haberthu i gythreuliaid. Dat. 2. 14. "Y mae gennyt rai yn dal athrawiaeth Balaam." Judas 14. "Ac a'u collwyd trwy dwyll gwobr Balaam." 2 Pedr. 2. 15. "Gan ganlyn ffordd Balaam mab Bosor."

Bara. 1. Pob peth angenrheidiol er cynnal y bywyd presennol. Mat. 4. 6. a 6. 11. "Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol;" sef pob angenrheidiau er cynnal natur. 2. Gair Duw, sef yr ysgrythyrau sanctaidd. Mat. 4. 4. "Nid ar fara yn unig y bydd byw dyn, ond trwy bob gair a ddaw allan o enau Duw." 3. Yr Arglwydd Iesu Grist ei hun. Ioan 6. 50. "Hwn yw'r bara sydd yn dyfod i wared o'r nef;" Crist ydyw ymborth ysprydol y saint. Y mae efe yn wir fara. Ioan 6. 32. Bara'r bywyd. Ioan 6. 35, 48. Bara bywiol. Ioan 6. 51. 4. Un bara. 1 Cor. 10. 17. Undeb Cristionogion â'u gilydd.

Blaidd. 1. Dyn anailenedig, yr hwn sydd greulon ac annhrugarog. Esay 11. 9. "Y blaidd a'r oen a borant ynghyd." Esay 65. 25. 2. Gau brophwydi ac athrawon cyfeiliornus, y rhai sydd yn dinystrio eneidiau dynion. Act. 20. 29. "Canys myfi a

a wn hyn, y daw, ar ol fy ymadawiad i, fleiddiau blinion i'ch plith, heb arbed y praidd." 3. Llywydd gwrol a chalonnog. Gen. 49. 27. "Benjamin a ysglyfaetha fel blaidd." 4. Gormeswr ac erlidiwr brawychus. Ioan 10. 12. "A'r blaidd sydd yn eu hysglyfio hwy."

Braich. Gallu anfeidrol Duw yng nghreadigaeth pob peth. Jer. 27. 5. "Myfi a wnaethum y ddaear, y dyn a'r anifail sydd ar wyneb y ddaear, â'm grym mawr, ac â'm braich estyngedig." Jer. 32. 17. 2. Gallu ac awdurdod gwyrthiau Crist. Esay 53. 1. "I bwy y datguddiwyd braich yr Arglwydd." Ioan 12. 38. 3. Pan y dywedir bod Jehofa yn dinoethi ei fraich, y mae yn arwyddo ei fod yn gwneuthur yn amlwg ei allu mawr, yr hwn a fu yn hir megis yng nghudd. Esay 52. 10. "Diosgodd yr Arglwydd fraich ei sancteiddrwydd;" hynny ydyw, eglurodd ei allu.

Brenin. 1. Duw'r nefoedd; brenin yr holl frenhinoedd; oddiwrth yr hwn y deillia pob gallu ac awdurdod. Mat. 22. 2. Dat. 17. 14. 2. Yr Arglwydd Iesu Grist mewn modd neillduol, i'r hwn, fel Cyfryngwr, y rhoddwyd llywodraeth yr eglwys hyd byth ac yn dragywydd. Salm 2. 6. "Minnau a osodais fy Mrenin ar Sïon, fy mynydd sanctaidd."

Briwiau. Briwiau neu glwyfau a arwyddant bechodau, y rhai y mae gwlad, eglwys, a phersonau neillduol yn euog o honynt; a iachau y cyfryw yn arwyddo maddeuant pechodau. 2 Chron. 30. 20. "A'r Arglwydd a wrandawodd ar Hezeciah, ac a iachaodd y bobl;" sef maddeu i'r bobl eu pechodau. Jer. 8. 22. "Onid oes driagl yn Gilead? onid oes yno physygwr? Pa ham na wellha iechyd merch fy mhobl?"

Brodyr. 1. Gwir gredinwyr wedi eu rhwymo mewn undeb ffydd, a chanddynt gariad diragrith tuag at eu gilydd: perthynas ysprydol, yr hon a hanfoda rhwng saint Duw a'u gilydd. Heb. 2. 11. Col. 4. 9. Rhuf. 8. 29. 2. Gweinidogion yr efengyl, y rhai oblegid eu swydd a'u gwaith ydynt frodyr. 2 Cor. 8. 23. "Neu am ein brodyr, cennadau yr eglwysi ydynt, a gogoniant Crist." 3. Dynion yn gyffredinol, am eu bod o'r un natur, ac wedi deilliaw oddiwrth yr un gwreiddyn. Gen. 29. 4. "A dywedodd Jacob wrthynt, Fy mrodyr, o ba le yr ydych chwi?"

Brwmstan. 1. Dinystr a phoen parhaus. Job 18. 15. "Brwmstan a wasgerir ar ei drigfa ef;" hynny yw, ei dŷ neu ei deulu a ddinystrir â thân anniffoddadwy. Cydmarer Esay 34. 9, 10. â Dat. 14. 10. &c. 2. Athrawiaethau llygredig, dinystriol, ac uffernol. Dat. 9. 18. "Gan y tri hyn y llas traian y dynion, gan y tân, a chan y mwg, a chan y brwmstan, oedd yn dyfod allan o'u safnau hwynt."

Bwa. 1. Cryfder. Job 29. 20. "A'm bwa a adnewyddai yn fy llaw." 2. Buddugoliaeth. Dat. 6. 2. "A'r hwn oedd yn eistedd arno, oedd â bwa ganddo. 3. Gair Duw. Heb. 3. 9. "Llwyr boethwyd dy fwa yn ol llwon y llwythau, sef dy air di."

Bywyd. 1. Anfarwoldeb. Salm 16. 11. "Dangosi i mi lwybr bywyd. Salm 36. 9. 2. Crist yr hwn ydyw ffynnon bywyd. Ioan 1. 4. "Ynddo ef yr oedd bywyd." Ioan 11. 25. "Myfi yw yr adgyfodiad a'r bywyd." Col. 3. 4. "Pan ymddangoso Crist ein bywyd ni." 3. Athrawiaeth yr efengyl. Ioan 6. 63. "Y geiriau yr ydwyf fi yn eu llefaru wrthych, yspryd ydynt, a bywyd ydynt."

CABLU. Cabledd. *Blasphemeo;* cyfieithir y gair yn c Mat. 9. 3. "Y mae hwn yn cablu." Yr un modd hefyd y 3. 28, 29. ac yn gyffredin yn y Testament Newydd. Cym gair yn gyffredinol yn yr ysgrythyrau am eiriau ac ymad mewn perthynas i Dduw a phethau sanctaidd; sef llefaru hywir ac yn ddiystyrllyd yn erbyn Duw, ei enw, ei air, ei bobl, ei weinidogion, a'i Yspryd. Arwydda y gair *Nakah,* taro, neu wanu drwodd. Esay 36. 6. Hab. 3. 14. a c ydyw taro drwodd trwy eiriau drygionus. Cabledd yn e Yspryd Glân, yw parhau i lefaru yn erbyn Duw a'i waith pechod mewn gweithredoedd ydyw, ond mewn gair neu eiri gwneuthur cabledd y mae dynion, ond llefaru cabledd; a hy oblegid ofn, neu wendid arall, fel Pedr; ond o galon lidiog a us; nid gan un anwybodus o Dduw, o Grist, a'i iechydwri Paul cyn ei ddychweliad i'r ffydd Gristionogol; ond parhad nysig yn erbyn y gwirionedd, a llefaru yn ddiystyrllyd o fal yn erbyn nerthoedd yr Arglwydd. Heb. 10. 29. "Pa fai cospedigaeth (dybygwch chwi) y bernir haeddu o'r hwn a f Fab Duw, ac a farnodd yn aflan waed y cyfammod, trwy y sancteiddiwyd ef, ac a ddifenwodd Yspryd y gras?" Y cabledd hwn yn anfaddeuadwy, nid yn ei natur ei hun, o mae gan Dduw faddeuant fel ei hofner, ac y mae yn maddeu nifer y dail, ond am na roddir edifeirwch i'r cablwr, i alar oblegid ei gabledd. Enwau cabledd. Yr oedd pen y bwy llyfr y Datguddiad yn llawn o enwau cabledd; wrth yr hw i ni ddeall yn ddiau y Pab o Rufain. "Yr hwn sydd yn wynebu, ac yn ymddyrchafu goruwch pob peth a elwir yn neu a addolir; hyd onid yw efe, megis Duw, yn eistedd y Dduw, ac yn ei ddangos ei hun mai Dduw ydyw." 2 Thes. 2 mae enwau cabledd y Pab mor amlwg ag ydyw brychau y ll

CADNO. 1. Pob peth a niweidiant yr eglwys, pa un by athrawiaethau neu foesau. Can. 2. 15. "Deliwch i ni y llw y llwynogod bychain, y rhai a ddifwynant y gwinllanoedd." brophwydi, y rhai a ddychwelant grefydd ac a ddrygant Crist. Ezec. 13. 4. "Dy brophwydi, Israel, ydynt fel llw yn yr anialwch." 3. Dynion twyllodrus. Luc 13. 32. "Dy i'r cadno hwnnw." 4. Offerynau gweiniaid. Neh. 4. 3. "E hwy yn adeiladu, etto ped elai lwynog i fynu, efe a fwriai i mur cerrig hwynt."

CADWYN. 1. Doethineb nefol ac ysprydol. Diar. 1. 9. " cynnydd gras a fyddant hwy i'th ben, a chadwyni am dy w 2. Blinderau yr efengyl, neu y cyfyngderau y mae rhai w dwyn iddynt oblegid yr efengyl. Rhuf. 1—16. "Ac ni gywilydd ganddo fy nghadwyni." 3. Caethiwed. Galar. 3. 7 a wnaeth fy llyffethair i yn drom."

CAE. Y byd. Mat. 13. 38. I'r cae ehang hwn y mae y wydd Iesu wedi anfon gweithwyr, er ei gwrteithio, fel ffrwyth er gogoniant i'w enw mawr. "Awn allan i'r maesy caeau. Can. 7. 11. Y cae, megis y crybwyllwyd, ydyw y b hwn y mae Crist wedi anfon ei weithwyr o ddechreu y byd awr hon, er cyflawni a gwneuthur ei waith ef; modd y delo

o rinweddau, yn lle bod yn llawn ysgall, mieri, a drain. Yn y cae hwn y mae dinasoedd a threfi mawrion, ond nid ydyw Crist wedi cyfyngu ei hun o fewn terfynau y rhai hyn, oblegid y mae ei weision wedi cael eu gorchymmyn i ymweled â phob dosparth o hono, er mwyn ei ddwyn i drefn, a pheri iddo flaguro ym mhob ffrwythau cyfiawnder. Nid oes dim a wna brydferthwch ar y cae mawr, ond efengyl ein Harglwydd Iesu Grist; ac yn y conglau mwyaf anial o hono, gwelwyd rhosynau Saron mewn prydferthwch mawr, a chlywyd adar gogoniant yn pyngcio yn hyfryd lawer gwaith.

Caethiwed. Bod dan arglwyddiaeth gormeswr neu ormeswyr yn allanol. Cyrph dynion wedi eu cyfleu mewn caethiwed gan ryw drawsion neu gilydd. Ecsod. 20. 2. "Tŷ y caethiwed." Felly y gelwir gwlad yr Aipht, lle y darostyngwyd Israel, a lle y cyflewyd hwynt mewn sefyllfa galed, ac yr ymddygwyd tuag attynt gyda chreulondeb mawr. Yr oedd Israel, tra dan y ddeddf seremoniol, mewn caethiwed, oblegid eu bod wedi cael eu rhwymo mewn modd neillduol i'w chadw yn ei holl orchymmynion. Gelwir y ddeddf hon yn gaethiwed, ac y mae yr Apostol Paul yn galw y waredigaeth oddiwrthi yn rhyddid. Gal. 2. 4. Rhuf. 6. 20. Y mae darostyngiad dyn hefyd dan allu ac awdurdod y tywyllwch yn gaethiwed mawr, oblegid y mae ym magl y diafol, ac yn cael ei ddal wrth ei ewyllys ef; ac oblegid ofn marwolaeth, y mae rhai trwy eu holl fywyd mewn caethiwed. Heb. 2. 15.

Cadwynau. Addurniadau crefydd, y rhai ydynt brydferthwch mwyaf pob dyn tra yn y fuchedd bresennol. Diar. 1. 9. "Canys cynnydd gras fyddant hwy i'th ben, a chadwyni am dy wddf di." Arwyddoccant hefyd gaethiwed a blinder mawr. Galar. 3. 7. "Efe a gauodd o'm hamgylch, fel nad elwyf drosodd; efe a wnaeth fy llyffethair i yn drom." Dat. 20. 1. "A chadwyn fawr yn ei law." Athrawiaeth yr efengyl, yr hon trwy yr Yspryd Glân sydd megis yn rhwymo satan, ac yn attal ei awdurdod a'i rwysg yn y byd. Cadwyni tragywyddol, a arwyddoccant allu mawr y Jehofa yn rhwymo annuwiolion a diaflaid yn eu lletty tragywyddol.

Cedrwydd. Mawrion a phendefigion. Zech. 11. 2. "Y ffynnidwydd, udwch; canys cwympodd y cedrwydd;" hynny yw, chwi y bobl gyffredin, wylwch; canys y mae eich pendefigion wedi eu dymchwelyd. Wrth gedrwydd Libanus, weithiau, y mae i ni ddeall brenhinoedd, tywysogion, a phendefigion Judah; megis yn Esay 2. 14. "Ac ar holl uchel a dyrchafedig gedrwydd Libanus, ac ar holl dderw Basan." Cedrwydd a arwyddocca ddynion mewn sefyllfaoedd a gorsafion uchel. Cyffelybir cynnydd y dyn da mewn pob gras a rhinweddau i'r cedrwydd. Salm 92. 12. "Y cyfiawn a flodeua fel palmwydden, ac a gynnydda fel cedrwydden yn Libanus."

Ceffyl. Arwydd o ryfel a buddugoliaeth. Crybwyllir yn fynych yn yr ysgrythyrau am feirch a marchogion, pan ddywedir neu y rhagddywedir am ddarostyngiad a chongcwest teyrnas neu deyrnasoedd. Dywedir bod Duw wedi gwneuthur Judah fel ei farch dymunol yn y rhyfel. Arwydda ceffyl neu farch yn neillduol fuddugoliaeth fuan, y gorchfygid y gwrthwynebwyr yn fuan, ac y darostyngid gwledydd yn fuan. Joel 2. 4. "Yr olwg arnynt sydd megis golwg o feirch; ac fel marchogion, felly y rhedant." Hab. 1. 8. "A'u

meirch sydd fuanach na'r llewpardiaid." Jer. 4. 13. "Ei feir
ysgafnach (buanach) na'r eryrod." Fel y mae gwyn yn ar
lawenydd a llwyddiant; felly y mae meirch gwynion, y rhai
nyddir gan fuddugoliaethwyr ar ddyddiau eu gorfoledd, yn
o fuddugoliaeth, ynghyd â'r gorfoledd a ddeillia oddiwrthi.
2. "Ac mi a welais; ac wele farch gwyn: a'r hwn oedd yn
arno, â bwa ganddo; a rhoddwyd iddo goron: ac efe a aeth
gorchfygu, ac i orchfygu." Bydd Emmanuel yn sicr o gae
ugoliaeth gyflawn ar ei holl elynion, a deillia llawenydd a g
annhraethol oddiwrth hynny i drigolion y nefoedd ac i'r sai
ddaear.

Cenllysg. Y difrodiadau a wneir gan elynion pan dd
ryw deyrnas, a phan yr ymosodont yn ei herbyn. Megis y d
llysg gynnyrch y maesydd ffrwythlonaf, felly y gwna gelyn
orchfygont ryw dalaith. Esay 28. 2. "Wele, un grymmus a
sydd gan yr Arglwydd, fel tymmestl cenllysg, neu gorwynt
iol, fel llifeiriant dyfroedd mawrion yn llifo drosodd, yr hwn
i lawr â llaw." Dan y gydmariaeth hon yr arddangosa y pr
lwyr ddinystr teyrnas y deg llwyth, yr hyn wedi hynny a d
oddi amgylch gan Shalmaneser. Cydmarer Esay 32. 19. a
13. 11, 13. Cenllysg a thân; blinderau rhyfel, ynghyd
ddychrynfeydd. Dat. 8. 7. "A bu cenllysg a thân wedi
mysgu â gwaed."

Ci—Cwn. Dyn disylw ac heb gyfrif o hono. 1 Sam. 17.
ci ydwyf fi?"—a ydwyf fi mor ddigyfrif a chi? 2 Bren. 8.
ci yw dy was?"—y Cenhedloedd, y rhai oeddynt yn ddieithr
a'i iechydwriaeth. Mat. 15. 26. "Nid da cymmeryd bara'r p
fwrw i'r cwn."—nid da cymmeryd ymborth had Abraham, a
i'r Cenhedloedd. Gau brophwydi ac athrawon cyfeiliornus,
gyfarthant yn erbyn y gwirionedd, ac a draflyngcant y rhai a
esant ac a'i hymddiffynant. Phil. 2. 2. "Gochelwch gwn."—
wch rhag y gau athrawon, a lefarant yn erbyn yr athrawiaeth
a draddodwyd i chwi gan Apostolion yr Arglwydd Iesu
Diystyrwyr gair Duw, a'r rhai a gashant bob rhinwedd a
Mat. 7. 6. "Na roddwch y peth sydd sanctaidd i'r cwn."—n
lewch eich pethau cyssegredig ger bron y rhai y gwyddoch na
ond gwatwar y pethau mwyaf pwysig a berthynant i efen
Harglwydd Iesu Grist. Gweinidogion cybyddlyd, anffyd
diofal, y rhai a ymofynant yr eiddynt eu hunain yn hytra
eiddo Crist. Esay 56. 10, 11. "Deillion yw ei wyliedydd
wyddant hwy oll ddim; cwn mudion ydynt hwy oll, heb
cyfarth; yn cysgu, yn gorwedd, ac yn caru hepian. Ië, cwn g
us ydynt, ni chydnabyddant eu digon, a bugeiliaid ydynt ni
ddeall; wynebant oll at eu ffordd eu hun, pob un at ei elw ei
gwrr." "Gwell yw ci byw na llew marw."—gwell yw mwy
pethau presennol, a boddloni i'r sefyllfa bresennol, na dychy
amser gwell i ddyfod, a bod yn anfoddlon ac yn rwgnachlly
golwg ar y cyflwr y cyflewyd ni ynddo gan ragluniaeth.
allan y mae'r cwn."—ni dderbynir i'r ddinas nefol neb o'r rhai
a wrthsafant y gwirionedd, ac y mae yn ddedwyddwch bod
cyfryw rai.

CLAI. Defnydd corph dyn. Job 33. 6. "Allan o'r clai y torwyd finnau." Dangosa Job waelder dechreuad dyn yn yr ymadrodd hwn. "Canys hi a newidia fel clai'r sel." Job 38. 14. Pan oedd y tywyllwch yn ymsymmud ar hyd wyneb y dyfnder, yr oedd y ddaear yn afluniaidd a gwag, ac heb drefn; ond wedi i'r elfenau gael eu cyfleu yn eu priodol leoedd, ac i wawr goleuni lewyrchu arni, ymddangosodd mewn addurniadau a gogoniant; daeth i ffurf a threfn, fel y clai wedi derbyn argraffiad sel. Rhoddodd pelydron yr haul megis agweddiad trefnus arni.

CLEDDYF. Gair y Duw byw. Eph. 6. 17. "A chleddyf yr yspryd, yr hwn yw gair Duw." Megis y mae cleddyf yn finiog, yn archolli, ac yn lladd, felly hefyd y mae gair Duw, oblegid y mae yn llymach nag un cleddyf dau finiog. "Pan ddaeth y gorchymmyn," medd yr Apostol, "yr adfywiodd pechod, a minnau a fum farw." Arwydda cleddyf hefyd, arf cyfiawnder, neu arwydd o gyfiawnder. Rhuf. 13. 4. "Canys nid yw efe yn dwyn y cleddyf yn ofer." Nid ydyw brenin wedi ei osod mewn awdurdod i ddim; ond i lywodraethu yn dda, ac i wneuthur cyfiawnder rhwng ei ddeiliaid. Barnedigaethau rhyfel; Lef. 26. 25. "A dygaf arnoch gleddyf."—mi a anfonaf ryfel yn ei holl ddychrynfeydd arnoch. Dialedd Duw yn goddiweddyd pechaduriaid; Deut. 32. 41, 43. "Os hogaf fy nghleddyf disglair: a'm cleddyf a fwytty gig."—os tywalltaf fy marnedigaethau arnoch, fy nig a'ch difetha. Angeu a dinystr; Ezec. 21. 9. "Cleddyf, cleddyf a hogwyd, ac a loywyd."—y mae dinystr wedi ei barottoi, a thŷ Israel a ddadymchwelir. Wrth ladd yr annuwiol, y mae tair gweithred berthynol i gleddyf Crist: 1. Datguddia iddynt eu holl bechodau. 2. Dengys iddynt ddigter Duw, yr hyn yw melldith y ddeddf yn ddyledus iddynt hwy, ac yn yr ystyr hwn y mae yn llythyren yn lladd. 2 Cor. 3. 6. 3. Deffroa y gydwybod euog, gan flaenllymmu ei cholyn, hyd oni fyddo yn arswydo yng nghlyw gair Duw fel Ffelix. Cymmer y pethau yma le yn y rhai drygionus, heb weled trugaredd Duw, ac heb gael eu dwyn i ymddiried yn yr iechydwriaeth sydd yng Nghrist. Pan y mae y cleddyf dau finiog yn cael ei ddefnyddio tuag at etifeddion yr iechydwriaeth, y mae yn gweithredu yn rhyfedd er eu darostwng i ewyllys Duw. 1. Y mae yn clwyfo i'r byw lygredd eu natur, fel na ddaw i lywodraethu arnynt byth drachefn. 2. Y mae yn myned dan wraidd gweddill anghrediniaeth, ac yn ergydio at bob pechod, fel y dygont fwy o ffrwyth. 3. Y mae yn offeryn i'r Cristion i ymddiffyn ei hun mewn pob rhyfel a phrofedigaeth. Eph. 6. 17. "Cleddyf tanllyd;"—cleddyf o dân, neu lawer o gleddyfau tanllyd yn cael eu dal yn nwylaw y cherubiaid, y rhai a'u hysgydwent yn ddychrynllyd, er brawychu ein rhieni cyntaf, rhag iddynt droi yn ol i'r baradwys ddaearol, o'r hon yr oedd Duw yn eu troi allan yn dragywydd. "Wrth dy gleddyf y byddi byw;" Gen. 27. 42. Tydi a fyddi byw fywyd aflonydd a rhyfelgar.

CNAWD. Y corph dynol, yr hwn a gynnwysa amryw aelodau; Rhuf. 2. 28. 2 Cor. 4. 5. 2 Cor. 7. 1. Gal. 2. 20. Gwraig, yr hon sydd gnawd o gnawd y dyn. Gen. 2. 23. "Ac ni chashaodd neb erioed ei gnawd ei hun." Eph. 5. 31. Un o'n rhywogaeth ni, megis ein cymmydog, yr hwn sydd fel ninnau. Diar. 11. 17. "Ond y

creulon a flina ei gnawd ei hun." Esay 58. 7. "Ac nad ymguddiech oddiwrth dy gnawd dy hun." Y mae yn beth croes i natur i beidio gwneuthur trugaredd â dyn o'r un defnydd a ninnau. Perthynasau; Rhuf 9. 3. "Fy mrodyr, sef fy nghenedl yn ol y cnawd." Rhuf. 11. 14. "Os gallaf ryw fodd yrru eiddigedd ar fy nghig a'm gwaed fy hun." Ei berthynasau yn ol y cnawd, sef holl had Abraham. Yr holl ddyn, corph, enaid, ac yspryd. Gen. 6. 12. "Canys pob cnawd a lygrasai ei ffordd ar y ddaear." Yr oedd yr holl ddyn wedi myned yn llygredig, yr holl ddyn wedi ymdroi mewn anwiredd, a'r holl ddyn wedi cyfeiliorni allan o ffyrdd y nef. Gwendid ac analluogrwydd dyn i roddi neu estyn cynnorthwyon yn ei sefyllfa bresennol. Jer. 17. 5. "Melldigedig fyddo'r gwr a hydero mewn dyn, ac a wnelo gnawd yn fraich iddo;" sef ymddiried mewn dyn gwan ac ofer fel ef ei hun. Pob peth a berthyn i'r bywyd presennol. Phil. 1. 24. "Eithr aros yn y cnawd sydd fwy angenrheidiol o'ch plegid chwi." Aros yn y cyflwr presennol, neu y bywyd sydd yr awr hon, sydd oreu er eich mwyn chwi, nag i mi gael fy symmud i'r bywyd sydd i ddyfod. Pob peth sydd yn ardderchog ac yn ogoneddus mewn dyn heb ras cadwedigol yn ei enaid; megis bonedd, gwaedoliaeth, doethineb, deall, ac amgyffredion da. Mat. 16. 17. "Nid cig a gwaed a ddatguddiodd hyn i ti." Pob peth mewn crefydd sydd yn allanol, ac a welir â llygad; gweithredoedd y ddeddf a seremoniau. Rhuf. 4. 1. "Pa beth gan hynny a ddywedwn ni ddarfod i Abraham ein tad ni ei gael, yn ol y cnawd?" Y gair hwn, cnawd, a ddeonglir yn yr ail adnod, ac wrtho y mae i ni ddeall gweithredoedd Abraham, y rhai ni fuont yn achos o'i gyfiawnhad ger bron Duw. Gal. 6. 12. "Cynnifer ag sydd yn ewyllysio ymdeccau yn ol y cnawd," sef yn ol y ddeddf seremoniol. Holl natur dyn, megis y mae wedi ymlygru trwy bechod. Ioan 3. 6. "Yr hyn a aned o'r cnawd sydd gnawd." Dull gweithrediad cyffredinol natur. Gal. 4. 29. "Yr hwn a aned yn ol y cnawd;" yn ol y drefn gyffredinol o genhedlu. Ganed Ismael o Agar, yn ol y drefn gyffredinol o eni dynion. Pob creadur rhesymol ac afresymol. Salm 136. 25. "Yr hwn sydd yn rhoddi ymborth i bob cnawd," sef i bob creadur byw ar y ddaear. Ymddangosiad allanol; "Barnu yr ydych yn ol y cnawd." Arwyddocca y gair cnawd hefyd, anifeiliaid ac ehediaid. Gen. 6. 19. Y ffyddloniaid wedi eu galw i wybodaeth am Dduw. Joel 2. 28. Ymddygiad diwyd a llafurus Crist. Heb. 5. 7. Corph Crist. Ioan 6. 51. Hyder ofer. Jer. 17. 5. Ffieidd-dra eilun-addoliaeth. Ezec. 23. 20. Anlladrwydd dynion drygionus. 2 Pedr 2. 10. Cnawd Crist, "Fy nghnawd sydd fwyd yn wir." Ioan 6. 55. Y mae yr oll o Grist yn wledd ddanteithiol i'w bobl. "Fel y bernid hwy yn ol dynion yn y cnawd." 1 Pedr 4. 6. Fel y marweiddid llygredd eu natur, ac y dygid hwy yn ddarostyngedig i ddeddf Crist. "Croeshoelio'r cnawd," gwanhau grym llygredd natur. Y mae marwolaeth Crist yn gwneuthur hyn drwy haeddiant, a'r Yspryd Glân drwy ras, a'r saint drwy feithrin y gras hwn. Gal. 5. 24. "A'r rhai sydd yn eiddo Crist a groeshoeliasant y cnawd, a'i wyniau, a'i chwantau." Dinystr y cnawd. Darostwng y corph drwy alar trwm am ac oblegid pechu yn rhyfygus yn erbyn Duw. Calon o gnawd. Calon dyner yn derbyn argraphiadau gair

Duw. Am galon o'r fath hyn y gweddiai Dafydd; Salm 51. 17, 18. A chalon o'r fath hyn ydoedd gan Josiah. 2 Bren. 22. 19. Bod yn y cnawd. Bod yn ddyn naturiol, yn ddi-ailenedig, a than arglwyddiaeth pob pechod. Rhuf. 7. 5. "Canys pan oeddym yn y cnawd." Hau i'r cnawd ydyw bod yn ofalus am bethau y bywyd hwn, ac nid am bethau byd tragywyddol.

CORPH. Llygredigaeth dyn, yr hwn sydd yn ei ddilyn tra yn y fuchedd hon; y mae hwn yn cael ei alw yn gorph pechod. Cynnulleidfa o bobl wedi ymgyssylltu â'u gilydd, yn credu yr un athrawiaeth, ac yn rhodio wrth yr un rheolau. 1 Cor. 10. 17. Eph. 4. 16. Gelwir yr eglwys Gristionogol yn gorph Crist. Rhuf. 12. 5. Eph. 2. 16. Y mae y bara yn y cymmun yn arwydd o gorph Crist, "Hwn yw fy nghorph." Iawn farnu corph yr Arglwydd; defnyddio yr arwyddion yng ngweinyddiad ordinhad swpper yr Arglwydd gyda pharch; peidio ystyried yr elfenau yn bethau cyffredin, ond wedi eu neillduo i wasanaeth sanctaidd. Rhoddi anrhydedd i'r Arglwydd Iesu Crist megis y mae yn deilwng oddiwrth bob dyn byw. "Golchi ein cyrph â dwfr Glân." Y mae yma gyfeiriad at yr ordinhad o fedydd allanol, ond yn ysprydol at weithrediadau Yspryd Duw yn sancteiddio yr enaid i ddelw Mab Duw. "Hwn yw fy nghorph." Hwn sydd arwydd o'r corph a ddryllir drosoch chwi, ac a ddwg eich pechodau chwi, neu yn hytrach y felldith am eich pechodau i dir anghof.

COLOFN, COLOFNAU. Dysgawdwyr a gweinidogion gan Dduw, gan y rhai y mae awdurdod mawr yn yr eglwys, ac y mae gan yr eglwys lawer o ymddiried iddynt; hwynt-hwy ydynt golofnau y tŷ. Y mae un person, neu un eglwys neillduol, a ddalio yn lew y wir ffydd, ac a ymddiffyno yr athrawiaeth yn ol duwioldeb, yn golofn ar y ddaear. Deut. 3. 12. "Yr hwn sydd yn gorchfygu, mi a'i gwnaf yn golofn yn nheml fy Nuw i." Colofn ydyw yr hwn a safo yn ddisigl ac yn ddiysgog yn yr eglwys, gan nad faint y profedigaethau a'r tymhestloedd. Colofn y gwirionedd ydyw yr eglwys ar y ddaear. Yr oedd yn ddefod gan y Cenhedloedd i ysgrifenu eu cyfreithiau ar fyrddau, y rhai a grogid ar golofnau y temlau, fel y gellid eu darllen gan y rhai oll a gynniweirient i'r temlau i addoli. Y mae yr eglwys yn golofn y gwirionedd, oblegid ei bod yn dyst cyhoedd dros Dduw ar y ddaear, ac yn diogelu yr athrawiaeth a draddodwyd gan Dduw i ddynion. "A'i draed fel colofnau o dân." Dat. 10. 1. Ei goesau a'i draed, y rhai a elwir yn golofnau, am eu bod yn cynnal y babell; o dân, naill ai oblegid eu disgleirdeb, neu am y gallent ysu holl elynion Duw. "Fel colofnau marmor." Can. 5. 15. Yn union, yn hirion, ac yn gedyrn, fel y gallant sefyll yng nghanol trwst llifeiriant y dyfroedd dyfnion. "Colofnau o fwg." Can. 3. 6. Ffydd, gobaith, cariad, gweddiau, a diolchgarwch y Cristion, fel y colofnau mwg oddiar allor yr arogl-darth, yn esgyn i fynu tua'r nef.

CORN. Awdurdod, gogoniant, gallu, a nerth. 2 Sam. 22. 3. "Duw fy nghraig, a chorn fy iechydwriaeth." Corn yr annuwiol ydyw awdurdod yr annuwiol, a chorn Dafydd ydoedd cadernid ei frenhiniaeth. Teyrnasoedd, pobloedd, a thaleithiau. Jer. 48. 25. "Corn Moab a ysgythrwyd;" hynny ydyw, brenhiniaeth Moab a

ddarostyngwyd. A'r deg corn, deg brenin ydynt; o ganly mae corn yn arwydd neillduol o frenhiniaeth. Hollalluo Duw yn anllygredig yn ei weithredoedd. Hab. 3. 4. "Y cyrn iddo yn dyfod allan o'i law." Llywodraeth a gogoniant cyflawn. Salm 132. 17. a 148. 14. Ymffrostio o fawredd a c Salm 55. 5. "Na ddyrchefwch eich cyrn yn uchel."

CORON. Ardderchawgrwydd a gallu brenhinol. Salm 1 "Ac arno yntau y blodeua ei goron." Ei frenhiniaeth a mewn modd neillduol, a hi a welir dan ei blagur. Pob pe yn ardderchog mewn dynion. Dat. 4. 10. "Ac yn bwrw e au ger bron yr orseddfainge;" sef yn bwrw eu holl ogon bron ac wrth draed yr hwn oedd yn eistedd ar yr orsed Pob peth sydd yn ychwanegu at ein clod, ein cysur, a'n go 1 Thes. 19, 20. "Canys beth yw ein gobaith ni, neu ein lla neu goron ein gorfoledd." Buddugoliaeth, gorfoledd, a gog nefoedd, yr hyn a roddir i holl anwyliaid Duw wedi y gor eu gyrfaoedd yn y fuchedd bresennol. Dat. 3. 11. "Dal sydd gennyt, fel na ddygo neb dy goron di." "Coroni â g ac âg anrhydedd, neu addoliad." Heb. 2. 7. Dyrchafu y d Iesu i ogoniant nefol, uwchlaw dynion ac angylion, yn ben yr ac yn llawn o bob mawrhydi.

CORON GOGONIANT. Gogoniant tragywyddol, a bywyd wyddol yn y nef. 1 Pedr 1. 4. Coron balchder. Teyrnas ymffrostgar, yr hon oblegid llwyddiant a feddwodd mewn l ac ymffrost.

CRAIG. Amddiffyniad neu le o ddiogelwch; Esay 17. herwydd anghofio o honot Dduw dy iachawdwriaeth, ac na graig dy gadernid." Salm 18. 2. "Yr Arglwydd yw fy n Cyff neu dad cenedl, yr hwn yn ffigurol a elwir craig; Es "Edrychwch ar y graig y'ch naddwyd;" sef ar Abraham a rhai yr hanasoch. Gwrandawr anffrwythlon; Luc 8. 6. " arall a syrthiodd ar y graig; a phan eginodd, y gwywodd, oedd iddo wlybwr." Y graig yn rhoddi dwfr i'r Israeliaid 10. 4. "Ac yfed o bawb o honynt yr un ddiod ysprydol (ca a yfasant o'r Graig ysprydol a oedd yn canlyn; a'r Gra Crist.") Yr Arglwydd Iesu Grist, ar yr hwn yr adeiledir Sïo Mat. 16. 18. "Ac ar y graig hon yr adeiladaf fy eglwys." y pabyddion mai Pedr yw y graig a feddylir yn yr ymadro bwylledig; ond yn hynny y maent yn dra chamsyniol, obl ysgwyddau Mab Duw yn unig y mae y llywodraeth; ac efe maen sydd wedi ei sylfaenu yn Sïon.

CYFLOG-WAS. Gweinidog twyllodrus, yr hwn ni ofala a aid. Nid oes gan hwn serch na chariad at y defaid, nac at ddosparth o waith y weinidogaeth, ond yn unig at y gyflog 10. 12, 13. "Eithr y gwas cyflog, a'r hwn nid yw fugail, yr eiddo y defaid, sydd yn gweled y blaidd yn dyfod, ac yn g defaid, ac yn ffoi. Y mae'r gwas cyflog yn ffoi, oblegid m cyflog yw, ac nid oes ofal arno am y defaid."

CYMMYLAU. Blinder neu adfyd mawr; Galar. 2. 1. "P dug yr Arglwydd gwmmwl ar ferch Sïon?" Rhagrithwyr; 2. 17. "Y rhai hyn ydynt ffynnonau diddwfr, cymmylau

gan dymhestl." Crist, llawenydd ac adfywiad yr eglwys; Esay 4. 5. "A'r Arglwydd a grea ar bob trigfa o fynydd Sïon, ac ar ei chymmanfaoedd, gwmmwl a mwg y dydd, a llewyrch tân fflamllyd y nos: canys ar yr holl ogoniant y bydd ymddiffyn." Apostolion a gweinidogion gair y Duw byw; Esay 5. 6. "Ac mi a'i gosodaf hi yn ddifrod; nid ysgythrir hi, ac ni chleddir hi; ond mieri a drain a gyfyd; ac i'r cymmylau y gorchymmynaf na wlawiont wlaw arni." Tyrfa fawr o ddynion; Heb. 12. 1. "Oblegid hynny ninnau hefyd, gan fod cymmaint cwmmwl o dystion wedi ei osod o'n hamgylch." Y gogoniant mawr yn yr hwn yr ymddangosa Crist pan ddel efe i farnu y byd; Dat. 1. 7. "Wele, y mae efe yn dyfod gyda'r cymmylau." Pethau ag sydd yn diflannu a myned heibio; Esay 44. 22. "Dileais dy gamweddau fel cwmmwl, a'th bechodau fel niwl." Blinder, gofid, ac afiechyd; Preg. 12 2. "Cyn tywyllu yr haul, a'r goleuni, a'r lleuad, a'r ser, a dychwelyd y cymmylau ar ol y gwlaw." Y cwmmwl yn gorchuddio y babell; Ecsod. 40. 34. "Yna cwmmwl a orchuddiodd babell y cyfarfod; a gogoniant yr Arglwydd a lanwodd y tabernacl." Yr oedd hyn yn beth hollol wyrthiol, ac yn arwydd o bresennoldeb yr Arglwydd gydag Israel yn eu teithiau trwy yr anialwch. Eistedd ar y cwmmwl. Gogoniant mawr Pryniawdwr y byd, yr hwn a esgynodd i'r nefoedd mewn cwmmwl, ac a ddaw yr ail waith ar gymmylau y nefoedd, sef mewn gogoniant mawr. Cwmmwl gwyn; Dat. 14. 14. "Ac mi a edrychais; ac wele gwmmwl gwyn." Gwyn sydd yn arwyddo uniondeb; gweinydda Crist farn gywir ac union ar yr holl genhedloedd. Ond yr oedd rhai o'r hen dduwinyddion yn barnu mai wrth y cwmmwl gwyn yr oeddid i ddeall, Tywysogion gwladol a fuont yn offerynol i sefydlu y diwygiad oddiwrth babyddiaeth. Cymmylau diddwfr; rhagrithwyr yn ymddangos yn deg ac yn hardd, ond yn wag o bob daioni. Cwmmwl o dystion; nifer liosog o dystion ffyddlon, yn glynu yn ddiysgog wrth y gwirionedd. Tebygol bod yma gyfeiriad at yr edrychwyr ar fynydd Olympus; ac y mae rhai yn barnu hefyd, bod yma gyfeiriad at y cwmmwl gynt uwch ben y babell yn yr anialwch. Fel yr oedd y cwmmwl hwnnw yn arwain Israel yn ddiwyrni, felly y mae dynion sanctaidd Duw wedi bod o ddefnydd rhagorol i'r eglwys.

Cynhauaf. Lliosogrwydd o ddynion wedi eu parottoi i wrando gair Duw; Mat. 9. 37. "Yna y dywedodd efe wrth ei ddysgyblion, Y cynhauaf yn ddiau sydd fawr, ond y gweithwyr yn anaml." Diwedd y byd a'r farn fawr dragywyddol; Mat. 13. 39. "A'r cynhauaf yw diwedd y byd." Yr amser perthynol i ofalu ac i edrych ar ol pethau; Diar. 6. 8. "Ac er hynny y mae efe yn parottoi ei fwyd yr haf, ac yn casglu ei luniaeth y cynhauaf." Cospedigaethau a dialeddau; Jer. 51. 33. "Ac ar fyrder y daw amser cynhauaf iddi." Canys addfedodd cynhauaf y ddaear. Canlynwyr anghrist yn addfedu i ddinystr.

Cyfoeth. Bod yn helaeth mewn pethau ysprydol a da. 1 Cor. 1. 5. "Am eich bod ym mhob peth wedi eich cyfoethogi ynddo ef." Gellir dywedyd fod un yn wir gyfoethog pan yn feddiannol ar y golud tragywyddol; Dat. 2. 9. "A'th dlodi (eithr cyfoethog wyt.") Y mae y cyfoeth hwn yn gynnwysedig mewn dau beth: 1. Mewn sicrwydd o faddeuant pechodau, cymmod â Duw, a bywyd tragyw-

yddol. 2. Trwy gael gras i fod yn helaeth mewn gweithredoedd da. Yn gyfoethog mewn ffydd; bod yn dra ffyddiog, a thrwy ffydd yn cyfrannogi o gyfoeth yr Arglwydd Iesu Grist. Iago 2. 5. "Oni ddetholodd Duw dlodion y byd hwn yn gyfoethogion mewn ffydd?" Yn gyfoethog tuag at Dduw; yn ymddibynnu yn gyfangwbl ar ddaioni Duw, ac yn llawn ffydd, gobaith, cariad, ofn, a grasusau eraill. Yn gyfoethog mewn gwybodaeth; yn llawn gwybodaeth, ac yn helaeth mewn gwybodaeth. Golud anwadal; pethau ansefydlog y byd, yn myned ac yn dyfod, fel nad ydyw y pethau gweledig ddim i ymddibynnu arnynt.

Cysgod. Cyssur adfywiol oddiwrth Dduw ar ol blinder, gofid, ac adfyd, fel y mae y cysgod naturiol yn gyssurus i'r teithiwr yn amser poethder mawr; Salm 91. 1. "Yr hwn sydd yn trigo yn nirgelwch y Goruchaf, a erys yng nghysgod yr Hollalluog." Yr offerynau a ddefnyddir gan Dduw i roddi cyssur ac adfywiad i'w bobl yn eu cystuddiau a'u blinderau; Gal. 4. 20. "Dan ei gysgod ef y byddwn ni byw yn mysg y cenhedloedd: yr holl fyd hwn a'r pethau sydd ynddo; Salm 39. 6. "Dyn yn ddiau sydd yn rhodio mewn cysgod." Bywyd dyn; Salm 102. 11. "Fy nyddiau sydd fel cysgod yn cilio." Cysgod angeu; blinder a gorthrymder mawr. Ymddengys bod y gydmariaeth hon wedi ei chymmeryd oddiwrth y bedd a'r rhai sydd wedi eu claddu, ac yn amdoedig yn y tywyllwch mwyaf. Dyffryn cysgod angeu a arwydda le o niwed a pherygl mawr, a brawychus i'r rhai ammharod wynebu y daith fawr. Heb. 10. 1. "Oblegid y gyfraith, yr hon sydd ganddi gysgod daionus bethau i ddyfod." Barna rhai fod Paul yn cyfeirio yma at ddull y lluniedyddion yn tynnu bras-ddarlun yn gyntaf, ac wedi hynny yn tynnu un perffaith. Gwna y cyfryw y synwyr canlynol o ymadroddion yr Apostol,—Nad oedd yr hen gyfammod yn cynnwys ond arddangosiad tywyll o bethau nefol; ond bod yr efengyl wedi egluro ac wedi dangos sylwedd ac ysprydolrwydd pethau, yn yr hon y mae Crist a phob bendithion ysprydol yn cael eu datguddio. Eraill ydynt o'r farn fod Paul yn cyfeirio at gysgod corph; sef, nad oedd yr hen gyfammod ond cysgod yn unig o bethau i ddyfod.

Cysgu. Agwedd farwaidd y meddwl a'r galon mewn perthynas i bethau mawrion yr iechydwriaeth. Angeu a marwolaeth; Dan. 12. 2. "Llawer o'r rhai sydd yn cysgu yn llwch y ddaear a ddeffroant." Arwydda esgeuluso dyledswyddau crefydd, ynghyd âg arwain bywyd croes i air Duw." Rhuf. 13. 11. "A hyn, gan wybod yr amser, ei bod hi weithian yn bryd i ni ddeffroi o gysgu." Achosir y cysgadrwydd hwn gan ddiogi y meddwl ynghylch pethau pwysig yr iechydwriaeth.

Cwpan. Y gwin yng nghwpan y cymmun, ynghyd â'r gwaed a arwyddid trwy y gwin; Mat. 26. 27, 28. Y blinder a'r groes berthynol i bob un o'r ffyddloniaid; Mat. 20. 23. "Ac efe a ddywedodd wrthynt, Diau yr yfwch o'm cwpan;" hynny yw, chwithau a ddygwch flinder a chroes yn eich taith trwy y byd. Angeu, mewn cyssylltiad â digofaint a melldith Duw; Mat. 26. 39. "Fy Nhad, os yw bosibl, aed y cwpan hwn heibio." Y gospedigaeth a osodir ar bechaduriaid cyndyn a gwrthnysig mewn modd brawychus; Salm 11. 6. "Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau, tân a brwmstan, a phoeth

wynt ystormus; dyma ran eu phiol hwynt." Cyfran o lawenydd mawr a roddir i'r ffyddloniaid; Salm 23. 6. "Fy phiol sydd lawn;" hynny yw, fy nghysuron sydd helaeth. Etifeddion saint y Duw byw; Salm 16. 5. "Yr Arglwydd yw rhan fy etifeddiaeth i a'm phiol." Crybwyllir am gwpan y fendith, 1 Cor. 10. 16; am gwpan yr Arglwydd, 1 Cor. 11. 27; phiol y cythreuliaid, 1 Cor. 10. 21; phiol iechydwriaeth, Salm 116. 13; phiol cyssur, Jer. 16. 7; cwpan llidiogrwydd, Esay 51. 17; cwpan syndod, Ezec. 23. 33; phiol ei lid ef, Dat. 14. 9, 10; cwpan aur, Dat. 17. 4. "A chanddi gwpan aur yn ei llaw, yn llawn o ffieidd-dra ac aflendid ei phutteindra." Pob cynlluniau o eiddo pabyddiaeth er tynnu a chadw y Cenhedloedd yn ei chymmundeb. Y mae ei chwpan yn llawn o goelgrefydd a heresiau dinystriol, â pha rai y mae mawrion y greadigaeth wedi eu tywyllu.

Daear. Holl drigolion y ddaear, y rhai a'i preswyliant; Salm 100. 1. "Cenwch yn llafar i'r Arglwydd, yr holl ddaear;" sef holl drigolion y ddaear. Dynion o feddyliau daearol; Salm 10. 18. "Fel na chwanego dyn daearol beri ofn mwyach." Yr hyn sydd wan a brau; 2 Cor. 4. 7. "Eithr y mae gennym ni y trysor hwn mewn llestri pridd;" neu mewn llestri daearol. Yr hyn sydd isel a gwael; Ioan 3. 31. "Yr hwn sydd o'r ddaear, sydd o'r ddaear, ac am y ddaear y mae yn llefaru."

Daear-gryn. Cyfnewidiadau mawrion mewn crefydd a llywodraethau gwladol. Dywedir am y cyfryw bethau yn yr ysgrythyrau, fel cryniad y ddaear; Heb. 12. 26, &c. "Llef yr hwn y pryd hwnnw a ysgydwodd y ddaear: ac yn awr a addawodd, gan ddywedyd, Etto unwaith yr wyf yn cynhyrfu nid yn unig y ddaear, ond y nef hefyd." Gelwir gwaredigaeth Israel allan o'r Aipht yn gynhyrfiad y ddaear.

Dallineb. Anwybodaeth ym mhethau Duw; Mat. 15. 14. "Gadewch iddynt: tywysogion deillion i'r deillion ydynt." O herwydd y tywyllwch hwn y dywedir bod yr Arglwydd yn agoryd llygaid y deillion; ac y mae yr efengyl wedi rhoddi goleuni i filoedd.

Dannedd. Gallu a llid dynion drygionus ac annuwiol; Salm 3. 7. "Torraist ddannedd yr annuwiolion;" hynny ydyw, dinystriaist nerth y rhai drygionus. Gogan ac absennau yr annuwiol; Salm 57. 4. "Y rhai y mae eu dannedd yn waywffyn a saethau, a'u tafod yn gleddyf llym." Rhingcian dannedd. Arwydda hyn dri pheth, 1. Cynddaredd yr annuwiolion; Act. 7. 54. 2. Y poen y mae dynion ynddo yn y bywyd hwn; Mat. 9. 18. 3. Poen tragywyddol yn uffern; Mat. 8. 12.

Delw. Y mae Crist yn wir ddelw ei Dad; "Ac yn wir lun ei berson ef." Delw y bwystfil. Nid llun wedi ei osod i fynu; ac nid unrhyw eilun a osodwyd er rhoddi addoliad a gwasanaeth crefyddol iddo; ond anrhydedd, teyrnas, gallu, ac arglwyddiaeth yr ymerodraeth Rufeinig; ynghyd â Rhufain babaidd, yr hon a fu unwaith yn uchel mewn bri ac mewn anrhydedd. Rhoes yr Hunniaid, y Gothiaid, a'r Vandaliaid ergyd marwol i'r bwystfil, sef i'r ymerodraeth Rufeinig Gristionogol; a bu y bwystfil farw am o ddeutu dri chant o flynyddoedd, hyd yr amser y gwnaed Carolus Magnus yn ymerawdwr. Delw y bwystfil yn awr ydyw awdurdod y pab, yr hwn a

fyn fod llywodraeth crefydd drwy yr holl fyd yn perthynu i
fel y mynnai yr ymerodraeth baganaidd yn Rhufain fod holl
iau y ddaear i gael eu llywodraethu ganddi hi. Addoli
bwystfil. Rhoddi anrhydedd ac addoliad dwyfol i'r pab, a'i
megis Duw ar y ddaear, a'i fod yn arglwyddiaethu ar y by
edig.

Defaid. Aelodau yn eglwys Crist, y rhai a broffesant e
ei garu, yn ei ddilyn, ac yn rhodio yn ei ddeddfau. "P
nefaid." Cristionogion ffyddlon, nid yn unig yn proffesu
allanol, ond mewn gwirionedd yn ei adnabod, ac yn byw
warcheidwadaeth. Ioan 10. 27. "Y mae fy nefaid i yn gw
fy llais i; a mi a'u hadwaen hwynt, a hwy a'm canlynant
Cenhedloedd etholedig, heb eu galw etto i gorlan y Pen
Ioan 10. 13. "A defaid eraill sydd gennyf, y rhai nid y
gorlan hon." Dynion diniwed a llonydd. 2 Sam. 24. 17.
defaid hyn, beth a wnaethant hwy?"

Derw. Dynion beilchion, o ysprydoedd ammhlygedig
2. 13. "Ac ar holl uchel a dyrchafedig gedrwydd, ac ar ho
Basan." Derwen a'i dail yn syrthio. Arwydda hyn y b
eilun-addolwyr gael eu diosg o'u holl bethau dymunol yn n
ofaint yr Arglwydd; y byddent yn nydd eu gwasgfa a'u c
fel y dderwen yng nghanol y gauaf, heb un addurn na gogo
perthynu iddynt.

Diafol. Un cyffelyb i'r diafol, ac o duedd ddieflig. Io
"Oni ddewisais i chwi y deuddeg, ac o honoch y mae
ddiafol;" sef yn blentyn i'r diafol. Gelwir duwiau y Cen
yn ddiaflaid neu gythreuliaid. Deut. 32. 17. "Aberthasant
reuliaid;" sef i dduwiau y Cenhedloedd. Y diafol a'i
Yr arch-wrthgiliwr, a'r bodau ysprydol a ymunasant âg
terfysg a gyfododd yn y nefoedd. Y mae amrywiol enwau
eu rhoddi ar yr ysprydion aflan yn yr ysgrythyrau, er d
natur fel ysprydion, neu eu swyddau fel angylion, neu eu
at eu Creawdwr. Bwrw allan gythreuliaid. Difeddiannu
gyrph dynion, y rhai a breswylid ganddynt. Damnedigaet
1 Tim. 3. 6. "Rhag iddo ymchwyddo, a syrthio i ddamn
diafol." Arwydda hyn mai balchder yr yspryd aflan fu yn
gwymp, ac mai hwn ydoedd y pechod a feithrinodd yn ei
yn y nef, ac a dorrodd allan mewn gwrthryfel yn erbyn
glwydd. Nid bod yn gyfrannog o ford y cythreuliaid. Nid
y cythreuliaid a olygir, ond bod o'r un duedd a chythre
chael eu hysgogi ganddynt. Bod yn gyfrannog o'r allor, y
yn gyfrannog o'r grefydd a ddefnyddir ar y gyfryw allor.
gyfrannog o gorph Crist ydyw, nid ei fwytta, ond bod o'r u
ag ef, trwy yr hwn yr ydym yn byw i Dduw.

Diluw. Peryglon mawrion a thrallodion a gyfodir gan
iolion yn erbyn plant yr Arglwydd, neu ryw niweidiau eraill
fonir gan Dduw. Salm 42. 7. "Dy holl donnau a'th life
aethant drosof fi." Brenhinoedd a phobl gedyrn, y rhai o
ernid a elwir yn ddiluw neu yn llifeiriant. Esay 59. 19.
ddelo y gelyn i mewn fel afon, Yspryd yr Arglwydd a'i h
ymaith." Digonedd o bethau naturiol ac ysprydol. Esay

"Agoraf afonydd ar leoedd uchel, a ffynnonau yng nghanol y dyffrynoedd. Dat. 12. 16. "A'r ddaear a gynnorthwyodd y wraig; a'r ddaear a agorodd ei genau, ac a lyngcodd yr afon, yr hon a fwriodd y ddraig allan o'i safn." Yn wyneb gwasgfeuon ac erledigaethau y Waldensiaid, ymladdodd Iarll Thoulous, ac eraill o bendefigion Pabaidd, yn wrol drostynt, er mai Pabyddion oeddynt eu hunain, a lladdasant lawer o filwyr y Pab. Ac yn y modd hyn cynnorthwyodd y ddaear y wraig, neu yr eglwys, yn wyneb cynddaredd a llid y ddraig atti.

Dirgelwch. Holl athrawiaeth yr efengyl, mewn perthynas i berson Crist, ei swyddau, a'i ras. 1 Cor. 2. 7. "Eithr yr ydym ni yn llefaru doethineb Duw mewn dirgelwch, sef y ddoethineb guddiedig, yr hon a rag-ordeiniodd Duw cyn yr oesoedd i'n gogoniant ni." Galwedigaeth y Cenhedloedd i fod yn gyd-gyfrannogion â'r Iuddewon ym mreintiau mawrion yr iechydwriaeth. Eph. 3. 6. "Y byddai y Cenhedloedd yn gyd-etifeddion, ac yn gyd-gorph, ac yn gyd-gyfrannogion o'i addewid ef yng Nghrist trwy yr efengyl." Yr undeb ysprydol sydd rhwng Crist a'i eglwys; y mae hwn yn ddirgelwch, am ei fod yn oruwch-naturiol, ac felly uwchlaw amgyffredion dynol. Eph. 5. 32. "Y dirgelwch hwn sydd fawr, eithr am Grist ac am yr eglwys yr wyf fi yn dywedyd." Yr holl athrawiaeth am Grist a'r iechydwriaeth drwyddo ef. Eph. 1. 9. "Wedi iddo hyspysu i ni ddirgelwch ei ewyllys." Meddwl dirgelaidd y geiriau a ddysgant y pethau perthynol i deyrnas nefoedd. Marc 4. 11. "I chwi y rhodded gwybod dirgelwch teyrnas Duw." Dull adgyfodiad y meirw. 1 Cor. 15. 51. "Wele, yr wyf yn dywedyd i chwi ddirgelwch; Ni hunwn ni oll, eithr ni a newidir oll mewn moment, ar darawiad llygad, wrth yr udgorn diweddaf." Y mae Pabyddiaeth yn ddirgelwch yr anwiredd, fel y mae yr efengyl yn ddirgelwch duwioldeb; anwiredd sydd mewn Pabyddiaeth, duwioldeb sydd yn yr efengyl. Dat. 10. 7. "Gorphenir dirgelwch Duw." Rhai wrth y dirgelwch hwn a dybiant mai dychweliad yr Iuddewon at groes yr Arglwydd Iesu Grist a feddylir; ac eraill a dybiant mai wrth ddirgelwch Duw y mae i ni ddeall athrawiaeth y farn ddiweddaf. Dirgelwch duwioldeb ydyw undeb y ddwy natur ym Mherson y Cyfryngwr mawr, neu holl gorph athrawiaeth y grefydd Gristionogol. Dat. 17. 7. "Myfi a ddywedaf i ti ddirgelwch y wraig, a'r bwystfil sydd yn ei dwyn hi." Yr hyn sydd yn dywyll ac yn ddyrus i ni ynghylch y wraig a'r bwystfil ydyw y darluniadau a roddir o honi, ynghyd â'r pethau a ddywedir am dani mewn rhai mannau neillduol.

Drain. Peth heb nerth ynddo. Job. 41. 3. Annuwiolion, oblegid yn 1. Eu bod yn ddiwerth ym mhob daioni. Mat. 7. 16. "A gasgl rhai rawnwin oddiar ddrain?" 2. Oblegid eu bod yn erlid ac yn niweidio yr eglwys. Ezec. 28. 24. "Ac ni bydd mwy i dŷ Israel, o'r holl rai o'u hamgylch, ac a'u dirmygasant, ysbyddaden bigog, na draenen ofidus." 3. Oblegid eu bod yn anhawsderau o flaen teulu Duw. Hos. 2. 6. "Am hynny wele, mi a gauaf i fynu dy ffordd di â drain." 4. Oblegid eu cyfoeth a'u gofalon bydol. Mat. 13. 7. "A pheth arall a syrthiodd ym mhlith y drain, a'r drain a godasant, ac a'u tagasant hwy."

DRAIG. Y diafol, yr hwn a elwir yn hen ddraig, ac yn ddraig goch, oblegid ei nerth mawr a'i greulondeb uffernol ar y saint. Dat. 12. 3, 9. Y niweidiau a'r gelynion mwyaf a gyfarfyddwn yn y bywyd presennol. Salm 91. 13. "Ar y llew a'r asp y cerddi; y cenaw llew a'r ddraig a fethri;" hynny ydyw, Ti a orchfygu y gelynion cryfaf a'r mwyaf nerthol. Cydmerir brenin yr Aipht, oblegid ei greulondeb, i ddraig. Ezec. 29. 3. "Wele fi i'th erbyn, Pharaoh, brenin yr Aipht, y ddraig fawr, yr hwn sydd yn gorwedd yng nghanol ei hafonydd, yr hwn a ddywedodd, Eiddof fi yw fy afon, a mi a'i gwneuthum i mi fy hun." Gelwir gormeswyr yn ddreigiau. Salm 74. 13. "Ti yn dy nerth a berthaist y môr; drylliaist bennau dreigiau yn y dyfnderoedd." Dat. 12. 7. "Michael a'i angylion a ryfelasant yn erbyn y ddraig, a'r ddraig a ryfelodd a'i hangylion hithau." Mab Duw a'r ffyddloniaid y mae yn debygol a feddylir yma, yn dwyn ym mlaen ryfel parhaus â diafol, nes ei lwyr orchfygu. Jer. 51. 37. "A bydd Babilon yn garneddau, ac yn drigfa dreigiau;" hynny yw, yn anghyfannedd, ac heb breswylydd dynol ynddi. Deut. 32. 33. "Gwenwyn dreigiau yw eu gwin hwynt." Gweithredoedd drygionus dynion drygionus fydd mor niweidiol a gwenwyn.

DRWS. Yr Arglwydd Iesu Grist, trwy yr hwn yn unig y gellir myned yn wirioneddol i'r eglwys. Ioan 10. 1. "Myfi yw drws y defaid." Cyfleusdra i wneuthur daioni gydag efengyl ein Harglwydd Iesu Grist. 1 Cor. 16. 9. "Canys agorwyd i mi ddrws mawr a grymmus." Ein calonnau, y rhai ydynt fel drysau, trwy y rhai y mae Crist yn dyfod i mewn i breswylio. Dat. 3. 20. "Wele, yr wyf yn sefyll wrth y drws, ac yn curo. Yn agos wrth law. Gen. 4. 7. "Pechod a orwedd wrth y drws;" hynny yw, bydd yn agos attat ac yn dy ymyl. Y mae drws o ymddiffyniad. Jer. 49. 31. Drws gwybodaeth. Diar. 3. 34. Drws ffydd. Act. 14. 27. Drws gobaith. Hos. 2. 15. Drws ymadrodd. Col. 4. 3. Drws y gwefusau. Salm 141. 3. Drws angeu a barn. Iago 5. 9. Drws gogoniant. Luc 41. 2. Can. 8. 9. "Ac os drws yw hi, ni a'i cauwn hi âg ystyllod cedrwydd." Os bydd iddi fyned ym mlaen gan gynnyddu mewn ffydd, cariad, gobaith, a phob gras, ni a'i gwnawn yn ogoniant yr holl dir, ac ni a'i hymddiffynwn hi rhag ei holl elynion. Drws ffydd; athrawiaeth yr efengyl, yr hon a arweinia ddynion at y Duw byw. Drws gobaith; y mynediad cyntaf i obaith yr etifeddiaeth sydd yn ol i bobl yr Arglwydd.

DU. Gofidiau a blinderau. Jer. 14. 2. "Galar Judah, a'i phyrth a lesgânt; y maent yn ddu hyd lawr." Y mae blinderau a thrafferthion yn lleihau harddwch a gogoniant yr eglwys, ac yn gwneuthur iddi ymddangos yn ddu yng ngolwg y rhai nid ydynt yn ei charu. Can. 1. 5. "Du ydwyf fi, O ferch Jerusalem." Du yn wreiddiol, du oblegid fy aflendid, du oblegid fy mlinderau, a du oblegid briw fy mhobl. Jer. 8. 21. Aeth yr eglwys Iuddewig yn ddu oblegid cwymp Salomon, oblegid ynfydrwydd Rehoboam, ac oblegid rhwyg a gwrthgiliad y deg llwyth. March du. Newyn mawr, yr hwn sydd yn farn drom a thost. Nid ydyw y llew du yn arwydd o newyn, ond yn arwydd o dristwch a galar, a thrallod trwm, yr hwn a achosid gan y newyn.

Dwfr. Blinderau a thrallodion. Dat. 12. 15. "A'r sarph a fwriodd o'i safn ar ol y wraig, ddwfr megis afon, fel y gwnai ei dwyn hi ymaith gyda'r afon." "Y dyfroedd a ddaethant i mewn hyd at yr enaid." Y gofidiau a gyrhaeddasant y nod eithaf. Gwahanol wledydd a Chenhedloedd. Dat. 17. 1. "Y buttain fawr sydd yn eistedd ar ddyfroedd lawer." Gwir athrawiaeth yr ysgrythyrau sanctaidd. Esay 55. 1. "O deuwch i'r dyfroedd." Cyfiawnhad trwy ein Harglwydd Iesu Grist. 1 Ioan 5. 6. "Dyma yr hwn a ddaeth trwy ddwfr a gwaed, sef Iesu Grist." Effeithiau yr Yspryd Glân yn puro yr enaid. Ioan 3. 5. "Oddi eithr geni dyn o ddwfr ac o'r Yspryd, ni ddichon efe fyned i mewn i deyrnas Dduw." 2 Pedr. 3. 5. "Canys y mae hyn yn ddiarwybod iddynt o'u gwirfodd, mai trwy air Duw yr oedd y nefoedd er ys talm, a'r ddaear yn cyd-sefyll o'r dwfr, a thrwy y dwfr." Yr oedd y ddaear cyn ei gwahanu oddiwrth y dwfr yn orchuddiedig gan y dwfr. Hanfododd y ddaear ar y cyntaf trwy air Duw, a thrwy air Duw y gwahanwyd y ddaear oddiwrth y dwfr, ac y casglwyd y dyfroedd ynghyd i'r moroedd. Dyfroedd a arwyddoccant bobloedd, tyrfaoedd, cenhedloedd, ac ieithoedd, yn ufuddhau i Rufain fel arglwyddes y byd. Dat. 17. 15. "A'r dyfroedd a welaist, lle y mae'r buttain yn eistedd, pobloedd a thorfeydd ydynt, a chenhedloedd a ieithoedd." Pob rhwystrau sydd ar ffordd ymledaniad teyrnas yr Arglwydd Iesu Grist. Dat. 16. 12. "A'r chweched angel a dywalltodd ei phiol ar yr afon fawr Euphrates, a sychodd ei dwfr hi." Athrawiaeth gair Duw wedi ei llygru gan gyfeiliornadau. Dat. 8. 11. "Llawer o ddynion a fuant feirw gan y dyfroedd, oblegid eu myned yn chwerwon." Bwrw bara ar wyneb y dyfroedd. Gwneuthur daioni i bawb dynion, a hynny gan ddisgwyl tâl gan Dduw, ac nid gan ddynion. Haua y llafurwr mewn tir llaith. Preg. 11. 11. Diar. 19. 17. Esay 58. 6—8. Dyfroedd yn torri allan. Esay 35. 5. Grasusau ysprydol yr efengyl yn cael eu cyfrannu i'r rhai helbulus. Salm 73. 10. "Am hynny y dychwel ei bobl ef yma, ac y gwesgir iddynt ddwfr phiol lawn." Cânt gyfran helaeth o drallodion blinderus. Ffynnon y dyfroedd byw. Duw ei hun, yr hwn yw rhoddwr bywyd a phob cysuron a berthynant iddo. Dyfroedd bywiol. Bendithion marwolaeth iawnol Crist, y rhai a gyfrennir i blant ac anwyliaid yr Arglwydd, ac a'u gwnant yn gysurus mewn bywyd, ac angeu, ac i bob tragywyddoldeb. Dyfroedd Siloam. Y dyfroedd a redant o odreu mynydd Sïon. Arwyddoccant y cynnorthwyon a roddid i Israel yn nydd eu cyfyngder. Esay 8. 6. Salm 46. 4. Dyfroedd cryfion a mawrion. Esay 8. 7. Byddin gadarn yr Assyriaid, yr hon a gydmerir i ddyfroedd yr Euphrates.

Dydd. Amser yn gyffredinol. Mat. 3. 1. "Yn y dyddiau hynny." Adeg yr iechydwriaeth; y pryd y mae yn cael ei chyhoeddi, a'r pryd y mae ei derbyn, "Wele yn awr ddydd yr iechydwriaeth." Goleuni y gwirionedd, neu lewyrch y goleu nefol. Ioan 9. 4. "Tra yw hi yn ddydd." Amser blinder hir. Amser cyfleus, gan nad pa un ai dydd ai nos fyddo. 1 Sam. 26. 8. Gosodir dydd am yr amser presennol. 1 Sam. 6. 13. Amser bywyd. Ioan 8. 56. Rhyw amser. Gen. 2. 17. Dydd mawr Duw Hollalluog. Dat. 16. 14. Y dydd y dengys Duw ei allu mawr drwy lwyr ddinystrio

Babilon ysprydol. Dydd mawr ei ddigter ef. Dydd dial Duw am y traha a'r sarhad a wnaed ar ei saint ar y ddaear. Dydd yr Arglwydd neu ddydd Crist; ei ddyfodiad yn y cnawd i breswylio yn mhlith dynion. Yr amser y bu Crist yn y cnawd yn ein byd ni, a'i ail ddyfodiad i farnu y byw a'r meirw. Luc 17. 24. 2 Pedr. 3. 10. Dydd yr Arglwydd. Y dydd cyntaf o'r wythnos, a'r Sabboth Cristionogol. Dat. 1. 10. Dydd Midian. Y dydd y gorchfygwyd y Midianiaid yn wyrthiol gan Gedeon. Tri diwrnod a hanner. Tair blynedd a hanner. Mil a dau cant a thrugain o ddyddiau; amser teyrnasiad Pabyddiaeth.

Dyled. Pechod. Y mae pechod yn cael ei alw yn ddyled, o herwydd drwy bechu yr ydym mewn dyled i ofni, parchu, a charu Duw. Mat. 6. 12. "A maddeu i ni ein dyledion." Y rhai trwy gyfraith ydynt yn rhwym i gynnorthwyo eraill. Y cyfoethogion ydynt ddyledwyr i'r tlodion. Rhuf. 15. 27. "A'u dyledwyr ydynt hwy." Y mae un a dderbynio ryw garedigrwydd gan arall yn ddyledwr iddo. Rhuf. 8. 12. "Am hynny, frodyr, dyledwyr ydym ni;" sef i'r yspryd, oblegid bod yr yspryd wedi ein hadgenhedlu, yn preswylio ynom, yn ein cysuro, ac yn ein diddanu; am hynny, yr ydym yn ddyledwyr i'r yspryd. Yr ydym mewn dyled i'r gyfraith, oblegid yr ydym yn rhwym o'i chadw. Gal. 5. 3. "Ac yr wyf yn tystiolaethu drachefn i bob dyn ar a enwaedir, ei fod yn ddyledwr i gadw yr holl ddeddf."

Dyrnu. Cospi gelynion Duw â phläau ac â blinderau am eu pechodau yn ei erbyn. Esay 25. 10. "A Moab a ddyrnir dano, fel dyrnu gwellt mewn tommen." Ymarferyd pobl yr Arglwydd â cheryddon, er mwyn eu profi a'u puro. Esay 21. 10. "O fy nyrniad, a chnwd fy llawr-dyrnu!" Bod yn greulon ac yn drahaus at blant yr Arglwydd. Amos 1. 3. "Am iddynt ddyrnu Gilead âg offer dyrnu o heiyrn." Dyrnu y mynyddoedd. Cospi yn dost ddynion cedyrn a nerthol Sïon. "Wele, gosodaf di yn fenn ddyrnu newydd ddanheddog, y mynyddoedd a ddyrni ac a feli." Llawr-dyrnu. Yr annuwiolion yn addfed i'r farn. Jer. 51. 33. "Canys fel hyn y dywed Arglwydd y lluoedd, Duw Israel; merch Babilon sydd fel llawr-dyrnu; amser ei dyrnu hi a ddaeth."

Efengyl. Hanes y pethau a berthynant i'r Arglwydd Iesu Grist. Marc 1. 1. "Dechreu efengyl Iesu Grist, Fab Duw." Y newyddion da o faddeuant pechod a bywyd tragywyddol trwy ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist. Marc 1. 15. "Edifarhewch a chredwch yr efengyl. Holl athrawiaeth y gair, y gyfraith, a'r efengyl. Marc 1. 14. "Gan bregethu efengyl teyrnas Dduw." Cyfeiliornadau o dan yr enw efengyl. Gal. 1. 6, 7. "Y mae yn rhyfedd gennyf eich symmud mor fuan oddiwrth yr hwn a'ch galwodd i ras Crist, at efengyl arall." Y cyfammod neu yr addewid a wnaed i Abraham. Gal. 3. 8. "A rag-efangylodd i Abraham." Efengyl dragywyddol. Cynlluniwyd hi er tragywyddoldeb. Efengyl gogoniant y Duw bendigedig. Datguddia ogoniant Duw, a cha ogoniant tragywyddol oddi wrthi.

Efrau. Plant y byd hwn, ac yn neillduol rhagrithwyr. Mat. 13. 38. "A'r efrau yw plant y drwg." Pob troseddwyr mewn moesau ac athrawiaeth, ond yn dra anhawdd eu hadnabod. Mat.

13. 25. "A thra yr oedd y dynion yn cysgu, daeth ei elyn ef, ac a hauodd efrau ym mhlith y gwenith."

EGLWYS. Cymdeithas o ddynion, wedi eu casglu ynghyd, a'u galw drwy athrawiaeth yr efengyl, yn ymgynnull at eu gilydd, ac yn ymroddi i bob duwioldeb. 1 Cor. 1. 2. "At eglwys Dduw, yr hon sydd yn Corinth." Holl gymdeithas etholedigion Duw ym mhob oes ac ym mhob cenhedlaeth, o ddechreuad y byd hyd ei derfyn. Col. 1. 18. "Ac efe yw Pen corph yr eglwys;" yr hon a gynnwysai ffyddloniaid pob gwlad ac oes.

EILUN. Y delwau a'r gwrthddrychau hynny a addolid ac a berchid gan yr Iuddewon a'r Cenhedloedd, yn lle yr unig wir a bywiol Dduw, ac y mae dynion yn awr yn gwneuthur eilunod o'r pethau hynny a barchant yn fwy na'u Creawdwr. Gwaharddwyd gan Dduw ei hun i wneuthur unrhyw lun iddo, a'r rhai a wnelent ac a dynnent luniau iddo, a gospid fel eilun-addolwyr. Ecsod. 32. 8.

ENAID. Yr hyn sydd ysprydol mewn dyn yn wahanol oddiwrth ei gorph; Mat. 10. 28. "Yr hwn a all ddinystrio corph ac enaid." Yr holl ddyn; corph, enaid, ac yspryd; Ezec. 18. 20. "Yr enaid a becho, hwnnw a fydd marw;" sef, y dyn a becho, y dyn hwnnw a fydd marw. Yr ewyllys a'r serchiadau; Luc 1. 46, 47. "Fy enaid a fawrha yr Arglwydd." 1 Sam. 18. 1. "Ac enaid Jonathan a lynodd wrth enaid Dafydd." Y bywyd dynol; Salm 16. 10. "Ni adewi fy enaid yn uffern;" hynny yw, ni adewi i'm bywyd fod yn gaeth gan angeu. Yr anadl a anadlir gan ddynion; Act. 20. 10. "A'i enaid ynddo."

ENW, ENWAU. Tystiolaeth, neu adroddiad am un; os bydd yn dda, y mae hynny yn enw da iddo; ond os bydd yn ddrwg, y mae hynny yn enw drwg iddo: Diar. 22. 1. "Mwy dymunol yw enw da na chyfoeth lawer." Anrhydedd a gogoniant mawr; Deut. 26. 19. "Ac i'th wneuthur yn uchel goruwch yr holl genhedloedd a wnaeth efe, mewn clod, ac mewn enw." Ymddangosiad o fod y peth na fydd mewn gwirionedd; Dat. 3. 1. "Oblegid y mae gennyt enw dy fod yn fyw, a marw ydwyt." Gwirionedd yr efengyl, neu ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist; Dat. 3. 8. "Ac ni wedaist fy enw i." Ardderchogrwydd a gogoniant mawr; Phil. 2. 9. "Ac a roddes iddo enw yr hwn sydd goruwch pob enw." Enw yn ei berthynas â Duw a arwyddocca y cynnorthwyon a ddeilliant oddiwrtho i'r rhai a'i carant ac a'i hofnant; Salm 44. 5. "Yn dy enw di y sathrwn y rhai a gyfodant yn ein herbyn." Yr anrhydedd a berthyna iddo fel Duw y nefoedd a'r ddaear; Salm 76. 1. "Mawr yw ei enw ef yn Israel." Bedyddio yn enw y Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân. Cyflwyno trwy fedydd dwfr i'r personau dwyfol. "Enw gwell nac enw meibion na merched." Rhagora enwau plant Duw ar yr enwau mwyaf dyrchafedig a roddir i ddynion ar y ddaear.

ENWAEDU, ENWAEDIAD. Marweiddio gweithredoedd y cnawd a'i chwantau; Jer. 4. 4. "Ymenwaedwch i'r Arglwydd." Holl addoliad Duw yn ol y seremoniau gynt; Act. 15. 1. "Oni enwaedir chwi yn ol defod Moses, ni ellwch fod yn gadwedig." Gwir dduwioldeb ac ysprydolrwydd calon ac enaid i wasanaethu Duw ym mhob purdeb a sancteiddrwydd; Phil. 3. 3. "Canys yr enwaediad ydym ni, y rhai ydym yn gwasanaethu Duw yn yr yspryd, ac yn gorfol-

eddu yng Nghrist Iesu, ac nid yn ymddiried yn y cnawd." Enwaediad nid o waith llaw. Sancteiddrwydd yn y galon, oblegid mai Crist sydd yn ei weithredu ac yn ei ddwyn oddi amgylch trwy ei Yspryd sydd yn preswylio yn y saint. Nid ydyw hwn yn cael ei wneuthur trwy waith llaw, fel yr enwaediad ym mhlith yr Iuddewon; ond y mae yn cael ei ddwyn oddi amgylch yn ysprydol, ac felly yn anweledig.

Eryr, Eryrod. Credinwyr, y rhai a ehedant yn uchel ar adenydd ffydd, gan esgyn at Iesu Grist i fynydd sancteiddrwydd Duw; Ezec. 17. 3. "Eryr mawr, mawr ei adenydd, hir ei asgell, llawn plu, yr hwn oedd iddo amryw liwiau, a ddaeth i Libanus, ac a gymmerth frigyn uchaf y gedrwydden." Nebuchodonosor brenin Babilon, yn ei ymosodiad yn erbyn Canaan a Jerusalem; "Wele, daeth brenin Babilon i Jerusalem, ac efe a gymmerodd ei brenin hi, a'i thywysogion, ac a'u dug hwynt gydag ef i Babilon." Dat. 12. 14. "A rhoddwyd i'r wraig ddwy o adenydd eryr mawr, fel yr ehedai hi i'r diffeithwch." Duw yn rhoddi nerth a chynnorthwyon i'r eglwys i ffoi gyda buandra i le o ddiogelwch.

Esgidiau. Parottoad efengyl ein Harglwydd Iesu Grist, yr hyn a barottoa ac a arfoga y Cristion i fyned drwy bob profedigaethau; Eph. 6. 15. "A gwisgo am eich traed esgidiau parottoad efengyl y tangnefedd."

Esgobion. Golygwyr ysprydol ar eneidiau dynion, i'w dysgu a'u llywodraethu yng ngair Duw; 1 Tim. 3. 1. "Bugeiliaid, dysgawdwyr, a henuriaid; Phil. 1. 1. Yr Arglwydd Iesu Grist ei hun, yr hwn a elwir yn Fugail ac Esgob eneidiau dynion. 1 Pedr 2. 5.

Ffawydd. Ffrwythau a harddwch yr eglwys dan oruchwyliaeth yr efengyl; Esay 41. 19. "Gosodaf yn y diffeithwch ffynnidwydd, ffawydd, a'r pren bocs ynghyd. Y werin, neu y bobl gyffredin; Zech. 11. 2. "Y ffynnidwydd, udwch; canys cwympodd y cedrwydd." Pendefigion a mawrion y ddaear; Esay 60. 13. "Gogoniant Libanus a ddaw attat, y ffynnidwydd, ffawydd, a bocs ynghyd."

Ffenestri. Y cymmylau; Gen. 7. 11. "A ffenestri y nefoedd a agorwyd." Y llygaid; Preg. 12. 3. "Ac y tywylla y rhai sydd yn edrych trwy y ffenestri." Dyfod i fynu i'r ffenestri, dyfod yn anwrthwynebol; Jer. 9. 21. "O herwydd dringodd angeu i'n ffenestri." Dyfod yn ddirgelaidd; Joel 2. 9. "Dringant i'w tai; ânt i mewn trwy y ffenestri." Agoryd ffenestri y nefoedd, a arwydda, 1. Lawnder o wlaw; Gen. 7. 21. 2. Llawnder o ymborth; 2 Bren. 7. 2. 3. Llawnder o fendithion Duw; Mal. 3. 10. 4. Llawnder o farnedigaethau. Esay 24. 18.

Ffordd. Ymarweddiad a dull bywyd dyn; Diar. 21. 8. "Trofaus a dieithr yw ffordd dyn." Ymarweddiad da neu fywyd duwiol; Salm 1. 6. "Canys yr Arglwydd a edwyn ffordd y rhai cyfiawn." Ymarweddiad y rhai drygionus; Salm 1. 1. "Ac ni saif yn ffordd pechaduriaid." Proffes dduwiol o athrawiaeth Crist; Act. 19. 9. Gorchymmynion Duw; Salm 119. 1. "Gwyn fyd y rhai perffaith eu ffordd, y rhai a rodiant yng nghyfraith yr Arglwydd." Crist, yr hwn yw ffordd yr iechydwriaeth; Ioan 16. 6. "Myfi yw'r ffordd, y gwirionedd, a'r bywyd." Ffordd Cain, y dull y bu Cain byw,—yn rhagrithiol, yn annaturiol, ac yn greulon tuag at ei frawd; ac yn

llawn drygioni yn erbyn Duw a dynion. Prif-ffordd i bobl yr Arglwydd; llwybr mawr ac eang i bechaduriaid ddyfod at yr Arglwydd Iesu Grist; disgwyl ar Dduw yn ffordd ei farnedigaethau; edrych yn ostyngedig ar Dduw, ac ymddiried yn ei addewid ef am adferiad a dychweliad. Ffordd dyn; llwyddiant amcanion dyn; "Ffordd dyn nid ydyw ynddo ei hun." Ffordd newydd a bywiol; Iesu Grist, yr hwn drwy ei farwolaeth a agorodd ffordd i bechadur fyned i deyrnas nefoedd. Myned allan o'r ffordd; troi oddiwrth Dduw a'i gyfraith; Rhuf. 13. 12. "Gwyrasant oll;" hynny ydyw, aethant oll allan o'r ffordd. Ffordd heddwch; arwain bywyd llonydd a heddychol; Rhuf. 3. 17. "A ffordd tangnefedd nid adnabuant." Gwneuthur yn uniawn ffordd yr Arglwydd. Y mae calon dyn wrth natur yn wyrgam iawn; o ganlyniad y mae eisiau ei huniawni, er gwneuthur i'r Arglwydd breswylio ynddi.

Ffrwyn. Gosod attalfa ar ddyn yn ei rwysg, rhag myned o hono ym mlaen yn y ffordd y byddo wedi amcanu; Esay 37. 29. "Am it' ymgynddeiriogi i'm herbyn, ac i'th ddadwrdd ddyfod i fynu i'm clustiau: am hynny y rhoddaf fy mach yn dy ffroen di, a'm ffrwyn yn dy weflau, ac a'th ddychwelaf di ar hyd yr un ffordd ag y daethost." Yr hyn sydd yn arwain ac yn tywys; Iago 3. 3. "Wele, yr ydym ni yn rhoddi ffrwynau ym mhennau y meirch, i'w gwneuthur yn ufudd i ni; ac yr ydym yn troi eu holl gorph hwy oddi amgylch."

Ffrwyth. Dychweliad dynion at Dduw trwy weinidogaeth ei weision; Ioan 15. 10. "Ac a'ch ordeiniais chwi, fel yr elech ac y dygech ffrwyth." Yn yr ystyr hwn yr oedd yr efengyl wedi bod yn ffrwythlon drwy yr holl fyd. Pob gras a gweithrediad o eiddo Duw yn ei blant a'i bobl, oblegid eu bod yn deilliaw oddiwrth yr Yspryd, megis y deillia y ffrwyth oddiwrth y pren; Phil. 1. 11. "Wedi eich cyflawni â ffrwythau cyfiawnder, y rhai sydd trwy Iesu Grist, er gogoniant a moliant i Dduw." Ffrwyth eu gweithredoedd; y wobr a rydd Tad y trugareddau yn ol ei addewid i'r ffyddloniaid; Esay 3. 10. "Dywedwch mai da fydd i'r cyfiawn, canys ffrwyth eu gweithredoedd a fwynhant." Llanw â ffrwyth; lliosogi yr eglwys â thyrfaoedd o gredinwyr, pan gyhoeddid efengyl fawr yr iechydwriaeth; Esay 27. 6. "Efe a wna i hiliogaeth Jacob wreiddio, Israel a flodeua ac a flaendardda; a hwy a lanwant wyneb y byd â chnwd." Ffrwyth y gwefusau; y cysuron a ddeilliant oddiwrth air Duw trwy weinidogaeth ei weision; Esay 57. 19. "Myfi sydd yn creu ffrwyth y gwefusau." Ffrwyth cyfiawnder; bywyd tragywyddol, yr hyn sydd ffrwyth bywyd cyfiawn; Heb. 12. 11. "Ond wedi hynny y mae yn rhoi heddychol ffrwyth cyfiawnder i'r rhai sydd wedi eu cynnefino âg ef."

Ffwrnes. Blinderau llymion, trwy ba rai y profir y Cristionogion, modd y purir hwynt oddiwrth eu holl anwireddau; Deut. 4. 20. "Ond yr Arglwydd a'ch cymmerodd chwi, ac a'ch dug chwi allan o'r pair haiarn, o'r Aipht." Caethiwed blin a chaled; Jer. 11. 4. "Yr hwn a orchymmynais i'ch tadau chwi y dydd y dygais hwynt o wlad yr Aipht, o'r ffwrn haiarn." Y lle y blina Duw ei bobl gyda llymder; Ezec. 22. 18, 19, 22. "Ha fab dyn, tŷ Israel a aeth gennyf yn ammhuredd: pres, ac alcam, a haiarn, a phlwm, ydynt oll yn

nghanol y pair: ammhuredd arian ydynt. Am hynny fel hyn y dywed yr Arglwydd Dduw; Am eich bod chwi oll yn ammhuredd, am hynny wele fi yn eich casglu chwi i ganol Jerusalem. Ië, casglaf chwi, a chwythaf arnoch â than fy llidiogrwydd, fel y todder chwi yn ei chanol hi." Lle o boen tragywyddol i'r annuwiolion; Mat. 13. 42. "Ac a'u bwriant hwy i'r ffwrn o dân: yno y bydd wylofain a rhingcian dannedd."

Ffydd. Athrawiaeth ffydd, neu yr efengyl, yr hon yr ydym ni yn ei chredu; Gal. 1. 23. "Ond yn unig hwy a glywsent, fod yr hwn oedd gynt yn ein erlid ni, yr awr hon yn pregethu y ffydd, yr hon gynt a anrheithiasai." Pethau addawedig, neu gyflawniad addewidion Duw, y rhai a wnaeth efe dan yr Hen Destament; Gal. 3. 23. "Eithr cyn dyfod ffydd, y'n cadwyd dan y ddeddf, wedi ein cyd-gau i'r ffydd, yr hon oedd i'w datguddio." Gwybodaeth noeth am Dduw, yn gyssylltedig â phroffes allanol o Dduw; Iago 2. 17, 24. "Ffydd heb weithredoedd marw ydyw." Cydsyniad amserol âg efengyl Duw, hyd awr y brofedigaeth; Luc 8. 13. "A'r rhai ar y graig, yw y rhai pan glywant, a dderbyniant y gair yn llawen; y rhai sydd yn credu dros amser, ac yn amser profedigaeth yn cilio." Act. 18. 13. Golwg barhaus ar Grist a'i haeddedigaethau, fel y maent yn cael eu haddaw a'u cynnyg yng ngair Duw; Rhuf. 1. 17. "A'r cyfiawn a fydd byw trwy ffydd." Hwn ydyw y ffydd drwy yr hon yn cyfiawnheir; Rhuf. 5. 1. "Am hynny, gan ein bod wedi ein cyfiawnhau trwy ffydd." Eph. 2. 8. "Canys trwy ras yr ydych yn gadwedig, trwy ffydd." Hon ydyw y ffydd ddiragrith; 1 Tim. 1. 5. Y ffydd sydd yn gweithio drwy gariad; Gal. 5. 6. Ffydd etholedigion Duw: Titus 1. 1. Y ffydd sydd yn puro y galon; Act. 15. 9. Ffydd werthfawr; 2 Pedr 1. 1. Y sicrwydd o dderbyniad rhyw ddaioni; Act. 14. 9. "Hwn a glybu Paul yn llefaru; yr hwn wrth edrych yn graff arno, a gweled fod ganddo ffydd i gael iechyd." Parhad i ymarfer crefydd Crist drwy bob tywydd a thymhestloedd; Rhuf. 1. 8. "Oblegid bod eich ffydd chwi yn gyhoeddus drwy yr holl fyd." Addewid neu adduned; 1 Tim. 5. 12. "Gan gael barnedigaeth, am iddynt ddirmygu y ffydd gyntaf." Rhodd Duw, trwy yr hon yr ydym yn credu yn ddiysgog yn holl air Duw, ei fod yn wirionedd; yn neillduol yr addewid o iechydwriaeth, a chymhwysiad o honi attom ein hunain; Heb. 11. 1. "Ffydd yn wir yw sail y pethau yr ydys yn eu gobeithio, a sicrwydd y pethau nid ydys yn eu gweled." Bod o'r ffydd. Credu yn ddiysgog fel y gwnaeth Abraham; Gal. 3. 7. Cyn dyfod ffydd; Gal. 3. 23. Cyn dyfodiad yr eglwysi, a chyn tywyniad gwawr yr iechydwriaeth a berffeithiwyd gan Iesu Grist ar y byd hwn. Ffydd farw; Iago 2. 26. Ffydd heb ffrwythau na gweithredoedd. O ffydd i ffydd; Rhuf. 1. 17. O un gradd o ffydd i radd arall o ffydd; o ffydd wan i ffydd gadarn.

Godineb. Eilun-addoliaeth a gwrthgiliad oddiwrth y Duw byw; Jer. 3. 8. "Er hyn ni ofnodd Judah ei chwaer anffyddlon; eithr aeth a phutteiniodd hithau hefyd.—Canys gyda'r maen a'r pren y putteiniodd hi." Gweler Ezec. 16. 32. a 23. 37. Dat. 2. 22.

Godineb-wraig. Eglwys neu ddinas wrthgiliedig; yn neillduol h Jerusalem, neu yr eglwys a'r genedl Iuddewig; Esay 1. 21.

"Pa wedd yr aeth y ddinas ffyddlon yn buttain?" Babilon Fawr, mam putteiniaid y ddaear, ydyw yr eglwys babaidd eilun-addolgar.

GOLEUNI. Duw, yr hwn sydd oleuni, oblegid disgleirdeb ei Fawrhydi, a phurdeb ei natur; Ioan 1. 4, 5. "Goleuni yw Duw." Gair yr Arglwydd, sef y Datguddiad a roes efe o'i ewyllys da i ddynion; Salm. 119. 105. "Llusern yw dy air i'm traed, a llewyrch i'm llwybr." Crist ei hunan, yr hwn sydd yn llawn goleuni, ac yn goleuo pob dyn sydd yn dyfod i'r byd; Ioan 1. 9. "Hwn ydoedd y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn a'r sydd yn dyfod i'r byd." Gweinidogion ffyddlon y Testament Newydd, y rhai oblegid eu hathrawiaeth a gydmerir i oleuni; Mat. 5. 14. "Chwi yw goleuni'r byd." Athrawiaeth yr efengyl; Act. 26. 23. "Ac y dangosai oleuni i'r bobl ac i'r Cenhedloedd." Pob Cristion crediniol, y rhai sydd wedi eu goleuo gan yr Yspryd Glân; Eph. 5. 8. "Ond yr awr hon goleuni ydych yn yr Arglwydd." Sancteiddrwydd buchedd yn y byd hwn; Mat. 5. 16. "Llewyrched felly eich goleuni ger bron dynion." Etifeddiaeth ogoneddus y saint yn y nefoedd; Col. 1. 12. "Etifeddiaeth y saint yn y goleuni."

GORSEDDFAINGC. Eisteddle uchel, llawn mawrhydi, lle yr eistedda brenhinoedd a barnwyr; 1 Bren. 10. 18. "A'r brenin a wnaeth orseddfaingc fawr o ifori, ac a'i gwisgodd hi âg aur o'r goreu." Arwydd weledig o allu a mawrhydi Duw; Dat. 4. 9. "I'r hwn sydd yn eistedd ar yr orseddfaingc, yr hwn sydd yn byw yn oes oesoedd." Gorsedd, yn ei pherthynas â Duw, a arwydda y nefoedd; Esay 66. 1. "Fel hyn y dywed yr Arglwydd, Y nef yw fy ngorseddfaingc." Trugaredd yr Arglwydd; Heb. 4. 16. "Am hynny awn yn hyderus at orseddfaingc y gras." Gorseddfaingc, yn ei pherthynas â Christ, a arwydda ei ogoniant mawr a'i lywodraeth eang; Dat. 3. 21. "Yr hwn sydd yn gorchfygu, rhoddaf iddo eistedd gyda mi ar fy ngorseddfaingc."

GRAWNWIN. Gweithredoedd a bucheddau dynion, y rhai os byddant yn dda, a gyffelybir i rawnwin melusion; ond os yn ddrwg, i rawnwin gwylltion a chwerwon; Esay 5. 2. "Ac efe a ddisgwyliodd iddi ddwyn grawnwin, hithau a ddug rawn gwylltion." Deut. 32. 32. "Canys o winwydden Sodom, ac o feusydd Gomorrah, y mae eu gwinwydden hwynt: eu grawnwin hwynt sydd rawnwin bustlaidd; grawn-sypiau chwerwon sydd iddynt."

GWAED. Angeu a lladdfa; Salm 51. 14. "Gwared fi oddiwrth waed, O Dduw fy iechydwriaeth." Dial a chospedigaeth ddyledus am dywallt gwaed; Mat. 27. 25. "A'r holl bobl a attebodd ac a ddywedodd, Bydded ei waed ef arnom ni ac ar ein plant." Creulondeb; Hab. 2. 12. "Gwae a adeilado dref trwy waed." Esay 1. 15. "Eich dwylaw sydd lawn o waed." Dynion yn achosi eu dinystr eu hunain; Act. 18. 6. "Bydded eich gwaed ar eich pennau eich hunain." Gwaed Abel; llofruddiaeth Abel. Gwaed teirw; lladdiad y teirw i fod yn aberthau. Gwaed Crist; marwolaeth a dioddefiadau Crist dros bechaduriaid aflan ac euog; Eph. 1. 7. "Yn yr hwn y mae i ni brynedigaeth trwy ei waed ef." Yn holl Epistolau yr Apostolion, arwydda gwaed Crist ei ddioddefiadau a'i angeu dros ac yn lle dynion. Gwaed y cyfammod; dioddefiadau Crist yn cadarnhau y cyfammod, ac yn gwneuthur ei fendithion yn sicr i

ddynion; Dat. 16. 3. "Ac a aeth fel gwaed dyn marw." Y rhyfeloedd mawrion a anfona Duw ar y gwledydd pabaidd, a'r gwaed a dywelltir a gydmarir i fôr oblegid ei gyflawnder: neu, bydd i'r grefydd babaidd, pan godir godreu y dyn pechod, gael ei dangos fel un hollol annigonol i achub eneidiau dynion. Bradychu gwaed gwirion; rhoddi dyn diniwed i farwolaeth drwy ei fradychu. Tywallt gwaed y saint; erlid a bod yn greulon wrth y saint, a'u rhoddi i farwolaeth. Gwaed y taenelliad; gwaed Crist, yr hwn a syrthiai yn ddefnynau oddiwrtho. Gwaed a dwfr. Ymddangosodd Hereticiaid yn oes gyntaf y grefydd Gristionogol, a haerent na fu Crist farw ond mewn ymddangosiad; eithr yr oedd dyfodiad allan y gwaed a'r dwfr o archoll y waywffon yn brawf sicr a diymwad ei fod wedi marw yn hollol. Y mae pilen oddi amgylch y galon, a elwir *pericardium*, i gadw dwfr er oeri y galon; ac yr oedd dyfodiad allan y gwaed a'r dwfr yn arwydd amlwg bod y galon wedi ei thrywanu, ac y mae yn gwbl annichonadwy i neb fyw wedi yr archollir ei galon. Y mae dwfr hefyd yn arwydd o burdeb; a gelwir gweinidogaeth y gair yn olchfa ddwfr trwy y gair.

Gwallt. Y mae yn arwyddo bod y pethau lleiaf dan ofal rhagluniaethol y goruchaf Arglwydd; Mat. 10. 30. "Ac y mae, ïe, holl wallt eich pen wedi eu cyfrif." Cynnulleidfa y ffyddloniaid; Can. 4. 1. "Dy wallt sydd fel diadell o eifr, y rhai a ymddangosant o fynydd Gilead."

Gwartheg. Dynion yn ymbesgu mewn drygioni; Amos 4. 1. "Gwrandewch y gair hwn, gwartheg Basan; y rhai ydych yn gorthrymu y tlawd."

Gwely. Trallod a gofid mawr; Dat. 2. 22. "Wele, yr wyf fi yn ei bwrw hi ar wely, a'r rhai sydd yn godinebu gyda hi i gystudd mawr."

Gwellt. Peth gwan ac analluog; Esay 41. 7. "Gwellt yn ddiau yw y bobl." Peth disylw; Esay 25. 10. "Canys llaw yr Arglwydd a orphwys yn y mynydd hwn, a Moab a sethrir tano, fel sathru gwellt mewn tommen."

Gwenwyn. Celwyddau, cyfeiliornad, a thwyll; Salm 140. 3. "Golymasant eu tafodau fel sarph: gwenwyn asp sydd dan eu gwefusau." Salm 58. 4. "Eu gwenwyn sydd fel gwenwyn sarph."

Gwenith. Etholedigion Duw, a'r ffyddloniaid yng Nghrist Iesu, y rhai ydynt ffrwythlon mewn gweithredoedd da; Mat. 3. 12. "Ac a gasgl ei wenith i'w ysgubor, ond yr us a lysg efe â thân anniffoddadwy." Athrawiaeth yr iechydwriaeth yng Nghrist Iesu ein Harglwydd. Mat. 13. 25—31.

Gwewyr esgor. Sefyllfa o ofid a thrallod; Jer. 41. 31. "Canys clywais lef megis gwraig yn esgor, cyfyngder megis benyw yn esgor ar ei hetifedd cyntaf, llef merch Sïon, yn ochain, ac yn lledu ei dwylaw, gan ddywedyd, Gwae fi yr awr hon, oblegid diffygiodd fy enaid gan leiddiaid." Jer. 13. 21. "Oni oddiwes gofidiau di megis gwraig yn esgor?"

Gwialen. Cerydd, disgyblaeth, neu gospedigaeth; 1 Cor. 4. 21. "Beth a fynnwch chwi, ai dyfod o honof fi attoch chwi â gwialen?" Y blinderau â pha rai y mae Duw yn ceryddu ei bobl, er eu gwellhau a'u diwygio; Salm 89. 32. "Yna mi a ymwelaf â'u camwedd â

gwialen, ac â'u hanwiredd â ffrewyllau." Gallu ac awdurdod; Salm 2. 9. "Drylli hwynt â gwialen haiarn." Pregethiad gair Duw i bechaduriaid cyfrgolledig; Salm 110. 2. "Gwialen dy nerth a enfyn yr Arglwydd o Sïon." Brenhinoedd Assyria, trwy ba rai yr oedd yr Arglwydd yn cospi Israel; Esay 10. 5. "Gwae Assur, gwialen fy llid, a'r ffon yn eu llaw hwynt yw fy nigofaint." Awdurdod frenhinol; Jer. 48. 17. "Pa fodd y torrwyd y ffon gref, a'r wialen hardd?" Llywodraethwr; Ezec. 19. 11. "Ac yr oedd iddi wiail cryfion yn deyrnwiail llywodraethwyr." Llywodraethu â gwialen haiarn; llwyr ddarostwng y rhai hynny a ymosodant yn erbyn llywodraeth a deddfau y nefoedd." Dat. 19. 15. "Ac efe a'u bugeilia hwynt â gwialen haiarn." Gwialen a ffon Duw; Salm 23. 4. "Dy wialen a'th ffon a'm cysurant." Cyfarwyddiadau Yspryd a gair Duw, yn arwain ac yn attal.

GWIBEROD. Cenhedlaeth greulon, annuwiol, a drygionus; Mat. 3. 7. "O genhedlaeth gwiberod." Yr hyn sydd beryglus ac angeuol; Esay 30. 6. "Baich anifeiliaid y dehau. I dir cystudd ac ing, lle y daw o honynt yr hen lew a'r llew ieuangc, y wiber a'r sarph danllyd hedegog."

GWINLLAN. Eglwys yr Arglwydd Iesu Grist, wedi ei rhoddi i ofal gweinidogion ffyddlon, y rhai ydynt ei cheidwaid; Can. 8. 11. "Yr oedd gwinllan i Salomon yn Baal-hamon: efe a osododd y winllan i warcheidwaid." Gwinllan y gwin coch; yr eglwys Iuddewig wedi ei dychwelyd a'i hadferyd yn ol i'w gwlad ei hun, ac wedi ei hail blannu yn ei hetifeddiaeth gynt; yr hon a gedwid dan ymgeledd y nefoedd, a hithau a ddygai ffrwyth toreithiog, y rhai o herwydd eu hardderchawgrwydd a gydmerir i win coch. Cyffelybir yr eglwys i winllan, 1. Oblegid bod yr eglwys yn cael ei phlannu, ac nid yn tyfu o honi ei hun, mwy na'r winwydden; 1 Cor. 3. 6, 7. "Myfi a blennais, Apolos a ddyfrhaodd; ond Duw a roddes y cynnydd: felly nid yw yr hwn sydd yn plannu ddim, na'r hwn sydd yn dyfrhau; ond Duw yr hwn sydd yn rhoi y cynnydd." 2. Er bod yr eglwys yn wan, etto y mae yn dra ffrwythlon, fel y winwydden; 1 Cor. 12. 7—11. 3. Gelwir dynion i'r eglwys, megis y gelwir ac y cyflogir dynion i'r winllan; Mat. 20. 1. "Canys teyrnas nefoedd sydd debyg i wr o berchen tŷ, yr hwn a aeth allan a hi yn dyddhau, i gyflogi gweithwyr i'w winllan." 4. Trallodir eglwys y Duw byw gan elynion; ymosodai llwynogod a chreaduriaid eraill ar y gwinllanoedd; Salm 80. 13. "Y baedd o'r coed a'i turia, a bwystfil y maes a'i pawr."

GWINWYDDEN. Crist Iesu yr Arglwydd, yr hwn a elwir ac a gyffelybir yn fynych yn yr ysgrythyrau i winwydden; Ioan 15. 1. "Myfi yw y wir winwydden." Dynion neillduol, y rhai a ddygant ffrwythau er gogoniant i enw Arglwydd Dduw y lluoedd; Deut. 32. 32. Yr eglwys weledig yma ar y ddaear; Salm 80. 9. "Mudaist winwydden o'r Aipht: bwriaist y Cenhedloedd allan, a phlennaist hi." Gwinwydden wag; yr Israeliaid, y rhai wedi eu cystuddio a ymadnewyddasant, gan wneuthur drygioni drachefn yng ngolwg yr Arglwydd, yn lle dwyn ffrwyth er gogoniant i'w enw ar ol cael eu cystuddio.

GWLAD. Y nefoedd, yr hon a breswylir gan y saint i bob tragy-

wyddoldeb; Heb. 11. 16. "Eithr yn awr gwlad well y maent hwy yn ei chwennych, hynny ydyw, un nefol."

GWLAW. Athrawiaeth gair yr Arglwydd, yr hon sydd yn gwneuthur dynion yn ffrwythlon, yn eu hadfywio, ac yn eu hadnewyddu mewn gras a sancteiddrwydd; Deut. 32. 2. "Fy athrawiaeth a ddefnyna fel gwlaw: fy ymadrodd a ddifera fel gwlith; fel gwlith-wlaw ar îr-wellt, ac fel cawodydd ar las-wellt." Dywedir am wlawio bara; Ecsod. 16. 4. "Myfi a wlawiaf arnoch fara o'r nefoedd." Gwlawio digofaint; Job 20. 23. "Ac a'i gwlawia hi arno ef ym mysg ei fwyd." Gwlawio maglau; Salm 11. 6. "Ar yr annuwiolion y gwlawia efe faglau." Gwlawio cyflawnder; Hosea 10. 12. "Hyd oni ddelo a gwlawio cyfiawnder arnoch." Dwy waith y syrthiai gwlaw ar Israel yng ngwlad Canaan; sef ynghylch Medi a Hydref, a thrachefn ynghylch Mawrth neu Ebrill. Disgynai y cynnar-wlaw yn fuan wedi hau; a'r diweddar-wlaw ychydig cyn i'r ŷd addfedu, tuag at ei ddwyn yn addfed i'r crymman. Y ddaear yr hon sydd yn yfed y gwlaw: y ddaear yw dynion y ddaear; Jer. 22. 29. Y gwlaw yw gair Duw, Deut. 32. 2; y llysieuau ydynt ffrwythau sancteiddrwydd, y rhai a dyfant ar y Cristion pan y mae dan ddylanwadau yr Yspryd Glân."

GWREGYS, GWREGYSU. Rhwymo ac attal y rhai drygionus rhag iddynt wneuthur niweidiau; Salm 76. 10. Casglu nerth ac ymgryfhau; Job 38. 3. "Gwregysa dy lwynau yn awr fel gwr." Bod yn barod erbyn awr ein hymddattodiad; Luc 12. 35. "Bydded eich lwynau wedi eu hymwregysu." Esay 23. 10. "Dos trwy y wlad fel afon, O ferch Tarsis: nid oes nerth mwyach;" neu, nid oes wregys mwyach: hynny yw, gogoniant a nerth wedi darfod o Tyrus, a'r ddinas wedi ei gadael yn ddiymgeledd. Eph. 6. 14. "Sefwch gan hynny wedi amgylch wregysu eich lwynau â gwirionedd, a gwisgo dwyfronneg cyfiawnder." Bod yn uniawn ac yn bur, ac yn feddiannol ar gydwybod dda a dirwystr.

GWRES. Poethder mawr yn y corph; Job 30. 30. "Fy nghroen a dduodd am danaf, a'm hesgyrn a losgasant gan wres." Gofid, trallod, gwasgfa, a chaledi; Esay 25. 4, 5. "Canys buost nerth i'r tlawd, a chadernid i'r anghenog yn ei gyfyngder, yn nodded rhag tymmestl, yn gysgod rhag gwres. Fel gwres mewn sychder y darostyngi dwrf dieithriaid; sef gwres a chysgod cwmmwl; darostyngir cangen yr ofnadwy."

GWYN. Yr hyn sydd bur, heb frycheuyn ynddo neu arno; Dat. 3. 18. "A dillad gwynion, fel y'th wisger." Addfedrwydd a pharodrwydd i'w dorri i lawr; Ioan 4. 25. "Yn wynion i'r cynhauaf." Sancteiddrwydd; Dat. 3. 4. "A hwy a rodiant gyda mi mewn dillad gwynion." Cyfiawnder; Dat. 7. 14. "Y rhai hyn yw y rhai a ddaethant allan o'r cystudd mawr, ac a olchasant eu gynau, ac a'u cannasant hwy yng ngwaed yr Oen." Dillad gwynion; gogoniant a dedwyddwch tragywyddol yn y nefoedd; cyfiawnder Crist am yr enaid byth, ac yn llewyrchu fel y goleuni ger bron Duw y nefoedd. March gwyn; newyddion da yr efengyl, trwy ei dysgawdwyr a'i gweinidogion, yn ymledanu ym mhlith y Cenhedloedd gyda buandra mawr. Carreg wen; arwydd o ryddhad mewn llys gwladol,
'yddai y rhai a gyhuddid yn cael eu cyhoeddi yn ddieuog gan

y barnwr. "Ac mi a roddaf iddo garreg wen." Nod ddirgelaidd, trwy ba un yr adnabyddid ef, ac fel etifedd y deyrnas, derbynid ef i ogoniant.

GWYNT. Gweithredoedd nerthol a chedyrn Duw trwy ei Yspryd yn ail-eni ac yn adnewyddu dynion ar ei ddelw; Ioan 3. 8. "Y mae y gwynt yn chwythu lle y mynno; a thi a glywi ei swn ef, ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod nac i ba le y mae yn myned: felly y mae pob un a aned o'r Yspryd." Athrawiaeth yr efengyl, ynghyd â'r pregethiad o honi; Dat. 7. 1. "Yn dal pedwar gwynt y ddaear, fel na chwythai'r gwynt ar y ddaear, nac ar y môr, nac ar un pren." Pob math o brofedigaethau; Mat. 7. 27. "A'r gwyntoedd a chwythasant." Pedwar parth y byd; Jer. 49. 32. "A mi a wasgaraf tua phob gwynt y rhai sy yn eu conglau eithaf." Anwadalwch syniadau ac athrawiaethau; Eph. 4. 14. "Fel na byddom mwyach yn blantos, yn bwhwmman ac yn ein cylch-arwain â phob awel (gwynt) dysgeidiaeth." Pechodau dynion yn tynnu digter Duw arnynt; Esay 64. 6. "A'n hanwireddau megis gwynt a'n dwg ni ymaith." Gallu Duw yn ei ddialeddau ar bechaduriaid; Salm 1. 4. "Nid felly y bydd ar yr annuwiol, ond fel mân ûs yr hwn a chwal y gwynt ymaith." Aflwyddiant mewn rhyw orchwyl; Esay 26. 18. "Beichiogasom, gofidiasom, oeddym fel ped esgorem ar wynt." Gelyn nerthol yn cludo pob peth o'i flaen; Jer. 4. 12. "Gwynt llawn o'r lleoedd hynny a ddaw attaf fi." Yn nydd y dwyreinwynt; yr amser yr ysguba Duw ymaith, ac y diwreiddia efe ei elynion." Y mae y dwyrein-wynt yn ysgubo pob peth o'i flaen, felly y mae Duw yn ei farnedigaethau ar yr annuwiolion.

HALEN. Athrawiaeth y gair, oblegid ei fod yn puro dynion oddiwrth eu llygredigaeth a chalon ddrwg; Mat. 5. 13. "Chwi yw halen y ddaear." Doethineb dduwiol, yr hon sydd yn puro pob ymarweddiad; Col. 4. 6. "Bydded eich ymadrodd bob amser yn rasol, wedi ei dymheru â halen." Cyfammod o halen; cyfammod sicr, anllygredig, a thragywyddol. Num. 18. 19. Hau â halen; gwneuthur y wlad yn anffrwythlon, trwy daflu halen arni; Barn. 9. 45. "A ddistrywiodd y ddinas, ac a'i hauodd â halen."

HAUL. Crist Iesu yr Arglwydd, yr hwn ydyw goleuni y byd; Ioan 1. 5. "A'r goleuni sydd yn llewyrchu yn y tywyllwch." Gogoniant a disgleirdeb presennoldeb Duw yn y nefoedd; Dat. 21. 23. "A'r ddinas nid rhaid iddi wrth yr haul, na'r lleuad i oleuo ynddi; canys gogoniant Duw a'i goleuodd hi, a'i goleuni hi ydyw yr Oen." Llwyddiant bydol; Job 31. 26. "Os edrychais ar yr haul pan dywynai." Prydferthwch a phurdeb eglwys yr Arglwydd Iesu Grist; Can. 6. 9. "Yn bur fel yr haul." Cydmerir Crist i haul oblegid ei rinweddau mewnol, a'i effeithiau allanol. Oblegid ei rinweddau mewnol,—1. Nid oes ond un haul, ac nid oes ond un Crist, Haul mawr Cyfiawnder. Ioan 1. 24. Yr haul ydyw ffynnon goleuni; a Christ ydyw y gwir oleuni nefol, ac ynddo nid oes dim tywyllwch. Dat. 1. 16. 1 Ioan 1. 5. 2. Y mae yr haul yn cyfrannu o'i oleuni, ac felly y mae Crist yn cyfrannu o'i rinweddau i bechadur; Ioan 1. 9. "Hwn ydoedd y gwir Oleuni, yr hwn sydd yn goleuo pob dyn ar y sydd yn dyfod i'r byd." Oblegid ei effeithiau allanol, 1. Y mae y tywyllwch yn diflannu o flaen yr haul; ac felly y mae anwybodaeth,

dallineb, a thywyllwch ysprydol yn diflannu o flaen pelydron goleu Mab y dyn. 2. Rhydd goleuni yr haul gyfarwyddyd i ddynion gyda golwg ar eu gorchwylion; ac felly y mae Crist, drwy ei Ysbryd, yn cyfarwyddo dynion o ddyffryn trueni i uchder gogoniant plant Duw. 3. Yr haul ydyw y creadur mwyaf cysurus i'r byd hwn; a Christ ydyw unig gysur yr enaid trallodedig ar ei daith tuag anfarwoldeb. Yr haul yn duo; heddwch a llwyddiant yr eglwys yn myned dan gwmmwl, oblegid erledigaethau a chreulonderau ei gelynion tuag atti.

Had. Mab neu ferch; Gen. 39. 9. "Cyfodi had i'th frawd." Hiliogaeth dyn; Salm 112. 2. "Ei had fydd cadarn ar y ddaear." Had Abraham; holl hiliogaeth Abraham, y da a'r drwg; Rhuf. 9. 7. "Ac nid ydynt, oblegid eu bod yn had Abraham, i gyd yn blant." Y ffyddloniaid yn unig, Iuddewon a Chenhedloedd, y rhai a rodiasant neu a rodiant yn llwybrau ffydd Abraham; Rhuf. 4. 16. "Am hynny o ffydd y mae, fel y byddai yn ol gras: fel y byddai yr addewid yn sicr i'r holl had; nid yn unig i'r hwn sydd o'r ddeddf, ond hefyd i'r hwn sydd o ffydd Abraham, yr hwn yw ein tad ni oll." Crist Iesu ein Harglwydd, yr hwn yn ol y cnawd a wnaed o had neu hiliogaeth Abraham; Gal. 3. 16. "I Abraham y gwnaethpwyd yr addewidion, ac i'w had ef. Nid yw yn dywedyd, Ac i'w hadau, megis am lawer; ond megis am un, Ac i'th had di, yr hwn yw Crist." Gair yr Arglwydd, neu athrawiaeth fawr yr efengyl; Luc 8. 11. "A dyma'r ddammeg: Yr had yw y gair." Yr addewid o iechydwriaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist, yn cael ei derbyn i'r galon trwy yr Yspryd Glân; 1 Pedr 1. 23. "Wedi eich ail-eni, nid o had llygredig, eithr anllygredig, trwy air Duw, yr hwn sydd yn byw ac yn parhau yn dragywydd." Gweddill, neu ychydig mewn cydmariaeth i'r lleill; Rhuf. 9. 29. "Ac megis y dywedodd Esaias yn y blaen, Oni buasai Arglwydd y Sabboth adael i ni had, megis Sodom y buasem, a gwnaethid ni yn gyffelyb i Gomorrah."

Hau. Gwasgaru daoedd bydol rhwng y tlodion; "Yr hwn sydd yn hau yn brin a fed hefyd yn brin. Pregethu gair yr Arglwydd i ddynion; Luc 8. 5. "Yr hauwr a aeth allan i hau ei had." Claddu corph marw yn y ddaear; 1 Cor. 15. 42, 43. "Felly hefyd y mae adgyfodiad y meirw. Efe a heuir mewn llygredigaeth, ac a gyfodir mewn anllygredigaeth; efe a heuir mewn ammharch, ac a gyfodir mewn gogoniant; efe a heuir mewn gwendid, ac a gyfodir mewn nerth; efe a heuir yn gorph anianol, ac a gyfodir yn gorph ysprydol." Hau anwiredd; cyflawni anwiredd gyda hyfrydwch; Diar. 22. 8. Hau i'r Yspryd; gwneuthur gweithredoedd da trwy gynnorthwyon ac o dan effeithiau yr Yspryd. Gal. 6. 8. Hau mewn dagrau; gwasanaethu Duw trwy bob gorthrymderau yn y byd. Salm 126. 5.

Hauwr. Un yn pregethu gair Duw, ac yn gweinyddu yn mhethau sanctaidd y Duw bendigedig; Mat. 13. 3. "Wele, yr hauwr a aeth allan i hau."

Iachawdwriaeth. Diogelwch allanol, buddugoliaeth, a gwaredigaeth oddiwrth beryglon a gelynion; Ecsod. 14. 13. "Nac ofnwch; sefwch, ac edrychwch ar iachawdwriaeth yr Arglwydd, yr hwn a wna efe i chwi heddyw." Sefyllfa ddedwydd dyn pan y dechreua

gredu yn uniganedig Fab Duw; Luc 19. 9. "Heddyw y daeth iachawdwriaeth i'r tŷ hwn." Yr efengyl yn ei holl gyflawnder a'i haddasrwydd i bechaduriaid cyfrgolledig; Heb. 2. 3. "Os esgeuluswn iachawdwriaeth gymmaint." Duw y lluoedd ei hun; Salm 27. 1. "Yr Arglwydd yw fy iachawdwriaeth." Person y Cyfryngwr mawr; Luc 2. 30. "Fy llygaid a welsant dy iachawdwriaeth." Y mawl perthynol i Dduw am yr iachawdwriaeth trwy Gyfryngwr; Dat. 19. 1. "Ac ar ol y pethau hyn mi a glywais megis llef uchel gan dyrfa fawr yn y nef, yn dywedyd, Aleluia: iachawdwriaeth, a gogoniant, ac anrhydedd, a gallu, i'r Arglwydd ein Duw ni." Yn awr yw dydd yr iachawdwriaeth; yn awr y mae yr efengyl, yr hon sydd yn datguddio yr iachawdwriaeth, yn cael ei phregethu; ac yn awr y mae ymwneuthur am fywyd tragywyddol trwy Iesu Grist yr Arglwydd. Helm yr iachawdwriaeth; Crist a'i haeddiant yn ymddiffynfa i'r Cristion yn wyneb ymosodiadau ei elynion arno. Y mae ein iachawdwriaeth yn nes na phan gredasom; gwaredigaeth yr Iuddewon a'r Cenhedloedd crediniol oddiwrth eu herledigaethau yn neshau. Iachawdwriaeth parod i'w datguddio; trwy y gair a thrwy yr Yspryd Glân. 2 Tim. 3. 15. 1 Cor. 2. 10. Gweithio allan ein iachawdwriaeth; myned ym mlaen yn ddiwyd ac yn ddiwyrni yn ffordd iachawdwriaeth; neu, i ddefnyddio iaith ysprydoliaeth, parhau hyd y diwedd.

Jacob. Tyrfaoedd o ddynion wedi deillio oddiwrth Jacob, nid trwy linach gnawdol, ond trwy enedigaeth ysprydol; oblegid y mae hiliogaeth Jacob i'w ystyried mewn dau oleu, sef ei hiliogaeth gnawdol, a'i hiliogaeth ysprydol. Salm 24. 6. Gelwir Duw yn Dduw Jacob, am ei fod yn Dduw i'r ffyddloniaid ym mhob gwlad ac ym mhob oes.

Iau. Y blinderau a'r croesau a anfonir gan Dduw ar ddynion am ac oblegid eu pechodau; Galar. 3. 17. "Da yw i wr ddwyn yr iau yn ei ieuengctyd:" diau mai iau trallod a olygir yma. Ein pechodau mawrion, y rhai ydynt wir achosion ein holl flinderau; Galar. 1. 14. "Rhwymwyd iau fy nghamweddau â'i law ef." Y caethiwed creulon ym mha un y cadwa gormeswyr saint y Duw byw; Esay 9. 4. "Drylliaist iau ei faich ef, a ffon ei ysgwydd ef, gwialen ei orthrymmwr, megis yn nydd Midian." Arwydda iau wasanaeth; Gen. 27. 40. "Onid bydd amser pan feistrolech di, ac y torrech ei iau ef oddiam dy wddf." Cymdeithas neu gyd-gyssylltiad ynghylch rhyw beth neu bethau; 2 Cor. 6. 14. "Na iauer chwi yn anghydmarus gyda'r rhai digred." Gorchymmynion Duw, a holl ddyledswyddau crefydd yn yr efengyl; Mat. 11. 29. "Cymmerwch fy iau arnoch." Y gyfraith a roddwyd trwy Moses, ynghyd â'i holl ddefodau; Act. 15. 10. "Yn awr gan hynny pa ham yr ydych chwi yn temtio Duw, i ddodi iau ar warrau'r disgyblion, yr hon nid allai ein tadau ni na ninnau ei dwyn?"

Jerusalem. Trigolion Jerusalem; Mat. 3. 5. "Yna y daeth allan atto ef Jerusalem, a holl Judea." Holl ffyddloniaid Duw trwy yr holl fyd, Iuddewon a Chenhedloedd, sef eglwys Crist yn mhob man; Esay 62. 1. "Er mwyn Sïon ni thawaf, ac er mwyn Jerusalem ni ostegaf." Yn weddus megis Jerusalem: yr oedd Jerusalem yn ddinas hardd a gogoneddus iawn, ac yr oedd Duw yn preswylio

ynddi mewn modd neillduol,—yr oedd yn degwch bro ac yn llawenydd yr holl ddaear. Felly y mae eglwys Crist dan oruchwyliaeth y Testament Newydd, y mae yn llawn gogoniant ac yn llawn prydferthwch.

ISRAEL. Tywysog y Duw cadarn, neu un wedi derbyn nerth gan y Duw cadarn; Gen. 32. 28. "Mwyach ni elwir dy enw di Jacob, ond Israel: oblegid cefaist nerth gyda Duw fel tywysog." Yr holl eglwys weledig drwy y byd, Iuddewon a Chenhedloedd; Salm 124. 1. "Oni buasai yr Arglwydd yr hwn a fu gyda ni, y gall Israel ddywedyd yn awr."

ISRAELIAD. Cristion cywir a gwirioneddol, â pharch yn ei galon i Dduw y nefoedd; Ioan 1. 47. "Wele Israeliad yn wir, yn yr hwn nid oes dwyll." Salm 73. 1. "Da yw Duw i Israel, sef i'r rhai glân o galon."

LEFAIN. Teyrnas yr Arglwydd Iesu Grist ar y ddaear, yn cynnyddu yn raddol, nes dwyn yr holl genhedloedd i'r un natur a hi ei hun; Mat. 13. 33. "Cyffelyb yw teyrnas nefoedd i surdoes, yr hwn a gymmerodd gwraig ac a'i cuddiodd mewn tri pheccaid o flawd, hyd oni surodd y cwbl." Athrawiaeth gyfeiliornus hereticiaid, yn llygru ac yn gwenwyno meddyliau dynion, gan wneuthur niwed i'w heneidiau; Mat. 16. 6. "Edrychwch ac ymogelwch rhag surdoes y Phariseaid a'r Saduceaid."

LOCUSTIAID. Twyllwyr a chyfeiliornwyr, yn taenu athrawiaethau niweidiol ar hyd y byd, ac felly yn drygu achos crefydd; Dat. 9. 3. "Ac o'r mwg y daeth allan locustiaid ar y ddaear; a rhoddwyd awdurdod iddynt, fel y mae gan ysgorpionau'r ddaear awdurdod." Wrth y locustiaid hyn y golygir yn bennaf addolwyr Mahomet yn y dwyrain, y rhai a amlhasant yn ddirfawr, gan ddwyn amrywiol genhedloedd yn ddarostyngedig i'w hawdurdod.

LLAIS. Athrawiaeth Crist, yr hon a draddodwyd ganddo ef, ac a draddodir gan ei weision; Salm 95. 7. "Os gwrandewch ar ei leferydd ef." Ioan 20. 27. "Fy nefaid i sydd yn gwrando ar fy llais i." Swn brawychus y geiriau a draddododd Duw ar Sinai yn y cyssegr, pan roddes efe y ddeddf trwy drefniad angylion i Moses; Heb. 12. 26. "Llef yr hwn y pryd hwnnw a ysgydwodd y ddaear." Swn brawychus y taranau; Salm 29. 3. "Llef yr Arglwydd sydd ar y dyfroedd: Duw y gogoniant a darana." Dyfodiad Crist yr ail waith i farnu y byd; Ioan 5. 28. "Canys y mae yr awr yn dyfod, yn yr hon y caiff pawb a'r sydd yn y beddau glywed ei leferydd ef." Dat. 18. 23. "A llais priodas-fab a phriodas-ferch ni chlywir ynot mwyach." Bydd pob llawenydd wedi darfod am byth yn Babilon ysprydol, pan y dymchwelir hi yn nydd ei gofwy mawr. Llais y durtur yn y wlad; efengyl Crist yn ei holl fwynderau yn cael ei chyhoeddi i deulu dyn.

LLAW. Y mae llaw yn ei pherthynas â Duw, yn arwyddo ei amcan tragywyddol ac effeithiol, mewn perthynas i bob peth sydd i gael ei wneuthur; Act. 4. 28. "I wneuthur pa bethau bynnag a ragluniodd dy law a'th gynghor di i'w gwneuthur hwynt." Nerth a chadernid yr Hollalluog Dduw, yn gweithredu ac yn dwyn oddiamgylch bob peth a amcanodd ac a fwriadodd efe; Act. 4. 30. "Trwy estyn o honot dy law i iachau." Salm 118. 16. Dialedd Duw yn

goddiweddyd ac yn syrthio ar annuwiolion y ddaear; Barn. 2. 15. "I ba le bynnag yr aethant, llaw yr Arglwydd oedd er drwg yn eu herbyn." Ffafr neillduol yr Arglwydd tuag at ryw un neu gilydd; Luc 1. 66. "A llaw yr Arglwydd oedd gydag ef." Yspryd a dawn prophwydoliaeth; Ezec. 1. 3. "A llaw yr Arglwydd oedd arno ef." Diogelwch yr Arglwydd tuag at y rhai a'i hofnant ef." Salm 31. 5. "I'th law di y gorchymmynaf fy yspryd."

Llen. Cnawd neu gorph yr Arglwydd Iesu Grist; Heb. 10. 20. "Ar hyd ffordd newydd a bywiol, yr hon a gyssegrodd efe i ni trwy'r llen, sef ei gnawd ef."

Llestr pridd. Corph brau a gwael dyn; 2 Cor. 4. 7. "Y mae gennym ni y trysor hwn mewn llestri pridd."

Lleuad. Gwagedd pob peth daearol, y rhai ydynt yn agored i gyfnewidioldeb, megis cyfoeth, anrhydedd, &c. Dat. 12. 1. "A'r lleuad dan ei thraed." Y byd wedi cael ei ddiystyru gan yr eglwys apostolaidd gyntefig, oblegid nid ystyriai y prif Gristionogion ddim yn werth eu sylw ond anchwiliadwy oludoedd y Cyfryngwr mawr. Arwydda y lleuad yn yr ymadrodd a ddifynwyd gyfnewidiadau y byd presennol; a'r wraig yr eglwys, yr hon sydd yn llywodraethu y byd, ac nid y byd yr eglwys.

Llew. Yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn a elwir yn Llew oblegid ei nerth mawr; Dat. 5. 5. "Y Llew o lwyth Judah." Brenin neu dywysog cadarn i lywodraethu dros eraill; Gen. 49. 9. "Cenaw llew wyt ti Judah." Pob dyn duwiol oblegid ei hyfdra; Diar. 28. 1. "Y cyfiawn sydd hy megis llew." Satan, neu y diafol, oblegid ei ffyrnigrwydd mawr a'i greulondeb anghydmarol; 1 Pedr 5. 8. "Y mae eich gwrthwynebwr diafol, megis llew rhuadwy, yn rhodio oddiamgylch, gan geisio y neb a allo ei lyngcu." Gormeswyr a dynion creulon; 2 Tim. 4. 17. "Ac mi a waredwyd o enau y llew." Rhyw beryglon mawr a dybir, er mwyn cael esgus rhag gwneuthur dyledswydd neillduol; Diar. 22. 13. "Medd y diog, Y mae llew allan; fo'm lleddir yng nghanol yr heolydd."

Llewpard. Gelyn cyflym, galluog, a gwangcus; Dan. 7. 6. "Wedi hyn yr edrychais, ac wele un arall megis llewpard, ac iddo bedair aden ar ei gefn." Y llewpard hwn ydoedd Alecsander y buddugoliaethwr, yr hwn a arddangoswyd yn y llewpard, ym muandra ei fuddugoliaethau ar y Cenhedloedd. Dynion creulon ac annhrugarog, y rhai ni ddangosant dosturi ac ni wnant drugaredd; Esay 11. 6. "A'r blaidd a drig gyda'r oen, a'r llewpard a orwedd gyda'r mynn."

Llwch. Creadur gwan a gwael; Gen. 18. 27. "Wele, yn awr dechreuais lefaru wrth fy Arglwydd, a mi yn llwch ac yn lludw." Sefyllfa isel a thlawd; Salm 113. 7. "Efe sydd yn codi'r tlawd o'r llwch, ac yn dyrchafu yr anghenus o'r dommen." Angeu, neu sefyllfa y meirwon; Gen. 3. 19. "Canys pridd wyt ti, ac i'r pridd y dychweli." Hiliogaeth anghyfrifadwy; Num. 23. 10. "Pwy a rif lwch Jacob?" Mat. 10. 14. "Ysgydwch y llwch oddiwrth eich traed." Arwyddai hyn pa mor ysgymmun ydoedd y rhai hynny a wrthodent gennadwri heddwch, yr hon a gyhoeddid iddynt gan apostolion Mab Duw. Rhoddi llwch ar y pen; arwyddai ofid a blinder mawr oblegid rhyw bechod neillduol neu farnedigaeth drom

oddiwrth yr Arglwydd. Byddai galarwyr yn arferol o wneuthur hyn, er dangos eu gofid mawr.

Llyfr. Cydwybod dyn, neu ei wybodaeth o'i weithredoedd da a drwg; Dat. 20. 12. "A'r llyfrau a agorwyd." Rhagluniaeth Duw, neu ei wybodaeth o bob peth a gymmerai le ar y ddaear; Salm 139. 16. "Dy lygaid a welsant fy anelwig ddefnydd; ac yn dy lyfr di yr ysgrifenwyd hwynt oll, y dydd y lluniwyd hwynt, pan nad oedd yr un o honynt." Heb. 9. 19. "Ac a'i taenellodd ar y llyfr a'r bobl oll." Llyfr y gyfraith a phobl Israel, er dangos na ellid cyflawni y gyfraith, na gwaredu y bobl oddiwrth eu pechodau, ond trwy yr Arglwydd Iesu Grist. Llyfr y bywyd; arfaeth y Duw mawr, a'i ragwybodaeth o'r rhai hynny oll a gedwir i fywyd tragywyddol.

Llygad. Gwybodaeth yr Arglwydd o bob peth; Diar. 15. 3 "Ym mhob lle y mae llygaid yr Arglwydd, yn canfod y drygionus a'r daionus." Rhagluniaeth wyliadwrus a thrugarog Duw; Salm 34. 15. "Llygaid yr Arglwydd sydd ar y cyfiawn." Pawb sydd yn anwyl gan yr Arglwydd, sef ei holl blant a rodiant o fewn terfynau ei lwybrau sanctaidd; Zech. 2. 8. "Canys a gyffyrddo â chwi, sydd yn cyffwrdd â chanwyll ei lygad ef." Holl-bresennoldeb Duw, o herwydd y mae ei lygaid yn cynniwair trwy yr holl ddaear.

Manna. Yr Arglwydd Iesu Grist, yr hwn ydyw gwledd yr efengyl, ar yr hwn y mae holl deulu dyn yn gwledda tra yn y fuchedd hon, ac ar yr hwn y gwleddant yn y nefoedd byth; Dat. 2. 17. "I'r hwn sydd yn gorchfygu, y rhoddaf iddo fwytta o'r manna cuddiedig." Y mae Crist yn guddiedig, ond fel y mae yn cael ei ddatguddio yn ol gras y nefoedd

Medelwyr. Angylion Duw; Mat. 13. 30. "Ac yn amser y cynhauaf y dywedaf wrth y medelwyr."

Menyw. Yr eglwys weledig ar y ddaear; Dat. 12. 1. "Gwraig wedi ei gwisgo â'r haul." Y Pab, ynghyd â holl swyddogion eglwys Rhufain, y rhai ydynt yn ffieidd-dra creadigaeth Duw; Dat. 17. 3. "Ac mi a welais wraig yn eistedd ar fwystfil o liw ysgarlad." Gwendid a diffyg gwroldeb; Esay 19. 16. "Y dydd hwnnw y bydd yr Aipht fel gwragedd; canys hi a ddychryna, ac a ofna rhag ysgydwad llaw Arglwydd y lluoedd." Eilunod y Cenhedloedd, a delw-addoliaeth; Dat. 14. 14. "Y rhai hyn yw y rhai ni halogwyd â gwragedd:" hynny ydyw, ni halogwyd drwy blygu ger bron yr eilunod, na bod mewn cymmundeb â delw-addolwyr.

Mieri. Gweithredoedd drygionus a maleisus, y rhai sydd ffiaidd ac anghymmeradwy ger bron Duw; Esay 27. 4. "Pwy a osodai ddrain a mieri yn fy erbyn i?" Yr Assyriaid, y rhai a fflinent ac a bigent yr Israeliaid yn dost; Esay 10. 17. "Ac a ysa ei ddrain a'i fieri mewn un dydd." Gormod gofal a chariad at y byd a'i wagedd, yr hyn sydd yn rhwystro cynnydd duwioldeb, ac yn attal ffrwythau cyfiawnder a sancteiddrwydd; Mat. 13. 7. "A pheth arall a syrthiodd ym mhlith y drain; a'r drain a godasant, ac a'u tagasant hwy."

Milwr. Rhyfelwr ym myddin yr Arglwydd Iesu Grist, yn rhyfela yn ysprydol yn erbyn satan a phechod; 2 Tim. 2. 3, 4. "Tydi gan hynny goddef gystudd, megis milwr da i Iesu Grist. Nid yw neb a'r sydd yn milwrio, yn ymrwystro â negeseuau y bywyd hwn."

MOCH. Pechaduriaid gwrthnysig, a watwarant gynghorion geiriau Duw, ynghyd â phob peth sanctaidd a chyssegredig; Mat. 7. 6. "Ac na theflwch eich gemmau o flaen y moch."

MOELNI. Dinystr a dymchweliad gelynion yr Arglwydd, pan ymwelo efe â hwynt yn ei farnedigaethau; Jer. 47. 5. "Moelni a ddaeth ar Gaza."

MÔR. Y byd presennol, yr hwn sydd yn anwadal ac yn aflonydd fel y môr; Dat. 21. 1. "A'r môr nid oedd mwyach." Lliosogrwydd y Cenhedloedd, a ddychwelwyd neu a ddychwelir at yr Arglwydd Iesu Grist; Esay 60. 5. "Am droi attat liosogrwydd y môr, golud y Cenhedloedd a ddaw i ti." Byddin liosog; Jer. 51. 42. "Y môr a ddaeth i fynu ar Babilon: hi a orchuddiwyd âg amlder ei donnau ef." Dyn creulon a niweidiol; Job 7. 12. "Ai môr ydwyf, neu forfil, gan dy fod yn gosod cadwriaeth arnaf?" Allan o olwg a choffadwriaeth; Mica 7. 19. "A thi a defli ein holl bechodau i ddyfnderoedd y môr." Cynhyrfiadau mawrion ar y ddaear; Dan. 7. 2. "Ac wele bedwar gwynt y nefoedd yn ymryson ar y môr mawr." Môr o wydr wedi ei gymmysgu â thân; yr iechydwriaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist, yr hon sydd yn gyflawn ac yn annherfynol, ac yn loyw fel y grisial.

MUR. Y ddeddf seremoniol, yr hon ydoedd yn wahaniaeth rhwng yr Iuddewon a Chenhedloedd, ac a barhaodd hyd oni ddiddymwyd yr hen oruchwyliaeth gan yr Arglwydd Iesu Grist; Eph. 2. 14. "Ac a ddattododd ganolfur y gwahaniaeth oedd rhyngom ni." Cadernid a diogelwch eglwys y Duw byw; "Ac mi a fyddaf yn fur o dân oddi amgylch iddi." Esay 26. 1. "Dinas gadarn sydd i ni; Duw a esyd iachawdwriaeth yn gaerau ac yn rhagfur."

MYNYDD, MYNYDDOEDD. Mawrion a llywodraethwyr y byd; Salm 72. 3. "Y mynyddoedd a ddygant heddwch, a'r bryniau, trwy gyfiawnder." Gormeswyr beilchion a thrawsion; Job 9. 5. "Yr hwn sydd yn symmud mynyddoedd ac heb wybod iddynt: yr hwn sydd yn eu dymchwelyd yn ei ddigofaint." Yr eglwys weledig ar y ddaear; Esay 2. 3. "Deuwch, ac esgynwn i fynydd yr Arglwydd, i dŷ Duw Jacob." Y rhwystrau sydd o flaen ymledaniad yr efengyl; Esay 40. 4. "Pob pant a gyfodir, a phob mynydd a bryn a ostyngir." Mynydd y gynnulleidfa; Sïon, lle yr ymgynnullai y llwythau i addoli Duw y lluoedd. Mynydd mawr yn llosgi gan dân; gormeswyr beilchion, a thywysogion trahaus, yn gwreichioni mewn llid at eglwys yr Arglwydd Iesu Grist. Mynydd Duw; Horeb, lle yr ymddangosodd Duw i Moses.

NEFOEDD. Gartrefle yr angylion ac ysprydoedd y cyfiawnion wedi eu perffeithio; Act. 3. 21. "Yr hwn sydd raid i'r nef ei dderbyn." Yr eglwys weledig ar y ddaear; Dat. 12. 7. "A rhyfel mawr a welwyd yn y nef." Yr holl fodau wybrenol yn yr uchelderau; Salm 19. 1. "Y nefoedd sydd yn datguddio gogoniant Duw." Yr awyr sydd uwch ein pennau; Mat. 9. 26. "Adar y nefoedd." Uchder mawr; Deut. 1. 28. "Dinasoedd mawrion a chaerog hyd y nefoedd." Nefoedd o bres: y gwlaw yn cael ei attal rhag dyfrhau y ddaear er ei ffrwythloni. Llu y nefoedd: pob creaduriaid nefol.

NEWYN. Diffyg bara y nefoedd, yr hwn ydyw gair yr Arglwydd. Amos 8. 11. "Wele, y mae y dyddiau yn dyfod, medd yr Arglwydd

Dduw, yr anfonaf newyn i'r tir, nid newyn am fara, ac nid syched am ddwfr, ond am wrando geiriau yr Arglwydd."

Nifer. Nifer neillduol. 2 Sam 2. 15. Ychydig nifer, megis dyddiau. Num. 9. 20. Blynyddoedd. Job 16. 22. &c. Rhifedi dyn ydyw, rhifedi ag y gall dyn ei gael allan, neu rifedi rhyw ddyn neillduol, a rhoddi ffigurau ar gyfer y llythyrenau. Dat. 13. 18. "Yma y mae doethineb. Yr hwn sydd ganddo ddeall, bwried rifedi y bwystfil; canys rhifedi dyn ydyw; a'i rifedi ef yw, Chwe' chant a thrugain a chwech." Penderfynir gan ddysgedigion mai yr enwau Lladin a Rhufain a olygir wrth y rhifedi dyn yn yr adnod a grybwyllwyd. Atteba y geiriau *Romiit, Romanus,* a *Lateinos,* i'r rhifedi 666.

| | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|
| ר | 200 | ר | 200 | Λ | 30 |
| ו | 6 | מ | 40 | α | 1 |
| | | | | τ | 300 |
| מ | 40 | ע | 70 | ε | 5 |
| י | 10 | נ | 50 | ι | 10 |
| | | | | ν | 50 |
| י | 10 | ו | 6 | ο | 70 |
| ת | 400 | ש | 300 | ς | 200 |
| | 666 | | 666 | | 666 |

Rhifedi y bwystfil ydyw hwn, ac nid anghrist, enw gwladol, yn arwyddoccau y lle y dechreuai y Pab deyrnasu. Barnai Irenæus a'r hynafiaid mai Lateinos yn ddiau ydoedd yr enw, yr hyn a brofai mai Rhufeiniad, neu un o'r eglwys Ladinaidd fyddai y Pab. Bu Irenæus byw yn agos i'r oes apostolaidd, gwelodd Polycarp, a siaradodd âg ef, ac yr oedd Polycarp yn ddisgybl i'r Apostol Ioan, yr hwn a ysgrifenodd lyfr y Datguddiad; a dywedai Irenæus mai yr enw Lateinos a fernid yn ei amser ef, a chyn ei amser ef, wrth enw y bwystfil. Ei eiriau ydynt, "*(Lateinos) nomen sexcentorum sexaginta sex numerum continet.*" Yn awr, y Pab ydyw pen yr eglwys Ladinaidd, yn yr iaith y dygir y gwasanaeth crefyddol ym mlaen, ac ystyria y Pabyddion y iaith hon uwchlaw holl ieithoedd y byd.

Noeth. Bod heb yr Arglwydd Iesu Grist a'i gyfiawnder ef. Dat. 3. 18. "A dillad gwynion, fel y'th wisger, ac fel nad ymddangoso gwarth dy noethder di."

Nos. Amser anwybodaeth ac anghrediniaeth. Rhuf. 13. 12. "Y nos a gerddodd ym mhell." Amser adfyd. Esay 21. 12. "Dywedodd y gwyliedydd, Daeth y bore a'r nos hefyd." Yr Hen Destament mewn cydmariaeth i'r Testament Newydd. Rhuf. 13. 12. "Y nos a gerddodd ym mhell, a'r dydd a neshaodd." "Y mae'r nos yn dyfod." Cafodd yr Idumeaid fore llwyddiannus pan yr ysgwydasant ymaith iau y brenin Joram, ond yr oedd eu hadfyd a'u trallod yn dyfod drachefn drwy Sennacherib, brenin Assyria, fel y nos ddu a thywell. Bod o'r nos; bod yn dywyll ac yn anwybodus ym mhethau Duw, a'r iechydwriaeth a gafwyd drwy Gyfryngwr.

Oen. Cristion cywir, wedi ei gynnysgaeddu âg yspryd gostyngedig. Esay 11. 6. "A'r blaidd a'r oen a drigant ynghyd." Ioan 21. 15. "Portha fy ŵyn." Yr Arglwydd Iesu Grist. Dat. 21. 23. "A'i goleuni hi ydyw yr Oen."

OLEWYDD. Olewydden wyllt. Dyn yn ei gyflwr natur. Rhuf. 11. 17. "A thydi yn olewydden wyllt a impiwyd i mewn yn eu plith hwy." Eglwys y Duw byw ar y ddaear. Rhuf. 11. 24. "A'th impio yn erbyn naturiaeth mewn gwir olewydden."

PALMWYDD. Arwyddion o lawenydd a hyfrydwch wedi buddugoliaeth, ac ar ol bod mewn gofidiau a blinderau mawrion. Dat. 7. 9. "Wedi eu gwisgo a gynau gwynion, a phalmwydd yn eu dwylaw."

PARADWYS. Sefyllfa anweledig y rhai gwynfydedig yn y nefoedd. Dat. 2. 7. "I'r hwn sydd yn gorchfygu y rhoddaf iddo fwytta o bren y bywyd, yr hwn sydd yng nghanol paradwys Duw."

PASG. Yr Arglwydd Iesu Grist. 1 Cor. 5. 7. "Canys Crist ein pasg ni a aberthwyd drosom."

PEN. Y llywodraeth, neu y llywodraethwyr. Esay 1. 5. "Y pen oll sydd yn glwyfus." Tywysogion a swyddwyr gwladol. Mica 3. 1, 9, 11. "Gwrandewch attolwg bennaethiaid Jacob, "Yr Arglwydd Iesu Grist ydyw pen yr eglwys."

PRENIAU. Dynion yn gyffredinol, y rhai ffrwythlon ac anffrwythlon. Mat. 3. 10. "Ac yr awr hon hefyd y mae'r fwyall wedi ei gosod ar wreiddyn y preniau; pob pren gan hynny yr hwn nid yw yn dwyn ffrwyth da, a dorrir i lawr, ac a deflir yn tân." Boneddigion unrhyw deyrnas. Esay 10. 18. "Gogoniant ei goed hefyd, a'i ddoldir, a ysa efe."

PRES. Cadernid a chryfdwr. Salm 107. 16. "Canys efe a dorodd y pyrth pres."

PRIODAS-FERCH. Yr eglwys filwrus ar y ddaear, a'r eglwys orfoleddus yn y nef. Gelwir hi yn briodas-ferch oblegid ei hundeb a'i chyssylltiad â Mab Duw. Dat. 21. 9. "Tyred, mi a ddangosaf i ti y Briodas-ferch, gwraig yr Oen."

PYRTH. Llywodraeth ac arglwyddiaeth. Deut. 5. 14. "Na'th ddieithr-ddyn yr hwn fyddo o fewn dy byrth." Cadernid a chynghor. Mat. 16. 18. "A phyrth uffern nis gorchfygant hi." Ymarweddiad duwiol yn y byd hwn. Mat. 7. 13. "Ewch i mewn trwy'r porth cyfyng." Pyrth angeu. Peryglon mawrion, a chyfyngderau, yn bygwth angeu. Salm 9. 13. "Gwel fy mlinder gan fy nghaseion, fy nyrchafydd o byrth angeu." Pyrth uffern. Galluoedd a chynllwynion y tywyllwch, yn eu hymosodiadau yn erbyn plant yr Arglwydd yn y byd a'r bywyd presennol.

SAETHAU. Blinderau mawrion, y rhai fel saethau ydynt dra llymion, ac yn achosion o wasgfeuon i deulu Duw, y rhai a adewir i'w goddiweddyd er profi eu ffydd a'u hamynedd. Job 6. 4. "O herwydd y mae saethau yr Hollalluog ynof." Salm 38. 2. "Canys y mae dy saethau yng nglyn ynof." Cyd-weithrediad effeithiol yr efengyl yn trywanu cydwybodau dynion, ac yn eu dwyn i wir deimlad oblegid eu pechodau. Salm 45. 5. "O herwydd dy saethau llymion yn glynu yng nghalon gelynion y Brenin." Tafodau maleisus dynion annuwiol. Salm 120. 4. "Llymion saethau cawr, ynghyd â marwor meryw." Barnedigaethau trymion Duw yn cael eu tywallt er dinystr yr annuwiolion; Salm 64. 7. "Eithr Duw a'u saetha hwynt; â saeth disymmwth yr archollir hwynt."

SARPH. Satan, oblegid ei gyfrwysdra digyffelyb; Dat. 12. 9.

"Yr hen sarph." Dynion drygionus ac annuwiol; Mat. 23. 33. "Oh seirph, hiliogaeth gwiberod." Mat. 10. 16. "Byddwch chwithau gall fel y seirph." 1. Y mae y sarph yn bwrw ei chroen yn flynyddol, a dylai y Cristion ddiosg ei hen ddyn yn feunyddiol. 2. Dywedir bod y sarph yn adnewyddu ei golygon, felly y dylai y Cristion gryfhau yn ei ffydd. 3. Cilia y sarph rhag dynion, am y gŵyr eu bod yn elynion iddi; felly y dylai y Cristion ymgadw rhag ei holl gaseion. 4. Y mae y sarph yn ofalus iawn am ddiogelu ei phen, ac felly y dylai y Cristion fod yn ofalus iawn am ogoniant ei Brynwr a'i Ben. 5. Attalia ei glustiau rhag clywed llais y rhiniwr, felly y dylai y Cristion wneuthur rhag gwrando ar unrhyw ddesiadau â thuedd ynddynt i'w dynnu oddiar lwybr ei ddyledswydd.

Satan. Gelyn, gwrthwynebwr. Un o enwau y diafol. Unrhyw berson a wrthwyneba arall yn llwybr rhinwedd a duwioldeb; Mat. 16. 23. "Dos yn fy ol i, satan."

Saint. Rhai sanctaidd, wedi eu hadnewyddu gan yr Ysbryd Glân. Dynion â'u calonnau wedi eu puro, ac Yspryd y Duw byw yn preswylio ynddynt; Salm 16. 3. "Ond i'r saint sydd ar y ddaear." Yr angylion sanctaidd, sef yr ysprydion etholedig, y rhai sydd ger bron Duw yn y nef; Deut. 33. 2. "Ac efe a ddaeth gyda myrddiwn o'i saint." Cynnulleidfa o dduwiolion yn parchu deddfau Duw, ac yn rhodio mewn ufudd-dod i reolau Mab Duw; Phil. 1. 1. "At yr holl saint yng Nghrist Iesu."

Tabernacl. Natur ddynol yr Arglwydd Iesu Grist, yr hon yw y tabernacl anllygredig, a wnaed nid â dwylaw dyn, ond trwy nerth yr Yspryd Glân; Heb. 9. 11. "Eithr Crist, wedi dyfod yn Archoffeiriad y daionus bethau a fyddent, drwy dabernacl mwy a pherffeithiach, nid o waith llaw, hynny yw, nid o'r adeiladaeth yma." Ein cyrph naturiol ni, yn y rhai y preswylia ein heneidiau ni am dymmor byr; 2 Cor. 5. 1. "Canys os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir." Yr eglwys weledig ar y ddaear; Salm 15. 1. "Arglwydd, pwy a drig yn dy babell?"

Talcen. Proffes gyhoeddus ger bron dynion. Yn yr amseroedd gynt yr oedd caethion yn cael eu nodi yn eu talcenau â nôd eu meistr, fel y byddid yn eu hadnabod ym mha le bynag y byddent; ac oblegid yr arferiad hon y crybwyllir am selio yn eu talcenau; Dat. 7. 3. a 13. 16.

Taranau. Llais Iôr y nefoedd. Salm 29. 3. "Llais yr Arglwydd sydd ar y dyfroedd; Duw y gogoniant a darana."

Teirw. Dynion drygionus a chreulon. Salm 22. 12. "Teirw lawer a'm cylchynasant; gwrdd-deirw Basan a'm hamgylchynasant."

Tonnau. Byddinoedd y Cenhedloedd yn ymosod yn erbyn pobl yr Arglwydd a gyffelybir i donnau y môr. Judas 13. "Tonnau cynddeiriog y môr."

Tywyllwch. Pechod ac anwybodaeth. Rhuf. 13. 12. "Am hynny bwriwn oddi wrthym weithredoedd y tywyllwch." Blinder ac adfyd. Jer. 13. 16. "Rhoddwch ogoniant i'r Arglwydd eich Duw, cyn iddo ef ddwyn tywyllwch." Tywyllwch yr haul, a'r lleuad, a'r ser. Arwydda hyn wendid y llywodraeth. Esay 13. 10. Ezec. 32. 7. Joel 2. 10, 31, a 3. 15.

Ty. Eglwys yr Arglwydd Iesu. 1 Tim. 3. 15. "Yn nhŷ Dduw, yr hwn yw eglwys y Duw byw." Corph dyn. 2 Cor. 5. 1. "Os ein daearol dŷ o'r babell hon a ddattodir."

Tywysog. Crist Iesu yr Arglwydd. Esay 9. 6. "Tywysog tangnefedd." Tywysog llywodraeth yr awyr; pennaeth y cythreuliaid, yr hwn a elwir wrth yr enw crybwylledig ym mhlith y Cenhedloedd.

Uffern. Y lle pennodedig i boeni yr annuwiolion. Luc 16. 23. "Ac yn uffern efe a gododd ei olwg." Blinderau mawrion ac anghyffelyb. Salm 18. 5. "Gofidiau uffern a'm cylchynasant." Y bedd, neu sefyllfa y meirwon. Salm 16. 10. "Ni adewi fy enaid yn uffern." Bol y morfil, lle y bu Jonah. Jonah 2. 2. "O fol uffern y gwaeddais."

Us. Dynion diwerth. Salm 1. 4. "Nid felly y bydd yr annuwiol, ond fel mân us, yr hwn a chwal y gwynt ymaith." Mat. 3. 12. "Yr us a lysg efe â thân anniffoddadwy."

Wyneb. Hanfod tragywyddol ac anweledig y Duw byw. Ecsod. 33. 23. "Ond ni welir fy wyneb." Ewyllys da Duw tuag at ddyn. Dan. 9. 17. "A llewyrcha dy wyneb ar dy gyssegr anrheithiedig." Wyneb yn ei berthynas â Duw a arwydda ei anfoddlonrwydd tuag at yr annuwiolion. Salm 34. 17. "Wyneb yr Arglwydd sydd yn erbyn y rhai drwg." Presennoldeb Duw. Gen. 4. 14. "Ac o'th wydd di i'm cuddir." Yr wybodaeth gyflawn a pherffaith a ga y saint o Dduw. 1 Cor. 13. 12. "Canys gweled yr ydym yr awr hon trwy ddrych, mewn dammeg; ond yna wyneb yn wyneb." Arwyddoca wyneb Crist ei ymddangosiad brawychus yn nydd mawr ac ofnadwy y farn. Dat. 20. 11. "Oddiwrth wyneb yr hwn y ffodd y ddaear a'r nef." Wyneb yn wyneb; cyfeillgarwch ac ymddiddan rhwng dau. Deut. 5. 4. "Wyneb yn wyneb yr ymddiddanodd yr Arglwydd â chwi yn y mynydd, o ganol y tân."

Ysgrythyrau. Y gair sanctaidd, yr hwn o roddwyd drwy ysprydoliaeth Duw. 2 Tim. 3. 16, 17. "Yr holl ysgrythyr sydd wedi ei roddi gan ysprydoliaeth Duw." Llyfr neu lyfrau neillduol o'r ysgrythyrau, megis llyfrau Moses. Gal. 3. 22.

Yspryd. Gwynt, neu awyr, neu anadliad. Ioan 3. 8. "Y mae y gwynt (yspryd) yn chwythu lle y mynno." Holl hanfod y Duwdod. Ioan 4. 24. "Yspryd yw Duw." Doniau a grasusau yr Yspryd Glân. Luc 1. 15. "Yn llawn o'r Yspryd." Gwaith yr Yspryd, megis sancteiddrwydd, &c. Gal. 5. 17. "Canys y mae y cnawd yn chwennychu yn erbyn yr Yspryd." Ysgogiadau y meddwl a weithredir gan yr Yspryd. Salm 51. 10. "Ac adnewydda yspryd uniawn o'm mewn." Cynhyrfiad neillduol yr Yspryd. Mat. 22. 43. "Pa fodd gan hynny y mae Dafydd yn yr yspryd?" Yr hyn sydd yn ysprydol bur. Ioan 3. 6. "Yr hyn a aned o'r Yspryd sydd yspryd." Datguddiad o'r Yspryd. 1 Cor. 2. 12. "Ond yr Yspryd sydd o Dduw; fel y gwypom y pethau a rad-roddwyd i ni gan Dduw." Enaid, neu ran anfarwol dyn. Luc 1. 47. "Fy yspryd a lawenychodd."

# HANES Y CREADURIAID

## A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU SANCTAIDD.

## Y PEDWAR CARNOLION.

### ARTH.

Y MAE tair rhywogaeth o Eirth; sef Arth lwyd mynyddoedd yr Alps, Arth ddu Gogledd America, ac Arth gwyn Greenland; ond tebygol eu bod oll o'r un gwreiddyn, ac i'r gwahaniaeth presennol rhyngddynt gael ei achosi oblegid gwahanol ymborth, hin, ynghyd â phethau eraill. Uchder yr Arth cyffredin sydd o ddeutu dwy droedfedd a hanner, ei hyd o'r pen i'r gynffon ynghylch pedair troedfedd, a hyd y gynffon o ddeutu wyth modfedd. Y mae i'r Arth drwyn hir, llygaid a chlustiau bychain, coesau ffyrfion, a phalfau hirion a llymion. Creadur nerthol iawn ydyw, ac o ymddangosiad creulon, ond yn dra synwyrgall. Gwylia am gyfleustra i ruthro ar ei ysglyfaeth; a phan fyddo mewn natur ddrwg cyfoda ar ei draed ol, rhingciana ei ddannedd, a gwna leisiau tra dychrynllyd. Rhuthra gyda buandra ar ei ysglyfaeth, gan ymaflyd ynddo â'i balfau blaen, y rhai ydynt mor gryfion, fel y gwasgant asenau dyn yn ddrylliau; ac ystyrir cofleidiad yr Arth yn wasgfa frawychus angeu. Wedi hyn, a'i ddannedd ac â'i ewinedd, rhwyga ef yn ddrylliau, ar y rhai yr ymbortha gydag hyfrydwch mawr. Cyfanneddant gymmydd anghyfannedd; ac yn America, gwnant eu hanneddau yn gyffredin mewn hen geubrenni. Y fath ydyw anwyldeb Eirth at eu rhai bychain, fel yr ymddiffynant hwynt hyd farw; ac y maent yn fynych wedi cymmeryd eu lladd, yn hytrach na'u gadael yn eu cyfyngder. Pan grybwyllir am Eirth yn yr ysgrythyrau, dynodir hwy fel y rhai ffyrnicaf a chreulonaf o'r holl fwystfilod, a chyssylltir eu henwau gyda y barnedigaethau trymmaf a syrthiant ar ddynolryw. Swyddogion anghyfiawn a didosturi at y tlodion a gydmerir i Eirth, am y dangosant yr un tueddiadau a'r creaduriaid creulon hyn; Diar. 28. 15. "Fel y llew rhuadus, a'r arth wangcus, yw llywydd annuwiol i bobl dlodion." Gosodir natur ymosodiad yr Arth ar ei ysglyfaeth allan mewn modd neillduol gan y prophwyd Amos; oblegid yn gymmaint ag mai bugail ydoedd wrth ei alwedigaeth, gwyddai yn dda am y creaduriaid hyn; Amos 5. 18, 19. "Gwae y neb sydd yn dymuno dydd yr Arglwydd: beth yw hwnnw i chwi? tywyllwch, ac nid goleuni, yw dydd yr Arglwydd. Megis pe ffoai gwr rhag llew, ac arth yn cyfarfod âg ef." Ond pan yspeilir yr Arth fenyw o'i rhai bychain, y mae yn ymgreuloni i gynddaredd; ac at hyn y cyfeiria y prophwyd Hosea pan yn darlunio dydd dial Duw; Hosea

13. 8. "Cyfarfyddaf â hwynt fel arth wedi colli ei chenawon." Ni ellir, mewn unrhyw hanes, cael engraifft well o greulondeb yr Arth, nag a adroddir yn 2 Bren. 2. 23, 24. pryd y daeth dwy arth allan o'r goedwig, ac a ddrylliasant ddau blentyn a deugain, y rhai a watwarasent Eliseus gwr Duw. Cydnabydda Dafydd mai drwy nerth y Goruchaf y gorchfygodd efe y llew a'r arth, ac y gallodd ddwyn yr ysglyfaeth oddi arnynt.

## ASYN.

Nid rhaid gwneuthur darluniad neillduol o'r Asyn, oblegid y mae yn greadur tra adnabyddus. Creadur caled iawn ydyw, ac yn ol ei faintioli, ymgynnalia o dan fwy o lwyth nag un creadur arall, a dywedir ei fod yn llai agored i glefydau na'r ceffyl. Ond o bob creadur gwasanaethgar i ddyn, yr Asyn yn gyffredinol sydd yn cael y triniaethau calettaf a chwerwaf; a hynny, medd naturiaethwyr, ydyw yr achos fod Asynod y wlad hon yn fwy anhardd nag Asynod gwledydd eraill. Yn heolydd Cairo, yn yr Aipht, y mae niferi o Asynod wedi eu cyfrwyo yn barod i'w llogi i'r neb a fyddo yn eu dewis, er teithio oddi amgylch y ddinas; a marchogir hwy yn gyffredin yn y dwyrain, lle y maent yn fwy eu maintioli ac yn harddach nag yn y deyrnas hon; ac ystyrir hwynt yn y gwledydd crybwylledig yn greaduriaid tra gwerthfawr. Jacob, wrth fendithio ei feibion, a arddangosai gyflwr a sefyllfa llwyth Issachar, oddiwrth arferiad yr Asyn; Gen. 49. 14. "Issachar sydd asyn asgyrnog, yn gorwedd rhwng dau bwn." Arwyddai hyn y byddai y llwyth dan sylw yn gadarn ac yn weithgar, yn addas i lafur, ac yn dueddol i drin y ddaear. Ymddengys bod Asynod yn dra gwasanaethgar yng ngwledydd y dwyrain, oblegid dywedir fod gan Job cyn ei adfyd bum' cant o asynod, a bod ganddo fil pan adferwyd ef i'w lwyddiant. Job 1. 3. a 43. 12. Ar gefnau Asynod y cludai meibion Jacob ŷd o'r Aipht, a defnyddid hwynt i drin ac aredig y tir. Esay 32. 20. "Gwyn eich byd y rhai a hauwch gerllaw pob dyfroedd, y rhai a yrrwch draed yr ych a'r asyn yno." Ystyrid ef yn drosedd mawr yn y dwyrain i gymmeryd Asyn y dyn tlawd oddiarno, oblegid bod y creadur dan sylw yn cael ei ystyried fel ffon ei gynnaliaeth. Tebygol mai at hyn y cyfeirir yn Job 24. 3. "Y maent yn gyrru asynod yr amddifad ymaith." Er mor ddisynwyr yr ystyrir y creadur hwn, y mae yn gallach mewn rhai ystyriaethau na dyn; Esay 1. 3. "Yr ych a edwyn ei feddiannydd, a'r asyn breseb ei berchennog: ond Israel nid edwyn, fy mhobl ni ddeall." Y pendefigion mwyaf yn yr oesau gynt a farchogent ar asynod, megis Abraham a Moses. Gen. 22. 3. Ecsod. 4. 20. Teuluoedd Abdon y barnwr, a'r brenin Dafydd a farchogent ar asynod. Barn. 12. 14. Ar Asynod hefyd y marchogai y barnwyr; Barn. 5. 9, 10. "Fy nghalon sydd tuag at ddeddfwyr Israel, y rhai fu ewyllysgar ym mhlith y bobl. Bendithiwch yr Arglwydd. Y rhai sy'n marchogaeth ar asenod gwynion, y rhai sy'n eistedd mewn barn, ac yn rhodio ar hyd y ffordd, lleferwch." Ar yr Asyn y marchogodd ein Harglwydd glân tua Jerusalem, pan lefai a phan waeddai y bobl, Hosanna, mewn gorfoledd wrth weled Brenin Sïon yn wynebu tua'r ddinas sanctaidd.

## ASYN GWYLLT.

Y CREADUR hwn ydyw yr hynottaf ym mhlith yr holl greaduriaid am ei wylltineb a'i fuandra rhyfeddol. Ei uchder sydd o dair troedfedd a hanner i bedair troedfedd, a'i liw yn gyffredin sydd lwyd. Ei ben sydd yn ymddangos yn fawr, ac y mae ei wddf yn cammu ychydig, a'i fwng sydd fyr a thywyll. Ei lygaid ydynt neillduol o heirdd, ei gynffon yn hir, a'i draed yn feinion, ond yn brydferth iawn. Y mae clybod, golygon, ac arogliad yr Asyn gwyllt yn fywiog iawn: ei gariad at ryddid sydd anorchfygol, ac nis gwna ymostwng i unrhyw ddyn heb arfer yr ormes fwyaf tuag atto. Efe a ymgadwa rhag ymweled â gwlad a drigiennir gan ddynion, ac ymhyfryda yn anghyfannedd-dra yr anialwch, lle y mwynha ryddid perffaith. Pan ymosodir arno neu y gwneir cynnyg er ei ddal, â ymaith gyda y fath fuandra, fel y mae yn debyccach i greadur yn ehedeg nag i un yn rhedeg. Pan ydoedd Syr Robert Ker Porter ar ei deithiau yn y dwyrain, ac yn agos i'r fan lle y safai Babilon gynt, digwyddodd iddo weled Asyn gwyllt; ac aeth y milgi oedd gyda Syr Robert ar ei ol. Wedi rhedeg am ryw yspaid, safodd, a chafodd y teithiwr fyned o fewn ychydig lathenni iddo: yna aeth ymaith drachefn, gan ymddangos ei fod yn ymhyfrydu yn y gorchwyl o gael ei hela. Crybwyllir yn yr ysgrythyrau am yr Asyn gwyllt fel creadur neillduol am ryddid, ac yn dangos mawr allu Duw; Job 39. 5—8. "Pwy a ollyngodd yr asyn gwyllt yn rhydd? neu pwy a ddattododd rwymau yr asyn gwyllt? Yr hwn y gosodais yr anialwch yn dŷ iddo, a'r diffaethwch yn drigfa iddo. Efe a chwardd am ben lliaws tref: ni wrendy ar lais y geilwad. Cilfachau'r mynyddoedd yw ei borfa ef, ac efe a chwilia am bob glaswelltyn." O dan yr haul poeth, y mae y creaduriaid hyn weithiau yn dioddef caledi mawr, heb na phorfa na dwfr. Yn yr amgylchiadau hyn dringant i ben y creigiau, er ymoeri o'r dwymyn fawr yn eu gwaed; safant â'u pennau i'r lan, gan agoryd eu safnau a sugno yr awyr i ddisychedu eu hunain: at hyn y cyfeirir yn Jer. 14. 6. "A'r asynod gwylltion a safasant yn y lleoedd uchel; yfasant wynt fel dreigiau: eu llygaid hwy a ballasant, am nad oedd gwellt." Cymmerir achlysur oddiwrth yr Asen wyllt i ddarlunio dyn yn ei gyflwr natur; Job 11. 12. "Dyn gwag er hynny a gymmer arno fod yn ddoeth; er geni dyn fel llwdn asen wyllt."

## BEHEMOTH. Edrych CAWRFIL.

## BLAIDD.

Y MAE tebygoliaeth neillduol mewn ymddangosiad rhwng y Blaidd a chi cyffredin. Uchder cyffredin y Blaidd ydyw o droedfedd a hanner i ddwy droedfedd, a'i hyd o flaen ei drwyn hyd fon ei gynffon sydd o ddwy droedfedd a hanner i dair troedfedd. Ei gynffon sydd flewog, a thua throedfedd a hanner o hyd. Ei lygaid sydd serenog, ei drwyn yn flaenfain, ei ddannedd yn llymion a hirion, ei draed yn gadarn, a'i flew yn eirwon. Y mae y Blaidd yn awyddus iawn i gig, ac arfera bob ystrywiau er ei gael. Tra fyddo

ei fol yn llawn y mae yn llonydd, ond pan fyddo yn newynog, y mae yn un o'r creaduriaid mwyaf brawychus yn y goedwig. Ymosoda gyda ffyrnigrwydd ar ei ysglyfaeth, ac ni throa yn ei ol yn wyneb arfau y gŵyr eu bod yn angheuol. O'i faintioli, y mae y Blaidd yn gryf iawn, ac yn neillduol felly yn ei ben, a gall gludo dafad ganolig ymaith yn esmwyth, a hynny gyda y fath fuandra, fel na all y bugail ei oddiweddyd, a chwn yn unig a wnant iddo ei gollwng yn rhydd. Megis y crybwyllwyd yn barod, y mae yn greadur tra ffyrnig, ac yn llawn o ddichellion, yn gyffelyb i'r llwynog. Pan ddel allan o'r goedwig, â yn gyffredin yn erbyn y gwynt, er mwyn arogli ei elynion a'i ysglyfaeth yn well; a dywedir yr arogla efe greadur o bell. Crwydra am ddiwrnodau a nosweithiau am ei ysglyfaeth, ac y mae yn cyflawnu yr ysgelerderau mwyaf pan y gallo fyned i mewn i gorlan. Y mae y fenyw yn myned gyda ei rhai bychain ynghylch pedair wythnos ar ddeg, ac yn gyffredin yn dwyn pump neu chwech ar yr un dorllwyth. Wedi iddynt ei sugno am ryw yspaid, y mae yn eu dysgu i fwytta cig drwy ei gnoi iddynt yn gyntaf. Dwg iddynt ysgyfarnogod bychain ac adar yn fyw, ac a'u lladd tra gwelont, er mwyn eu hyfforddi mewn celanedd, a'i cynnefino â gwaed. Cyfannedda y Bleiddiaid yn holl wledydd Ewrop gan mwyaf, ac y maent yn dra lliosog yn Ffraingc a Spaen, ac yn Rwssia y mae yn beryglus tramwy y ffyrdd mewn rhai parthau ganddynt. Yr oedd gwr bonheddig a'i weision yn teithio unwaith drwy Rwssia, mewn certwyn fechan; ac yn ei awydd i gyrhaeddyd rhyw bentref, rhyfygodd i fyned drwy goedwig lawn o Fleiddiaid. Yn fuan daeth y Bleiddiaid allan yn lliosog, gan ymosod yn ffyrnig ar y ddau geffyl a lusgent y certwyn. Saethwyd attynt, a chlwyfwyd llawer o honynt, ond gorfuwyd rhoddi yr ymdrech i fynu, a braidd y gallodd y gwr bonheddig a'i weision ddiengyd, a gadael y ddau geffyl yn ysglyfaeth iddynt. Yr oedd Bleiddiaid yng Nghymru, ond gosodwyd treth ar y dywysogaeth o ryw nifer o grwyn y Bleiddiaid yn flynyddol, ac felly dinystriwyd hwynt yn hollol.

Magodd M. de Buffon ddau Flaidd, ac yr oeddynt yn addfwyn a serchogaidd iawn y flwyddyn gyntaf; a phan borthid hwynt yn dda, ni chynnygent ymosod ar y gieir nac ar unrhyw greaduriaid eraill. Pan gyrhaeddasant flwyddyn a hanner oed, gorfu iddo eu sicrhau mewn cadwyn, er eu cadw rhag gwneuthur niweidiau. Gollyngwyd un o honynt yn rhydd, rhodiai ym mysg y gieir heb wneuthur y niwed lleiaf iddynt; ond er dangos pa beth a allai ei wneuthur gydag achos, cymmerodd yn ei siol un noswaith i ladd yr holl ieir; ac wedi gwneuthur y gwrhydri hwn, tybiodd mai gwell iddo wneuthur y goreu o'i ffordd, ac felly cymmerodd ei gennad heb gymmaint a diolch am ei fagwraeth.

Crybwyllir yn fynych yn yr ysgrythyrau am y Blaidd, yr hyn a ddengys ei gymmeriad mewn goleu tra eglur; darlunia Jacob lwyth Benjamin fel Blaidd yn ysglyfaethu, yr hyn a arwyddai ffyrnigrwydd y llwyth dywededig. Dyweda Jeremiah am fawrion Judah, eu bod fel Bleiddiaid yr hwyr, ac yn ol a ddywed haneswyr, y mae y Bleiddiaid yn fwy niweidiol a ffyrnig yn yr hwyr nag ar amserau eraill. Cyffelyba Sephaniah farnwyr Israel i Fleiddiaid, am eu hymddygiadau gorthrymus a gormesol. Crybwyllir hefyd am Fleidd-

iaid mewn cyferbyniad i ddefaid ac ŵyn. Arddangosir y dysgyblion gan yr Arglwydd Iesu dan y cydmariaethau o ddefaid, a'u gelynion fel Bleiddiaid dinystriol.

## CAMEL.

Y CREADUR gwasanaethgar hwn sydd enedigol o Asia ac Affrica, ac yn gyffredin o liw llwyd-oleu. Ei uchder yn ei ysgwyddau sydd o bump i chwech troedfedd, a'i hyd o chwech i wyth troedfedd. Ei draed sydd hirion a meinion, ac y mae dau godiad uchel ar ei gefn. Ei flew sydd esmwyth a gwlanog, yn hwy tua'r pen a'r gwddf nag ar rannau eraill ei gorph. Ei draed ydynt wedi eu cyfleu yn rhyfedd i deithio anialwch poethlyd. Carant deithio dros dywod, oblegid cyn gynted ag y delont o hono i dir lleidiog, braidd y gallant sefyll ar eu traed. Gallant deithio dros y tywod poeth am ddiwrnodau heb yfed dim dwfr; oblegid y mae ganddynt lestr o'r tu mewn, yr hwn a lanwant, ac ail yfant o hwn pan fyddo arnynt syched. Aroglant ddwfr tua milldir o ffordd o'r man lle byddo, ac os byddant yn sychedig prysurant tuag atto. Amynedd y Camel yn wyneb diffyg porthiant sydd nodedig, oblegid efe a deithia am ddiwrnodau heb ond ychydig iawn o ymborth. Gorweddant ar y tywod, heb ddangos yr anfoddlonrwydd lleiaf. Gall Camel mawr gludo ar ei gefn lwyth o ddeg i ddeuddeg can' pwys; a phan fyddont yn myned i gael eu llwytho, plygant eu penliniau, gan ostwng eu cyrph tua'r ddaear, ac arosant yn yr ystum honno hyd oni fyddont wedi eu llwytho, ac hyd oni orchymmynir iddynt gyfodi. Ar gefnau Camelod y cluda masnachwyr y dwyrain eu nwyfau yn gyffredin, a mintai o'r rhai hyn a wnant i fynu yr hyn a elwir *Carafan.* Ystyria yr Arabiaid y Camel fel rhodd neillduol gan y nefoedd, oblegid trwy gynnorthwyon y creaduriaid hyn y maent yn gallu diengyd oddiar ffordd eu holl elynion. Gwneir crybwylliadau mynych yn yr ysgrythyrau am y Camel fel creadur neillduol i ddwyn llwyth ar ei gefn, ac am y Dromedari fel creadur buan. Ar Gamelod y cludai yr Ismaeliaid eu nwyfau masnachol i'r Aipht. Gen. 37. 25. Pan byddo y Camelod yn gorphwyso, penliniant, nes byddo eu cyrph yn cyffwrdd â'r ddaear, fel y dywedir am was Abraham yn Gen. 24. 11. "Yr hwn a wnaeth i'r Camelod orwedd (penlinio) o'r tu allan i'r ddinas." Os bydd gan ddyn yn y dwyrain lawer o Gamelod yn ei feddiant, ystyrir ef yn dra chyfoethog; ac yr oedd gan Job nifer mawr o honynt; Job 42. 10, 12. "Canys yr oedd ganddo bedair mil ar ddeg o ddefaid, a chwech mil o gamelod." Defnyddir y creaduriaid hyn er dangos y llwyddiant mawr a ddeuai ar eglwys y Duw byw ar y ddaear; Esay 60. 6. "Lliaws y camelod a'th orchuddiant, sef cyflym gamelod Midian ac Ephah." Pan fyddai brys-negesyddion yn cael eu hanfon gan lysoedd y dwyrain, anfonid hwy ar Ddromedariaid, fel yn achos bradwriaeth Haman yn erbyn y genedl Iuddewig. Gellir barnu rhyw beth am nifer y creaduriaid hyn yn y dwyrain, oblegid gwelir yn 1 Chron. 5. 18, 21. i'r Reubeniaid, y Gadiaid, a hanner llwyth Manasseh gymmeryd deng mil a deugain o Gamelod oddiar y Midianiaid.

## CARW.

Creadur tra hardd ydyw y Carw, ac y mae yn nodedig am ei fuandra. Y mae i'r creaduriaid hyn amryw rywogaethau, ac amrywiant yn neillduol yn eu maintioli, oblegid y maent o dair i bedair troedfedd o uchder. Pen y Carw sydd fychan, ond y mae iddo gyrn mawrion, y rhai a'i gwnant yn nodedig ym mhlith y creaduriaid; ei gynffon sydd fechan, a'i goesau yn feinion, ac y mae yn fforchogi yr ewin. Syrthia ei gyrn ymaith yn flynyddol tua dechreu yr haf, ac ym mhen y tri mis bydd y cyrn newyddion wedi tyfu. Blew y Ceirw sydd lyfn, ac ar y cefn y maent o liw llwyd; ond eu torrau a'r tu fewn i'w coesau ydynt lawer gwynach. Eu llygaid ydynt grynion a disglair; y mae eu harogl yn graff, a'u clybod yn rhagorol. Y maent mor wisgi, fel y llammant tua hanner cant o droedfeddi ar un naid.

Y mae yr Antelope, fel y Carw, yn anifail ofnus, yn dra gwyliadwrus, ac yn cael ei darfu gan y twrf lleiaf; a'r munud y caffo ei ddychrynu, cyflyma ymaith gyda'r buandra mwyaf allan o olwg ei aflonyddwr.

Yr Hydd a'r Geifr Danas ydynt greaduriaid Prydeinaidd lled debyg i'r Carw. Y mae gan y Carw gyrn mawrion canghenog, a chyfrifir ei gig yn ymborth rhagorol.

Y rhan fwyaf o'r anifeiliaid o'r rhywogaeth hon ydynt dra heddychol a llonydd; ac y maent yn harddwch mawr i'r coedwigoedd lle y preswyliant. Eu hagwedd brydferth, eu hysgogiadau bywiog, ynghyd â'r cyrn ceingciog a addurnant eu penau, ydynt yn eu gwneuthur yn harddach eu hymddangosiad nag unrhyw bedwar carnolion eraill.

## CAWRFIL.

Y mae cryn amrywiaeth barn ym mhlith awduron ynghylch Behemoth yr ysgrythyrau; tybia rhai mai yr Hippopotamus a feddylir, creadur cryf, o faintioli anferthol, a gyfannedda lennydd afonydd mawrion Affrica; eraill a feddyliant mai y Rhinoceros a feddylir, yr hwn sydd un o greaduriaid anferthol Affrica; ac eraill drachefn a haerant mai y Cawrfil neu yr Elephant. Anhawdd penderfynu pa un o'r tybiadau hyn sydd gywir, ond y mae yn dra thebygol mai yr un ydyw y Cawrfil a'r Behemoth, oblegid y mae tebygolrwydd rhwng y darluniad a rydd yr ysgrythyrau o'r Behemoth, a dull y Cawrfil o fyw, ac ymborthi, yn y gwledydd hynny lle y mae yn enedigol. Y Cawrfil ydyw y creadur mwyaf ym mhlith yr holl greaduriaid yn bresennol, ac y mae yn greadur nodedig yn y greadigaeth. Gwahaniaetha y creaduriaid yn eu maintioli mewn gwahanol wledydd. Elephant yr India Ddwyreiniol, yn neillduol ynys Ceylon, ydyw y mwyaf. Ei uchder arferol, pan yn ei lawn dyfiant, sydd o ddeg i ddeuddeg troedfedd; hyd ei ben a'i gefn sydd ynghylch tair troedfedd ar ddeg, a'i gynffon o ddeutu pump troedfedd o hyd. Y mae ganddo gorph mawr iawn, o ddeutu chwech troedfedd o led, a choesau tra ffyrfion. Dywedir bod Cawrfilod Affrica yn drymmach, ond nid yn gymmaint eu huchder a rhai

India. Croen y Cawrfil sydd naturiol sych, ac mewn rhai mannau yn dyner, ac mewn mannau eraill yn galed iawn, a'i liw yn tueddu at y tywyll. Nid oes dim blew ar ei groen, ond ambell wrychyn yma ac accw, heblaw y cydyn sydd ar ei ben. Ei gefn sydd fwaog, a chymmalau ei goesau sydd o wneuthuriad cywrain. Pen y Cawrfil ydyw yr aelod hynottaf a fedd, a hynny yn bennaf oblegid y ddau ddant ifori mawr a ddaw allan o'i safn, y rhai ydynt bob un tua naw troedfedd o hyd o'r bon i'r blaen. Y mae ei ben yn hynod hefyd oblegid ei drwyn hir-fain, yr hwn sydd tuag wyth troedfedd o hyd, ac y mae yn gallu ysgogi hwn wrth ei ewyllys, a'i ddefnyddio i bob dibenion y defnyddiai dyn ei law. Ei safn sydd fawr iawn, a'i llygaid yn fychain, ond yn dra bywiog. Y fath ydyw cryfdwr y creadur hwn, fel, pan elo trwy goedwig, nid oes dim a'i gwrthsafa, oblegid tyr ganghenau mwyaf y coedydd fel brwyn. Cluda ar ei gefn, yn esmwyth, lwyth o dair i bedair mil o bwysau, a phan ei gyrrer, efe a deithia tua chan' milldir y dydd. Tyn lwyth ar ei ol yr hwn ni all chwech o ddynion ei symmud. Gyda bod y Cawrfil yn gryf iawn, y mae yn rhagori mewn synwyr ar neb o'r creaduriaid afresymol. Y mae yn gymhedrol iawn ym mhob peth, ac yn dangos anwyldeb neillduol at ei gydryw. Ei lais sydd uchel iawn, a chlywir ef o bell, ond nid ydyw mor ddychrynllyd a llais y Teigr. Yn gymmaint ag nad ydyw y Cawrfil yn ymborthi ar gig, ni ellir dywedyd ei fod yn elyn i un creadur, ac ni niweidia un creadur os gadewir ef yn llonydd. Wedi ei ddofi, y mae yn dra gostyngedig, ac yn ddefnyddiol iawn yn y gwledydd dwyreiniol. Daw i ddeall arwyddion a swn geiriau mewn ychydig o amser, ac ni wna un amser gamsynied llais ei feistr, ond a ufuddha iddo ym mhob dim; ymostynga ar ei liniau modd y gallo fyned ar ei gefn. Cyfyd feichiau ar ei gefn, ac a'i drwyn dattoda gylymau; cyfyd ddarnau bychain o arian, ynghyd âg amrywiol bethau eraill â'i drwyn. Anaml y gwelir Cawrfilod yn eu sefyllfa o wylltineb, heb fod yn heidiau lliosog gyda'u gilydd. Pan fyddont yn symmud o un lle i'r llall, y mae yr hynaf yn cymmeryd y blaen, a'r nesaf at yr hynaf yn olaf, a'r ieuangc a'r methedig yn y canol. Cluda y mamau eu rhai bychain drwy ddolenu eu trwynau am danynt. Yn eu teithiau, nofiant yn fynych yn groes i afonydd mawrion. Pan gyffroir hwynt gan ddyn, gwanant ef drwy ei gorph â'i ddannedd hirion, neu taflant ef â'u trwynau i uchder mawr, a bydd yn ddrylliau pan ddisgyno. Weithiau sathrant ef i farwolaeth dan eu traed. Delir hwynt drwy amryw ffyrdd, ond yn yr India ddwyreiniol, y ffordd gyffredinol i'w dal ydyw cloddio tyllau dyfnion yn y ddaear, ac wedi hynny gosod coed dros ei enau, a phorfa neu wellt ar y rhai hynny, ac wrth fyned dros y lle, bydd y Cawrfil yn sicr o syrthio iddo. Wedi i'r creadur gael ei ddarganfod yn y pwll gan y Cawrfilod eraill, cludant gerrig a choed, gan eu taflu iddo, ac felly dianga y carcharor weithiau wedi bod yn y ddalfa. Pan fyddo un gwyllt wedi ei sicrhau, gwneir ef yn ddiogel â rhaffau, a chymmerir ef oddi yno rhwng dau o rai dofion, a bydd yntau wedi ei gwbl ddofi ym mhen ychydig ddiwrnodiau. Y mae profion bod un o honynt yn gallu llusgo llongau llwythog ar hyd tir sych. Unwaith pan oedd un yn India yn methu llusgo llong, dywedodd ei geidwad, "Cymmerwch y creadur diog ymaith,

a gosodwch arall yn ei le;" ar hyn ymdrechodd y creadur diniwed gymmaint, fel yr holltodd ei ben yn y fan.

Ym mhlith yr amrywiol greaduriaid a grybwyllir yn llyfr Job, rhoddir darluniad neillduol o greadur a elwir Behemoth gan yr Hollalluog yn y ddeugeinfed bennod. Darlunir ef fel o faintioli anferth, ond mor gariadus tuag at greaduriaid eraill, fel y gwnant gyd-bori yn yr un llannerchau. "Yn awr, wele y Behemoth, yr hwn a wnaethum gyda thi; glaswellt a fwytty ef fel ŷch." Y mae hwn yn ddarluniad cywir o'r Cawrfil, yr hwn a gyttuna â phob peth a ddywedir yn y bennod dan sylw am y Behemoth. Yn llyfr cyntaf y Maccabeaid, yr ydym yn darllen am Gawrfilod ym myddin y brenin Antiochus, a thwrr o goed ar gefn pob un o honynt, ac ym mhob un o'r tyrrau ddeuddeg ar hugain o arfogion, heblaw y gwr o India a lywodraethai'r anifail.

## CEFFYL.

Y Ceffyl ydyw y mwyaf gwasanaethgar o bob creaduriaid a ddarostyngwyd gan yr Hollalluog dan lywodraeth dyn. Amrywia Ceffylau oddiwrth eu gilydd mewn maintioli, dulliau, a lliwiau. Ceffylau cyffredin ydynt o 14 i 15 llaw o uwchder, yr hyn sydd o ddeutu pum' troedfedd. Ond gan eu bod yn greaduriaid mor adnabyddus, nid rhaid gwneuthur darluniad neillduol o honynt. Dywedir mai Ceffylau yr Arabiaid ydyw y rhai harddaf drwy yr holl fyd; a chymmerant boen mawr iawn gyda hwynt. Wedi i'r Arabiaid sicrhau ei babell, cymmera ei geffyl iddi, ac yno y rhoddir iddo ei ymborth, ac ystyrir ef ym mhob modd fel un o'r teulu. Rhoddir darluniad neillduol o geffyl dwyreiniol yn llyfr Job, ac yn neillduol felly i un o'u meirch rhyfel; Job 39. 19—25. "A roddaist ti gryfdwr i farch? neu a ddysgaist iddo weryru? Efe a ddiystyra arswyd, ac ni ddychryna efe. Efe a lwngc y ddaear gan greulondeb a chynddaredd; ac ni chred mai llais yr udgorn yw." Yr oedd yr Aipht yn wlad neillduol gynt ym ei cheffylau, a chrybwyllir am danynt yn neillduol yn yr ysgrythyrau. Ond er meirch a cherbydau Pharaoh, dywedir yn orfoleddus am oruwch allu yr Hollalluog Dduw, Ecsod. 15. 1. "Canaf i'r Arglwydd, canys gwnaeth yn rhagorol iawn, taflodd y march a'i farchog i'r môr." Gorchymmynodd Duw i'r Israeliaid am beidio cadw llawer o geffylau, a hynny efallai gyda golwg er eu rhwystro i fod o duedd ryfelgar, yr hyn bob amser ydoedd yn niweidiol iawn i grefydd; a lled debygol hefyd ei fod am eu cadw rhag ymgyfathrachu gormod â'r Aipht. Deut. 17. 16. "Ond nac amlhaed iddo feirch, ac na ddychweled efe y bobl i'r Aipht i amlhau meirch." Gan mor hardd yr ymddengys Ceffylau yn y tresi, dywedir yn y Caniadau am yr eglwys yn pen. 1. 9. "I'r march yng ngherbydau Pharaoh i'th gyffelybais, fy anwylyd." Crybwyllir am lwyddiant gorfoleddus yr efengyl megis mynediad allan anwrthwynebol march i ryfel. Dat. 19. 11, 14. "Ac mi a welais y nef yn agored; ac wele farch gwyn; a'r hwn oedd yn eistedd arno a elwid Ffyddlon a Chywir. A'r lluoedd oedd yn y nef a'i canlynasant ef ar feirch gwynion, wedi eu gwisgo â lliain main, gwyn, a glân."

## CI.

**Afreidiol** rhoddi darluniad neillduol o'r Ci, am ei fod mor gydnabyddus; ond gellir dywedyd am dano, mai y ffyddlonaf i ddyn ydyw ym mhlith holl greaduriaid y greadigaeth. Anghredadwy gan lawer y synwyr a ddangoswyd ac a ddangosir gan Gwn, er bod y pethau a adroddir yn hollol wirioneddol. Ym mhlith amryw hanesion cywir am synwyrau cyflym-graff Cwn, ysgrifenir yr un ganlynol. Yn y flwyddyn 1791, aeth rhyw ddyn, a gymmerai arno ei fod newydd ddyfod o'r India Orllewinol, i dŷ yn Debtford i ymofyn am letty; ac wedi cyttuno, dywedodd yr anfonai efe ei gist yno y noswaith honno, ac y deuai efe ei hun bore drannoeth. O ddeutu naw o'r gloch yn yr hwyr, daeth y gist yno, yr hon a gludid gan ddau ddyn, a gosodasant hi yn ddiogel mewn ystafell wely. Pan ydoedd y teulu yn myned i'w gwelyau, dechreuodd y Ci oedd ganddynt yn y tŷ gyfarth yn anghyffredin, a hynny wrth ddrws yr ystafell lle yr oedd cist y gwr dieithr wedi ei roddi. Pan agorwyd y drws, rhuthrodd y Ci at y gist, ac a ddechreuodd ei chrafu, a chyfarth yn adnewyddol. Yn ofer yr ymdrechasant gael y Ci allan o'r ystafell. Galwyd ychydig gymmydogion i mewn, ac wedi ymgynghori ychydig â'u gilydd, agorwyd y gist, a phwy oedd ynddi, ond y gwr dieithr a fu yno y prydnawn yn cyttuno am letty. Oni buasai synwyr y Ci, daethai allan o'r gist yn y nos, a diau y lledrattasai lawer.

Ni chrybwyllir un amser am y Ci yn yr ysgrythyrau, ond er dangos gwaelder ac iselder, a hynny dybygid oblegid bod y creadur hwn yn cael ei farnu yn aflan wrth gyfraith Moses; o ganlyniad, ni adewid iddynt fyw yn anneddau yr Iuddewon. Ystyrid y Cwn gan yr hen Iuddewon yn greaduriaid tra dirmygedig, ac ni allant ddangos mwy o ddiystyrwch tuag at ddyn na'i gydmaru i Gi. Pan felldithiai Simei Dafydd, y gwaradwydd mwyaf a allai un o gadpeniaid y brenin roddi arno, ydoedd ei gyffelybu i Gi marw; 2 Sam. 16. 9. Y fath ydoedd tuedd niweidiol Cwn yn y dwyrain, fel yr oedd yn angenrheidiol bod yn arfog er mwyn eu cadw ymaith rhag ymosod o honynt ar ddyn. At yr amgylchiad hwn y cyfeiriai Goliath y Cawr yn 1 Sam. 17. 43. pan ddywedai wrth Dafydd, "Ai ci ydwyf fi, gan dy fod yn dyfod attaf fi â ffyn?" Hynny ydyw, "A ydwyf fi mor ddirmygedig, fel y deui attaf âg offerynau cyffelyb i'r rhai a arferir tuag at gwn?" Yn llyfr y Datguddiad, pen. 22. 15. cydmerir dynion annuwiol i Gwn, er dangos gwaelder eu sefyllfa ger bron ac yng ngolwg Duw. Geilw yr Apostol Paul y gau-athrawon wrth yr enw Cwn yn Phil. 3. 2. "Gochelwch Gwn." Pan mewn sefyllfa o wylltineb, una Cwn gyda'u gilydd yn heidiau lliosog er mwyn hela eu hysglyfaeth; ac at hyn y cyfeiria Dafydd pan ddyweda yn brophwydoliaethol ym mherson Mab Duw, "Canys Cwn a'm cylchynasant." Ymddengys oddiwrth yr ysgrythyrau bod y Cwn dwyreiniol yn dra hoff o waed. 1 Bren. 21. 19. "Yn y fan lle y llyfodd y Cwn waed Naboth, y llyf y Cwn dy waed dithau." Yr oedd, ac y mae Cwn yn greaduriaid o ddefnydd a gwasanaeth mawr, yn neillduol i warchod teiau rhag lladron, ac i gadw defaid. Crybwylla Job am Gwn ei ddefaid, y rhai a wylient y diadellau, gan eu diogelu rhag y creaduriaid ysglyfaethus.

## CWNINGEN.

Yr enw Hebraeg am Gwningen ydyw cuddio, ac wedi ei roddi debygid er arwyddo natur ofnus a diniwed y creadur dan sylw. Tebygol mai tra chyffelyb i'n Cwningod ni ydoedd y Cwningod dwyreiniol, y rhai, oblegid eu gwendid a'u hofnau, a gynniweirient i dyllau ac ogofou y creigiau, fel y lleoedd mwyaf diogel iddynt, a lle hefyd y gallent ymguddio rhag eu gelynion. Salm 104. 18. "Y mynyddoedd uchaf sydd noddfa i'r geifr, a'r creigiau i'r Cwningod." Sonia Agur yn llyfr y Diarhebion am y Cwningod fel rhai synwyrol, yn dethol eu preswylfeydd yn wyneb eu gwendid a'u hanalluogrwydd i ymddiffyn eu hunain, ac er bod mewn cyflawn ddiogelwch. Diar. 30. 26. "Y Cwningod nid ydynt bobl rymmus, etto hwy a wnant eu tai yn y graig." Rhyfedd fel y mae Duw wedi parottoi ar gyfer y creaduriaid gweiniaid hyn; ac oni bydd efe yn noddfa ac yn nerth i ddynion a ymddiriedant dan ei gysgod ef.

## DAEAR-FOCHYN.

Y daear-fochyn sydd greadur diniwed, ac yn byw ar wreiddiau a gwahanol lysieuau. Y mae ynghylch troedfedd o uchder, a thua dwy droedfedd a hanner o hyd o flaen ei drwyn hyd fon ei gynffon. Ei gynffon sydd o ddeutu chwech modfedd o hyd; ei gorph sydd ffyrf, ei draed yn dewion, a'i grafangau yn hirion. Ei wyneb sydd wyn, ac y mae llinell ddu ar bob ochr i'w ben. Ei flew sydd hirion, ac o liw llwyd ar rannau uchaf ei gorph, ac yn dduon ar ei rannau isaf. Ei groen sydd ddefnyddiol at amrywiol bethau; a gartrefa yn gyffredin mewn cymmydd a lleoedd anghyfannedd. Ni sonir am y creadur hwn yn yr ysgrythyrau, ond mewn perthynas i'w groen; o herwydd crwyn daear-foch oeddynt orchudd allanol y babell yn yr anialwch, a hynny oblegid eu tewder a'u parhad efallai. Ecsod. 26. 14. "A gwna dô i'r babell-len o grwyn hyrddod wedi eu lliwio yn gochion, a thô o grwyn daear-foch yn uchaf." Mewn man arall o'r ysgrythyr, pan y crybwylla y Jehofah am ei gymmwynasau i'w bobl etholedig Israel, ym mhlith yr amrywiol bethau a wnaeth efe iddynt, dyweda yn Ezec. 16. 10. "Mi a'th wisgais hefyd â gwaith edau a nodwydd, rhoddais it' hefyd esgidiau o groen daear-foch."

## DAFAD.

Nid oes greadur yn fwy defnyddiol at bob gwasanaeth na'r Ddafad; ond y mae mor adnabyddus fel nad rhaid rhoddi na gwneuthur darluniad neillduol o honi. Ni ellir cael golwg mwy dymunol na gweled diadell liosog o ddefaid yn pori ar ael bryn, a'r ŵyn yn llammu yn eu plith. Y maent yn wirion ac yn ddiniwed, ac edrychant ar ddyn fel eu noddwr a'u hymddiffynwr. Yn y dwyrain, adnabyddant lais eu bugail, ac a'i dilynant. Gelwir yr un gwrryw yn hwrdd, a'r un ieuangc yn oen; ac yng nghanol miloedd adnabyddа y fam ei hoen ei hun, a'r oen ei fam. Crybwyllir yn dra mynych yn yr ysgrythyrau am ddefaid ac ŵyn, a chymmerir amryw gydmariaethau oddi wrthynt er dangos natur pethau ysprydol. Abel oedd

fugail defaid, ac yn ei wasanaeth crefyddol dygodd o flaenffrwyth ei ddefaid ac o'u brasder hwynt i offrymmu i'r Arglwydd ei Dduw. Y dynion enwoccaf a grybwyllir yn yr Hen Destament oeddynt fugeiliaid defaid. Bu Moses yn bugeilio defaid; bugail defaid oedd Dafydd; bu Amos ym mhlith bugeiliaid Tecoa; ac i fugeiliaid yr hyspyswyd genedigaeth ein Harglwydd ni pan ymddangosodd efe ym mhlith dynion. Prophwydwyd am adferiad a dychweliad y gaethglud yn ol o Babilon, o dan y gydmariaeth o fugail yn casglu ei ddefaid ynghyd; Ezec. 34. 12, 13. "Fel y cais bugail ei ddiadell ar y dydd y byddo yn mysg ei ddefaid gwasgaredig, felly y ceisiaf finnau fy nefaid, ac a'u gwaredaf hwynt o bob lle y gwasgarer hwynt iddo ar y dydd cymmylog a thywyll: a dygaf hwynt allan o fysg y bobloedd, a chasglaf hwynt o'r tiroedd, a dygaf hwynt i'w tir eu hun, a phorthaf hwynt ar fynyddoedd Israel wrth yr afonydd, ac yn holl drigfannau y wlad." Yr oedd Abraham, Isaac, a Jacob yn nodedig am eu diadelloedd defaid; ac un o gymmeriadau yr Arglwydd Iesu Grist ydyw ei fod yn Ben-bugail, oblegid rhagddywedwyd yn Esay 40. 11. y byddai iddo ef borthi ei braidd fel bugail. Yn y Testament Newydd, cydmerir y duwiolion i ddefaid, oblegid eu llarieidd-dra, eu hufudd-dod, a'u defnyddioldeb. Dyweda yr Arglwydd Iesu Grist mai efe ydyw y Bugail da, ei fod yn adnabod ei ddefaid, ac yn adnabyddus gan ei ddefaid; ac fel Bugail rhoes ei einioes i lawr, a bu farw dros ei ddefaid. O dan y gyfraith Foesenaidd, aberthid lliosogrwydd o ddefaid ac ŵyn yn y gwasanaeth crefyddol. Yng nghyssegriad y deml fawr yn Jerusalem, yr oedd yr aberthau yn dra lliosog; oblegid dywedir yn 1 Bren. 8. 63. "A Salomon a aberthodd aberth hedd, yr hwn a offrymmodd efe i'r Arglwydd, sef dwy fil ar hugain o wartheg, a chwech ugain mil o ddefaid." Tuedd defaid i grwydro o'r terfynau a'r maesydd y gosodir hwynt i bori ynddynt, a grybwyllir yn fynych yn yr ysgrythyrau; ac y mae hyn yn cael ei nodi er mwyn dangos tuedd dynion i grwydro allan o derfynau deddfau y nefoedd. Sonia y Salmydd gyda galar a gofid am hyn yn Salm 119. 176. "Cyfeiliornais fel dafad wedi colli." Y mae Esay, yn pen. 53. 6. yn sylwi ar hyn, gan ddarlunio yr holl hiliogaeth ddynol fel wedi crwydro oddiwrth y Duw byw, ac yn ymhyfrydu mewn cyflawniad o bob pechodau; "Nyni oll a grwydrasom fel defaid; troisom bawb i'w ffordd ei hun: a'r Arglwydd a roddes arno ef ein hanwiredd ni i gyd." Cadarnheir hyn gan yr Apostol Pedr yn 1 Pedr 2. 25. yr hwn a ddywed, "Canys yr oeddych megis defaid ar gyfeiliorn; eithr yn awr chwi a ddychwelwyd at Fugail ac Esgob eich eneidiau."

## GAFR.

Creadur tra bywiog ydyw yr Afr gyffredin, a thra chwareugar, ac yn dra hoff o gymdeithas dynion, yn neillduol y rhai a ddangosant garedigrwydd tuag attynt. Yr Afr yn gyffredin sydd o ddwy i dair troedfedd o uchder, ac o dair i bedair troedfedd
sydd fychan, a'r cyrn o naw i ddeuddeg modf
Afr sydd hir, y blew yn eirwon, a'u lliwiau yr
au y Geifr sydd dra anwadal, a hyn a welir yr

gogiadau. Yr Afr fychan a elwir Mynn. Ychydig o ymborth a wna y tro i Eifr, a dywedir eu bod yn talu yn rhagorol i'w perchennogion. Eu blew, eu gwer, eu cig, a'u crwyn ydynt dra gwerthfawr. Ystyrid y Geifr dan y gyfraith Foesenaidd yn greaduriaid glân, ac yr oeddynt wedi eu pennodi i'w defnyddio yn yr aberthau Iuddewig. Ar ddydd mawr y cymmod, yr oedd yr Archoffeiriad yn cael ei gyfarwyddo i gymmeryd gan gynnulleidfa meibion Israel ddau lwdn gafr yn bech-aberth; ac yr oedd i gymmeryd dau fwch (gafr) a'u gosod ger bron yr Arglwydd, wrth ddrws pabell y cyfarfod. Wedi hyn yr oedd Aaron i roddi coelbrennau ar y ddau, un coelbren dros yr Arglwydd, a'r coelbren arall dros y bwch diangol: y bwch y syrthiai coelbren yr Arglwydd arno oedd i'w offrymmu yn bech-aberth; a'r bwch y syrthiai y coelbren arno i fod yn fwch diangol, a roddid i sefyll yn fyw ger bron yr Arglwydd, i wneuthur cymmod âg ef, ac i'w ollwng i'r anialwch yn fwch diangol. Ac wedi i Aaron osod ei ddwylaw arno, a chyffesu arno holl anwiredd meibion Israel, a'u holl gamweddau hwynt yn eu holl bechodau, yr oedd i gael ei anfon ymaith yn llaw gwr cymmwys i'r anialwch. O flew geifr gwneid amryw ddefnyddiau gynt yn y gwledydd dwyreiniol, ac o honynt gwnaed rhai o lenni y babell; Ecsod. 26. 7. "A gwna lenni o flew geifr, i fod yn babell-len ar y tabernacl: un llen ar ddeg a wnai." Ymddengys bod yr Israeliaid yn hoff iawn o gig mynn gafr, ac yn ei ystyried yn ddanteithfwyd neillduol. Yr oedd Isaac yn dra hoff o hono, yn ol a ymddengys oddiwrth Gen. 27. 9, 10. Ac oddiwrth rannau eraill o'r ysgrythyrau, ymddengys eu bod yn hoff iawn o hono; Luc 15. 29. "Wele, cynnifer o flynyddoedd yr ydwyf yn dy wasanaethu di, ac ni throseddais i un amser dy orchymmyn; ac ni roddaist fynn erioed i mi, i fod yn llawen gyda'm cyfeillion." Yr oedd llaeth geifr yn werthfawr yng ngolwg yr hynafiaid; Diar. 27. 27. "Hefyd ti a gei ddigon o laeth geifr yn fwyd i ti, yn fwyd i'th dylwyth, ac yn gynnaliaeth i'th langcesau."

## LEFIATHAN.

Tybir gan y nifer amlaf o haneswyr mai yr un ydyw y Crocodil a'r Lefiathan, am yr hwn y sonir yn yr ysgrythyrau. Y mae hwn wedi tynnu sylw haneswyr boreuol, ac nid oes unrhyw deithiwr wedi bod yn yr Aipht nad ydyw wedi gwneuthur rhyw sylwadau ar y creadur nodedig hwn. Corph y Crocodil sydd yn llawn cennau, yn neillduol ar ei gefn, a'r rhai hynny mor galedion fel na wna pellen gwn ddim effeithio arnynt. Amrywia y Crocodiliaid yn eu maintioli, o ugain i ddeg troedfedd ar hugain o hyd, a dywedir bod rhai o honynt yn hwy na hynny. Pennau y Crocodiliaid sydd hirion, a'u safnau yn llydain iawn; eu tafodau sydd fychain, ac esgyrn eu geneuau yn galedion iawn. Y mae saith dant ar hugain yn yr ên uchaf, a phumtheg yn yr isaf, y rhai ydynt dewion yn eu gwreiddiau, ac yn dra llymion yn eu blaenau; a phan gauo y Crocodil ei safn, y mae y dannedd uchaf yn myned rhwng y dannedd isaf. Y mae iddo bedair pawen, a phob pawen yn cynnwys pump o fysedd hirion, a thri o'r rhai hyn âg ewinedd cryfion a llymion arnynt. Ei lygaid sydd fychain mewn cydmariaeth i faintioli ei gorph; a lliw

Affrica, ac yn America ddeheuol, lle y gelwir hwynt wr
Alligators. Dodwya y fenyw nifer liosog o wyau, y rh
ganddi yn ddiogel yn y tywod; oblegid y mae aderyn
gwylied yn ddiwyd, er gweled lle byddo yr wyau wedi
ac wedi i'r Crocodil fenyw fyned ymaith, â yntau yno, ac
y tywod, efe a'u dryllia oll. Ac oni bai bod rhaglun
plannu gelyniaeth yn yr aderyn bychan hwn at y Crocod
a lanwent wlad yr Aipht yn fuan. Peth arall hefyd sydd y
lliosogiad y creaduriaid brawychus hyn ydyw, bod yr un
dinystrio y rhai bychain cyn gynted ag y deoront o'r wy
fynych, o bedwar ugain i gant ni ddianga hanner dwsin
iaid bychain i'r afon heb eu dinystrio. Y mae y cread
dra chyflym, a gall ddala dyn os bydd i'r dyn redeg rha
ond os try y naill ochr, efe a ddianga encyd o ffordd cyn
creadur droi ar ei ol, yr hyn beth ni all wneuthur gyda b
byrdra ei draed. Dywedir ei fod yn fynych yn ysglyfio
cychod a nofiant yn ol ac ym mlaen ar hyd yr afon Nilu
ymosodo y Crocodil ar ryw greadur, efe a ymdrecha e
afon, ac wedi ei gael yno, bydd yn sicr o'i foddi. Delir C
gan drigolion Dongola, yr hyn a wneir weithiau fel y c
amser mwyaf cyfleus i'w dal ydyw y gauaf, pan fyddo y
cysgu ar y ceulannau tywod, yng ngwres yr haul, neu y
wyn, ar ol iddynt gydmeirio, pan fyddo y fenyw yn
hwyau. Wedi canfod y lle y bydd y Crocodil yn arfero
gwna y trigolion dwll yn y tywod ar yr ochr uchaf o
gwynt. Yn y twll yr arosir, a phan ddelo y Crocodil hei
er mwyn myned i gysgu, teflir piccell gydag egni, ac y ma
ol i hon fyned bedair modfedd i'w gnawd er mwyn i'r adf
sicrhau eu hunain. Wedi i'r creadur gael ei glwyfo, ffoa
yn ol i'r dwfr, a'r heliwr i'w gwch, a'r rhai fyddo gydag e
dernyn o bren wrth gorden wedi ei sicrhau wrth y biccel
weled y pren hwn yn nofio ar wyneb y dwfr y deallir pa f
y Crocodil wedi gymmeryd. Wrth dynnu y rhaff, tynnir

cyn ei feistroli. Darlunir y Lefiathan gyda manyldra neillduol yn yr unfed bennod a deugain o lyfr Job, yr hwn sydd yn fwy darluniadol o'r Crocodil nag un creadur adnabyddus arall; oblegid y mae yn deilwng o sylw y gall y creaduriaid dan sylw fyw yn y môr, mewn afonydd, ac ar y tir. Gofyna yr Hollalluog i Job mewn perthynas i'r Lefiathan, "A dynnu di'r Lefiathan allan â bach? neu a rwymi di ei dafod ef â rhaffau? A osodi di fach yn ei drwyn ef? neu a dylli di ei ên ef â mynawyd?" Pan ar y lan, â'i ben tua'r haul, disgleiria llygaid y Crocodil mewn modd neillduol, a daw ei anadl allan o'i ffroenau fel colofnau o fwg a thân. Ei holl gorph sydd o wneuthuriad tra chadarn, a'i wroldeb o'r fath, fel na arswyda yn wyneb unrhyw greadur. Darlunir ef yn neillduol gyda golwg ar ei wroldeb. "Wrth ei disian ef y tywynna y goleuni, a'i lygaid ef sydd fel amrantau'r bore. Ffaglau a ânt allan, a gwreichion tanllyd a neidiant o'i enau ef. Mwg a ddaw allan o'i ffroenau fel o bair neu grochan berwedig. Ei anadl a wna i'r glo losgi, a fflam a ddaw allan o'i enau." Pan neidia i'r dwfr, y mae yr effaith yn cael ei osod allan mewn iaith tra dyrchafedig. "Efe a wna i'r dyfnder ferwi fel crochan; efe a esyd y môr fel crochan o ennaint. Efe a wna lwybr goleu ar ei ol, fel y tebygir fod y dyfnder yn frigwyn. Nid oes ar y ddaear gyffelyb iddo, yr hwn a wnaethpwyd heb ofn. Efe a edrych ar bob peth uchel; brenin ydyw ar holl feibion balchder."

## LLEW.

Gelwir y Llew gan naturiaethwyr yn "Frenin y goedwig," am ei fod ar amrywiol ystyriaethau yn rhagori ar yr holl bedwar carnolion; ac y mae yn nodedig drwy holl oesau y byd am ei gryfdwr a'i uchafiaeth ar y creaduriaid eraill. Lliw y Llewod yn gyffredin yw melyn goleu; ond dywedir eu bod yn amrywio yn eu lliwiau, a bod rhai o honynt yn tynnu at y du. Hyd y Llew o'i dalcen hyd derfyn ei gefn sydd tua phedair troedfedd a hanner; a'i uchder ynghylch tair troedfedd. Ei ben sydd o faintioli dirfawr, ac y mae o edrychiad tra mawreddog. Ei drwyn sydd dew, ac iddo safn anferth, yr hon sydd yn arfog o ddannedd hirion, llymion, ac angeuol pan yr ymosodo ar ddyn ac anifail. Ei lygaid sydd danllyd a bywiog, ac y mae ei wddf a'i ysgwyddau yn llawn mwng hirllaes, yr hyn sydd addurn neillduol i'w gorph, ac yn ei wneuthur yn nodedig ym mhlith yr holl greaduriaid. Ei draed sydd gadarn, ac y mae i bob un o honynt ewinedd hirion a llymion; a phob peth braidd a berthyna i'r Llew sydd yn fawreddog yr olwg. Rhuad y Llew sydd uchel a brawychus, a phan y clywir ef yn y nos yn adseinio rhwng y bryniau a'r mynyddoedd, y mae yn gyffelyb iawn i daranau pellenig. Ei ruad sydd ddwfn a chau; ond pan fyddo mewn ymladdfa neu mewn cynddaredd, y mae yn fyr, yn dorredig, ac yn cael ei mynychu. Y mae golwg y Llew yn ddychrynllyd bob amser, ond yn neillduol pan fyddo yn ymbarottoi i'r frwydr; y pryd hyn y mae yn curo ei ochrau â'i gynffon, a hynny mor nerthol fel y mae un ergyd yn ddigon i daro dyn nes byddo yn gydwastad a'r llawr. Cyfyd ei fwng, yr hwn a saif fel gwrych mochyn; croen a gewynau ei wyneb oll mewn cynnwrf; ei amrantau yn hanner cuddio ei lygaid, y rhai a ym-

ddangosant fel dwy bellen o dân; noetha ei ddannedd mor ddychrynllyd, fel y mae yn ddigon i daro braw i galon pob creadur. Yn y wedd hon yr ymbarottoa y creadur hwn i'r frwydr, ac wedi ymgydio o hono, y mae braidd bob amser yn fuddugoliaethus. Dywedir, pan ruo y Llew yn y nos, bod holl greaduriaid yr anialwch yn farw gan ofn, ac naill ai yn chwilio am le i lechu, neu yn cymeryd y traed ac yn ffoi ymaith mor fuan ag y gallant rhag y perygl a'u bygythia. Yn y nos yn gyffredin yr hela y Llewod eu hysglyfaeth, ac y maent yn fynychach yn rhuthro arnynt yn ddisymmwth nag yn rhedeg ar eu hol. Llamma o ddeg i bumtheg llath ar ei ysglyfaeth, ac wedi iddo ei ddal, odid fawr y dianga o'i balfau. Y fath ydyw cryfdwr y Llew, fel y gall âg un ergyd â'i droed dorri asgwrn cefn ceffyl, a chluda eidion canolig o faintioli ymaith, gyda yr un hawsdra ag y gwelir cath yn cludo llygoden ymaith. Pan ruthro ar ei ysglyfaeth, dywedir y tarawa ef yn farw yn y fan; ac nid yn gyffredin, medd rhai haneswyr, y dryllia greadur cyn rhoddi ergyd angeuol iddo yn gyntaf. Ond er mor gadarn ydyw y Llew, nid ydyw heb raddau o ofn creaduriaid eraill, ac ar rai achlysuron dywedir fod y Teigr yn ei orchfygu. Megis y crybwyllwyd yn barod, yn y nos y mae y Llew yn hela ei ysglyfaeth, yn y coedydd, ac ym mhell o breswylfa dyn. Ei ymborth cyffredin ydyw eppaod a chreaduriaid bychain eraill, y rhai ydynt braidd yn aneirif yng nghoedwigoedd Affrica ac Asia; ond ni rusia ymosod ar greaduriaid mawrion, megis buail, cawrfilod bychain, a chamelod, ynghyd â gwahanol greaduriaid eraill. Ond pan heneiddio y Llew, a myned o hono yn analluog i ymruthro yn ddisymmwth ar greaduriaid yn y coedydd a'r anialwch, ymosoda yn hyf ar y diadelloedd fyddo dan ymgeledd, ac yn preswylio yn ymyl annedd dyn. O herwydd rhuthriadau y Llewod, y mae pentrefydd yr Affriciaid â mur llaid yn eu hamgylchynu, er mwyn diogelu anifeiliaid a dynion rhag y creadur ofnadwy hwn. Gosoda y Llew deithwyr mewn dychryn a cholled yn fynych pan fyddont yn teithio drwy Affrica. Byddant yn gyffredin allan yn gorphwyso yn y nos, gan osod eu pedrolfenni a'u certwyni yn fath o ymddiffynfa iddynt; ond er gwneuthur hyn, a gosod dyn i wylio, y fath ydyw eondra y Llew, fel y torra i mewn drwy bob peth, a chluda geffyl neu eidion ymaith yn fuddugoliaethus. Pan fyddo y teithwyr yn gyfagos i goed, gosodant gylch o honynt ar dân oddiamgylch iddynt hwy a'u hanifeiliaid; ond os na chedwir ef yn oleu, dywedir y rhuthra y Llew drwy y tân, ac y cluda ddyn neu anifail ymaith. Bu y Llewod yn fwy lliosog yn yr amserau gynt, ond y mae nifer fawr o honynt etto mewn rhai parthau o Asia ac Affrica; a pha boethaf a fyddo y gwledydd a breswylir gan y Llewod, mwyaf brawychus ydynt. Dywedir bod y Llew mewn twymyn barhaus o dan haul poeth Affrica, a'i fod yn fwy brawychus yno nag yn un parth arall o'r byd.

Y mae yn beryglus iawn myned allan yn Affrica gyda y nos, a phan oleuo y boreu; oblegid yn nhywyll y nos bydd y Llew wedi ymysgwyd o'i loches, ac yn dechreu chwilio am ei ysglyfaeth; ac os dyn neu greadur a ddigwydd yn ei ffordd, bydd yn debygol iawn o'i ysglyfaethu. Dywedir am Mungo Park, ei fod unwaith ar ei daith ym mharthau tufewnol Affrica, ac un prydnawn, pan ydoedd

yn dechreu hwyrhau, ac yntau o fewn golwg pentref, clywai ruad y Llew, ond ym mhell oddiwrtho. Park, yn llwyr ystyriol o'i berygl, a wnaeth ei oreu er cyrhaeddyd y pentref. Prysurodd ei gamrau tuag yno, ond gyda ei fod wedi myned drwy y porth i'r pentref, yr oedd y Llew yn ymyl y mur, yr hwn pan welodd iddo gael ei siommi, a wnaeth ryw fath o ymddial drwy ruo mor ofnadwy nes ydoedd y dynion a'r anifeiliaid ym mron marw gan ofn. Ymosoda un Llew weithiau ar fintai o deithwyr, ac er pob arfau ni thry yn ei ol, hyd oni chaffo ysglyfaeth, neu drengu yn yr ymdrech. Helir y Llew yn fynych yn Affrica ac yn yr India, ond y mae y gorchwyl hwn bob amser yn dra pheryglus, ac weithiau yn angeuol i rai o'r helwyr; oblegid pan glwyfir ef unwaith, y mae yn ymgynddeiriogi i'r fath raddau, fel y myn ymddial cyn marw. Ychydig flynyddoedd yn ol, aeth un ar bumtheg o foneddigion allan i hela Llew yn Kaira, yn yr India, ac amryw o helwyr genedigol gyda hwynt. Yr oedd tri o Lewod mewn llwyn mawr o goed ychydig filldiroedd o Kaira, ac yr oeddynt wedi gwneuthur niweidiau a cholledion mawrion trwy yr holl gymmydogaethau, ac ni feiddiai y trigolion symmud o'u pentrefydd o'u plegid. Neshaodd yr helwyr at y coed, a'r gwrthddrych cyntaf a ganfyddent ydoedd Llewes yng ngenau y ffau. Saethwyd yn uniongyrchol atti, a hi a redodd ymaith, a dau Lew ieuangc gyda hi. Aeth yr helwyr ar ei hol, ond yn uniongyrchol gwelent Lew o faintioli anferth yn dynesu attynt; a chyda ei fod wedi neidio agen fawr yn y ddaear, ddeuddeg troedfedd o led, saethodd un o'r boneddigion atto; clwyfwyd ef, ac efe a neidiodd yn uniongyrchol ar un o'r cymdeithion, gan rwygo ei fraich yn llymdost. Yn ddisymmwth gwelent Lewes o'r tu ol iddynt; ac ar yr un pryd clywent lefau dynion, benywaid, a phlant, yr hyn a achoswyd oblegid i Lewes groesi y ffordd gerllaw iddynt; cyfarfyddodd hon â benyw a phlentyn yn ei breichiau, ac a wnaeth y ddau yn ddrylliau yn y fan. Trodd y boneddigion a'r helwyr eraill at y Llewes, yr hon a fygythiai y pentref â dinystr. Neidiodd y Llewes ar y blaenaf, taflodd ef i lawr, drylliodd ei benglog, ac a'i rhwygodd yn dra dychrynllyd. Rhedodd un i'w gynnorthwyo, a'r Llewes yn uniongyrchol a ymaflodd yn ei forddwyd. Daeth yr holl foneddigion ym mlaen erbyn hyn, a phan yr oedd yn sefyll uwch ben y dyn a laddasai, rhoddasant ugain o belenau yn ei chorph, a lladdasant hi yn fuan. Diangodd y Llew i'r coed, ac yr ydoedd yn rhy beryglus i'w ddilyn.

Fel yr oedd mintai o helwyr allan unwaith ger Penrhyn Gobaith Da, yn Affrica, gwelent Lew ar y gwastad-dir yn llusgo bual at goed cyfagos. Rhuthrasant arno, a gorfu iddo adael ei ysglyfaeth. Pan oedd yr Hottentotiaid yn cludo darnau y bual ymaith, edrychai y Llew yn fynych arnynt, a thebygol nad oedd ei deimladau yn gysurus wrth eu gweled. Torrodd Llew unwaith i mewn i lannerch fferm yn Affrica; gosodwyd rhaff yn groes ar adwy o'r tu fewn, ac amryw ddrylliau wedi eu llenwi, a hynny yn y fath fodd fel y byddai iddynt oll saethu pan bwysai y Llew ar y rhaff. Daeth y Llew ym mlaen, ac âg un ergyd â'i droed torrodd y rhaff; ac er twrf ergydion y drylliau, aeth ym mlaen yn ddibryder, ac ni throdd ymaith heb wneuthur ei ysglyfaeth yn sicr. Y mae y Llewes yn llai na'r Llew, ac heb fwng; ond yn neillduol gryf, ac yn dra brawychus pan fyddo

ganddi Lewod ieuaingc. Y pryd hwn, try y Llewes allan, ac yn ddiarswyd ymosoda braidd ar bob creadur, gan ddinystrio dynion a'r anifeiliaid yn ddiwahaniaeth. Llwytha ei hun o ysglyfaeth, a dychwela adref, gan borthi ei rhai ieuaingc â'r cig gwaedlyd; ac felly yn fore cynnefinir hwynt â chelanedd a gwaed. Pan yspeilir y Llewes o'i rhai ieuaingc, y mae yn myned yn gynddeiriog ac ofnadwy, yn rhuo, ac yn noethi ei dannedd hirion, gan fygwth yr holl goedwig i dinystr. Bydd y Llewod ieuaingc tua phum' mlynedd cyn dyfod i'w maintioli.

Sonir yn fynych yn yr ysgrythyrau am y Llew, pan yr arddangosir cryfdwr; Barn. 14. 18. "A pheth sydd gryfach na Llew?" Yr oedd Salomon yn dra chydnabyddus â hanes pob rhyw greaduriaid; ac yn Diar. 30. 30. dyweda yn y wedd ganlynol am y Llew; "Llew cryf ym mhlith anifeiliaid, ni thry yn ol er neb." Crybwyllir yn fynych am hyfdra y Llew, megis yn Diar. 28. 1. "Ond y rhai cyfiawn sydd hy megis Llew." Sonir am greulondeb y Llew yn Job 10. 16. "Fy hela yr ydwyt fel Llew creulon." Crybwylla Dafydd am elynion Crist, gan eu cydmaru i Lewod; Salm 22. 13. "Agorasant arnaf eu genau, fel Llew rheibus a rhuadwy." Perthyna gwyliadwriaeth i'r Llew; ac at hyn y cyfeiria y Salmydd yn Salm 10. 9. "Efe a gynllwyna mewn dirgelwch megis Llew yn ei ffau." A chydmerir gelyn mawr dedwyddwch dyn hefyd i Lew; 1 Pedr 5. 8. "Byddwch sobr, gwyliwch; oblegid y mae eich gwrthwynebwr diafol, megis Llew rhuadwy, yn rhodio oddi amgylch, gan geisio y neb a allo lyngcu." Sonir am Lew yn dyfod i fynu o ymchwydd yr Iorddonen. Yr oedd amryw Lewod gynt, ac efallai eu bod yn bresennol, yn llechu ym mhrysglwyni afon yr Iorddonen; a phan y chwyddai dyfroedd yr afon, yr oeddynt yn gorfod cyfodi o'u llochesau, ac yn myned ar hyd y wlad, gan achosi difrodiadau mawrion yn mhlith y diadelloedd. Y mae y Llew yn arwydd o allu a mawrhydi; Dat. 5. 5. "Nac wyla; wele, y Llew yr hwn sydd o lwyth Judah, Gwreiddyn Dafydd, a orchfygodd i agoryd y llyfr, ac i ddattod ei saith sel ef."

## LLEWPARD.

Hyd y Llewpard yn gyffredin, o'i drwyn i fon ei gynffon, ydyw pedair troedfedd, ac y mae ei gynffon ynghylch dwy droedfedd a hanner o hyd. Uchder ei gefn o'r llawr sydd tua dwy droedfedd a hanner. Ei lygaid ydynt loyw ac aflonydd, a'i holl ymddangosiad yn frawychus a chreulon. Lliw ei groen fynychaf sydd felyn, ac yn llawn brychau, y rhai a ymddangosant yn neillduol heirdd. Y mae y creadur hwn yn llawn creulondeb a chyfrwysdra, ac yn sychedig bob amser am waed. Ei ysglyfaeth gyffredinol ydyw anifeiliaid bychain, megis eppaod, defaid, a cheirw bychain; ac y mae yn dra sicr o'i ysglyfaeth, oblegid ystwythdra ei gorph, trwy yr hyn y gall neidio yn ddisymmwth ac o bell ar y creadur fydd yn wrthddrych ei sylw. Creadur buan iawn ei draed ydyw y Llewpard, ond nid yn gyffredin y mae yn hela ei ysglyfaeth drwy redeg ar ei ol, ond, fel y crybwyllwyd yn barod, trwy ruthro a neidio yn ddisymmwth arno. Ymosoda ar bob creadur y meddylia y gall ei orch-

fygu; a dywedir ei fod yn barod iawn i ymosod ar ddyn, ac yn dra hoff o ymborthi ar gnawd dynol. Daw y Llewpardiaid weithiau yn heidiau lliosog gyda eu gilydd allan o'u hogofau; wynebant ar y gwastadedd, a gwnant ddifrodiadau a chelanedd frawychus ym mhlith y diadellau. Torrodd dau Lewpard, gwrryw a benyw, i gorlan defaid yn agos i Benrhyn Gobaith Da, ac a laddasant ynghylch cant o ddefaid, ac a sugnasant eu gwaed. Yr oedd eu rhai bychain gyda hwynt, a rhwygodd yr hen rai un ddafad rhwng eu cenawon. Wedi gwledda a gwneuthur yn gysurus, ysgogasant eu hunain oddi-yno, a'r Llewpard a'i gydmares a phob o ddafad ar eu cefnau. Ond digwyddwyd eu gweled cyn iddynt fyned ym mhell, ac aethpwyd ar eu hol, a'r canlyniad fu i'r fenyw a'r rhai ieuaingc gael eu lladd, eithr ffodd y Llewpard yn ddiangol a dianaf oddi wrthynt. Helir Llewpardiaid weithiau, ond y mae y difyrrwch hwn yn dra pheryglus, ac wedi troi yn angeuol weithiau. Dywedir y gellir dofi y creadur hwn i gryn raddau, ond ei gael yn ieuangc; eithr y mae yn rhy beryglus i gellwair âg ef, ac wedi troi yn ffyrnig yn erbyn ac wedi llarpio y llaw a'i porthodd lawer gwaith. Sonir yn neillduol yn yr ysgrythyrau am frychni y Llewpard, er dangos, gan nad pa foddion a ddefnyddir gan yr annuwiol er mwyn cuddio eu pechodau, y bydd yr argraffiadau o honynt yn dra amlwg. Dywedir hefyd gan rai naturiaethwyr am frychni y Llewpard, ei fod yn myned o'r blew i'r croen, o'r croen i'r cnawd, o'r cnawd i'r esgyrn, ac o'r esgyrn i'r mêr. "A newidia yr Ethiop ei groen, neu'r llewpard ei frychni? felly chwithau a ellwch wneuthur da, y rhai a gynnefinwyd â gwneuthur drwg." Jer. 13. 23. Cyfeirir hefyd at wyliadwriaeth, creulondeb, a buandra; "Oblegid hyn y llew o'r coed a'u tery hwy, blaidd o'r anialwch a'u distrywia hwy, llewpard a wylia ar eu dinasoedd hwy: pawb ar a ddel allan o honynt a rwygir." Jer. 5. 6. "Ond mi a fyddaf fel llew iddynt; megis llewpard ar y ffordd y disgwyliaf hwynt." Hosea 13. 7. "A'u meirch sydd fuanach na'r llewpard-iaid, a llymmach ydynt na bleiddiau yr hwyr."

## LLWYNOG.

Ystyrir y Llwynog er boreu yr amserau yn un o'r creaduriaid cyfrwysaf ar yr holl ddaear, ac nid ydyw wedi diengyd sylw neb cydnabyddus âg ef. Uchder y Llwynog yn gyffredin sydd tua throedfedd, a'i hyd o'i drwyn i fon ei gynffon sydd ynghylch dwy droedfedd. Ei gynffon sydd nodedig am ei hyd, a thwrr o flew ar ei flaen. Ei ben sydd fawr mewn cyfartalwch i'w gorph; ei lygaid yn loyw ac yn dreiddgar, a dangosant arwyddion cariad, ofn, a digllonedd, ynghyd â'r nwydau y byddo y Llwynog danynt ar y pryd. Llwynogod Lloegr ydynt yn gyffredin yn wawr goch, ond yn y gwledydd tramor y maent o wahanol liwiau. Yn gymmaint a bod y Llwynogod yn wanach nag amryw greaduriaid gwylltion, ei ddull cyffredin yn cael ei ysglyfaeth ydyw drwy gyfrwysdra, ac y mae fynychaf yn llwyddiannus yn ei anturiaethau. Y mae yn ofalus iawn yn ymgadw rhag y bugail a'i gi, ac ni wna ymosod un amser yn gyhoedd ar y ddiadell; ond mewn cyfrwysdra neillduol disgwylia am gyfleusdra, ac yna rhuthra ar oen, yr hwn a gluda ymaith yn

union-gyrchol. Dengys y Llwynog archwaeth neillduol at bob adar, ond yr adar dofion yn gyffredin a osodir ganddo dan y deyrnged drymmaf. Lle byddo yr adar dofion yn cael eu cadw, daw y Llwynog yn ddistaw tuag yno, ac os câ le agored i fyned i'w plith, odid na wna eu lladd hwynt oll, heb arbed cymmaint ag un o honynt. Ei gnoadau ydynt enbyd, a chyda y fath afael, fel mai trwy anhawsder mawr y ceir ganddo ollwng yn rhydd. Dywedir bod Llwynogod yn hoff iawn o rawn-sypiau, ac y maent yn niweidio y gwinllanoedd yn anghyffredin yn Ffraingc a'r Eidal. Dyweda rhai y gwna ei tebyg i ŵydd ar lan llyn, er mwyn twyllo y gwyddau i'r lan, ac os unwaith y caiff efe hwynt o'r dwfr, bydd yn debygol iawn o ymborthi ar rai o honynt. Nid ydyw y Llwynog yn crwydro o fan i fan, fel y gwna amryw greaduriaid gwylltion eraill, ond gwna ei artref yn gyffredin mewn un man. Weithiau mewn twll yn y ddaear, a phryd arall mewn agen yn y graig; yma erys yn y dydd, a thry allan yn y nos er gweled pa beth a all gael. Ei artref sydd yn gyffredin yn llawn pluf, gwlan, pennau, a thraed creaduriaid. Annedd y Llwynog yn gyffredin sydd heb fod ym mhell oddiwrth fferm neu bentref, modd y gallo ruthro allan, a dwyn ei ysglyfaeth yn ol mewn ychydig amser. Y mae y Llwynog yn difrodi pob peth braidd, a dywedir ei fod mor hoff o fêl, fel y gwna ddymchwelyd llestri gwenyn er mwyn ei gael; ond y mae yn talu mor ddrud am ei felusderau weithiau, fel y colla ei fywyd oblegid pigiadau y gwenyn. Ceir llwynogod braidd ym mhob parth o'r byd. Delir hwynt yn Lloegr mewn telmau, ond yn gyffredin â bytheugwn. Pan fyddo y Llwynog yn cael ei hela, dangosa gyfrwysdra neillduol er mwyn diengyd rhag y cwn, megis croesi afonydd, nofio gyda y dwfr, ynghyd â phethau cyffelyb. Llefarir yn fynych am y creadur hwn yn yr ysgrythyrau, a chyfeirir at ei gyfrwysdra. Pan sonia ein Hiachawdwr am gymmeriad Herod, efe a'i geilw yn Llwynog. Luc 13. 32. Cydmerir yr eglwys yn fynych yn yr ysgrythyrau i winllan, a gelwir y rhai hynny a wnant ei niweidio mewn un modd wrth yr enw Llwynogod. "Deliwch i ni y Llwynogod ieuaingc." Cydmerir prophwydi ac athrawon cyfeiliornus i Lwynogod. Ezec. 13. 4. Yn llyfr y Barnwyr y mae crybwylliad neillduol am Lwynogod, â'r rhai y gwnaeth Samson gymmaint niwed i'r Philistiaid drwy losgi eu hŷd. "A Samson a aeth, ac a ddaliodd dri chant o Lwynogod, ac a gymmerth ffaglau, ac a drodd gynffon at gynffon, ac a osododd un ffagl rhwng dwy gynffon yn y canol. Ac efe a gynneuodd dân yn y ffaglau, ac a'u gollyngodd hwynt i ydau'r Philistiaid, ac a losgodd hyd yn nod y dasau, a'r yd ar ei droed, y gwinllanoedd hefyd, a'r olewydd." Barn. 15. 4, 5. Diau bod llawer gyda Samson yn dal y Llwynogod hyn, ac yr oeddynt yn lliosog iawn, (sef y Jacaliaid, creaduriaid cyffelyb i Lwynogod,) yn y wlad honno, dosparth o'r hon a elwid Gwlad Sual. 1 Sam. 13. 7. Crybwylla Jeremiah y prophwyd yn neillduol am anghyfannedd-dra Jerusalem, ac am ei bod yn nodded i Lwynogod, yn Galar. 5. 17, 18. "Am hyn y mae'n calon yn ofidus; am hyn y tywyllodd ein llygaid. O herwydd mynydd Sïon, yr hwn a anrheithiwyd, y mae y Llwynogod yn rhodio ynddo."

## LLYGODEN.

Er mai creadur bychan iawn ydyw y Llygoden, etto y mae yn greadur tra niweidiol a dinystriol, ac yn gwneuthur difrodiadau a cholledion mawrion yn fynych. Yn y gwledydd dwyreiniol, dinystria Llygod gynhauaf cymmydogaethau yn llwyr, ac ystyrir hwy, pan ddelont mewn lliosogrwydd, yn bla erchyll gan y trigolion. Pan ddaliwyd arch Duw Israel gan y Philistiaid, a phan ddygwyd hi yn gaeth i dir y gelyn, un o'r pläau â pha rai y cospwyd y Philistiaid, oedd pla Llygod, y rhai a ddifent holl gynnyrch y tir. "Yna y dywedasant hwythau, Beth fydd yr offrwm dros gamwedd a roddwn iddo? A hwy a ddywedasant, Pump o ffolenau aur, a phump o lygod aur, yn ol rhif arglwyddi y Philistiaid; canys yr un bla oedd arnoch chwi, ac ar eich arglwyddi. Am hynny gwnewch luniau eich ffolenau, a lluniau eich llygod sydd yn difwyno y tir." 1 Sam. 6. 4, 5.

## MOCHYN.

Dull ac agweddiad y mochyn sydd anghariadus, ac y mae yn greadur mor adnabyddus, fel nad ydyw yn angenrheidiol rhoddi darluniad neillduol o hono. Ond er mor anghall yr ymddengys y Mochyn, y mae rhai creaduriaid o'r rhywogaeth hon wedi eu dwyn dan y fath ddisgyblaeth, fel y maent wedi dangos llawer o arwyddion dysg. Gwelwyd rhai yn nodi allan y llythyrenau a orchymmynid iddynt, a medrent ddangos pa beth o'r gloch ydoedd ar oriawr. Nid ydyw y Mochyn dros dymhor ei fywyd o fawr wasanaeth i ddyn; ond wedi y rhodder y gyllell yn ei wddf, y mae yn dyfod yn fuan yn ddefnyddiol. Ei gig sydd ymborth iachus, a dywedir ei fod yn cymmeryd halen braidd yn well na chig unrhyw greadur arall. Dengys yr Hwch y cariad a'r anwyldeb mwyaf at ei rhai bychain; ond ychydig o serchiadau a ddangosa y rhywogaeth hon at ddynion, ac y maent weithiau wedi rhwygo plant yn ddychrynllyd, a'u bwytta. Dywedir bod y Baedd gwyllt yn nodedig am ei lanweithdra mewn cydmariaeth i'r Mochyn dof, ac yn hyn dywedir ei fod yn rhagori ar yr holl greaduriaid gwylltion. Bu Moch gwylltion gynt yn y deyrnas hon. ond oblegid eu difrodiadau, llwyr ddinystriwyd hwynt, ac nid oes yr un o honynt yn bresennol i'w cael. Ni thry y Baedd gwyllt oddiar ffordd un creadur, oblegid mor angheuol ydyw ei frathiadau, fel nad oes ond ychydig o greaduriaid a'i gorchfyga. Helir y Baedd gwyllt yn Ffraingc, a gwledydd eraill ar y Cyfandir, ond y mae yr helwriaeth yn dra pheryglus, a chyll dynion ac anifeiliaid eu bywydau weithiau gyda y gorchwyl hwn. Er y megid Moch braidd ym mhob gwledydd yn yr oesau gynt, etto ni chrybwyllir yn fynych am danynt yn yr ysgrythyrau, a hynny yn bennaf oblegid eu bod yn waharddedig yng nghyfraith Moses, ac felly yn aflan, o ganlyniad ni fegid hwy yn Israel. Y gorchymmyn yn ei gylch sydd amlwg, "A'r llwdn Hwch, am ei fod yn hollti yr ewin, ac yn fforchogi fforchedd yr ewin, ac heb gnoi ei gil; aflan yw i chwi." Dywedir eu bod yn ystyried y Mochyn yn greadur mor ffiaidd, fel na wnaent ei enwi; ac yn lle rhoddi ei

enw priodol arno, hwy a'i galwent, "Yr anifail." Etto pan yr oedd yr Israeliaid yn diwygio yn eu crefydd, achwynir arnynt eu bod yn troseddu y gyfraith gyda golwg ar y creadur dan sylw, sef yn cyfrannogi o hono; "Y rhai a arhoent ym mysg y beddau, ac a letty-ent yn y mynwentau; y rhai a fwyttaent gig Moch, ac isgell ffieidd-bethau yn eu llestri." Yn yr Apocrypha dywedir am yr hen Eleazer, yr hwn ydoedd un o'r ysgrifenyddion pennaf yn amser y Maccabeaid, iddo ddioddef marwolaeth yn hytrach na bwytta cig Moch, er ei roddi yn ei enau drwy drais. Ond er bod y Moch yn waharddedig i'r Israeliaid eu bwytta, etto ymddengys eu bod yn eu cadw, ac yn eu gwerthu i'r Cenhedloedd, oblegid crybwyllir yn bendant am dda-ynt yn Marc 5. 2. lle y boddodd nifer liosog o honynt yn y môr. Tebygol bod cyfeiriad neillduol at y Baedd gwyllt yn yr ysgrythyr-au, yn neillduol yn Salm 70. 13. Yma cydmerir yr eglwys i win-wydden hardd, yn estyn ei changhenau hyd ym mhell, ac y mae ymddygiad ei gelynion tuag atti yn cael ei gyffelybu i Faedd, "Y Baedd o'r coed a'i turia, a bwystfil y maes a'i pawr."

## MOR-FARCH.

Gelwir y creadur anferthol hwn wrth yr enw Hippopotamus, oddiwrth ddau air Groeg, *hippos*, ceffyl; a *potamos*, afon; Afon-farch, Dwfr-farch, a Môr-farch; a chan rai, Buwch y môr, neu Fuwch y dwfr. Meddylia rhai mai y Môr-farch ydyw y Behemoth, darluniad o'r hwn a roir mewn iaith ardderchog yn Job 40. 15—24. Nid yw y creadur hwn i'w gael ond yn Affrica, ac yn neillduol yno yn yr afonydd Nile a'r Niger. Y mae agos gymmaint ei faintioli a'r cawr-fil, neu yr elephant; ei ben sydd anferthol fawr, ac yn ddychrynllyd i edrych arno; ei safn yn dra ehang, a phedwar o'i ddannedd yn ddeuddeg modfedd o hyd bob un o honynt. Ei groen sydd mor dew fel na wna pelen dryll unrhyw niwed iddo; ac ni theimla ergyd-ion cleddyf. Y mae ychydig flew o liw goleu arno, a'i draed ydynt ynghylch tair troedfedd o hyd. Y mae yn greadur dwfr a thir; ac megis y crybwyllwyd, y mae y rhywogaeth hon o greaduriaid yn cyfanneddu afonydd Affrica. Ymbortha ar borfa, a llysieuau eraill; a symmuda yn drwm ac arafaidd. Y mae yn nofiedydd rhagorol, a chysga mewn lleoedd brwynog. Ei lais sydd rhwng brefiad ych a rhuad y cawrfil; a phan ei cyffroer, ymosoda yn erbyn dynion â badau gyda ffyrnigrwydd mawr.

Dyweda Mr. Carpenter am law-feddyg Italaidd o'r enw Zeringhi, yr hwn a welodd ladd un o'r creaduriaid hyn ar lennydd y Nile. Yr oedd hwn yn mesur un droedfedd ar bumtheg a naw modfedd o flaen ei drwyn i flaen ei gynffon; yn bumtheg troedfedd o amgylchiad; ac yn chwech troedfedd a hanner o uchder. Y mae yn pori ar len-nydd yr afonydd, ac yn gwneuthur difrodiadau mawrion yn y maes-ydd y cynniweiriant iddynt; a phan y neidiant i'r dwfr, y mae eu trwst yn gyffelyb i drwst darn fawr o graig yn syrthio i'r môr.

Y mae gwahanol ffyrdd gan y brodorion i ladd y creaduriaid hyn, ac y mae'r ymladdfa yn dra pheryglus. Weithiau cloddir tyllau yn y ddaear ar draws eu llwybrau, a gosodir coed a gwellt ar eu hwy-nebau, fel y syrthiont iddynt pan ddelont drostynt. Wedi iddynt

syrthio i'r pyllau, y maent yn myned i gynddaredd mawr, yn rhuo ac yn beichio mor frawychus nes ydynt yn ddigon i daflu gwlad o ddynion i ofn. Ymosodir arnynt weithiau mewn badau ar yr afonydd, pryd y teflir piccell at y creadur gydag egni a nerth; a phan deimlo hon, y mae yn myned mor gynddeiriog fel y lleda ei safn am y cychod, gan eu gwneuthur yn ddrylliau yn y fan; ac am y dynion ynddynt, nid ydynt fwy ganddo na gwybed. Yn yr afon Niger y mae y rhywogaeth hon o greaduriaid yn dra lliosog, a rhydd y teithwyr Landers ddarluniad rhyfeddol o honynt yn hanes eu taith yn Affrica: "Pan oeddym yn disgyn i lawr ar hyd y Niger yn y cwch, yr oeddym yn rhwyfo gyda glàn yr afon, er gwneuthur sylwadau ar y tir a'r wlad ar ei glennydd; ond ni chanfyddem ddim tir sych, ond oll yn lleidiog a chorsog, hyd y medrai y llygad ganfod. Wedi bwytta ychydig *rice* a mêl, ac yfed o ddwfr yr afon, rhoddasom y gwaith o rwyfo heibio, gan adael y cwch i fyned gyda'r ffrwd. Fel yr oeddym yn myned ym mlaen, daethom i ganol nifer fawr o Hippopotamiaid, y rhai a godasant o'r dwfr yn ein hymyl, gan weryru, yspongcio, a phistyllu y dwfr yn rhaiadrau mawrion o'n hamgylch. I'r diben o'u tarfu, gollyngwyd ergyd dryll gan un o'r cyfeillion i'w canol; ond ni wnaeth swn yr ergyd amgen eu gwahodd ynghyd o'r dwfr a'r corsydd, fel yr oeddynt wedi ein hamgylchynu o bob tu. Y bobl oedd gyda ni yn y cwch a ofnasant yn ddirfawr wrth eu gweled, ac a wylent yn hidl, gan gredu bod eu trangc yn agos. Buom yn eu canol fel hyn am ryw faint o amser, ond trwy rwyfo yn galed, diangasom arnynt; ac felly gwaredwyd ni allan o'r perygl." Bwytteir darnau o'r creaduriaid hyn gan y brodorion, a dywedir bod eu cig yn dra blasus.

## MUL.

Edrychiad y Mul sydd drymaidd, ac o ran ei faintioli y mae yn fwy na'r asyn, ond yn llai na'r ceffyl, a chymmysg ydyw, rhwng ceffyl ac asyn. Nid ydyw y creaduriaid hyn yn epilio. Dywedir eu bod yn gryfion iawn, ac y cludant lwythau trymion ar eu cefnau, ac y byddant byw cyhyd arall a cheffylau. Sonir am danynt yn yr ysgrythyrau fel creaduriaid a ddefnyddid i gludo y rhai a berthynent i'r teulu brenhinol ym mblith yr Iuddewon, neu i gludo beichiau i ryw bellder. Dywedir yn 2 Sam. 13. 29. am feibion Dafydd, eu bod yn marchogaeth ar Fulod; "A holl feibion y brenin a gyfodasant, a phob un a farchogodd ar ei Ful, ac a ffoisant." Absalom, mab Dafydd, a farchogodd ar Ful pan giliai o'r frwydr, a Salomon ar ddydd ei goroniad a farchogodd Fules ei dad. 1 Bren. 1. 33, 36. A phan ddychwelodd yr Iuddewon o'u caethiwed ym Mabilon, yr ydoedd ganddynt lawer o'r creaduriaid hyn er cludo eu nwyfau tua Jerusalem. Ymddengys bod marchnadyddion Tyrus yn masnachu llawer mewn mulod; "Y rhai o dŷ Togarmah a farchnattasant yn dy ffeiriau â meirch, a marchogion, a mulod."

## TIGR.

Er na chrybwyllir am y Tigr yn yr ysgrythyrau o dan yr enw hwn, nac o dan unrhyw enw adnabyddus i haneswyr, etto am ei fod

yn greadur mor hynod, ac am yr hwn y mae llawer o ddynion wedi clywed, nid anfuddiol gwneuthur rhyw grybwylliadau yn ei gylch. Y mae y Tigr braidd gymmaint a'r llew, ac o wneuthuriad cadarnach. Ei ben a'i gorph sydd lyfn, a'i liw sydd lwyd, ac ar hyd ei gorph linellau duon. Ystyrir ef y creadur harddaf ym mhlith yr holl fwystfilod; ond ar yr un pryd, efe ydyw y ffyrniccaf a'r creulonaf o honynt oll. Y fath ydyw tuedd y Tigr at gelanedd, fel pan yr ymosodo ar ddiadell, efe a'u lladd oll, ac ni chymmer amser i fwytta yr un o honynt, hyd oni fyddont yn feirwon ger ei fron. Y fath ydyw ei wroldeb a'i ffyrnigrwydd, fel nad oes greadur gwyllt na gwâr na wna efe ruthro arno, a'r canlyniad o'r duedd hon ydyw bod brwydrau brawychus yn digwyddo rhyngddo weithiau a'r llew; ac yn hytrach na rhoddi i fynu, ymladdant hyd angeu, a cheir hwynt yn feirwon yn ymyl eu gilydd. Yn y nos fynychaf y clywir rhuad y Tigr, a dywedir bod ei floedd yn dra brawychus. Cryfder y creadur hwn sydd nodedig, ag ystyried ei faintioli ; ac adroddir bod bual i ffermwr yn yr India Ddwyreiniol wedi suddo i gors, ac i lawer o ddynion fethu ei dynnu allan, ond gwelwyd y Tigr yn ei dynnu allan yn rhwydd, ac yn ei gludo ymaith. Ychydig flynyddau yn ol, aeth amryw foneddigion allan yn yr India Ddwyreiniol i ynys a elwir Sanger Island, i saethu ceirw. Eisteddasant i lawr yn ymyl llwyn o goed, ac yn ddisymmwth clywent ruad fel taran o'r tu ol iddynt, a gwelent Digr o faintioli anferth yn rhuthro arnynt, yr hwn a ymaflodd mewn boneddig o'r enw Mr. Munro, gan ei gipio ymaith i'r llwyni. Saethodd amryw o honynt at y Tigr, a gollyngodd Mr. Munro yn rhydd, yr hwn a redodd yn ol attynt, oll yn waed, a bu farw mewn ychydig oriau. Un tro yr oedd amryw gymdeithion wedi myned i ddifyrru eu hunain yng nghymmydogaeth Bengal, ac eisteddasant dan gysgod pren canghenog i ddiluddedu eu hunain. Dychrynwyd hwynt yn fawr wrth weled Tigr yn yr agweddiad o neidio at un o honynt. Rhuthrodd at foneddiges ieuangc, ond gyda ei fod yn ei hymyl, agorodd ei gwlaw-len yn ei wyneb, a chafodd y creadur gymmaint dychryn, fel y trodd yn ei ol, a'r cymdeithion a gawsant gyfleusdra i ddiengyd yn ddianaf.

## UNICORN.

Y MAE dysgedigion yn wahanol iawn yn eu barnau ynghylch y creadur a elwir yn Hebraeg, *Reem*, ac yn ein Biblau ni a gyfieithir 'Unicorn,' hynny ydyw, un gorn. Arwydda y gair, wedi ei ddyrchafu, neu wedi ei gyfodi i fynu. Amryw ysgrifenwyr, ar ol yr ymchwiliadau manylaf, ydynt wedi penderfynu mai yr un creadur yw y Reem, a gyfieithir Unicorn, a'r Rhinoceros. Y creadur hwn sydd o faintioli anferth, ynghylch deuddeg troedfedd o hyd, ac yn chwech neu saith troedfedd o uchder. Ei gorph sydd yn fawr iawn, a'i draed yn fyrion a ffurfion. Ei groen sydd dywyll, ac yn oblygion ar ei gilydd, ac mor drwchus fel nad oes unrhyw arfau braidd a wnant argraff arno. Ei ben sydd fawr, ei glustiau yn sefyll i fynu, a'i lygaid yn fychain a thywyll. Y mae corn cryf o liw llwyd ar ei drwyn, yn plygu yn ol, o ddwy i dair troedfedd o hyd ; gwna y corn y coed calettaf yn ddrylliau, ac âg ef yr ymddiffyna y creadur ei

hun yn wyneb pob ymosodiadau a wneir arno gan fwystfilod a chreaduriaid gwylltion yr anialwch. Y mae y Rhinoceros yn greadur cryf anghyffredin, yn greulon iawn pan ei cyffroir, yn fuan ac ystyried ei faintioli, ac yn annichonadwy ei ddofi; a chan bod ei groen mor drwchus a chaled, â yn ei nerth drwy goedwigoedd Affrica, gan dorri y canghenau a phlygu coedydd o gryn faintioli o'i flaen. Dywedir nad oes ganddo archwaeth at gnawd, a'i fod yn ymborthi ar ganghenau irion y coedydd, dail y coed, porfa, a llysieuau; a'i fod yn dewis lleoedd oerion anghyfannedd yn agos i ddyfroedd a choedydd cysgodfawr. Gwelir ef yma yn gyffredin, lle y teyrnasa megis arglwydd, gan fod ei gorn mor angheuol i'r neb a ymosodo arno mewn rhyfel. Defnyddir amryw rannau o'r creadur hwn mewn meddyginiaeth, a'r tywysogion Indiaidd a yfant o gwppanau a wneir o'i gorn.

Y mae rhywogaeth o Rinoceros â dau gorn iddo, a dygwyd pen un o'r rhai hyn o Affrica Ddeheuol yn y flwyddyn 1821, gan y Parch. John Campbell; ac y mae y benglog a'r cyrn yn awr yn Amgeueddfa Cymdeithas Gennadol Llundain. Pan saethwyd hwn, tybiwyd mai y Rhinoceros cyffredin ydoedd, hyd oni chanfyddwyd ei fod yn gwahaniaethu oddiwrth y lleill a welwyd ac a laddwyd yn flaenorol. Y corn pennaf yn hwn a dyfa ynghylch deng modfedd uwchlaw y trwyn, ac y mae yn cammu yn gyffelyb i yspardyn ceiliog. Y mae yn dair troedfedd o hyd, yn gyffelyb i gorn yr Unicorn dychymmygol yn arfau Prydain Fawr. O'r tu ol i'r prif gorn, y mae un bychan, ynghylch wyth modfedd o hyd, yn gyffelyb mewn dull i'r mwyaf. Mesur y pen ydyw tair troedfedd o'r safn i'r glust, yr hyn a brawf fod y creadur yn anferthol ei faintioli.

Dyweda Mr. Bruce am y creadur hwn, yn hanes ei deithiau drwy Abyssinia, ei fod ef ac eraill wedi penderfynu myned i hela un diwrnod; ac i'r diben hwn cyfodasant yn fore, ac yr oeddynt ar gefnau eu meirch ar dorriad y dydd, yn barod er chwilio am y Rhinoceros, lleisiau ac ubaniadau y rhai a glywid fel yr oedd y bore yn dynesu. Wedi i'r helwyr ymgynnull ynghyd, ac wedi chwilio ynghylch awr am y creadur, neidiodd allan gydag angerdd ofnadwy, gan wynebu ar y gwastad-dir, yr hwn oedd ynghylch dwy filldir o led, a llwyn tew yr ochr draw. Er ei fod yn rhedeg, neu yn hytrach yn teithio, rhoddwyd amryw biccellau ynddo yn dra buan, yr hwn ymgyfarchiad miniog a effeithiodd arno i'r fath raddau, fel y trodd ac yr aeth i dwll mawr, ac wrth fyned i mewn a dorrodd ynghylch deuddeg o'r piccellau a darawyd ynddo. Meddyliasom ei fod yma yn ddiogel, am nad oedd ganddo ond prin lle i droi. Un o'r cymdeithion a saethodd at ei ben, a'r creadur yn uniongyrchol a syrthiodd, ac yn ol pob ymddangosiad yr oedd wedi marw. Yr helwyr yn awr a neidiasant ym mlaen â'u cyllill er ei dorri; ond gyda eu bod yn dechreu, adfywiodd y bwystfil, a chyfododd ar ei liniau; ac oni buasai i un o'r helwyr dorri llinyn ei arr, angeuol fuasai y canlyniadau.

Pa un ai y Rhinoceros neu ryw greadur arall anadnabyddus i ni yw Unicorn yr Ysgrythyrau, y mae yn anhawdd gwybod. Y mae yn eglur bod yr Unicorn yn greadur galluog iawn, o gryn uchder, a chorn yn tyfu allan o'i dalcen; ymddengys hyn oddiwrth y gydmariaeth a ddefnyddia Moses, er dangos gallu a rhwysg llwyth Joseph,

'Ei gyrn ef sydd gyrn unicorn; â hwynt y cornia efe y bobl ynghyd hyd eithafoedd y ddaear.' Deut. 33. 17. Balaam hefyd a ddefnyddia yr un gydmariaeth, pan y darlunia fawredd a gallu plant Israel, 'Duw a'u dwg hwynt allan o'r Aipht; megis nerth unicorn sydd iddo.' Num. 23. 22. Sefyllfa o fawredd ac o anrhydedd a ddarlunir gan Dafydd pan ddywed, 'Ond fy nghorn i a ddyrchefi fel unicorn.' Salm 92. 10. Yn llyfr Job dywedir am y Reem fel creadur o nerth mawr, ac mor anhawdd ei ddofi, fel mai annichonadwy plygu ei warr dan ei iau, neu gael ganddo ymostwng i wasanaeth dynol; 'A gyttuna yr unicorn i'th wasanaethu di? a erys efe wrth dy breseb di? A rwymi di unicorn â'i did mewn rhych? a lyfna efe y dolydd ar dy ol di?' Job 39. 9—12. Crybwyllir mewn Ysgrythyrau eraill am yr Unicorn; ond pa greadur ydyw sydd bwngc a ddadleuir gan ddysgedigion, ac y mae amryw o honynt yn barnu mai yr un ydyw ef a'r Rhinoceros.

## YCH.

Rhoddir yr enw ychain ac eidionau yn gyffredin i bob creaduriaid corniog o'r rhywogaeth hon; a chrybwyllir yn fynych yn yr Ysgrythyrau am wartheg, ychain, ac eidionau. Y fuwch efallai ydyw y creadur mwyaf defnyddiol ym mhlith yr holl greaduriaid, ac y mae yn cael ei hystyried felly ym mhlith yr holl genhedloedd. Amrywia y creaduriaid hyn yn fawr yn eu lliwiau ac yn eu maintioli, ac yn neillduol felly yn eu pennau ac yn eu cyrn. Cig yr ych a ystyrir yn dra maethlon, a defnyddir ef mewn ffordd o ymborth gan bob cenedl. Ei groen sydd o wasanaeth mawr at amrywiol bethau; felly hefyd ei gyrn a'i esgyrn, ynghyd â phob peth braidd a berthyna iddo. Ond gan fod y rhywogaeth hon mor gydnabyddus, afreidiol rhoddi darluniad neillduol o honynt a'u gwasanaeth. Y mae y rhywogaeth hon o greaduriaid yn lân wrth gyfraith Moses, a defnyddid eu cig fel ymborth yn gyffredinol gan yr Israeliaid. Ymddengys hyn oddiwrth y wledd fawr a wnaed gan Dafydd ar ddydd ei goroniad; 'A hwy a fuant yno gyda Dafydd dridiau, yn bwytta ac yn yfed; canys eu brodyr a arlwyasant iddynt hwy.' Ac ym mhlith pethau eraill, crybwyllir am 'wartheg a defaid yn helaeth.' 1 Chron. 12. 39, 40. Yn nammeg y wledd briodas, dywedir hefyd am y defnydd a wneid o gig eidionau, 'Wele, parottoais fy nghiniaw: fy ychain a'm pasgedigion a laddwyd.' Mat. 22. 4. Pan dderbyniodd Eliseus y pennodiad o fod yn brophwyd i'r Arglwydd, ym mha swydd yr ydoedd i ganlyn Elias, dywedir yn yr Ysgrythyrau, 'Ac efe a ddychwelodd oddiar ei ol ef, ac a gymmerth gwpl o ychain, ac a'u lladdodd, ac âg offer yr ychain y berwodd efe eu cig hwynt, ac a'i rhoddodd i'r bobl, a hwy a fwyttasant.' 1 Bren. 19. 21. Cig llo a ystyrid y danteithfwyd pennaf yng ngwledydd y dwyrain, ac ar achlysuron neillduol y defnyddid ef, fel arwydd o barch mawr i ryw bersonau pennodol. Pan ydoedd Abraham yn myned i ddangos ei gymmeradwyaeth i'r tri angel a ymddangosasant iddo mewn agwedd ddynol, dywedir, 'Ac Abraham a redodd at y gwartheg, ac a gymmerodd lo tyner a da, ac a'i rhoddodd at y llangc, yr hwn a frysiodd i'w barottoi ef. Ac efe a gymmerodd ymenyn, a llaeth, a'r llo a barottoisai efe, ac a'i

rhoddes o'u blaen hwynt: ac efe a safodd gyda hwynt tan y pren; a hwy a fwyttasant.' Gen. 18. 7, 8. Ar achlysuron o lawenydd neillduol ym mhlith yr Iuddewon, parottoid llo i'r wledd, yr hwn yn flaenorol a besgid i'r perwyl. At y ddefod hon y cyfeiria ein Harglwydd Iesu Grist yn nammeg y mab afradlon; lle y dyweda y tad yn ei lawenydd oblegid ei ddychweliad, 'A dygwch y llo pasgedig, a lleddwch ef; a bwyttawn, a byddwn lawen: canys fy mab hwn oedd farw, ac a aeth yn fyw drachefn; ac efe a gollesid, ac a gaed. A hwy a ddechreuasant fod yn llawen.' Luc 15. 23, 24. Yr oedd cyfoeth dynion yn yr oesau gynt, ym mhlith pethau eraill, yn gynnwysedig mewn ychain; megis y crybwyllir am Abraham, Jacob, a Job. Defnyddid ychain yn gyffredin yn y gwledydd dwyreiniol at wasanaeth amaethyddiaeth. Dywedir yn Job 1. 14. am yr ychain yn aredig; ac am Eliseus, ei fod yn aredig gyda deuddeg iau o ychain pan ddaeth Elias heibio i'w alw i'r swydd brophwydol. 1 Bren. 19. 19. Defnyddid ychain ac annerod yn fynych hefyd yn yr aberthau o dan gyfraith Moses.

# YR ADAR

## A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU.

### ADERYN Y TO.

ADWAENIR yr aderyn bychan hwn braidd ym mhob gwledydd, ac felly nid rhaid rhoddi darluniad neillduol o hono. Y mae adar y to yn fwy cyfeillgar a hyf na nemmawr o'r llwyth asgellog. Arosant ar eu traed ar y ffordd neu ger y tŷ hyd oni fyddir o fewn i ychydig lathenni cyn y cymmeront aden ac yr ehedont ymaith; ac ni ehedant ym mhell cyn disgyn o honynt drachefn. Gwnant eu nythau yn gyffredin yng nghronglwydydd y tai, yr ysguboriau, a phob math o adeiladau. Portha yr hen adar eu rhai bychain yn dra gofalus, a phan fyddo y cywion yn llawn pluf, cymmer yr hen rai hwynt o'r nyth ar ddiwrnod teg, ychydig lathenni o bellder, ac yna gwnant iddynt ddychwelyd yn ol. Gwnant fel hyn â hwynt amryw droion, hyd oni fyddont yn ddigon cryfion i hedeg eu hunain, ac yna gadewir hwynt i ymdaro yn hollol drostynt eu hunain, ac ni dderbyniant gynnorthwyon oddiwrth yr hen rai. Y mae gwahaniaeth barn ym mhlith rhai pa aderyn yw aderyn y to mewn rhai mannau yn yr Ysgrythyrau; ond gan nad ydyw yn angenrheidiol sylwi ar hyn yn bresennol, ni chrybwyllir ychwaneg yn awr, na bod yr Arglwydd Iesu Grist yn coffau am adar y to, er dangos mor ofalus ydyw rhagluniaeth fawr y nefoedd am ddynion, gan ei fod yn gofalu mor neillduol am adar y to. Mat. 10. 29. Luc 12. 6.

## CICONIA.

Y CICONIA gwyn sydd ynghylch tair troedfedd o hyd; ei big sydd goch, ac o'r tu fewn yn llawn bachau, modd y gallo ymaflyd yn hawddach yn ei ysglyfaeth. Ei holl bluf ydynt wynion, ond blaenau ei adenydd, y rhai ydynt dduon, ynghyd â rhan o'r pen a'r morddwydydd. Ei draed ydynt hirion a meinion, ac yn gochion; ac y mae rhyw beth yn ei ewinedd yn debyg i ewinedd dyn. Ymborth y ciconia ydyw brogaod, mabddelli, nadredd, a phryfaid. Oblegid gwasanaeth y ciconia i ddyn, ymddygir mewn tiriondeb attynt yn mhob gwledydd yr ymwelant â hwynt. Natur yr aderyn nodedig hwn sydd fwyn a hynaws, ac y maent yn hynod am eu caredigrwydd i'w rhieni, oblegid porthant hwynt yn ofalus yn eu henaint, gan eu cadw yn gwbl ddieisiau. Dyweda Bellonius bod y ciconiaid yn ymweled â'r Aipht yn y fath liosogrwydd, fel y mae yr holl wlad yn wyn ganddynt; ac ystyrir eu hymweliadau yn fendith fawr gan yr Aiphtiaid, oblegid eu bod yn dinystrio y brogaod a heidiant trwy yr holl wlad; ac oni byddai yr adar dan sylw, hwy a'i llwyr ddinystrient. Nid ydyw y ciconiaid yn adar arosol mewn un wlad, ond yn myned ac yn dyfod. Gadawant wlad oer ar ddynesiad y gauaf, ac ehedant ymaith yn finteioedd i wlad mwy tymherus, gan ddychwelyd yn ol drachefn tua dechreu yr haf. Dros wythnos cyn iddynt ymadael â rhyw wlad, cyfarfyddant ynghyd bob dydd, fel cynghor, ac megis pe byddent yn pennodi ar ddydd eu hymadawiad i ryw wlad arall. Dyweda Dr. Shaw iddo weled tair mintai o honynt, a phob mintai tua milldir o hyd, yn gadael yr Aipht, a'u bod mor lliosog fel y buont dair awr yn ehedeg dros ben mynydd Carmel. Galwa yr Hebreaid yr aderyn hwn wrth enw sydd yn arwyddo tosturi neu drugaredd, a hynny debygid o herwydd bod yr hen adar mor dirion wrth a gofalus am eu rhai bychain; a'r rhai bychain hwythau yr un modd am yr hen rai. Dywedir bod y ciconia yn dra neillduol yn adeiladiad ei nyth; y man mwyaf dewisol ganddo' ydyw pen tŵr neu dŷ anghyfannedd; ond am fod pennau tai yr Israeliaid yn wastad ac yn gyfanneddol, nythent ar ben coedydd uchel. At hyn y cyfeiria Dafydd yn Salm 114. 17. 'Y ffynnidwodd yw tŷ y ciconia.' Cyfeiriad arall a wneir at y ciconia, er dangos y doethineb a roddes y Creawdwr iddo: 'Ië, y ciconia yn yr awyr a edwyn ei dymhorau.' Y fath ydyw gwybodaeth y creadur hwn, fel y mae yn gwbl hyspys o amser ei ymadawiad âg un wlad a'i ymweled

iad â gwlad arall.

## CIGFRAN.

LLIW y gigfran sydd ddu-loyw, ac y mae yn aderyn tra nerthol a chadarn; yn ddwy droedfedd o hyd, ac agos i bedair troedfedd o flaen y naill aden i'r llall. Ei phig sydd grwcca, ei llygaid yn gyflym, ei thraed yn fyrion, a hi a neidia gyda buandra ar hyd y ddaear. Nid gorchwyl anhawdd ydyw dofi cigfran, ac wedi unwaith ei dofi, y mae yr aderyn yn dyfod yn greadur tra chyfeillgar. Bwytty lawer iawn, ac nid ydyw yn ddetholedig neillduol yn ei hymborth. Dywedir bod tuedd ladronllyd iawn mewn cigfrain dofion, ac y lladrattant bob peth a ddaw i'w ffordd, gan eu cludo i ryw gell ddirgel,

yn yr hon y ceir trysorau gwerthfawr weithiau. Cigfrain gwylltion ydynt dra chyfrwys a niweidiol; a phan welant ryw anifail yn ddi-gymhorth, ehedant atto, a thynnant ymaith ei lygaid. Rhoir parch neillduol i gigfrain mewn rhai gwledydd, a byddai y Rhufeiniaid yn dewinio oddiwrth symmudiadau cigfrain. Dyweda naturiaethwyr y bydd y gigfran byw dros gan' mlynedd. Yr oedd gwas i foneddwr unwaith wedi colli llwyau arian, ynghyd â gwahanol bethau eraill, ac ni allai mewn un modd ddychymmygu pwy a allasai y lleidr fod. O'r diwedd gwelwyd cigfran ddof ag oedd yn y tŷ â llwy arian yn ei phig; gwyliwyd ei hysgogiadau yn ofalus, a dilynwyd hi i'w chell, a chaed yno ddwsin o honynt. Oblegid cryfdwr yr aderyn hwn y mae yn debygol yr anfonodd Noah hi allan o'r arch, wedi i'r mynyddoedd ddangos eu pennau uwchlaw y dyfroedd; 'Ac ym mhen deugain niwrnod yr agorodd Noah ffenestr yr arch a wnaethai efe. Ac efe a anfonodd allan gigfran; a hi a aeth, gan fyned allan a dychwelyd, hyd oni sychodd y dyfroedd oddiar y ddaear.' Gen. 8. 6, 7. Oddiwrth y testun hwn, ymddengys bod y gigfran wedi canfod llawer iawn o ysgerbwdau, y rhai oeddynt yn ymborth hoff ganddi, ac iddi aros gyda hwynt yn lle dychwelyd yn ol i'r arch. Dywedir bod y cywion yn cael eu gadael pan yn ieuaingc iawn gan yr hen rai, i ymdaro drostynt eu hunain; a thybir mai at hyn y cyfeirir yn Salm 149. 9. 'Efe sydd yn rhoddi i'r anifail ei borthiant, ac i gywion y gigfran, pan lefant.' Cyfeiriad cyffelyb i hyn a wneir gan Job, pen. 38. 41. 'Pwy a ddarpar i'r gigfran ei bwyd? pan lefo ei chywion ar Dduw, gwibiant o eisiau bwyd.' Y cigfrain a bennodwyd gan Dduw i barottoi ac i ddwyn ymborth i Elias, pan ymguddiai mewn lle anghyfannedd. Dywedodd yr Arglwydd wrth y prophwyd, 'Perais i'r cigfrain dy borthi di yno. A'r cigfrain a ddygent iddo fara a chig y bore, a bara a chig brydnawn; ac efe a yfai o'r afon.' Cyfeiria Salomon at arferion y cigfrain, pan y rhydd rybudd dwys i'r dynion ieuaingc hynny ni pharchant bersonau neu athrawiaeth y rhai sydd i ofalu am danynt: dyweda am y trueni a ddygant arnynt eu hunain yn y geiriau canlynol; "Llygad yr hwn a watwaro ei dad, ac a ddi-ystyro ufuddhau ei fam, a dynn cigfrain y dyffryn, a'r cywion eryrod a'i bwytty.' Diar. 30. 17. Yr oedd yn ddefod yn y dwyrain, wedi i droseddwyr ddioddef cospedigaeth marwolaeth, i daflu eu cyrph meirwon ar y maes, a'r bwystfilod neu adar yr awyr a'u bwyttaent; a chan mai at y llygad y cynnygia y gigfran gyntaf, cyfeiria Salomon at hynny.

## CIDYLL.

Y MAE y cidyll ychydig yn fwy na'r golommen; ei big sydd fer a cham, ei lygaid yn grynion a goleu, ac efe a wel hyd ym mhell, ac a eheda yn dra chyflym. Dysgir cidyllod i hela a dala adar, ond nid ydyw y gelfyddyd hon mor gyffredin yn awr a chynt. Er nad ydyw y cidyll yn aderyn mawr, etto y mae ei ymddangosiad yn fawreddog. Dywedir ei fod yn gadael ardaloedd oerion y gogledd ar ddynesiad y gauaf, ac mai at hynny y cyfeirir yn Job 39. 26. "Ai trwy dy ddoethineb di yr eheda'r gwalch, ac y lleda efe ei adenydd tua'r dehau?"

## CRYCHYDD.

Y CRYCHYDD mawr ac o'r iawn rywogaeth sydd ynghylch saith troedfedd o'r llawr hyd ei goppa. Ei big sydd hir, a'i draed hefyd sydd hirion. Y mae amrywiol rywogaethau o'r crychyddod, ond y maent oll yn gyffelyb i'w gilydd yn eu harferion. Eu hymborth ydyw pryfaid bychain a llysieuau. Yn y gwledydd hynny lle y maent yn lliosog, llwyr ddinystriant faesydd eang o ŷd, megis pe byddai byddin ryfelgar wedi myned trwyddynt. Nid yw y crychyddod yn adar arosol yn yr un wlad; yn y gauaf cyfanneddant wledydd cynnes, a thua dechreu yr haf symmudant i wledydd mwy gogleddol. Pan yr ehedont o un wlad i'r llall, ehedant yn uchel iawn yn yr awyr, ac yn agos iawn i'w gilydd; ond yn gyffredin pan fyddont yn ehedeg o un wlad i'r llall, byddant ar ddull triongl, am mai fel hyn yr ânt hawddaf drwy yr awyr. Eu lleisiau sydd uchel a sgrechlyd, a gellir clywed eu swn pan fyddont yn uchel i'w gweled yn yr awyr. Pan fyddo y crychyddod ar y ddaear, dywedir eu bod yn gosod gwylwyr yma ac accw, a phan roddo y rhai hyn yr alarwm cyfoda yr holl fintai ar unwaith, ac ehedant ymaith. Y crychydd fel y ciconia sydd aderyn symmudol, ac yn iaith prophwydoliaeth yr hen amserau, dywedir ei fod yn adnabod ei amserau neu ei dymhorau; ac felly gosodir yr aderyn hwn yn enghraifft o ddealldwriaeth i lwythau Israel, a cheryddir hwy am eu diofalwch. 'Y durtur hefyd, a'r aran, (crychydd,) a'r wennol, a gadwant amser eu dyfodiad; eithr fy mhobl i ni wyddant farn yr Arglwydd.' Jer. 8. 7. Cydmara Hezecia brenin Juda ei gwynfan yn ei afiechyd i lais anghydsain y crychydd; Esay 38. 14. 'Megis garan neu wennol, felly trydar a wnaethum.'

## DYLLUAN.

Y MAE amryw rywogaethau o ddylluanod, ond y ddylluan gorniog ydyw y fwyaf o honynt oll. Gelwir hon y ddylluan gorniog, oblegid dau gorn, y rhai a gyfansoddir o chwech o bluf yn tyfu ar ei choppa. Pluf y ddylluan sydd o amryw liwiau; ac y mae gan ddylluanod ffordd i gadw eu pluf ar led, yr hyn sydd yn eu gwneuthur i ymddangos yn fwy o lawer nag ydynt. Adenydd y ddylluan ydynt hirion; ei chynffon yn fer; ei thraed yn ffyrfion; a'i hewinedd yn llymion a hirion. Wyneb y ddylluan sydd agos a bod yn wastad; a'i llygaid yn suddedig ac wedi eu cyfleu yn y fath fodd, fel y gall weled yn well yn yr hwyr nag yn llewyrch tanbaid yr haul. Cyfannedda dylluanod agennau creigiau, ogofeydd, hen dyrau, ac hen geubrenni; o ba le y gwelir hwynt yn cynniwair allan yn yr hwyr, pan y byddo yr adar eraill wedi cilio i'r llwyni am y nos. Dywedir bod cariad neillduol gan y dylluanod at eu rhai ieuaingc. Adroddir am wr bonheddig a fu yn byw lawer o flynyddoedd ar fferm yn Sudermania, yn agos i fynydd uchel lle yr oedd dwy ddylluan gorniog wedi nythu. Un diwrnod aeth un o'r dylluanod bychain allan o'r nyth, a daliwyd hi gan un o weision y gwr bonheddig, yr hwn a'i cauodd i fynu yng nghawell yr ieir, ac erbyn bore drannoeth yr oedd petrisen farw gyferbyn â'r cawell. Dygwyd y betrisen gan yr

hen ddylluanod, a gwnaed yr un modd am bedair noswaith ar ddeg. Ond ym mhen ennyd, peidiodd yr hen rai a dyfod âg ymborth i'r un ieuangc, sef yr amser y mae adar yn rhoddi heibio i fwyda eu rhai ieuaingc. Pan grybwylla yr Ysgrythyrau am ryw anghyfannedd-dra, dywedant am y lle fel preswylfa dylluanod; Esay 34. 13. "Cyfyd hefyd yn ei phalasau ddrain, danadl ac ysgall o fewn ei chaerydd: a hi a fydd yn drigfa dreigiau, yn gyntedd i gywion yr estrys;—yno y nytha'r dylluan, ac y dodwa, ac y deora, ac a gasgl yn ei chysgod." Crybwyllir yn yr Ysgrythyrau am aderyn y corph, a elwir yn Saesonaeg *Screech Owl*, y ddylluan sgrechlyd, neu wichlyd. Dychryna dynion gweinion eu synwyrau yn anghyffredin pan glywont ysgrech y ddylluan hon, oblegid ystyriant hi yn aderyn meddiannol ar ddoniau prophwydoliaethol, ac yn rhagfynegi yn sicr am farwolaeth dyn. Amryw o chwedlau rhyfedd a ddywedir am aderyn y corph, a diysgog ydyw crediniaeth ffyliaid yn ei brophwydoliaethau; ond y mae yn aros i'w brofi bod prophwydi ym mhlith yr adar, ac y mae yn achos o syndod fod cymmaint o olion paganiaeth wedi aros yn y wlad, fel y creda dynion fod rhyw beth yn ysgrech aderyn wedi ei darfu o'i nyth yn y nos.

## ERYR.

GELWIR yr eryr gan naturiaethwyr yn frenin yr adar, oblegid ei gryfdwr mawr a'i wroldeb anghyffredin, ynghyd â buandra mawr ei ehedfaniad. Ymgyfyd yn uchel i'r awyr, a phan fyddo ym mhell allan o olwg yn yr awyr, y fath ydyw craffder ei olygon, fel y gwela bysgodyn yng ngwaelod glynn, ac fel saeth disgynna arno, gan ei gyfodi i fynu yn union-gyrchol ac ehedeg ymaith. Y mae ymddangosiad yr eryr yn taro dychryn ym mhlith yr holl lu asgellog, ac y mae ei arswyd ar yr holl adar. Hyd yr eryr o'i big hyd derfyn ei gynffon sydd o ddeutu tair troedfedd a chwech modfedd. Ei big sydd galed, cam, a chryf iawn. Ymborth eryrod ydyw pob math o gig, ond dywedir na wnant ymborthi ar fyrgunod drewedig. Cynniweiriant yn fintioedd i faes y rhyfel, ac yno y gwelir hwynt am ddiwrnodiau yn ymborthi ar y celaneddau. Pan fyddo yr eryr yn hela am ysglyfaeth, disgynna ar ŵydd, twrci, ac adar dofion mawrion eraill, ac a'u cluda ymaith yn rhwydd. Dywedir bod eryrod yn fynych yn rhuthro ar ŵyn, a chreaduriaid eraill, ac yn eu cludo ymaith gyda y rhwyddineb mwyaf. Adroddir fel gwirionedd, bod un o saethwyr mynyddoedd yr Alps, mewn cwm mawr, yn disgwyl am ddyfodiad eryr. Wedi aros yn ei loches clywai lais cwynfanllyd ac wylofus yn dynesu atto, ac erbyn edrych o hono, gwelai eryr yn ehedeg i fynu y cwm, a phlentyn yn ei grafangau, yr hwn a wylai yn enbyd. Disgynnodd yr eryr i'w nyth, a'r saethwr a annelodd ei wn atti, ac a'i saethodd yn farw, a'r plentyn a achubwyd yn fyw o'i grafangau, ac a adferwyd i'w rieni. Dyweda Syr Robert Sibbald am wraig yn un o ynysoedd Orkney, a adawodd ei phlentyn blwydd oed allan, tra fyddai hi yn myned i'r tŷ i wneuthur rhyw beth neu gilydd. Ond yn ei habsennoldeb, daeth eryr heibio, ac a gipiodd y plentyn, eithr gwelwyd yr aderyn yn cludo y plentyn i'w nyth gan rai pysgotwyr, a rhedasant yno, ac a'i

dygasant yn ol yn weddol ddianaf at ei fam. Yr oedd eryr wedi gwneuthur nyth yn un o ynysoedd llyn Kilarney yn yr Iwerddon. Rhyw weithiwr a benderfynodd yspeilio nyth yr eryr o'r rhai bychain. Diosgodd ei ddillad, ac a nofiodd i'r ynys, ac wedi yspeilio y nyth, dechreuodd nofio yn ol a'r eryrod bychain gydag ef. Ond dychwelodd yr hen eryrod yn ol, ac wedi colli eu rhai bychain, gwelsant yr yspeiliwr yn fuan, ac ymosodasant arno mor effeithiol fel y boddasant ef yn y llyn. Sonir yn fynych am eryrod yn yr Ysgrythyrau. Crybwyllir yn neillduol am eu harferion a'u dull cyffredinol yn Job 39. 27—30. "Ai wrth dy orchymmyn di yr ymgyfyd yr eryr, ac y gwna efe ei nyth yn uchel? y trig efe ac yr erys mewn craig; ac ar ysgythredd y graig, a'r lle cadarn? Oddiyno y chwilia am fwyd; ei lygaid a ganfyddant o bell. Ei gywion hefyd a sugnant waed; a lle y byddo celanedd, yno y bydd efe." Uchder mawr yr eryr yn ehedeg a grybwyllir er dangos perygl pobl Edom, ymffrost fawr y rhai ydoedd arwydd sicr o'u darostyngiad; Obadiah 3. 4. "Balchder dy galon a'th dwyllodd: ti yr hwn wyt yn trigo yn holltau'r graig, yn uchel ei drigfa, Pwy a'm tyn i'r llawr? Ped ymddyrchefit megis yr eryr, a phe rhoit dy nyth ym mhlith y ser, mi a'th ddisgynwn oddiyno, medd yr Arglwydd." Cyfeirir hefyd at fuandra ehedfaniad yr eryr yn y rhybudd dwys a roddodd Moses i'r Israeliaid mewn perthynas i'w hanufudd-dod, a'r canlyniadau o hynny; Deut. 28. 49. "Yr Arglwydd a ddwg i'th erbyn genedl o bell, sef o eithaf y ddaear, mor gyflym ag yr eheda'r eryr, cenedl yr hon ni ddealli ei hiaith." Dywedir am ledander esgyll yr eryr pan yn ehedeg, er dangos helaethrwydd buddugoliaethau brenin Babilon ar Moab; Jer. 48. 40. "Canys fel hyn y dywed yr Arglwydd, Wele, efe a eheda fel eryr, ac a leda ei adenydd dros Moab." Pan fyddo yr eryrod ieuaingc yn llawn pluf ac yn alluog i ehedeg, y mae yr hen eryr yn eu cynhyrfu, ac yn gwneuthur iddynt adael y nyth; eheda drostynt i'r diben o'u dysgu i ehedeg; ac os bydd y rhai bychain yn ofnus, cymmera yr hen eryr hwynt, nid yn ei grafangau, ond ar ei adenydd estynedig; ac at hyn y cyfeirir yn Deut. 32. 11, 12. "Fel y cyfyd eryr ei nyth, y castella dros ei gywion, y lleda ei esgyll, y cymmer hwynt, ac a'u dwg ar ei adenydd; felly yr Arglwydd yn unig a'i harweiniodd yntau, ac nid oedd duw dieithr gydag ef."

## ESTRYS.

Yr estrys ydyw y talaf o'r holl adar, oblegid pan gyfodo ei ben y mae yn llawn wyth troedfedd oddiwrth y ddaear. O'r llawr hyd y cefn nid ydyw dros bedair troedfedd, a gwneir y pedair troedfedd eraill i fynu yn uchder gwddf yr estrys. Plu yr estrys ydynt dduon, ac yn esmwyth fel gwlan; plu yr adenydd a'r gynffon ydynt wynion, ac y maent yn dra gwerthfawr, ac yn cael eu gosod yn gyffredin yng nghapanau rhianod. Llyngca yr estrys braidd bob peth a ddelo yn ei ffordd, megis lledr, porfa, cerrig, gwydr, haiarn, &c. Wyau yr estrys ydynt gymmaint a phen plentyn. Gosodir hwynt yn y tywod, efallai ddeg ar hugain neu ddeugain, a deorir hwynt gan mwyaf yng ngwres yr haul. Dywedir os bydd i neb gyffwrdd

â'r wyau, y dealla yr estrys hynny yn uniongyrchol, ac y sathra yr holl wyau dan ei thraed. Ni all yr estrys ehedeg, ond rheda yn gyflym iawn, trwy gymhorth ei hadenydd. Helir yr estrys yn gyffredin yn Arabia; a'r ffordd ydyw marchogaeth ar geffylau, ac yna dechreua un yr helfa; a phan flino ceffyl hwn, cymmera un arall ei le, ac efe a helir am dri diwrnod weithiau cyn ei ddal. Mewn gweithdy Ffrengig yn Podor, ar lan ddeheuol yr afon Niger, yn Affrica, yr oedd dwy estrys ieuangc, agos yn eu cyflawn faintioli, ac mor ddof fel y cai dau Negro bach fyned ar gefn y fwyaf o honynt, yr hwn a'u cludai gyda y buandra mwyaf amryw weithiau oddi amgylch y pentref. Cluda yr estrysod ddynion yn eu cyflawn faintioli ar eu cefnau, a rhedant yn gyflymach na'r meirch buanaf. Rhoddir hanes neillduol am yr estrys yn llyfr Job. Yn pen. 39. 13. gofynir, "A roddaist ti adenydd hyfryd i'r peunod? neu adenydd a phlu i'r estrys?" Amgylchiad neillduol perthynol i'r estrys ydyw, ei bod yn fynych yn gadael ei hwyau a'i rhai bychain, a hynny mewn ffordd a ddengys nid yn unig esgeulusdra, ond creulondeb; adn. 14—16. "Yr hon a âd ei hwyau yn y ddaear, ac a'u cynnesa yn y llwch; ac y mae hi yn gollwng dros gof y gallai droed ei dryllio hwynt, neu anifail y maes eu sathru. Caled yw hi wrth ei chywion, fel pe na byddent eiddi hi; ei gwaith hi sydd ofer, heb ofn." Y mae crybwylliad neillduol hefyd yn Galar. 4. 3. am greulondeb yr estrys; "Merch fy mhobl a aeth yn greulon, fel yr estrysiaid yn yr anialwch."

## FWLTUR.

Y Fwltur sydd ychydig yn fwy na'r eryr, ond yn gwahaniaethu oddiwrth yr eryr mewn yspryd ac ymddangosiad. Nid oes plu ar ben a gwddf a fwltur; ei llygaid sydd fawrion a thywyll, a'i hewinedd ydynt gryfion iawn. Lliw cyffredin y fwltur sydd wyn bawlyd. Eheda yn uchel iawn, a gwna ei chlwyd ar ben pren neu graig uchel, a'i hadenydd mewn rhan yn estynedig. Ymborth pennaf y fwlturiaid ydyw cyrph meirwon; a'r fath ydyw eu gwangc, fel y bwyttant yn fynych i'r fath raddau fel na allant ehedeg ymaith. Trigolion y gwledydd dwyreiniol ydynt ddiolchgar neillduol i ragluniaeth am yr adar hyn, oblegid eu bod mor ddefnyddiol i fwytta y cyrph trengedig, y rhai, oni byddai y fwlturiaid, a ddrewent yr holl wledydd. Dyweda Mr. Bingley eu bod yn ddefnyddiol iawn yn Palestina, am eu bod yn dinystrio nifer aneirif o lygod a fegir yn y wlad, y rhai a ddinystrient yn llwyr holl gynnyrch y tir oni byddai bod y fwlturiaid yn eu difetha. Dilyna y fwlturiaid y carafan blynyddol sydd yn myned o'r Aipht i Mecca, er mwyn ymborthi ar gyrph yr anifeiliaid sydd yn arferol o drengu ar y daith. Nid rhyfedd i'r fwltur gael ei chyhoeddi yn greadur aflan dan y gyfraith seremoniol. Cyfeirir yn neillduol at eu cynniweirfeydd at gelaneddau yn Esay 34. 6, 15. "Canys y mae i'r Arglwydd aberth yn Bosrah, a lladdfa fawr yn nhir Edom.—Yno y nytha'r dylluan, ac y dodwa, ac y deora, ac a gasgl yn ei chysgod; y fylturiaid a ymgasglant yno hefyd, pob un gyda'i gymmar."

## GWENNOL.

Y MAE amryw rywogaethau o wennoliaid, ac yr ydym ni yn y deyrnas hon yn adnabod llawer o honynt. Ymborth gwennoliaid ydyw mân bryfaid, a dinystriant fil myrddiwn o'r rhai hyn yn yr awyr; a diau oni byddai y gwennoliaid, y niweidiai ac y gwenwynai y pryfaid hyn yr awyr. Y mae y gwennoliaid yn adar symmudol, ac yn adnabod eu tymhorau myned a dyfod; ac at hyn y mae cyfeiriad neillduol yn yr ysgrythyrau; Jer. 8. 7. "A'r aran, a'r wennol, a gadwant amser eu dyfodiad." Dengys y Salmydd ei awydd a chysylltiad ei enaid at allorau Duw, trwy gyfeirio at y wennol; Salm 84. 3. "Aderyn y to hefyd a gafodd dŷ, a'r wennol nyth iddi, lle y gesyd ei chywion; sef dy allorau di, O Arglwydd y lluoedd, fy Mrenin a'm Duw."

## IAR.

Y MAE crybwylliadau mynych yn yr ysgrythyrau am geiliog a iar, ac yn neillduol am ganiad y ceiliog. Cana y ceiliog yn fynych ar hanner nos, a chana drachefn cyn i'r haul gyfodi. At hyn y cyfeiria ein Harglwydd Iesu Grist fwy nag unwaith yn ei ymddiddanion â'i ddisgyblion; Marc 13. 35, 36. "Gwyliwch gan hynny (canys ni wyddoch pa bryd y daw meistr y tŷ, yn yr hwyr, ai hanner nos, ai ar ganiad y ceiliog, ai'r boreddydd,) rhag iddo ddyfod yn ddisymmwth, a'ch cael chwi yn cysgu." Dywedir yn yr ysgrythyrau am ofal neillduol yr iar am ei chywion, yr hyn sydd mor fawr fel yr ymladda hyd farw er eu hymddiffyn. At hyn y cyfeiria ein Harglwydd pan yn cyfarch yr Iuddewon, ac yn dangos iddynt y sefyllfa druenus yr oeddynt ynddi; Mat. 23. 37. "Jerusalem, Jerusalem, yr hon wyt yn lladd y prophwydi, ac yn llabyddio y rhai a ddanfonir attat, pa sawl gwaith y mynnaswn gasglu dy blant ynghyd, megis y casgl iar ei chywion dan ei hadenydd, ac nis mynnech."

## PAUN.

YR aderyn nodedig hwn ydyw yr harddaf ym mhlith yr holl lu asgellog; y mae yn gyffredin tua thair troedfedd o uchder o'r llawr hyd ei goppa. Plu ei gynffon yn gyffredin a fesurant tua phedair troedfedd; a phan y gosoda ei harddwch allan, ymddengys yn dra ardderchog. Ond er ei holl harddwch, aderyn creulon ac ystyfnig ydyw y paun; ac y mae ei lais yn hynod o anfelus, a phan fyddo yn sgrechen, y mae yn arwydd sicr o dywydd tymhestlog. Harddwch y paun ym moreu yr amserau a dynnodd sylw yr hynafiaid; a dyweda yr ysgrythyrau am longau Salomon, y rhai a elent bob tair blynedd i Tarsis, eu bod yn dwyn yn ol gyda hwynt baunod ym mhlith pethau cywrain eraill; "O herwydd llongau Tarsis oedd gan y brenin ar y môr, gyda llongau Hiram. Unwaith yn y tair blynedd y deuai llongau Tarsis, yn dwyn aur, ac arian, ac ifori, ac eppaod, a pheunod." Pan yr arddangosai yr Hollalluog rannau ardderchog ei weithredoedd i Job, ac er mwyn dangos analluogrwydd dyn gwael, y mae yn gofyn, "A roddaist ti adenydd hyfryd i'r peunod;" Job

39. 13. Cyfeiria hyn at liw hyfryd plu y peunod, yr hyn a ddengys allu rhyfeddol Duw yn ei weithredoedd, pan y gallai roddi y fath harddwch ar yr aderyn hwn.

## PELICAN.

Y MAE yr aderyn hwn o faintioli yr alarch, ac yn arferol o fyned i'r dwfr. O dan big y pelican y mae cwd mawr, yr hwn a ddalia gyflawnder o ymborth; a chan ei fod yn porthi ei gywion o'r cwd hwn, tybiodd yr hen haneswyr ei fod yn eu porthi â'i waed. Ond y mae hyn yn ddarluniad anghywir o'r pelican, er yr adroddir yn fynych bod yr aderyn dan sylw yn porthi ei rai bychain â'i waed. Edrychiad bruddaidd sydd ar yr aderyn hwn yn gyffredinol, ac y mae ei lais yn llais galarus. Treulia ddiwrnodau a nosweithiau yn llonydd ar ganghenau coedydd neu bennau creigiau; ac oni byddai angen y pelican am ymborth, ni ysgogai o'r fan. Pan fyddo y pelican wedi cyfodi tua deg llath ar hugain neu ddeugain llath uwchlaw y môr, troa ei ben, gan ehedeg âg un llygad tua'r môr; a phan welo bysgodyn, disgyna yn ddisymmwth arno, a hynny mor gywir fel y bydd yn sicr o'i ysglyfaethu. Rhydd y pelican y pysgodyn yn ei gwd, ac yna eheda drachefn, gan ysglyfaethu hyd oni fyddo wedi llenwi ei gwd. Y mae y pelican yn ddiog ym mhob amgylchiadau, ac ni pharottoa y fenyw gymmaint a nyth i dderbyn ei hwyau, ond dodwya hwynt ar y llawr, lle y deora arnynt. Ond etto y mae ganddynt gariad neillduol at eu rhai bychain, fel pe clymmid y cywion wrth bren, daw yr hen rai yno ac a'u porthant. Ymddeola y pelican yn fynych i anghyfannedd-leoedd yr anialwch, a chlywir ef yno yn gwneuthur llais cwynfannus megis dyn yng nghanol gofidiau a thrallodion mawrion iawn; ac at hyn y cyfeiria y Salmydd yn Salm 103. 7. "Ydwyf fel pelican yr anialwch."

## PETRIS.

Y PETRIS sydd adar tra adnabyddus, fel nad oes angenrheidrwydd rhoddi darluniad neillduol o honynt. Dywedir eu bod yn hynod o gariadus tuag at eu rhai bychain; a'r fath ydyw eu gofal am eu nythod, fel os digwydd i ddyn ddyfod o hyd i un o honynt, cymmer y betrisen arni fod yn analluog i ehedeg, er mwyn tynnu y dyn oddiwrth y nyth i redeg ar ei hol hi. Eheda y petris yn fintai gyda eu gilydd, ac ni adawa y rhai ieuaingc yr hen rai hyd y gwanwyn, pryd y byddant bob yn ddau i'w gweled yma ac acew. Lleddir miloedd o betris yn flynyddol gan saethwyr, ac ystyrir yr adar dan sylw yn dra danteithiol. Ni all y petris ehedeg ym mhell, oblegid y mae prawf neillduol wedi ei gael o hynny. Yn East Dean, yn Sussex, yn y flwyddyn 1798, pan oeddid yn aredig yn y maes, cyfododd mintai yn cynnwys un ar bumtheg o betris, gan ehedeg tua'r môr, yr hwn ydoedd gyfagos i'r lle. Ehedasant tua thri chan' llath uwch ben y môr, ac yna syrthiasant iddo, a boddasant oll. Yn y gwledydd dwyreiniol helir petris hyd oni fyddont wedi blino ehedeg, ac yna tarewir hwynt yn feirwon gan yr helwyr. Mewn cyfeiriad at hyn y dywedai Dafydd wrth Saul yn 1 Sam. 26. 20. "Yn awr, gan hynny,

na syrthied fy ngwaed i i'r ddaear o flaen wyneb yr Arglwydd: canys brenin Israel a ddaeth allan i geisio chwannen, megis un yn hela petris yn y mynyddoedd." Gwneir cyfeiriad arall at y petris gan Jeremiah, er dangos y felldith a ddilyna y cyfoeth a geir drwy dwyll a gormes; Jer. 17. 11. "Fel petris yn eistedd, ac heb ddeor, yw yr hwn a helio gyfoeth yn annheilwng; yn hanner ei ddyddiau y gedy hwynt, ac yn ei ddiwedd ynfyd fydd." Gosoda y betrisen ei wyau ar y ddaear, ac a gymmera boen i'w deor, ond ni ystyria y gall y gwlybanrwydd eu niweidio, neu y gellir eu dryllio gan droed, neu eu lledratta gan yr yspeiliwr; ac felly y mae y betrisen yn aml yn cael ei siommi ynghylch dygiad ei chywion i fynu. Felly y mae y rhai hynny a ymdrechant ychwanegu at eu cyfoeth, gan eistedd megis ar eu hennill anghyfiawn; ni chânt gysur oddi wrthynt, ac efallai trwy ryw ddigwyddiad neu gilydd y cymmerir eu holl olud oddi arnynt.

## SOFL IAR.

O RAN ei maintioli, y mae y sofl iar yn gyffelyb i'r betrisen. Lliw y sofl iar sydd lwyd, ond mewn rhai mannau yn tynnu at y melyn. Y mae yr adar hyn i'w cael yn gyffredin drwy Ewrop, Asia, ac Affrica; ac y maent yn adar symmudol, a gwelir hwy weithiau yn finteioedd lliosog yn ehedeg dros Fôr y Canoldir tua gororau Affrica. Cymmer hyn le tua'r hydref, a dychwelant yn eu hol drachefn tua'r gwanwyn. Disgynant yn fynych wrth symmud yn rhai o ynysoedd yr Archipelago, a delir hwynt yno wrth y cannoedd. Ar ororau gorllewinol teyrnas Naples, y maent weithiau mor lliosog fel y mae can' mil o honynt wedi cael eu dal mewn diwrnod, a hynny o fewn cylch pedair neu bum' milldir. Gwna y sofl iar ei nhyth yn gyffelyb i'r betrisen, gan ddodwy chwech neu saith o wyau. Y cywion a ddilynant y fam cyn gynted y deorir arnynt, oni arosant yn hir ynghyd. Cyn iddynt dyfu yn gyflawn i'w maintioli, ymadawant oddiwrth eu gilydd; ac os nad ymadawant, y fath ydyw eu tuedd ymladdgar, fel y dinystriant y naill y llall yn fynych. Crybwyllir yn neillduol ddwy waith am y sofl-ieir yn yr ysgrythyrau, pan barottodd yr Arglwydd Hollalluog hwynt i borthi yr Israeliaid yn yr anialwch. Yr oedd y genedl wedi myned i rwgnach yn erbyn yr Arglwydd ac yn erbyn Moses; y tro cyntaf yn anialwch Sin, ym mhen ychydig wedi iddynt ddyfod drwy y Môr Coch; Ecsod. 16. 11—13. "Clywais duchan meibion Israel; llefara wrthynt, gan ddywedyd, Yn yr hwyr y cewch fwytta cig, a'r bore y'ch diwellir o fara. Felly yn yr hwyr y sofl-ieir a ddaethant, ac a orchuddiasant y wersyllfa, a'r bore yr oedd caenen o wlith o amgylch y gwersyll." Y crybwylliad arall a wneir yn Num. 11. 31. "Ac fe aeth gwynt oddiwrth yr Arglwydd, ac a ddug sofl-ieir oddiwrth y môr, ac a'u taenodd wrth y gwersyll, megis taith diwrnod ar y naill du, a thaith diwrnod ar y tu arall, o amgylch y gwersyll, a hynny ynghylch dau gyfudd, ar wyneb y ddaear." Y fath ydyw gallu mawr y Duw byw, fel y mae pob peth wrth ei orchymmyn; ac yn y fath gyflawnder y gwnaed y parottoad hwn, fel y parhasant am fis.

# Y PRYFAID

## A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU.

### CACCWN.

Y MAE rhai o'r caccwn gymmaint ddwy waith â gwenyn, a thros fodfedd o hyd, a'u colynau ydynt dra niweidiol. Dywedir eu bod mor hoff o gig, fel yr ymosoda amryw o honynt ar aderyn bychan, gan ei frathu hyd oni threngo, ac yna ymborthant arno: a dywedir hefyd, ei fod yn wirionedd, bod un o'r creaduriaid wedi ei weled yn ymosod ar aderyn y tô, ac yn ei orchfygu a'i ladd. Crybwyllir am y creaduriaid hyn yn yr ysgrythyrau, a sonir am danynt fel rhai tra peryglus, a galluog i wneuthur niweidiau mawrion. Cyfeiria Moses ddwy waith at effeithiau y creaduriaid brawychus hyn oblegid eu colynau gwenwynig. "A mi a anfonaf gaccwn o'th flaen, a hwy a yrrant yr Hefiaid, a'r Canaaneaid, a'r Hethiaid, allan o'th flaen di." Yn Deut. 7. 20. sonir hefyd am y creaduriaid hyn, "A'r Arglwydd dy Dduw hefyd a ddenfyn gaccwn yn eu plith hwynt, hyd oni ddarfyddo am y rhai gweddill, a'r rhai a ymguddiant rhagot ti." Y fath ddarluniad brawychus a roddir yma o natur y creaduriaid hyn, a'r niweidiau yr oeddynt yn allu i'w gwneuthur. Ac ymddengys bod hyn wedi cael ei gyflawnu, trwy i'r Arglwydd anfon heidiau aneirif o honynt o flaen Israel, er mwyn niweidio hen breswylwyr y wlad; oblegid yn Jos. 24. 12. dywedir yn bendant am hynny; "A mi a anfonais gaccwn o'ch blaen chwi, a'r rhai hynny a'u gyrrodd hwynt allan o'ch blaen chwi, sef dau frenin yr Amoriaid; nid â'th gleddyf di, ac nid â'th fwa." Ymddengys bod y rhai hyn wedi gwneuthur mwy na holl feibion Israel tuag at orchfygu y trigolion.

### CEILIOG RHEDYN.

Y CEILIOG rhedyn sydd greadur bychan tra adnabyddus. Ei liw yn gyffredin sydd wyrdd, heblaw ychydig linellau llwydion a duon yma ac acew ar hyd ei gorph. Y mae iddo bedair aden, ond ni all ehedeg, eithr llammu a neidio y maent. A ceiliogod rhedyn drwy gyfnewidiad neillduol cyn cael o honynt adenydd; ac wedi iddynt gael adenydd, gwnant ryw fath o lais canu, megis pe byddent yn galw am eu gilydd, ac yn derbyn attebiadau y naill oddiwrth y llall. Eu hymborth cyffredinol ydyw porfa, ac nid ydynt mor niweidiol a'r locustiaid, a hynny yn bennaf am nad ydynt mor lliosog. Cyssylltir y ceiliog rhedyn yn fynych yn yr ysgrythyrau â'r locust. Y mae crybwylliad neillduol am geiliogod rhedyn yn Preg. 12. 5. "Ac y bydd ceiliog rhedyn yn faich." Meddylia rhai bod y Pregethwr yma yn cyfeirio at yr arferiad o fwytta ceiliogod rhedyn yn y dwyrain, ac mai y bwyd ysgafnaf o bob bwyd ydyw. Ond yn nyddiau blin henaint, fod y dyn yn myned mor

wan, fel y mae hyd yn nod y ceiliog rhedyn, yr ymborth gwanaf, yn faich i'w gylla. Eraill a feddyliant wrth fod y ceiliog rhedyn yn faich, y deallir fod henaint mor llesg a gwan, fel y teimlant y pwysau lleiaf, fel y bydd, hyd yn nod y ceiliog rhedyn, y creadur ysgafnaf, pan ddisgyno arnynt, yn faich trwm iddynt.

## CILION.

Rhoir yr enw cilion ar bryfaid o wahanol rywogaethau, i'r rhai y mae adenydd, a'r rhai a welir yn fynych yn ehedeg ar hyd y tai ac yn y maesydd. Ym mis Medi, pan ddechreuo oeri, ciliant ymaith mewn ychydig o ddiwrnodau, ond pa le y maent yn myned, a pha beth sydd yn dyfod o honynt, nid ydyw naturiaethwyr yn cydnabod. Y mae cilionen frawychus iawn yn y gwledydd dwyreiniol o'r enw Oestrum, yr hon pan ehedo, sydd yn edrych fel tân, a dywedir bod ei brathiad yn angherddol o boenus. Yn yr Aipht, fel y dywedir haneswyr, pan frather tarw gan yr Oestrum, rheda ymaith mewn cynddaredd, ac ni phaid â rhedeg a bugunadu hyd oni syrthio yn farw. Os o'r rhywogaeth hon yr ydoedd y cilion a wnaent y gymmysg-bla yn yr Aipht, yr oedd yn ddiau yn dra brawychus. Yr oedd y gymmysg-bla yn ofnadwy i'r Aiphtiaid drygionus, yn ol fel ei darlunir yn Ecsod. 8. 20—24. Crybwyllir am gilionen neillduol yn Esay 7. 18. "A bydd yn y dydd hwnnw, i'r Arglwydd chwibanu am y gwybedyn sydd yn eithaf afonydd yr Aipht, ac am y wenynen sydd yn nhir Assyria." Dyweda haneswyr am gilionen ddychrynllyd sydd yn dyfod i lawr o Abyssinia i'r Aipht ar amserau, chwibaniad yr hon a glywir o bell; a phan glywer ei swn, y mae yr holl greaduriaid yn rhedeg gyda y gwylltineb mwyaf, a phob un a frethir, bydd yn sicr o farw yn yr arteithiau mwyaf. Ond wrth y gwybedyn yn y brophwydoliaeth a goffawyd, y deallir yr ymosodiad disymmwth a wnaed gan Pharaoh-Necho yn erbyn Josiah, brenin Judah, 2 Bren. 23. 29—35.

## GELE.

Ni chrybwyllir am y gele ond unwaith yn yr ysgrythyrau, ac y mae yn angenrheidiol nodi y fan honno er mwyn gwneuthur rhyw sylwadau a allant fod yn ddefnyddiol, Diar. 30. 14, 15. "Y mae cenhedlaeth, a'i dannedd yn gleddyfau, a'i childdannedd yn gyllyll, i ddifa'r tlodion oddiar y ddaear, a'r anghenus o blith dynion." Ac yn ddiau y mae hyn mewn cyssylltiad â'r hyn a ddywedir yn ganlynol, "I'r gele y mae dwy ferch, yn llefain moes, moes." Wrth ddwy ferch y gele y deallir creulondeb a syched am waed, yr hyn bethau ni ddiwellir. Y mae dwy duedd neillduol yng ngorthrymmwr y tlawd, sef creulondeb a chybudd-dod, pa rai ni ddywedant byth ddigon, ond yn ymofyn am ychwaneg yn barhaus.

## GWENYNEN.

Y mae y wenynen a'r llestr gwenyn wedi tynnu sylw naturiaethwyr yr oesau, ac y mae llawer iawn wedi ei ysgrifenu yn eu cylch o

bryd i bryd. Gellir yn dra phriodol gydmaru llestraid o wenyn i ddinas boblogaidd, yn cynnwys miloedd o breswylwyr. Llywodraeth y gwenyn ydyw brenhiniaeth, oblegid y mae ym mhob llestr frenhines, yr hon sydd bennaf yn eu plith, a chanddi balas neillduol i fyw ynddo. Y mae ar amserau ym mhob llestr dri math o wenyn, y gwrrywaid, y benywaid, a gwenyn di-ystlem, y rhai ydynt amlaf, a'r gwenyn gweithgar hefyd. Y frenhines yn gyffredin ydyw yr unig wenynen fenyw yn y llestr; hi sydd yn dodwy, ac o'i hwyau hi y deillia yr heidiau sydd yn torri allan o'r llestr, y rhai a amrywiant yn eu nifer o ddeg i ugain mil. Pan fyddo gwenyn yn dwyn gorchwylion y llestr ym mlaen, rhanant eu hunain yn bedwar dosparth. Un dosparth allan yn y caeau yn ymofyn defnyddiau; y lleill yn llunio dosparthion y celloedd; y lleill yn eu llyfnhau; a'r lleill yn dwyn ymborth iddynt. Y fath ydyw eu diwydrwydd, fel y gwnant ddigon o gelloedd mewn un diwrnod i ddeng mil o wenyn. Y gwenyn a sugnant y mel a ant allan ar hyd y caeau i ymofyn blodau, ar y rhai y disgynant, ac o'r rhai y sugnant y sudd melus, yr hwn a lyngcant, hyd oni fyddo y cwdau mel yn llawnion, ac yna dychwelant yn ol i'r llestr, ac a arllwysant y mel i'r celloedd, y rhai yn union-gyrchol a gloir, rhag i'r mel redeg o honynt; ac felly parhant am oriau yn ddiflino. Y mae dau fath o gelloedd gan y gwenyn, sef celloedd i gadw mel, a chelloedd i'r frenhines ddodwy ynddynt, yr hon a â, ac a esyd wy ym mhob un o honynt. Ym mhen diwrnod neu ddau wedi gosod yr wyau yn y celloedd, torrir pob un o honynt, a bydd yno bryfyn bychan gwyn. Pan dyfo'r pryfyn i'w gyflawn faintioli, yr hyn a wna ym mhen tua chwech diwrnod, cauir arno mewn cwyr, rhag iddo dderbyn niwed, ac ym mhen ychydig ddiwrnodau â drwy y cyfnewidiad diweddaf, a thyr allan o'i charchar yn wenynen berffaith, ac ym mhen ychydig oriau eheda ymaith, a bydd mor berffaith wybodus yn ei chelfyddyd a phe buasai wedi bod flynyddoedd yn dysgu. Pan fyddo lliosogrwydd o wenyn ieuaingc wedi eu dwyn yn y llestr, y mae yn myned yn rhy fychan i'r trigolion, ac erlidir y rhai ieuaingc ymaith, a deuant yn heidiau o hono, gan ymsefydlu ar ganghen o bren, o ba le y cymmerir hwynt er eu gosod mewn llestr, yr hwn yn fuan a lanwant o fêl a thrigolion. Pan ddigwyddo i falwoden fyned i lestr gwenyn, y gwenyn yn union-gyrchol a'i brathant i farwolaeth; a chan na fedrant ei chludo ymaith, na dioddef ei harogl ddrewllyd, ânt allan ar hyd y coedydd, a chasglant yn fuan ddigon o sudd tew er ei hamdoi yn y llestr. Ymddengys bod gwlad Canaan yn llawn iawn o wenyn, oblegid dywedir eu bod yn llifeirio o laeth a mêl. Y fath ydoedd y cyflawnder mawr o fêl, fel y dywedir yn Salm 81. 16. "Ac â mêl o'r graig y'th ddiwallaswn." Byddai y gwenyn yn nythu yn hen geubrenni ac yn agenau y creigiau; a phan fyddai yr hin yn wresog, rhedai y mêl allan ar hyd y ddaear, yr hwn a ystyrid y mêl gwerthfawroccaf. At hyn y cyfeirir pan ddywedir yn 1 Sam. 14. 25—27. "A rhai o'r holl wlad a ddaethant i goed, lle yr oedd mêl ar hyd wyneb y tir. A phan ddaeth y bobl i'r coed, wele'r mêl yn diferi." Cafodd Samson fêl yn ysgerbwd y llew, Barn 14. 8, 9. Ymborth Ioan fedyddiwr ydoedd locustiaid a mêl gwyllt.

## GWYFYN.

Anaml y gwelir y gwyfyn yn ehedeg oddi amgylch, oddieithr yn yr hwyr ac yn y nos, ym mha amser y mae efe yn ymofyn am ymborth. Gwyfyn y dillad sydd greadur bychan iawn, ac yn adnabyddus yn y niweidiau a wna i ddillad gwlan, ac i grwyn blewog. A y gwyfyn i mewn i'r rhai hyn, ac a esyd yno ei wyau; ym mhen amser daw allan yn wyfyn cyflawn, wedi iddo yn gyntaf anafu y dilledyn. Y mae arogl olew Terebinth, (*Turpentine,*) yn farwolaeth union-gyrchol i wyfynod. Yr hanes hwn am y gwyfyn a'n cynnorthwya i ddeall amrywiol rannau o'r ysgrythyrau. Yn ei sefyllfa gyntaf, y mae y gwyfyn yn bryf heb adenydd, y pryd hyn y mae yn niweidiol i ddillad. Yn y dilledyn y gwna efe ei dŷ, a diwrnod ar ol diwrnod y difa efe y dilledyn lle byddo yn anneddu, hyd oni ddygir y ddau weithiau i ddim. Arddangosir drwy hyn lwyddiant calon ddrygionus dyn, am yr hwn y dywedir yn Job. 27. 18. "Efe a adeiladodd ei dŷ fel gwyfyn, ac fel bwth a wna gwyliwr." Y mae meddiannau dynion drygionus yn ansicr, ac yn fynych yn darfod yn ddisymmwth. Y mae balchder ymddangosiad dyn, a'r ymddiried a rydd efe, yn gwbl ofer, a chyffelybir ef i sefyllfa ddadfeiliedig y gwyfyn; Salm 39. 11. "Pan gospit ddyn â cheryddon am ei anwiredd, dattodit fel gwyfyn ei ardderchogrwydd ef; gwagedd yn ddiau yw pob dyn." Cyffelybir barnedigaethau dirgelaidd Duw i wyfyn, Hos. 5. 12. "Am hynny y byddaf fel gwyfyn i Ephraim, ac fel pydredd i dŷ Judah."

## LOCUST.

Er bod y ceiliog rhedyn a'r locust yn amrywio mewn dull, maintioli, a lliw, y mae y ddau greadur yn hollol debygol i'w gilydd mewn natur, ac yn y cyfnewidiadau y maent yn myned drwyddynt. Nid ydyw y locustiaid yn fwy niweidiol na cheiliogod rhedyn, ond eu bod hwy yn finteioedd gyda'u gilydd, a'r ceiliogod rhedyn heb fod felly. Hyd y locust yn gyffredin ydyw tair modfedd, ac y mae iddo ddau gorn, a phob un o honynt tua modfedd o hyd. Pen a chyrn y locust sydd o liw llwyd. Y mae yn las o ddeutu ei enau, ac o'r tu fewn i'w draed. Rhannau uchaf ei gorph sydd lwyd, a rhai mannau duon; a'r rhan isaf o'i gorph sydd o liw porphor. Y mae i'r locust bedair aden, y rhai uchaf yn llwyd, a'r rhai isaf yn llwyd oleu, cymmysgedig â gwyrdd. Nid oes unrhyw greaduriaid o fewn i'r greadigaeth yn lliosogi mor fuan a'r locustiaid, yn neillduol yn y gwledydd hynny lle y mae yr haul yn boeth a'r ddaear yn sych. Pan liosogont i raddau mawr, ehedant fel cwmmwl du, a gwnant y dydd yn nos gan eu lliosogrwydd. Pan ddisgynant ar y ddaear, dinystriant yn fuan y glaswellt, dail y coedydd, a phob peth a fyddo ar eu ffordd; ac mewn ychydig ennyd gwnant y dyffrynoedd ffrwythlonaf yn anialwch diffrwyth. Crybwylla teithiwr diweddar am haid liosog o locustiaid a welodd ac a gyfarfyddodd efe o fewn deuddeg milldir i Ephesus, yr hon a gyrhaeddai dros filldiroedd o'r wlad. Yr oedd y ddaear yn orchuddiedig hollol ganddynt, lliosog oeddynt yn yr awyr, fel yr ymddangosent yn gyffelyb

i gafod o eira. Arosodd y teithiwr a'i gymdeithion i gymmeryd ychydig luniaeth, ac wele yn uniongyrchol drugain o locustiaid ar hyd-ddynt, a gorchuddient eu holl ymborth. Taflwyd ychydig dammeidiau o fara i'w plith, a'r fath ydoedd eu gwangc fel na buont ond ennyd fechan cyn eu difa. Crybwylla Dr. Shaw am heidiau dirifedi o locustiaid a welodd efe yn Barbary yn y flwyddyn 1724, a'u bod fel cymmylau mawrion yn attal llewyrch yr haul. Aethant ymaith ym mis Mai i'r anialwch er gosod eu hwyau; ac yn Gorphenaf deuai y locustiaid bychain allan, a llwyr ddinystrient bob peth yn eu ffordd. Ymdrechai y trigolion eu dinystrio drwy gloddio cwtterydd, llanw y rhai hyn â dwfr, a thrwy gynneu tanau mawrion. Ond yn ofer yr ymdrechent, oblegid llenwid y gwtterydd gan y locustiaid, ac yr oeddynt mor lliosog fel y diffoddent y tanau. Y crybwylliad ysgrythyrol cyntaf a geir am ddifrodiadau y locustiaid ydyw pla y locustiaid yn yr Aipht; Ecsod. 10. 13, 14. Ond sonir yn fynych wedi hynny am y creaduriaid dan sylw, a'u bod yn offerynau yn llaw Duw i gospi dynion â hwynt. Joel 2. 25.

## MORGRUGYN.

Creadur tra adnabyddus i ni ydyw y morgrugyn, ond y mae y pryfaid bychain hyn yn fwy hynod yn y gwledydd dwyreiniol na chyda ni. Yno y mae crugiau y morgrug o chwech i ddeuddeg troedfedd o uchder, y rhai a ffurfir yn dra chywrain; ac y maent yn gyffelyb i deiau mawrion, yn llawn o bob celloedd. Gwneir y crugiau hyn o amrywiol ddefnyddiau, ac yn gyffredin wrth bren mawr, ac yn ymyl ffrwd o ddwfr. Cyn gynted ag yr elo y gauaf drosodd, gwna y morgrug eu hymddangosiad, a'r crugiau a ymddangosant mewn bywyd newydd. Y mae serchiadau y morgrug at eu rhai bychain yn hynod. Pan fyddo yr hin yn oer, cymmerant eu rhai bychain i waelodion eu preswylfeydd; ond pan gynneso yr hin, cymmerant hwynt yn nes i'r wyneb. Daw y morgrug allan o'u crugiau gyda y cyffro lleiaf, gan ymosod yn egniol ar ba greadur bynnag a amcano wneud unrhyw sarhad arnynt, ac ni ddangosant unrhyw drugaredd tuag atto. Dywedir na ddiangc unrhyw greadur â'i einioes ganddo os ymosoda y morgrug yn effeithiol arno. Yn Affrica y mae y morgrug yn neillduol liosog, a dyweda Mr. Smith iddynt unwaith ddyfod i mewn i'r ymddiffynfa tra y bu efe yn aros yn Cape Coast Castle. Yr ydoedd ynghylch toriad y dydd pan ddaeth y flaen-fintai i mewn, ac ymysgydwodd pawb yn uniongyrchol er ymddiffyn eu hunain. Ymddangosai yr holl wlad yn fyw o honynt. Wedi bod am ryw ennyd yn ystyried pa beth i wneuthur, penderfynwyd gosod pylor ar hyd y llwybr a deithient, yr hyn yn uniongyrchol a wnaed, a gosodwyd ef ar dân. Lladdwyd miliynau o honynt, a'r rhai diangol a giliasant yn ol. Cyflwynir y morgrugyn i'n sylw yn yr ysgrythyrau, oblegid eu diwydrwydd. Dyweda Agur eu bod yn ddoeth; "Nid yw'r morgrug bobl nerthol, etto y maent yn darparu eu lluniaeth yr haf;" Diar. 30. 25. Anfonir y diogyn yn neillduol at y morgrugyn, er dysgu ei ffyrdd ef, a bod yn ddoeth.

## PRYF COPPYN.

Y MAE amryw rywogaethau o gorrynod, ond y mae i bob un o'r rhywogaethau hyn wyth o draed ceimion, dwy fraich, ac o chwech i wyth o lygaid. Y mae dwy grafangc yn perthyn i'w ben, y rhai ydyw arfau pennaf y pryf coppyn; ond nid ydyw y creadur yn eu defnyddio ond mewn achos o angenrheidrwydd neillduol. Er gwneuthur ei wê, y mae gan y creadur lawer o ddefnydd gludiog yn ei gorph. Cynnwysir y defnydd hwn mewn cwdyn, o'r hwn y mae yn ei dynnu allan, gan ei nyddu i edafedd main iawn. Dengys gywreinrwydd anghyffredin yng nghyfansoddiad ei wê, ac wedi ei gwneuthur, y mae yn ei chadw yn lân drwy ei siglo â'i grafangau. Y mae ganddo balas i drigo ynddo yng ngwaelod y wê, o ba le y daw allan pan fyddo rhyw bryfyn wedi ymddrysu yn y rhwyd, ac efe yn ddioedi a'i hysglyfaetha. Ond er cymmaint o drafferth a gymmera y pryf coppyn yng nghyfansoddiad ei dŷ, ychydig iawn a'i dinystria. I freuolder adeilad y pryf coppyn y cyffelybir gobaith y rhagrithiwr, "Yr hwn y torrir ymaith ei obaith; ac fel tŷ pryf coppyn y bydd ei hyder ef. Efe a bwysa ar ei dŷ, ond ni saif; efe a ymeifl ynddo, ond ni phery." Job 8. 14, 15. Gwneir cyfeiriad cyffelyb yn Esay 59. 5, 6. er dangos siomedigaeth gobeithion pobl Israel; "Wyau asp a ddodwyasant, a gweoedd y pryf coppyn a weant—Eu gweoedd hwy ni byddant yn wisgoedd, ac nid ymddilladant." Hynny ydyw, bydd eu holl orchwylion yn ofer, ac ni chânt ond y siomedigaethau yn y pen draw.

## YSGORPION.

RHESIR yr ysgorpion ym mhlith y pennaf o'r creaduriaid gwenwynig. Y mae iddynt ddwy o freichiau hirion yn dyfod allan o'u pennau, ac yn terfynu fel crafangau ceimwch. Corph yr ysgorpion sydd yn gyffelyb i grangc; y mae gan y creadur hwn wyth o draed llawn o flew, sef pedair bob ochr. Y corph sydd rannedig i saith o fodrwyau, ac o'r fodrwy olaf y deillia y gynffon. Yr ysgorpionau ydynt o wahanol liwiau,—cochion, gwynion, llwydion, melynion, a duon. Amrywiant hefyd mewn maintioli; rhai ydynt cyhyd a bys gwr, eraill yn hwy, a rhai yn fyrrach. Nid ydyw awdwyr yn cyduno yn eu darluniadau o gynffon yr ysgorpion; ond cydunant ei bod yn hir, ac fel fflangell glymmog, a bod cynffonau yr ysgorpion gan mwyaf yn cynnwys colynau dychrynllyd, y rhai ydynt yn llawn gwenwyn. Y mae adenydd i rai ysgorpionau, a gallant ehedeg yn yr awyr, eraill a ymlusgant ar y ddaear. Yr ysgorpionau duon yw y rhai mwyaf niweidiol. Yn rhai mannau yn Persia, ni feiddia y trigolion gysgu mewn ystafelloedd ar y llawr, oblegid y creaduriaid hyn, y rhai yn niferi lliosog a ymlusgant allan yn y nos. Pan y mae Moses yn crybwyll wrth blant Israel am y peryglon a gyfarfuasant yn eu taith o'r Aipht, dyweda am eu tywysiad trwy yr anialwch yn y wedd ganlynol; "Yr hwn a'th dywysodd di trwy yr anialwch mawr ac ofnadwy, lle yr ydoedd seirph tanllyd ac ysgorpionau;" Deut. 8. 15. Bu y creaduriaid hyn yn ddiau yn flinder ac yn ofid i Israel. Yn yr ysgrythyrau, defnyddir y gair ysgorpion

weithiau er dangos malais dynion drygionus, y rhai fel y creadur dan sylw a wnant niweidiau mawrion i blant yr Arglwydd. Dyweda yr Arglwydd wrth Ezeciel, er dangos ei sefyllfa, "A thithau yn trigo ym mysg ysgorpionau." Ezec. 2. 6. Dangosai yr Arglwydd drwy hyn mor beryglus vdoedd ei sefyllfa; ond ei fod yn wyneb pob peth yn cael ei gynnal gan y nef.

---

# YR YMLUSGIAID

## A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU.

### NADREDD.

O bob dosparth o ymlusgiaid, y nadredd ydynt y rhai y teimla dynolryw fwyaf o atgasrwydd attynt. Eu dull, a'r gwenwyn sydd ynddynt, ynghyd â'u tuedd niweidiol, sydd yn eu gwneuthur yn frawychus i ddynion ym mhob man. Y creaduriaid hyn a wahaniaethant oddiwrth eu gilydd yn fawr mewn maintioli; rhai o honynt yn fychain, o faintioli llyswod, tra y mae eraill o ddeg ar hugain i ddeugain troedfedd o hyd, a phedair troedfedd o amgylchiad. Nid oes iddynt draed, ond ymlusgant ym mlaen, gan ymlithro gyda buandra mawr. Y mae geneuau llydain iddynt, eu llygaid ydynt fychain, ond yn dra chraffus a threiddgar. I nadredd gwenwynig y mae llawer o ddannedd, a dau o'r rhai hyn yn wenwynig, neu yn hytrach yn ddannedd drwy y rhai y gwenwyna nadredd. Camsynied ydyw bod eu tafodau, y rhai a elwir eu colynnau, yn gwenwyno, oblegid ni allant, am nad oes gwenwyn yn y cyfryw rai. Fel y dywedwyd yn barod, y mae i'r nadredd gwenwynig ddau ddant, a elwir ysgythr-ddannedd, y rhai ydynt gau yn y canol, a gall y nadredd eu cammu a'u sythu yn ol fel yr ewyllysiont. Yng ngwaelodion y ddau ddant hyn y mae cydau bychain o wenwyn, a phan fratho y neidr, pwysa y ddau ddant ddywededig ar y cydau hyn hyd oni thorront, ac yn union-gyrchol saetha gwenwyn drwy dyllau dannedd, megis drwy chwistrell, i'r twll neu y tyllau a wneir gan y dannedd yn y cnawd. Nid oes wenwyn mewn nadredd, ond yng ngwaelodion eu dannedd. Gall nadredd ledanu eu gyddfau i'r fath raddau, fel y gallant lyngcu creaduriaid ffyrfach na hwynt eu hunain. Cymmalau cefnau nadredd ydynt liosog, a gallant droi eu pennau fel yr ewyllysiont; ac y mae eu hasennau fyth yn lliosoccach, oblegid yr hyn y gallant droi ac ysgogi gyda buandra mawr. Bwriant eu crwyn ddwy waith yn y flwyddyn, ac y mae y croen newydd yn ymddangos yn ddisgleiriach na'r hen groen. Nadredd, yn ol eu gwahanol faintioli, a laddant ac a fwyttant bob creaduriaid a allant eu gorchfygu. Gellir dywedyd eu bod bob amser ar wyliadwriaeth,

oblegid cysgant â'u llygaid yn agored. Pan yn ymlid ar ol eu hysglyfaeth, gwnant swn chwibanllyd, a gwnant yr un swn pan fyddant yn sefyll ar eu hymddiffyniad, gan estyn eu tafodau allan; rhai mewn gwirionedd a ymddangosant yn dra brawychus i'r rhai ni wyddant ddim oddiwrth gyfansoddiad nadredd. Yn y gwledydd poethion lle y mae y nadredd liosoccaf, anaml y clywir hwynt yn y dydd, ond tua'r hwyr deuant allan o'u tyllau gan wneuthur swn uchel. Pob nadredd a allant fyw ar y tir neu yn y dwfr, ond y mae rhai yn fwy tueddol i'r dwfr nag eraill. Y gwahaniaeth mwyaf mewn nadredd ydyw, bod rhai yn wenwynig, a'r lleill yn ddi-wenwyn. Y mae llawer wedi cael ei ddywedyd o bryd i bryd ynghylch eu gwenwyn; ei liw sydd felyn, y mae yn dew, ac yn wlybwr diflas; ond os trosglwyddir ef i archoll yn y cnawd, achosa boen mawr, chwydd, ac ar brydiau angeu; ond dyweda naturiaethwyr y gellir llyngcu gwenwyn nadredd yn ddiberygl. Er nad ydyw pob nadredd yn wenwynig, etto am na ellir yn union-gyrchol wahaniaethu rhwng y rhai gwenwynig a'r rhai diwenwyn, y maent oll yn wrthddrychau o fraw.

Y cobra di capello ydyw y mwyaf peryglus o bob nadredd, o herwydd ei bod yn brathu yn frawychus. Y nadredd hyn ydynt o dair i wyth troedfedd o hyd, ac y mae iddynt ddau ddant mawr gwenwynig yn crogi allan o'r ên uchaf. Y neidr gynffon-drwst, *(rattle-snake,)* sydd berthynol i America. Rhai o'r nadredd hyn ydynt mor ffyrf a choes gwr, a thua chwech troedfedd o hyd, ond nid ydynt yn gyffredin o'r hyd hwn. Eu dannedd gwenwynig ydynt ofnadwy, ac yn gwneuthur archollion brawychus. Eu cynffonnau ydynt yn gymmalog; mwyhant gymmal bob blwyddyn; a phan ysgogant, gwna eu cynffonnau drwst uchel. Y cerastes, neu y neidr gorniog, a elwir felly oblegid bod dau gorn ar eu pennau. Y mae gwenwyn y neidr hon yn dra pheryglus, a dychryna a thwylla adar i ddinystr. Y neidr ddu sydd berthynol i America, ond y mae hon yn gwbl ddiniwed, ac yn heinif iawn. Dringa goed ar ol ei hysglyfaeth, ac ymlusga ar hyd y ddaear fel saeth. Ar achlysuron ymgyfyd i fynu. Ymddengys ei llygaid fel dwy ganwyll, ac y mae rhai yn dywedyd y gall lygad-dynnu adar a ehedant uwch ei phen, fel y syrthiant i'w genau. Y boa constrictor ydyw y fwyaf o'r holl rywogaeth hon, oblegid dywedir y mesura y bwystfil hwn yn fynych o ddeg troedfedd ar hugain i ddeugain troedfedd o hyd. Dinystria y creaduriaid hyn ddefaid, geifr, ac ychain. Ymdorchant oddi amgylch eu hysglyfaeth, a gwasgant ef hyd oni byddo ei esgyrn yn ddrylliau, ac yna wedi ei orchuddio â'u poer, hwy a'i llyngcant ef ar un tammaid. Aeth llongwr unwaith i dir yn Celebes, yn yr India Ddwyreiniol, ac a orweddodd i lawr, a chysgodd. Yn y nos clywyd ef yn ysgermain gan ei gymdeithion, ac yn gwaeddi am gynnorthwy. Aethant yn union-gyrchol i'r lan, ond yr oedd yn rhy ddiweddar i achub ei fywyd, oblegid yr oedd neidr fawr wedi ei lethu i farwolaeth. Y fath ydoedd sylw yr anghenfil ar ei ysglyfaeth, fel y cafodd y morwyr gyfle i dorri ymaith ei ben. Yr oedd y neidr wedi ymaflyd yng ngarddwrn ddehau y llongwr, oblegid yr oedd ei dannedd yn amlwg yno, ac yr oedd ei holl gorph wedi ei wneuthur yn ddrylliau. Yr oedd gwr bonheddig yn Virginia, yn

America, yn rhodio allan ar hyd y caeau, a digwyddodd sathru ar neidr gynffon-drwst, yr hon a'i brathodd yn ei law. Y gwr bonheddig, er mwyn ymddial ar ei elyn marwol, a laddodd y neidr, ac wedi ei lladd a'i dygodd adref, ac a'i taflodd i lawr ger bron ei deulu, gan ddywedyd, "Yr wyf wedi fy lladd, a thyma y llofrudd." Gwnaed y defnydd goreu o bob meddyginiaeth, ac er syndod i bawb efe a wellhaodd.

Crybwyllir am nadredd yn foreu yn yr ysgrythyrau, a'r gyntaf yw y sarph yr hon a fu yn offeryn i dynnu ein rhieni cyntaf oddiar lwybr eu dyledswydd. Bu y nadredd yn farnedigaeth drom ar yr Israeliaid yn yr anialwch, oblegid syrthiodd nifer fawr o honynt drwy frathiadau y seirph tanllyd.

## GWIBER.

Tybia rhai am y wiber mai neidr fawr ydyw, âg adenydd iddi, yn gallu ehedeg yn yr awyr, ond yn lle hynny neidr fain ydyw, o ddeutu troedfedd a hanner o hyd. Ei thafod sydd fforchog, a phan ei cyffroir, hi a'i hestyn allan yn frawychus, a'i llygaid fel canhwyllau yn ei phen. Y mae pen y wiber yn fawr mewn cydmariaeth i'w chorph. Ei chefn sydd wedi ei nodi â brychau tywyll, pedwar onglog. Ei hysgogiad sydd araf, ac ni all ysbongcio fel nadredd eraill. Y gwiberod ydynt gyffredin drwy holl wledydd Ewrop; eu gwenwyn sydd yn eu dannedd, a phan frathont, y mae y fan yn fuan yn myned yn boenus, ac yn chwyddo; a'r feddyginiaeth oreu ydyw rhwbio y briw, ac oddi amgylch y briw, âg *Olive Oil* neu *Salad Oil* poeth. Gwellha hyn y brathiad ond ei ddilyn.

## ASP.

Crwyn yr aspiaid sydd eirwon, ac y maent o wahanol faintioli, o droedfedd a hanner i chwech troedfedd o hyd. Dywedir mai y rhai lleiaf o'r aspiaid ydyw y rhai mwyaf peryglus, ac mai gwenwyn y rhai lleiaf a laddant gyntaf. Gwenwyn yr aspiaid a redant drwy ddau o'u dannedd, y rhai ydynt yn hwy na'r lleill; ac mor fuan yw ei effeithiau, fel y bydd y rhai a frethir ganddynt farw yn uniongyrchol; o leiaf, ym mhen y tair awr wedi eu brethir. Y modd yr effeithia gwenwyn yr aspiaid, ydyw trwy beri i'r rhai brathedig gysgu. Trwy frathiad aspiaid yr ewyllysiodd Cleopatra, brenhines yr Aipht, farw. Cyfeirir at yr asp yn yr ysgrythyrau oblegid ei gwenwyn, yr hwn ydyw y mwyaf peryglus. Dywedir am ddynion drygionus, yn neillduol y rhai a niweidiant bersonau â'u tafodau, "Gwenwyn aspiaid sydd dan eu gwefusau." Rhuf. 3. 13.

## NEIDR Y MOR.

Nadredd y môr, neu ddreigiau y môr, ydynt anghenfilod anferth eu maintioli, y rhai y mae eu dannedd fel llifiau, â'r rhai y gwnant fwy o niweidiau nag â'u gwenwyn. Er y genir hwynt yn eigionau y môr, etto gwelir hwynt weithiau mewn dyfroedd croyw, a deuant yn fynych i'r tir er difyrru eu hunain a gwneuthur difr

dueddau Affrica y mae rhai o honynt mor fawrion fel yr ymladdant âg ychain, a gorchfygant hwynt; ac mor gryfion ydynt fel y dymchwelant gychod mawrion ar y dwfr. Mesura rhai o honynt o ugain i ddeg troedfedd ar hugain o hyd. Yr hydra sydd neidr ddwfr, yr hon sydd tu hwnt i bob neidr arall mewn harddwch, ac yn fwy gwenwynig nag unrhyw rywogaeth o nadredd. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng nadredd y dwfr a nadredd y tir; rhai yn fychain ac eraill yn fawrion; rhai yn wenwynig ac eraill yn ddiwenwyn. Dywedir i fôr-nadredd o faintioli anferth gael eu gweled o bryd i bryd ar y môr, ac y mae llawer iawn wedi ei ysgrifenu yn eu cylch yn y blynyddoedd diweddaf hyn. Crybwylla haneswyr am frwydr fawr a fu yn Nhwrci rhwng môr-nadredd a nadredd y tir, yn amser Bajazet, yr hon a barhaodd o'r bore hyd y nos; ac wedi llawer iawn o ddinystr, i'r môr-nadredd ddiengyd i'r dyfroedd dyfnion. Adrodda Peter Van Coerden, llyngesydd, iddo ef, pan yn angori yn Mosambigue, ym môr yr India, golli bachgenyn a berthynai i'r llong dan yr amgylchiadau canlynol. Aeth y bachgenyn i ymolchi i'r môr, a phan yn difyrru ei hun yn yr elfen ddyfrllyd, ymaflwyd ynddo gan neidr o faintioli anferth, yr hon a'i tynnodd dan y dwfr, ac ni welwyd mo hono mwyach. Yn y flwyddyn 1807, brathwyd bys pysgottwr ieuangc yng nghymmydogaeth Calicut, yn yr India Ddwyreiniol, gan fôr-neidr fechan a ymddrysodd yn ei rwyd. Wedi iddi roddi brathiad bychan iddo efe a'i taflodd i'r môr, gan feddwl mai creadur diniwed ydoedd. Ym mhen tuag awr wedi hynny teimlai boen mawr yn ei fys ac ar hyd yr holl fraich. Cynnyddodd y poen, ac er pob moddion a arferwyd bu farw bore drannoeth mewn ing dirfawr. Pan ddyweda yr Arglwydd drwy y prophwyd am analluogrwydd Israel i ddiengyd rhag barn y nefoedd, arferir yr ymadroddion canlynol; "A phe llechent ar ben Carmel, chwiliwn a chymmerwn hwynt oddiyno; a phe ymguddient o'm golwg yng ngwaelod y môr, oddiyno y gorchymmynaf i'r sarph eu brathu hwynt." Crybwyllir am ddreigiau yn fynych yn yr ysgrythyrau, ond y mae ysgrifenwyr yn anghyttuno ac yn amrywio yn eu barnau pa greaduriaid a feddylir wrth y rhai hyn; rhai a dybiant mai y môr-nadredd ydynt, ac eraill mai y crocodiliaid. Yn Esay 27. 1. dywedir, "Y dydd hwnnw yr ymwel yr Arglwydd â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn, â lefiathan y sarph hir-braff, ïe â lefiathan y sarph dorchog: ac efe a ladd y ddraig sydd yn y môr." Wrth y ddraig yn y môr y deallir gallu ac awdurdod yr Aipht, ond ar yr un pryd rhaid bod rhyw greadur yng ngolwg y prophwyd yn y cyfeiriad a wnai. "Ond ti a ddrylliaist Rahab (yr Aipht) ac a archollaist ben y ddraig?" Tebygol mai y crocodil ydyw y ddraig hon.

# PYSG Y MOR,

## Y RHAI A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU,

*Ynghyd âg eraill mwyaf hynod mewn hanesyddiaeth.*

Y MAE y môr mawr a llydan yn llawn trigolion o bob maintioli a rhywogaethau; ac oblegid eu bod yn preswylio yn yr eigionau, ac yn cael ei gweled yn dra anfynych, ni ellir dywedyd nemmawr am niferi lliosog o honynt. Ond y mae llawer iawn o honynt yn adnabyddus, a hanes cywir am danynt; eithr ni chrybwyllir ond am ychydig o honynt yn yr ysgrythyrau: ond gan fod cymmaint o ryfeddodau y Creawdwr yn ganfyddedig ym mhysg y moroedd, gwneir crybwylliad am rai o honynt.

### MORFIL.

O HOLL greaduriaid y moroedd mawrion, dywedir mai y morfil ydyw y cryfaf a'r mwyaf o honynt oll; ac ymddengys ei fod mewn rhyw bethau yn gyffelyb i bedwar-carnolion y ddaear, oblegid y mae y fenyw yn dwyn ei rhai bychain yn fyw, ac yn eu maethu am ryw hyd â llaeth ei bronnau. Hen awdwyr boreuol a ddywedant fod y morfilod, yn eu hamser hwynt, yn amryw gannoedd o droedfeddi o hyd; ond os oeddynt o'r maintioli hyn, yn yr oesau a'r amserau gynt, nid ydynt i'w cael o'r hyd hwn yn bresennol. Hyd y rhai mwyaf yn y moroedd gogleddol yn bresennol sydd ychydig gyda chan' troedfedd, ac y maent yn ugain troedfedd o led; ond yn y moroedd deheuol, a than y cylch poeth, dywedir bod rhai yn cael eu dal ynghylch cant a thrugain troedfedd o hyd. Yn yr amserau gynt, nid oeddynt yn cael eu dal fel yn bresennol, o ganlyniad caent amser i dyfu i eithaf eu maintioli; ac oblegid bod y fath ddinystr arnynt yn yr oesoedd diweddaf hyn, tybir mai dyna yr achos eu bod yn llai.

Anhawdd penderfynu mewn perthynas i hyd oes yr anghenfil hwn; ond y mae rhai wedi barnu, oddiwrth anferthwch ei faintioli, ynghyd â phethau eraill perthynol i'w gyfansoddiad, y cyrhaedda gan' mlwydd oed. Ond y fath ydyw y dinystr a wneir arnynt yn bresennol gan ein pysgotwyr, fel mai anfynych y delir morfil dros hanner cant oed. Amrywia y pysgod dan sylw yn anghyffredin mewn lliwiau: cefnau rhai o honynt ydynt gochion, a'r bol yn gyffredin yn wyn; rhai o honynt ydynt dduon, a rhai yn frithion. Eu lliwiau yn y dwfr sydd dra phrydferth, a'u crwyn ydynt lyfn iawn. Y mae pob rhywogaeth o'r creaduriaid hyn yn ffyddlon iawn at eu gilydd, ac ni wnant gyd-gymmysgu â'r lleill. Y mae amryw droadau yn ffroenau y morfil, ac nid oes un math o asgell ar ei gefn. Y mae ei ben a'i gorph yn dra anghyfartal i'w gilydd gyda go' ar eu maintioli, oblegid y mae y pen ei hun yn drydedd ran o'i

bysgodyn, a'r wefl isaf lawer yn lledanach na'r uchaf. Ei dafod sydd o faintioli gwely pluf cyffredin, ac o hono gwneir o bump i chwech barilaid o olew. Ei fwnwgl sydd fychan anghyffredin o'r tu mewn, ac ystyried maintioli y pysgodyn; oblegid o braidd y gall dyn wthio ei fraich i'w wddf. Y mae dau dwll tua chanol parth uchaf ei ben, trwy y rhai y chwistrella ddwfr i uchder mawr. Ei lygaid ydynt fychain, ac yn y parth ol o'i ben.

Ymddyga y forfiles yn gyffredin ar ddau ar yr un waith, y rhai a'i sugnant am o gylch blwyddyn. Pan eu genir, y mae y rhai bychain yn gyffredin o ddeutu deg troedfedd o hyd, a dilynant y fam fel y gwna y llo y fuwch; ond pan fyddo y fam mewn dychryn, hi a esyd eu rhai bychain dan ei hesgyll, a chyda buandra anamgyffredadwy ymollynga i ddyfnderau mwyaf yr eigionau, er mwyn eu diogelwch. Ni ddengys unrhyw greadur drwy yr holl greadigaeth fwy o garedigrwydd i'w rhai bychain nag a wna y morfilod. Lladdwyd morfiles, ac un bychan yn ei chanlyn, gan y llong Triton; a phan yr oeddynt yn ei darnio yn ymyl y llong, nofiai yr un bychan oddi amgylch iddi, ac nid âi mewn un modd ymaith, a gorchymynodd y cadben ar fod iddo gael ei ladd.

Ym moroedd y gogledd y cymmerir y niferi amlaf o forfilod; a delir hwynt mewn lliosogrwydd mawr gan longau y deyrnas hon, a hynny er mwyn yr olew a geir o honynt, ac esgyrn eu pennau. Y dull o'u cymmeryd sydd ryfedd, ac nid ydyw yn ddiberygl; ac nid anfuddiol efallai yr ystyrir ychydig o hanes y dull y cymmerir hwynt.

Y llongau a ddefnyddir i gymmeryd morfilod a gludant yn gyffredin tua thri chan' tunnell; ac y mae yn perthyn i bob un o'r llongau hyn, fynychaf, bump a deugain o ddynion, ac o chwech i saith o fadau. Hwyliant o'r deyrnas hon yn gyffredin tua diwedd mis Mawrth, a dechreuant bysgotta ym mis Mai. Pan ddechreuant ar eu gorchwyl, sicrhant y llongau â bachau wrth yr ia; ac anfonir dau fad allan, a dynion ynddynt i edrych am y pysgod. Ni arosa y rhai hyn allan ond dwy awr, ac yna dychwelant yn ol; ac â dau fad arall allan yn eu lle. Y mae ym mhob un o'r badau hyn saith dyn; sef un tryferwr, un wrth y llyw, un gyda'r llinyn, a phedwar i rwyfo. Ym mhob un o'r badau y mae tair neu bedair tryfer, ac amryw biccellau dur, a chwech llinyn, pob un o honynt yn amryw lathenni o hyd, ac wedi eu gwneuthur yn sicr wrth eu gilydd.

Bydd y badau gryn bellder oddiwrth eu gilydd, yn aros yn eu hunman, gan edrych yn ddyfal a welant bysgodyn. Y munud y gwelir y morfil, prysurir tuag atto; ond gofelir am ymgadw o'r tu ol i'w ben, oblegid os gwel efe y bad yn dynesu atto, efe a ymsudda i'r eigion cyn y gallo y tryferwr ei daro. Bydd y tryferwr ar ben blaen y bad, ac â'i holl nerth efe a dery y dryfer i gorph y morfil, gan ei adael yno, a'r llinyn yn sicr wrthi. Y munud y teimlo y morfil y dryfer yn ei gorph, sudda i'r dyfnderau, a hynny gyda y fath fuandra, fel, pe dyrysai y llinyn, naill ai efe a dorrai, neu a ddymchwelai y bad; a chyda y fath gyflymdra y bydd y llinyn yn dirwyn allan, fel y mae un dyn yn dyfrhau y coed, rhag iddynt danio drwy ymrwbiad y llinyn wrthynt. Cyn gynted ag y tarewir y pysgodyn, dyrchafa un o'r dynion rwyf i'r lan, a rhyw beth ar ei

phen, er arwyddo i bobl y llong bod y pysgodyn wedi ei dryferu. Pan welir yr arwydd hon, anfonir y badau eraill allan o'r llong, y rhai a rwyfant tua'r mannau y disgwyliant i'r pysgodyn ymddangos yr ail waith. Pan ymgodo y pysgodyn i'r wyneb er mwyn cymmeryd ei anadl, tryferir ef yr ail waith, a thrydedd waith, hyd oni fyddo yr holl fôr yn goch gan ei waed. Y mae y gorchwyl o'i ladd yn dra pheryglus weithiau, oblegid y mae â'i gynffon yn taro y badau allan o'r dwfr, ac yn eu dryllio, gan achosi marwolaeth uniongyrchol i'r dynion a fyddont ynddynt.

Wedi lladd y morfil, gosodir rhaffau wrtho, a llusgir ef at y llong; ac yna amryw o'r dynion a'i dringant, a math o yspardunau wrth eu sodlau, er mwyn peidio llithro ar hyd-ddo. Y peth cyntaf a wneir fydd torri ei gynffon ymaith, yr hon a gyfodir i fwrdd y llong. Torrir y pysgodyn yn ddarnau mawrion, y rhai a gyfodir drachefn i'r llong; ac wedi iddynt gael aros felly am ychydig ddiwrnodau, torrir y brasder ymaith, a rhoddir ef mewn llestri. Yr esgyrn a elwir *Whalebones* ydynt yn safn y pysgodyn, o ddeutu pumtheg troedfedd o hyd. Dywedir fod un pysgodyn gweddol yn werth mil o bunnau. Dechreuir pysgotta, fel y crybwyllwyd, ym mis Mai, a dilynir y gelfyddyd drwy fisoedd Mehefin a Gorphenaf, a rhaid iddynt ddyfod oddiyno cyn diwedd Awst, oblegid y rhew.

## DOLPHIN.

O RAN agweddiad y mae y dolphin agos a bod yn uniawn yn ei gorph, ond bod ychydig o gammu yn ei gefn. Ei drwyn sydd hir, cul, a blaenfain, a'r croen yn estynedig dros y parth uchaf o hono. Y mae iddo un ar hugain o ddannedd yn yr un uchaf, a phedwar ar bumtheg yn yr isaf, a'r rhai hynny tua modfedd o hyd, yn flaenfain, ac yn cammu ychydig i mewn. Dannedd y dolphin ydynt wedi eu cyfleu o fewn ychydig i'w gilydd, fel, pan gauo ei safn, bydd ei ddannedd yng nghlo yn eu gilydd. Y twll drwy ba un y tafla ddwfr sydd yng nhanol ei ben. Ei groen sydd lyfn, ac y mae o liwiau hardd neillduol. Mesura o naw i ddeg troedfedd o hyd, a dwy o led. Y mae i'r rhywogaeth hon o bysgod esgyll ar eu cefnau, a phennau mawrion fel holl rywogaeth y morfilod. Nofia y dolphin gyda chyflymdra anghredadwy drwy y dyfroedd, ac wedi iddo unwaith ddechreu hela un o'r pysg, odid iawn y dianga. Y fath ydyw cyflymdra y pysgodyn hwn, fel yr â ar ol yr ehed-bysg *(flying fish)* ac er ymgodi o'r rhai hyn o'r dwfr, efe a nofia danynt, ac a'u derbyn i'w safn pan ddisgynont i'r môr. Pysgodyn rheibus iawn ydyw y dolphin, a mawr y gelanedd a wna ym mhlith y pysg bychain. Dywedir bod y rhywogaeth hon o bysgod yn dra chyfeillgar â dynion, ac y mae amryw chwedlau yn cael eu hadrodd am danynt gan yr hynafiaid; megis bod un o honynt wedi cludo telynor a fwriwyd i'r môr, ac wedi ei ddwyn yn ddiangol i dir; a bod cymmaint cyfeillgarwch unwaith rhwng dolphin a bachgenyn, fel yr oedd y bachgen yn cael myned ar ei gefn, ac yn ymbleseru hwylio am oriau yn y dwfr yn yr agwedd honno. Haid o'r pysgod hyn yn fynych a ddilynant long am ugeiniau o filldiroedd, er mwyn ymborthi ar y briwsion a deflir dros y bwrdd i'r môr. Y mae y pysgod hyn i'r

cael agos ym mhob parth o'r moroedd. Nid ydyw eu cnawd yn cael ei ystyried yn rhagorol fel ymborth, ac nid mynych y mae yn cael ei ddefnyddio.

## SHARC.

Y MAE amryw rywogaethau o'r anghenfil ofnadwy hwn, ond y mwyaf dinystriol ydyw y sharc gwyn. Y mae iddo chwech rhes o ddannedd, a'r rhai hynny yn galedion a blaenfeinion, o ddull fflaim waedu, a gall unioni a chammu y rhai hyn wrth ei bleser ei hun. Pan fyddo y sharc yn llonydd ac yn gorphwyso, gorwedda ei ddannedd yn ei safn; ond pan fyddo yn myned i ymosod ar ei ysglyfaeth, efe a'u huniona hwynt yn uniongyrchol, a chyda safn agored, llygaid tanllyd, a'i adenydd yn ysgwyd fel mwng llew, efe a ymosod yn angeuol ar ei ysglyfaeth. Y mae y pysg hyn yn ddychryn i forwyr ym mhob hinsoddau poethion, lle y maent yn heidiau yn amgylchynu y llongau, gan ddisgwyl pob peth a syrthiant o honynt i'r môr; ac os digwydd i un o'r morwyr syrthio i'r môr, efe a ysglyfaethir yn uniongyrchol gan un o'r anghenfilod hyn, ac a gleddir yn ei fol. Rhai o'r pysgod hyn weithiau a bwysant yn agos i bedair mil o bwysau. Ei wddf sydd yn ddigon ehang i lyngcu dyn; a chafwyd dynion yn eu cyflawn faintioli yng nghylla y pysgod hyn rai prydiau. Yn yr Americ Ddeheuol y mae llawer iawn o bysgotta am berlau, ac wrth y gorchwyl hwn y mae y Negroaid yn gyffredin. Eu dull ydyw myned i lawr i'r dyfnder a chasglu y cregin, ac yna dyfod â hwynt i'r lan, a'u hagoryd er gweled a fydd perlau ynddynt. Yn awr y mae y gorchwyl hwn yn beryglus iawn ar amrywiol ystyriaethau, ac ym mhlith eraill y mae cael eu dinystrio gan y pysgod hyn yn un. I'r diben o ymddiffyn eu hunain rhagddynt, arfera y Negroaid fyned â chyllyll mawrion gyda hwynt i'r dwfr; a phan ymosodo y pysgodyn hwn arnynt, bratha y Negro ef â'i gyllell yn ei fol, ac wedi cael yr annerchiad hwn efe a nofia ymaith. Pan welo y sharc ddyn yn y dwfr, efe a ymosoda arno yn uniongyrchol, ac os na all ei lyngcu oll, efe a dyrr aelod o hono ymaith, a hynny mor rhwydd a phe torrid braich neu forddwyd â bwyall. Pe gallai y creadur hwn ymosod ar ei ysglyfaeth mor rhwydd a chreaduriaid ysglyfaethus eraill, ni ddiangai unrhyw greadur rhagddo, ac yn fuan gwnai ddiboblogi y môr o'i drigolion. Cyn y gallo ymaflyd yn ei ysglyfaeth, rhaid iddo droi naill ochr, ac felly yn fynych dianga ei ysglyfaeth ymaith.

## TORPEDO.

YM mhlith holl bysg y môr, ni cheir un rhyfeddach na'r torpedo, oblegid ei fod yn gallu diffrwytho pob braich a ymaflo ynddo, a phob creadur a gyffyrddo âg ef. Y mae yn llawn o hylif gwefrawl o ddeutu ei dagelli, ac â hwn y mae yn medru gwneuthur y fath rymusderau. Creadur afluniaidd iawn ydyw y torpedo, y mae agos yn grwn ond ei gynffon. Ei groen sydd lyfn, o liw tywyll oddi arnodd, a gwyn oddi tanodd. Ceir y pysgod hyn yn amrywiol o foroedd Ewrop; a gwelir ef gan bysgodwyr y deyrnas hon yn aml

yn Torbay, ac y mae rhai o honynt mor fawr fel y pwysant bedwar ugain pwys. Pan eir i ymaflyd yn y pysgodyn hwn, teimla y dyn boen mawr yn ei fraich mor uchel a'r benelin, ac weithiau hyd yr ysgwydd a'r pen; ond ni pharha y poen yn hir. Os na chyffyrdda y dyn â'r torpedo, ni theimla ddim; ond y munud y cyffyrddo âg ef, teimla y poen i'r fath raddau, fel y bydd dan angenrheidrwydd i'w ollwng ef yn rhydd yn union-gyrchol.

## COD.

Pen y cod sydd lyfn, a lliw y cefn a'r ochrau yn dywyll, o liw yr olewydden, ond yn cael ei fritho gan fannau melynion. Tafod y cod sydd lydan, ac iddo amryw resi o ddannedd. Y mae iddo dair asgell ar ei gefn, dwy yn ymyl ei dagelli, dwy o'r tu blaen, a phedair yn agos i'w gynffon. Nid oes bysg yn yr holl eigionau yn fwy cynnyddfawr na'r rywogaeth hon; oblegid dywedir nad oes dim llai na naw miliwn o wyau yn yr un fenyw o honynt. Ni cheir y pysgod hyn ond ym moroedd parthau gogleddol y byd, a'r gynniweirfa fwyaf o honynt sydd ar dwyni tywod Newfoundland, Nova Scotia, a New England. Y maent yn hoff iawn o'r twyni uchod, oblegid eu bod yn fas, ac heb lawer o ddyfroedd drostynt, ac yn bendifaddeu oblegid bod yno heidiau o bryfed, o ba rai y maent yn dra hoff. Tebygol bod y pysgod hyn hefyd yn hoff o'r twyni uchod, oblegid eu hagosrwydd i'r moroedd gogleddol, lle y gosodant eu hwyau mewn diogelwch, ac wedi hynny deuant i'r moroedd deheuol. Perthyna y cod i'r llwyth symmudol o bysgod, oblegid ni arosant yn yr un man yn barhaus, ond gwibiant yma ac accw ar hyd y moroedd. Delir ychydig o honynt o'r tu gogleddol i Iceland, ond ni ânt cyn belled a chyfyng-fôr Gibralter. Cyn darganfod Newfoundland, y lleoedd y delid y pysgod dan sylw oeddynt ym moroedd Iceland, ac ar dueddau gorllewinol ynysoedd yr Alban. Bu y Seison yn eu dal yn y lleoedd dywededig am tua phedwar can' mlynedd, hyd nes y deallwyd eu bod mewn cymmaint niferi ar dwyni Newfoundland. Delir hwynt â bachau, ac y mae un dyn ar ol tri llinyn â bachau wrthynt; ac y mae yn gymmaint gorchwyl a all wneuthur i osod abwyd ar y bachau, a chyfodi y pysgod i'r lan. Delir myrddiynau o honynt yn flynyddol, ac y mae y pysgotta hwn yn elw mawr i'r rhai a anfonant longau at y gorchwyl.

## CHETEDON.

Y mae y chetedon, a elwir hefyd, y *bow-banded-chetedon*, yn bysgodyn tra rhyfedd. Ei ben sydd fawr, ei lygaid yn fychain, a chylch melyn oddi amgylch iddynt. Y mae y rhywogaeth hon o bysgod yn cyfanneddu gororau Brazil, a pharthau ereill America Ddeheuol, ac o dair i chwech modfedd o hyd. Yn y gauaf, ac ar y tymhorau gwlawog, gorweddant mewn tyllau dyfnion yn agos i'r lan, o'r rhai y deuant yn y gwanwyn, gan fyned i lefydd beision yn agos i'r lan; ond pan fyddo yr haul yn taflu gwres mawr, ciliant i'r dyfnder er mwyn gochelyd ei belydron cynnesion. Ond y peth rhyfeddaf pysgodyn hwn ydyw ei ddull yn dala ei ymborth, yr hyn sydd

cael agos ym mhob parth o'r moroedd. Nid ydyw eu cnawd yn cael ei ystyried yn rhagorol fel ymborth, ac nid mynych y mae yn cael ei ddefnyddio.

## SHARC.

Y MAE amryw rywogaethau o'r anghenfil ofnadwy hwn, ond y mwyaf dinystriol ydyw y sharc gwyn. Y mae iddo chwech rhes o ddannedd, a'r rhai hynny yn galedion a blaenfeinion, o ddull fflaim waedu, a gall unioni a chammu y rhai hyn wrth ei bleser ei hun. Pan fyddo y sharc yn llonydd ac yn gorphwyso, gorwedda ei ddannedd yn ei safn; ond pan fyddo yn myned i ymosod ar ei ysglyfaeth, efe a'u huniona hwynt yn uniongyrchol, a chyda safn agored, llygaid tanllyd, a'i adenydd yn ysgwyd fel mwng llew, efe a ymosod yn angeuol ar ei ysglyfaeth. Y mae y pysg hyn yn ddychryn i forwyr ym mhob hinsoddau poethion, lle y maent yn heidiau yn amgylchynu y llongau, gan ddisgwyl pob peth a syrthiant o honynt i'r môr; ac os digwydd i un o'r morwyr syrthio i'r môr, efe a ysglyfaethir yn uniongyrchol gan un o'r anghenfilod hyn, ac a gleddir yn ei fol. Rhai o'r pysgod hyn weithiau a bwysant yn agos i bedair mil o bwysau. Ei wddf sydd yn ddigon ehang i lyngcu dyn; a chafwyd dynion yn eu cyflawn faintioli yng nghylla y pysgod hyn rai prydiau. Yn yr Americ Ddeheuol y mae llawer iawn o bysgotta am berlau, ac wrth y gorchwyl hwn y mae y Negroaid yn gyffredin. Eu dull ydyw myned i lawr i'r dyfnder a chasglu y cregin, ac yna dyfod â hwynt i'r lan, a'u hagoryd er gweled a fydd perlau ynddynt. Yn awr y mae y gorchwyl hwn yn beryglus iawn ar amrywiol ystyriaethau, ac ym mhlith eraill y mae cael eu dinystrio gan y pysgod hyn yn un. I'r diben o ymddiffyn eu hunain rhagddynt, arfera y Negroaid fyned â chyllyll mawrion gyda hwynt i'r dwfr; a phan ymosodo y pysgodyn hwn arnynt, bratha y Negro ef â'i gyllell yn ei fol, ac wedi cael yr annerchiad hwn efe a nofia ymaith. Pan welo y sharc ddyn yn y dwfr, efe a ymosoda arno yn uniongyrchol, ac os na all ei lyngcu oll, efe a dyrr aelod o hono ymaith, a hynny mor rhwydd a phe torrid braich neu forddwyd â bwyall. Pe gallai y creadur hwn ymosod ar ei ysglyfaeth mor rhwydd a chreaduriaid ysglyfaethus eraill, ni ddiangai unrhyw greadur rhagddo, ac yn fuan gwnai ddiboblogi y môr o'i drigolion. Cyn y gallo ymaflyd yn ei ysglyfaeth, rhaid iddo droi naill ochr, ac felly yn fynych dianga ei ysglyfaeth ymaith.

## TORPEDO.

YM mhlith holl bysg y môr, ni cheir un rhyfeddach na'r torpedo, oblegid ei fod yn gallu diffrwytho pob braich a ymaflo ynddo, a phob creadur a gyffyrddo âg ef. Y mae yn llawn o hylif gwefrawl o ddeutu ei dagelli, ac â hwn y mae yn medru gwneuthur y fath rymusderau. Creadur afluniaidd iawn ydyw y torpedo, y mae agos yn grwn ond ei gynffon. Ei groen sydd lyfn, o liw tywyll oddi [illegible], a gwyn oddi tanodd. Ceir y pysgod hyn yn amrywiol o [illegible] Ewrop; a gwelir ef gan bysgodwyr y deyrnas hon yn aml

y porcupine. Ceir y rhywogaeth hon o bysgod yn America, yn y Môr Coch, ac ar dueddau Japan. Yng Nghaerefrog Newydd, yn America, y mae y trigolion yn myned allan i'r môr i ddal y pysgod hyn er mwyn difyrru eu hunain. Yr abwyd goreu i'w ddal ydyw cynffon crangc y môr, yr hwn a osodir ar fach, a gollyngir y bach wrth linyn i'r gwaelod. Dynesa y pysgodyn at y bach, ond oblegid ei ofnau, ni wna ymaflyd yn union-gyrchol ynddo, ond yn ei amgylchynu fel pe byddai yn chwennychu gwneuthur sylwadau yn ei gylch. Cymmera arno wrthod yr abwyd, ac â ymaith gan daro y llinyn â'i gynffon; ond yn fuan troa yn ei ol, ac a lyngca y bach a'r abwyd. Pan ddeallo y pysgodyn ei fod wedi ei ddal, ymffyrniga yn ofnadwy, a gwelir ei holl bigau mewn munud wedi ymsythu, gan ymdrechu niweidio a chlwyfo pob peth a ddel yn agos atto. Ond pan wel fod ei holl ymdrechiadau yn y wedd hon yn ofer, ymlonydda, gan ddangos ei fod wedi gwneuthur i fynu ei feddwl i gyfarfod â'i dynged; ond ymffyrniga drachefn, gan gyfodi ei biccellau, y rhai ydynt mor flaen-feinion, fel nad dichonadwy ymaflyd ynddo â llaw. Trenga yn fuan wedi ei ddal, ar ol ychydig ymdrechion am ei fywyd.

## LLYSWEN.

Y LLYSWEN ydyw y gadwyn rhwng pysgod a nadredd. Y mae y llyswen yn gyffelyb iawn i'r neidr mewn dull, yn gystal ag mewn llawer iawn o bethau eraill. Er mor anghredadwy gan rai, y mae yn wir dilys bod llyswod yn fynych yn gadael y dwfr yn y nos, ac yn myned dros ddolydd a chaeau i ymofyn malwod a chreaduriaid eraill i ymborthi arnynt, yn gystal ag i newid eu sefyllfaoedd. Ceir hwynt yn fynych mewn pyllau a dyfroedd na feddyliwyd eu bod ynddynt, a hynny oblegid eu bod yn symmud o fan i fan yn y nos. Y mae rhai llyswod yn hirion ac yn ffyrfion iawn mewn dwfr croyw, ond yn y môr y maent o wahanol rywogaethau a maintioli. Ystyrir eu cnawd yn ymborth iachus.

# ARWYDDOCCAD ENWAU

## YN YR YSGRYTHYRAU SANCTAIDD.

GAN fod yr Enwau a welir yn y Bibl yn perthyn i ieithoedd dieithr, ac o herwydd hynny yn annealladwy i'r anhyddysg; a chan fod cwyno mynych am gael eglurhad o honynt, rhoddir eu Harwyddoccâd yn y Daflen hon.

AARON, mynyddig, dysgu
Abaddon, dinystr
Abana, cerrigog
Abarim, mynedfeydd
Abda, gwas, caethiwed
Abdiel, gwas Duw
Abdon, gwasanaeth, cwmmwl o farn

Abednego, gwas Nego, neu oleuni
Abel, Hebel, gwagedd
Abel, galar, pan arwydda le
Abez, ŵy, lleidiog
Abi, fy nhad
Abiah, Abijah, yr Arglwydd fy Nhad
Abialbon, fy nhad a olyga yr adeiladaeth
Abiathar, ardderchog
Abib, ffrwythau gwyrddion
Abida, tad gwybodaeth
Abidan, fy nhad sydd farnwr
Abiel, Duw yw fy Nhad
Abiezer, cymhorth fy nhad
Abigail, llawenydd fy nhad
Abihu, efe ydyw fy nhad
Abijah, yr Arglwydd yw fy Nhad
Abijam, tad y môr
Abimael, tad oddiwrth Dduw
Abimelech, fy nhad sydd frenin
Abinadab, fy nhad sydd dywysog ewyllysgar
Abinoam, fy nhad sydd hardd
Abiram, Abram, tad uchel
Abishag, fy nhad a ymafla
Abishai, tad yr anrheg, neu y rhodd
Abishua, tad iechydwriaeth
Abishur, fy nhad sydd gadarn
Abital, tad y gwlith
Abitub, fy nhad sydd dda
Abiab, gogoniant fy nhad
Abner, lamp tad
Abraham, tad tyrfa
Absalom, tad heddwch perffaith
Accad, piser
Accho, yn wasgedig
Achaia, blinder, trallod
Achan, Achar, dryllïedig, trallodedig
Achsah, addurnedig
Achsaph, gwenwyn, torri'r wefus
Achzib, celwyddwr, rhedeg
Adadah, tyst y gynnulleidfa
Adah, cynnulleidfa
Adaiah, tyst yr Arglwydd
Adam, Adamah, Adami, Admah, daearol, coch, dyn, hardd
Adheel, cwmmwl neu drallodwr Duw

Adar, Ador, ardderchog
Addi, fy nhyst, addurn, ysglyfaeth
Adon, sylfaen, Arglwydd
Adin, Adina, Adnah, yn addurnedig, yn flysig
Adithaim, dwy gynnulleidfa, neu dystiolaethau
Adlai, fy achwyniad, cyfarwyddyd
Adonibezec, arglwydd Bezec
Adoniah, fy meistr yw yr Arglwydd
Adoniram, fy Arglwydd sydd uchel
Adonicam, fy Arglwydd a gyfododd
Adonizedec, Arglwydd cyfiawnder
Adoram, eu harddwch
Adoraim, ardderchogrwydd deublyg
Adrammelech, gogoniant brenin
Adramyttium, llys angeu
Adullam, eu hachwyniad, eu hadeiladaeth
Agabus, locust, gwledd tad
Agag, cronglwyd, llawr
Agrippa, achosi poen mewn genedigaeth
Agur, casgledig, dieithr
Ahab, brawd tad
Ahafa, cenhedlaeth
Ahaz, ymafaelyd, gweled
Ahaziah, gweled yr Arglwydd
Ahiah, Ahijah, brawd yr Arglwydd
Ahiezer, brawd cymhorth
Ahicam, brawd yn cyfodi i fynu
Ahilud, brawd wedi ei eni
Ahimaaz, brawd y cynghor
Ahiman, brawd parottoedig
Ahimelech, brawd y brenin
Ahimoth, brawd angeu
Ahinoam, brawd harddwch
Ahio, ei frodyr
Ahira, brawd y drwg
Ahisamach, fy mrawd sydd yn cynnorthwyo
Ahishan, brawd y tywysog
Ahitophel, brav
Ahitub, brawd
Ahihud, brawd
Ahlai, tew, lla

Aholah, pabell
Aholiab, pabell yr ŷd
Aholibah, fy mhabell ynddi
Aholibamah, fy mhabell uchel
Ai, Aiath, Hai, pentwr
Ajalon, cadwyn, cryfder, carw
Akkub, disodlwr
Alamelech, Duw sydd Frenin
Alexander, cynnorthwywr dynion
Allon-bachuth, derwen wylofain
Almodad, Duw sydd yn mesur
Alpheus, pennaeth dysgedig
Amalec, pobl yn llyfu
Amana, gwirionedd
Amariah, gair neu orchymynyn oddiwrth yr Arglwydd
Amasa, pobl faddeugar
Amasai, anrheg y bobl
Amaziah, cryfdwr yr Arglwydd
Ammi, Ammah, fy mhobl
Amminadab, fy mhobl sydd rydd
Ammihud, fy mhobl o foliant
Ammi-Shaddi, pobl yr Hollalluog
Ammon, y bobl
Amnon, Amon, diysgogrwydd, gwirionedd, tadmaeth
Ammoni, gorchymmyngar, chwerw, gwrthryfelgar
Amos, trwm, llwyth
Amoz, cryf
Amphipolis, dinas yn cael ei hamgylchynu gan y môr
Amphias, mawr
Amram, pobl wedi eu dyrchafu
Amraphael, llefarwr pethau cuddiedig
Anah, atteb, tlawd, blinderus
Anac, addurn gwddf
Anamelech, brenin defaid
Anathoth, attebion, blinderau
Andreas, dyn cryf
Aner, atteb, cân, blinder
Andronicus, dyn buddugoliaethus
Anna, Annas, grasol, gostyngedig
Antioch, yn gyfartal i, neu yn erbyn cerbyd
Antipas, yn erbyn pawb
Aphelles, gwahaniad, ymadrodd
Aphec, ffrwd fuan, cryfdwr
Apollonia, Apollos, Apollyon, dinystr, dinystrydd
Apphia, ffrwythlondeb
Aquila, eryr
Ar, gwylio, gwag
Arabia, anialwch, prydnawn, cigfrain, cymmysgedig
Aram, uchel
Ararat, melldith dychryndod
Arannah, arch, bloedd lawen, melldith
Arba, pedwar
Archelaus, tywysog y bobl
Archiepus, meistr y ceffylau
Arcturus, casglu ynghyd
Ard, gorchymmyn, disgynfa
Areli, goleu, neu weled Duw
Areopagus, bryn Mawrth
Aretas, hyfryd, rhinweddol
Argob, tir bras
Ariel, allor, neu llew, neu oleu Duw
Ariochi, hir, dy lew
Aristarchus, y tywysog goreu
Aristobulus, cynghorwr da
Armageddon, bryn Megiddo, neu heb ffrwythau, distryw byddinoedd
Arnon, llawenydd mawr
Aroer, iachus, croen noeth
Arpad, cyweirio gwely
Arphaxad, iachawr, rhyddhawr
Artemas, yn gyfan
Asa, meddyginiaeth
Asahel, gwaith Duw
Asaiah, gwaith yr Arglwydd
Asaph, casglwr, gorphenwr
Ashdod, Azotus, tywallt, gogwyddo, lledrad
Asher, Ashur, Assyria, dedwydd, cysurus
Ashima, trosedd
Ashkenash, tân taenedig
Ashtaroth, diadelloedd, cyfoeth
Asia, lleidiog
Ascelon, pwyso
Asnapper, annedwyddwch y tarw
Assir, carcharwr
Assos, dynesu
Asyncritus, anghymmeradwy
Atad, draen
Athaliah, trosol yr Arglwydd
Attalia, yn cynnyddu, yn anfon

dueddau Affrica y mae rhai o honynt mor fawrion fel yr ymladdant âg ychain, a gorchfygant hwynt; ac mor gryfion ydynt fel y dymchwelant gychod mawrion ar y dwfr. Mesura rhai o honynt o ugain i ddeg troedfedd ar hugain o hyd. Yr hydra sydd neidr ddwfr, yr hon sydd tu hwnt i bob neidr arall mewn harddwch, ac yn fwy gwenwynig nag unrhyw rywogaeth o nadredd. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng nadredd y dwfr a nadredd y tir; rhai yn fychain ac eraill yn fawrion; rhai yn wenwynig ac eraill yn ddiwenwyn. Dywedir i fôr-nadredd o faintioli anferth gael eu gweled o bryd i bryd ar y môr, ac y mae llawer iawn wedi ei ysgrifenu yn eu cylch yn y blynyddoedd diweddaf hyn. Crybwylla haneswyr am frwydr fawr a fu yn Nhwrci rhwng môr-nadredd a nadredd y tir, yn amser Bajazet, yr hon a barhaodd o'r bore hyd y nos; ac wedi llawer iawn o ddinystr, i'r môr-nadredd ddiengyd i'r dyfroedd dyfnion. Adrodda Peter Van Coerden, llyngesydd, iddo ef, pan yn angori yn Mosambigue, ym môr yr India, golli bachgenyn a berthynai i'r llong dan yr amgylchiadau canlynol. Aeth y bachgenyn i ymolchi i'r môr, a phan yn difyrru ei hun yn yr elfen ddyfrllyd, ymaflwyd ynddo gan neidr o faintioli anferth, yr hon a'i tynnodd dan y dwfr, ac ni welwyd mo hono mwyach. Yn y flwyddyn 1807, brathwyd bys pysgottwr ieuangc yng nghymmydogaeth Calicut, yn yr India Ddwyreiniol, gan fôr-neidr fechan a ymddrysodd yn ei rwyd. Wedi iddi roddi brathiad bychan iddo efe a'i taflodd i'r môr, gan feddwl mai creadur diniwed ydoedd. Ym mhen tuag awr wedi hynny teimlai boen mawr yn ei fys ac ar hyd yr holl fraich. Cynnyddodd y poen, ac er pob moddion a arferwyd bu farw bore drannoeth mewn ing dirfawr. Pan ddyweda yr Arglwydd drwy y prophwyd am analluogrwydd Israel i ddiengyd rhag barn y nefoedd, arferir yr ymadroddion canlynol; "A phe llechent ar ben Carmel, chwiliwn a chymmerwn hwynt oddiyno; a phe ymguddient o'm golwg yng ngwaelod y môr, oddiyno y gorchymmynaf i'r sarph eu brathu hwynt." Crybwyllir am ddreigiau yn fynych yn yr ysgrythyrau, ond y mae ysgrifenwyr yn anghyttuno ac yn amrywio yn eu barnau pa greaduriaid a feddylir wrth y rhai hyn; rhai a dybiant mai y môr-nadredd ydynt, ac eraill mai y crocodiliaid. Yn Esay 27. 1. dywedir, "Y dydd hwnnw yr ymwel yr Arglwydd â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn, â lefiathan y sarph hir-braff, ïe â lefiathan y sarph dorchog: ac efe a ladd y ddraig sydd yn y môr." Wrth y ddraig yn y môr y deallir gallu ac awdurdod yr Aipht, ond ar yr un pryd rhaid bod rhyw greadur yng ngolwg y prophwyd yn y cyfeiriad a wnai. "Ond ti a ddrylliaist Rahab (yr Aipht) ac a archollaist ben y ddraig?" Tebygol mai y crocodil ydyw y ddraig hon.

# PYSG Y MOR,

## Y RHAI A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU,

*Ynghyd âg eraill mwyaf hynod mewn hanesyddiaeth.*

Y MAE y môr mawr a llydan yn llawn trigolion o bob maintioli a rhywogaethau; ac oblegid eu bod yn preswylio yn yr eigionau, ac yn cael ei gweled yn dra anfynych, ni ellir dywedyd nemmawr am niferi lliosog o honynt. Ond y mae llawer iawn o honynt yn adnabyddus, a hanes cywir am danynt; eithr ni chrybwyllir ond am ychydig o honynt yn yr ysgrythyrau: ond gan fod cymmaint o ryfeddodau y Creawdwr yn ganfyddedig ym mhysg y moroedd, gwneir crybwylliad am rai o honynt.

### MORFIL.

O HOLL greaduriaid y moroedd mawrion, dywedir mai y morfil ydyw y cryfaf a'r mwyaf o honynt oll; ac ymddengys ei fod mewn rhyw bethau yn gyffelyb i bedwar-carnolion y ddaear, oblegid y mae y fenyw yn dwyn ei rhai bychain yn fyw, ac yn eu maethu am ryw hyd â llaeth ei bronnau. Hen awdwyr boreuol a ddywedant fod y morfilod, yn eu hamser hwynt, yn amryw gannoedd o droedfeddi o hyd; ond os oeddynt o'r maintioli hyn, yn yr oesau a'r amserau gynt, nid ydynt i'w cael o'r hyd hwn yn bresennol. Hyd y rhai mwyaf yn y moroedd gogleddol yn bresennol sydd ychydig gyda chan' troedfedd, ac y maent yn ugain troedfedd o led; ond yn y moroedd deheuol, a thån y cylch poeth, dywedir bod rhai yn cael eu dal ynghylch cant a thrugain troedfedd o hyd. Yn yr amserau gynt, nid oeddynt yn cael eu dal fel yn bresennol, o ganlyniad caent amser i dyfu i eithaf eu maintioli; ac oblegid bod y fath ddinystr arnynt yn yr oesoedd diweddaf hyn, tybir mai dyna yr achos eu bod yn llai.

Anhawdd penderfynu mewn perthynas i hyd oes yr anghenfil hwn; ond y mae rhai wedi barnu, oddiwrth anferthwch ei faintioli, ynghyd â phethau eraill perthynol i'w gyfansoddiad, y cyrhaedda gan' mlwydd oed. Ond y fath ydyw y dinystr a wneir arnynt yn bresennol gan ein pysgotwyr, fel mai anfynych y delir morfil dros hanner cant oed. Amrywia y pysgod dan sylw yn anghyffredin mewn lliwiau: cefnau rhai o honynt ydynt gochion, a'r bol yn gyffredin yn wyn; rhai o honynt ydynt dduon, a rhai yn frithion. Eu lliwiau yn y dwfr sydd dra phrydferth, a'u crwyn ydynt lyfn iawn. Y mae pob rhywogaeth o'r creaduriaid hyn yn ffyddlon iawn at eu gilydd, ac ni wnant gyd-gymmysgu â'r lleill. Y mae amryw droadau yn ffroenau y morfil, ac nid oes un math o asgell ar ei gefn. Y mae ei ben a'i gorph yn dra anghyfartal i'w gilydd gyda golwg ar eu maintioli, oblegid y mae y pen ei hun yn drydedd ran o'r holl

wan, fel y mae hyd yn nod y ceiliog rhedyn, yr ymborth gwanaf, yn faich i'w gylla. Eraill a feddyliant wrth fod y ceiliog rhedyn yn faich, y deallir fod henaint mor llesg a gwan, fel y teimlant y pwysau lleiaf, fel y bydd, hyd yn nod y ceiliog rhedyn. y creadur ysgafnaf, pan ddisgyno arnynt, yn faich trwm iddynt.

## CILION.

Rhoir yr enw cilion ar bryfaid o wahanol rywogaethau, i'r rhai y mae adenydd, a'r rhai a welir yn fynych yn ehedeg ar hyd y tai ac yn y maesydd. Ym mis Medi, pan ddechreuo oeri, ciliant ymaith mewn ychydig o ddiwrnodau, ond pa le y maent yn myned, a pha beth sydd yn dyfod o honynt, nid ydyw naturiaethwyr yn cydunaw. Y mae cilionen frawychus iawn yn y gwledydd dwyreiniol o'r enw Oestrum, yr hon pan ehedo, sydd yn edrych fel tân, a dywedir bod ei brathiad yn angherddol o boenus. Yn yr Aipht, fel y dywed haneswyr, pan frather tarw gan yr Oestrum, rheda ymaith mewn cynddaredd, ac ni phaid â rhedeg a bugunadu hyd oni syrthio yn farw. Os o'r rhywogaeth hon yr ydoedd y cilion a wnaent y gymmysg-bla yn yr Aipht, yr oedd yn ddiau yn dra brawychus. Yr oedd y gymmysg-bla yn ofnadwy i'r Aiphtiaid drygionus, yn ol fel ei darlunir yn Ecsod. 8. 20—24. Crybwyllir am gilionen neillduol yn Esay 7. 18. "A bydd yn y dydd hwnnw, i'r Arglwydd chwibanu am y gwybedyn sydd yn eithaf afonydd yr Aipht, ac am y wenynen sydd yn nhir Assyria." Dyweda haneswyr am gilionen ddychrynllyd sydd yn dyfod i lawr o Abyssinia i'r Aipht ar amserau, chwibaniad yr hon a glywir o bell; a phan glywer ei swn, y mae yr holl greaduriaid yn rhedeg gyda y gwylltineb mwyaf, a phob un a fretheir, bydd yn sicr o farw yn yr arteithiau mwyaf. Ond wrth y gwybedyn yn y brophwydoliaeth a goffawyd, y deallir yr ymosodiad disymmwth a wnaed gan Pharaoh-Necho yn erbyn Josiah, brenin Judah, 2 Bren. 23. 29—35.

## GELE.

Ni chrybwyllir am y gele ond unwaith yn yr ysgrythyrau, ac y mae yn angenrheidiol nodi y fan honno er mwyn gwneuthur rhyw sylwadau a allant fod yn ddefnyddiol, Diar. 30. 14, 15. "Y mae cenhedlaeth, a'i dannedd yn gleddyfau, a'i childdannedd yn gyllyll, i ddifa'r tlodion oddiar y ddaear, a'r anghenus o blith dynion." Ac yn ddiau y mae hyn mewn cyssylltiad â'r hyn a ddywedir yn ganlynol, "I'r gele y mae dwy ferch, yn llefain moes, moes." Wrth ddwy ferch y gele y deallir creulondeb a syched am waed, yr hyn bethau ni ddiwellir. Y mae dwy duedd neillduol yng ngorthrymmwr y tlawd, sef creulondeb a chybudd-dod, pa rai ni ddywedant byth ddigon, ond yn ymofyn am ychwaneg yn barhaus.

## GWENYNEN.

Y mae y wenynen a'r llestr gwenyn wedi tynnu sylw naturiaethwyr yr oesau, ac y mae llawer iawn wedi ei ysgrifenu yn eu cylch o

bryd i bryd. Gellir yn dra phriodol gydmaru llestraid o wenyn i ddinas boblogaidd, yn cynnwys miloedd o breswylwyr. Llywodraeth y gwenyn ydyw brenhiniaeth, oblegid y mae ym mhob llestr frenhines, yr hon sydd bennaf yn eu plith, a chanddi balas neillduol i fyw ynddo. Y mae ar amserau ym mhob llestr dri math o wenyn, y gwrrywaid, y benywaid, a gwenyn di-ystlem, y rhai ydynt amlaf, a'r gwenyn gweithgar hefyd. Y frenhines yn gyffredin ydyw yr unig wenynen fenyw yn y llestr; hi sydd yn dodwy, ac o'i hwyau hi y deillia yr heidiau sydd yn torri allan o'r llestr, y rhai a amrywiant yn eu nifer o ddeg i ugain mil. Pan fyddo gwenyn yn dwyn gorchwylion y llestr ym mlaen, rhanant eu hunain yn bedwar dosparth. Un dosparth allan yn y caeau yn ymofyn defnyddiau; y lleill yn llunio dosparthion y celloedd; y lleill yn eu llyfnhau; a'r lleill yn dwyn ymborth iddynt. Y fath ydyw eu diwydrwydd, fel y gwnant ddigon o gelloedd mewn un diwrnod i ddeng mil o wenyn. Y gwenyn a sugnant y mel a ant allan ar hyd y caeau i ymofyn blodau, ar y rhai y disgynant, ac o'r rhai y sugnant y sudd melus, yr hwn a lyngcant, hyd oni fyddo y cwdau mel yn llawnion, ac yna dychwelant yn ol i'r llestr, ac a arllwysant y mel i'r celloedd, y rhai yn union-gyrchol a gloir, rhag i'r mel redeg o honynt; ac felly parhant am oriau yn ddiflino. Y mae dau fath o gelloedd gan y gwenyn, sef celloedd i gadw mel, a chelloedd i'r frenhines ddodwy ynddynt, yr hon a â, ac a esyd wy ym mhob un o honynt. Ym mhen diwrnod neu ddau wedi gosod yr wyau yn y celloedd, torrir pob un o honynt, a bydd yno bryfyn bychan gwyn. Pan dyfo'r pryfyn i'w gyflawn faintioli, yr hyn a wna ym mhen tua chwech diwrnod, cauir arno mewn cwyr, rhag iddo dderbyn niwed, ac ym mhen ychydig ddiwrnodau â drwy y cyfnewidiad diweddaf, a thyr allan o'i charchar yn wenynen berffaith, ac ym mhen ychydig oriau eheda ymaith, a bydd mor berffaith wybodus yn ei chelfyddyd a phe buasai wedi bod flynyddoedd yn dysgu. Pan fyddo lliosogrwydd o wenyn ieuaingc wedi eu dwyn yn y llestr, y mae yn myned yn rhy fychan i'r trigolion, ac erlidir y rhai ieuaingc ymaith, a deuant yn heidiau o hono, gan ymsefydlu ar ganghen o bren, o ba le y cymmerir hwynt er eu gosod mewn llestr, yr hwn yn fuan a lanwant o fêl a thrigolion. Pan ddigwyddo i falwoden fyned i lestr gwenyn, y gwenyn yn union-gyrchol a'i brathant i farwolaeth; a chan na fedrant ei chludo ymaith, na dioddef ei harogl ddrewllyd, ânt allan ar hyd y coedydd, a chasglant yn fuan ddigon o sudd tew er ei hamdoi yn y llestr. Ymddengys bod gwlad Canaan yn llawn iawn o wenyn, oblegid dywedir eu bod yn llifeirio o laeth a mêl. Y fath ydoedd y cyflawnder mawr o fêl, fel y dywedir yn Salm 81. 16. "Ac â mêl o'r graig y'th ddiwallaswn." Byddai y gwenyn yn nythu yn hen geubrenni ac yn agenau y creigiau; a phan fyddai yr hin yn wresog, rhedai y mêl allan ar hyd y ddaear, yr hwn a ystyrid y mêl gwerthfawroccaf. At hyn y cyfeirir pan ddywedir yn 1 Sam. 14. 25—27. "A rhai o'r holl wlad a ddaethant i goed, lle yr oedd mêl ar hyd wyneb y tir. A phan ddaeth y bobl i'r coed, wele'r mêl yn diferi." Cafodd Samson fêl yn ysgerbwd y llew, Barn 14. 8, 9. Ymborth Ioan fedyddiwr ydoedd locustiaid a mêl gwyllt.

## GWYFYN.

Anaml y gwelir y gwyfyn yn ehedeg oddi amgylch, oddieithr yn yr hwyr ac yn y nos, ym mha amser y mae efe yn ymofyn am ymborth. Gwyfyn y dillad sydd greadur bychan iawn, ac yn adnabyddus yn y niweidiau a wna i ddillad gwlan, ac i grwyn blewog. A y gwyfyn i mewn i'r rhai hyn, ac a esyd yno ei wyau; ym mhen amser daw allan yn wyfyn cyflawn, wedi iddo yn gyntaf anafu y dilledyn. Y mae arogl olew Terebinth, *(Turpentine,)* yn farwolaeth union-gyrchol i wyfynod. Yr hanes hwn am y gwyfyn a'n cynnorthwya i ddeall amrywiol rannau o'r ysgrythyrau. Yn ei sefyllfa gyntaf, y mae y gwyfyn yn bryf heb adenydd, y pryd hyn y mae yn niweidiol i ddillad. Yn y dilledyn y gwna efe ei dŷ, a diwrnod ar ol diwrnod y difa efe y dilledyn lle byddo yn anneddu, hyd oni ddygir y ddau weithiau i ddim. Arddangosir drwy hyn lwyddiant calon ddrygionus dyn, am yr hwn y dywedir yn Job. 27. 18. "Efe a adeiladodd ei dŷ fel gwyfyn, ac fel bwth a wna gwyliwr." Y mae meddiannau dynion drygionus yn ansicr, ac yn fynych yn darfod yn ddisymmwth. Y mae balchder ymddangosiad dyn, a'r ymddiried a rydd efe, yn gwbl ofer, a chyffelybir ef i sefyllfa ddadfeiliedig y gwyfyn; Salm 39. 11. "Pan gospit ddyn â cheryddon am ei anwiredd, dattodit fel gwyfyn ei ardderchogrwydd ef; gwagedd yn ddiau yw pob dyn." Cyffelybir barnedigaethau dirgelaidd Duw i wyfyn, Hos. 5. 12. "Am hynny y byddaf fel gwyfyn i Ephraim, ac fel pydredd i dŷ Judah."

## LOCUST.

Er bod y ceiliog rhedyn a'r locust yn amrywio mewn dull, maintioli, a lliw, y mae y ddau greadur yn hollol debygol i'w gilydd mewn natur, ac yn y cyfnewidiadau y maent yn myned drwyddynt. Nid ydyw y locustiaid yn fwy niweidiol na cheiliogod rhedyn, ond eu bod hwy yn finteioedd gyda'u gilydd, a'r ceiliogod rhedyn heb fod felly. Hyd y locust yn gyffredin ydyw tair modfedd, ac y mae iddo ddau gorn, a phob un o honynt tua modfedd o hyd. Pen a chyrn y locust sydd o liw llwyd. Y mae yn las o ddeutu ei enau, ac o'r tu fewn i'w draed. Rhannau uchaf ei gorph sydd lwyd, a rhai mannau duon; a'r rhan isaf o'i gorph sydd o liw porphor. Y mae i'r locust bedair aden, y rhai uchaf yn llwyd, a'r rhai isaf yn llwyd oleu, cymmysgedig â gwyrdd. Nid oes unrhyw greaduriaid o fewn i'r greadigaeth yn lliosogi mor fuan a'r locustiaid, yn neillduol yn y gwledydd hynny lle y mae yr haul yn boeth a'r ddaear yn sych. Pan liosogont i raddau mawr, ehedant fel cwmmwl du, a gwnant y dydd yn nos gan eu lliosogrwydd. Pan ddisgynant ar y ddaear, dinystriant yn fuan y glaswellt, dail y coedydd, a phob peth a fyddo ar eu ffordd; ac mewn ychydig ennyd gwnant y dyffrynoedd ffrwythlonaf yn anialwch diffrwyth. Crybwylla teithiwr diweddar am haid liosog o locustiaid a welodd ac a gyfarfyddodd efe o fewn deuddeg milldir i Ephesus, yr hon a gyrhaeddai dros filldiroedd o'r wlad. Yr oedd y ddaear yn orchuddiedig hollol ganddynt, ac mor lliosog oeddynt yn yr awyr, fel yr ymddangosent yn gyffelyb

i gafod o eira. Arosodd y teithiwr a'i gymdeithion i gymmeryd ychydig luniaeth, ac wele yn uniongyrchol drugain o locustiaid ar hyd-ddynt, a gorchuddient eu holl ymborth. Taflwyd ychydig dammeidiau o fara i'w plith, a'r fath ydoedd eu gwangc fel na buont ond ennyd fechan cyn eu difa. Crybwylla Dr. Shaw am heidiau dirifedi o locustiaid a welodd efe yn Barbary yn y flwyddyn 1724, a'u bod fel cymmylau mawrion yn attal llewyrch yr haul. Aethant ymaith ym mis Mai i'r anialwch er gosod eu hwyau; ac yn Gorphenaf deuai y locustiaid bychain allan, a llwyr ddinystrient bob peth yn eu ffordd. Ymdrechai y trigolion eu dinystrio drwy gloddio cwtterydd, llanw y rhai hyn â dwfr, a thrwy gynneu tanau mawrion. Ond yn ofer yr ymdrechent, oblegid llenwid y gwtterydd gan y locustiaid, ac yr oeddynt mor lliosog fel y diffoddent y tanau. Y crybwylliad ysgrythyrol cyntaf a geir am ddifrodiadau y locustiaid ydyw pla y locustiaid yn yr Aipht; Ecsod. 10. 13, 14. Ond sonir yn fynych wedi hynny am y creaduriaid dan sylw, a'u bod yn offerynau yn llaw Duw i gospi dynion â hwynt. Joel 2. 25.

## MORGRUGYN.

Creadur tra adnabyddus i ni ydyw y morgrugyn, ond y mae y pryfaid bychain hyn yn fwy hynod yn y gwledydd dwyreiniol na chyda ni. Yno y mae crugiau y morgrug o chwech i ddeuddeg troedfedd o uchder, y rhai a ffurfir yn dra chywrain; ac y maent yn gyffelyb i deiau mawrion, yn llawn o bob celloedd. Gwneir y crugiau hyn o amrywiol ddefnyddiau, ac yn gyffredin wrth bren mawr, ac yn ymyl ffrwd o ddwfr. Cyn gynted ag yr elo y gauaf drosodd, gwna y morgrug eu hymddangosiad, a'r crugiau a ymddangosant mewn bywyd newydd. Y mae serchiadau y morgrug at eu rhai bychain yn hynod. Pan fyddo yr hin yn oer, cymmerant eu rhai bychain i waelodion eu preswylfeydd; ond pan gynneso yr hin, cymmerant hwynt yn nes i'r wyneb. Daw y morgrug allan o'u crugiau gyda y cyffro lleiaf, gan ymosod yn egniol ar ba greadur bynnag a amcano wneud unrhyw sarhad arnynt, ac ni ddangosant unrhyw drugaredd tuag atto. Dywedir na ddiangc unrhyw greadur â'i einioes ganddo os ymosoda y morgrug yn effeithiol arno. Yn Affrica y mae y morgrug yn neillduol liosog, a dyweda Mr. Smith iddynt unwaith ddyfod i mewn i'r ymddiffynfa tra y bu efe yn aros yn Cape Coast Castle. Yr ydoedd ynghylch toriad y dydd pan ddaeth y flaen-fintai i mewn, ac ymysgydwodd pawb yn uniongyrchol er ymddiffyn eu hunain. Ymddangosai yr holl wlad yn fyw o honynt. Wedi bod am ryw ennyd yn ystyried pa beth i wneuthur, penderfynwyd gosod pylor ar hyd y llwybr a deithient, yr hyn yn uniongyrchol a wnaed, a gosodwyd ef ar dân. Lladdwyd miliynau o honynt, a'r rhai diangol a giliasant yn ol. Cyflwynir y morgrugyn i'n sylw yn yr ysgrythyrau, oblegid eu diwydrwydd. Dyweda Agur eu bod yn ddoeth; "Nid yw'r morgrug bobl nerthol, etto y maent yn darparu eu lluniaeth yr haf;" Diar. 30. 25. Anfonir y diogyn yn neillduol at y morgrugyn, er dysgu ei ffyrdd ef, a bod yn ddoeth.

## PRYF COPPYN.

Y MAE amryw rywogaethau o gorrynod, ond y mae i bob un o'r rhywogaethau hyn wyth o draed ceimion, dwy fraich, ac o chwech i wyth o lygaid. Y mae dwy grafangc yn perthyn i'w ben, y rhai ydyw arfau pennaf y pryf coppyn; ond nid ydyw y creadur yn eu defnyddio ond mewn achos o angenrheidrwydd neillduol. I wneuthur ei wê, y mae gan y creadur lawer o ddefnydd gludiog yn ei gorph. Cynnwysir y defnydd hwn mewn cwdyn, o'r hwn y mae yn ei dynnu allan, gan ei nyddu i edafedd main iawn. Dengys gywreinrwydd anghyffredin yng nghyfansoddiad ei wê, ac wedi ei gwneuthur, y mae yn ei chadw yn lân drwy ei siglo â'i grafangau. Y mae ganddo balas i drigo ynddo yng ngwaelod y wê, o ba le y daw allan pan fyddo rhyw bryfyn wedi ymddrysu yn y rhwyd, a efe yn ddioedi a'i hysglyfaetha. Ond er cymmaint o drafferth a gymmera y pryf coppyn yng nghyfansoddiad ei dŷ, ychydig iawn a'i dinystria. I freuolder adeilad y pryf coppyn y cyffelybir gobaith y rhagrithiwr, "Yr hwn y torrir ymaith ei obaith; ac fel tŷ pryf coppyn y bydd ei hyder ef. Efe a bwysa ar ei dŷ, ond ni saif; efe a ymeifl ynddo, ond ni phery." Job 8. 14, 15. Gwneir cyfeiriad cyffelyb yn Esay 59. 5, 6. er dangos siomedigaeth gobeithion pobl Israel; "Wyau asp a ddodwyasant, a gweoedd y pryf coppyn a weant—Eu gweoedd hwy ni byddant yn wisgoedd, ac nid ymddilladant." Hynny ydyw, bydd eu holl orchwylion yn ofer, ac ni chânt ond y siomedigaethau yn y pen draw.

## YSGORPION.

RHESIR yr ysgorpion ym mhlith y pennaf o'r creaduriaid gwenwynig. Y mae iddynt ddwy o freichiau hirion yn dyfod allan o'u pennau, ac yn terfynu fel crafangau ceimwch. Corph yr ysgorpion sydd yn gyffelyb i grangc; y mae gan y creadur hwn wyth o draed llawn o flew, sef pedair bob ochr. Y corph sydd rannedig i saith o fodrwyau, ac o'r fodrwy olaf y deillia y gynffon. Yr ysgorpionau ydynt o wahanol liwiau,—cochion, gwynion, llwydion, melynion, a duon. Amrywiant hefyd mewn maintioli; rhai ydynt cyhyd a bys gwr, eraill yn hwy, a rhai yn fyrrach. Nid ydyw awdwyr yn cyd-uno yn eu darluniadau o gynffon yr ysgorpion; ond cydunant ei bod yn hir, ac fel fflangell glymmog, a bod cynffonau yr ysgorpion gan mwyaf yn cynnwys colynau dychrynllyd, y rhai ydynt yn llawn gwenwyn. Y mae adenydd i rai ysgorpionau, a gallant ehedeg yn yr awyr, eraill a ymlusgant ar y ddaear. Yr ysgorpionau duon yw y rhai mwyaf niweidiol. Yn rhai mannau yn Persia, ni feiddia y trigolion gysgu mewn ystafelloedd ar y llawr, oblegid y creaduriaid hyn, y rhai yn niferi lliosog a ymlusgant allan yn y nos. Pan y mae Moses yn crybwyll wrth blant Israel am y peryglon a gyfarfuasant yn eu taith o'r Aipht, dyweda am eu tywysiad trwy yr anialwch yn y wedd ganlynol; "Yr hwn a'th dywysodd di trwy yr anialwch mawr ac ofnadwy, lle yr ydoedd seirph tanllyd ac ysgorpionau;" Deut. 8. 15. Bu y creaduriaid hyn yn ddiau yn flinder ac yn ofid mawr i Israel. Yn yr ysgrythyrau, defnyddir y gair ysgorpion

Maon, preswylfod
Marah, chwerwder
Marc, disglair
Mair, gwel Miriam
Masrekah, chwibanllyd
Massah, profedigaeth
Matrimy, carchar
Mattin, rhodd
Mattathias, Matthias, Matthew, rhodd yr Arglwydd
Matthat, rhodd, rhoddwr
Mebunai, adeiladwr
Medad, mesurwr
Medin, neu Madai, mesur
Meggido, ffrwyth gwerthfawr, yspail, cyhoeddi
Mehatabeel, pa mor dda yw Duw
Mehazael, cyhoeddi Duw
Melech, brenin
Melchizedec, brenin cyfiawnder
Melita, noddfa, mêl
Memphis, crymedig, dil mêl
Menahem, Menaem, cysurwr
Mene, y mae wedi rhifo
Mephibosheth, o'm genau y daw cywilydd
Merab, ymladdwr
Merari, chwerw
Mercurius, masnachwr
Meriba, cynnen
Meribaal, cynnen Baal
Merodach-Baladan, ysigiad chwerw Baal, yr Arglwydd, myrr ysigedig, yr hen Arglwydd neu y barnwr
Merom, lle uchel
Meroz, dirgel, teneudra
Meshech, Meshach, tynnu drwy rym
Meshelemiah, heddwch, perffeithrwydd, neu iawn yr Arglwydd
Mesopotamia, rhwng yr afonydd
Messiah, enneiniog
Methusael, angeu yw uffern
Methushelah, ei angeu a ddwg, yn ei angeu y bydd toriad allan, sef y diluw
Micah, tlawd, gostyngedig
Michaiah, Michael, pwy sydd fel Duw
Michal, yr hwn sydd â phob peth, pob peth sydd ddwfr
Michmash, y tlawd neu y tarawr a gymmerwyd ymaith
Midian, Medan, barn, gorchudd
Migron, ofn, gwddf
Milcah, brenhines
Milcom, eu brenin
Miletum, coch, ysgarlad, gwlan esmwyth
Millo, llanw i fynu
Miriam, Mair, chwerwder dyrchafedig y môr, arglwyddes y môr
Mishael, yr hwn a ofynwyd am dano, Duw sydd yn cymmeryd ymaith
Misrephothmaim, llosgiad dyfroedd
Mitylene, purdeb
Mizar, bychan
Mizpeh, Mizpah, gwyliadwriaeth
Mnason, chwiliwr diwyd, cofiadur
Moab, o'r tad
Moladah, cenhedlaeth, genedigaeth
Molech, Moloch, Malluch, Malchus, y brenin
Mordecai, ysigfa chwerw
Moriah, athrawiaeth, neu ofn yr Arglwydd
Moseroth, dysgiadau
Moses, wedi ei dynnu allan o'r dwfr
Mushi, teimlwr, tynnwr yn ol
Myra, wylofain
Mysia, yn ffiaidd

NAAMAH, Naamath, teg, hyfryd
Naboth, Nebaioth, ffrwythau, geiriau, prophwydoliaethau
Nadab, ewyllysgar, tywysogol, rhydd
Nagge, disgleirdeb
Naharai, Nahor, poeth, sych, yn ddigofus
Nashon, Nahash, neidr, rhagddywedyd
Nahum, Naum, cysurwr, edifarhau
Nain, harddwch, hyfrydwch

Naomi, fy hyfrydwch, fy un deg
Naphish, adfywio yr enaid
Naphthali, fy ymdrechiad
Narcissus, dwldod
Nathan, rhoddwr, rhodd
Nathanael, Nathaneel, rhodd Duw
Nazareth, yn cael ei gadw, blodeuyn, canghen
Neapolis, dinas newydd
Nebat, edrychwr
Nebe, llafurwr, ffrwythlonwr, prophwyd
Nebuchadnezzar, gorchfygwr trysorau Nebo
Nebuzaradan, ennillwr arglwyddi Nebo
Necho, wedi ei daro, cloff
Nehelamite, breddwydiwr
Nehemiah, cysur yr Arglwydd
Nehushta, Nehushtan, gwaith pres, sarph
Ner, lamp ddisglair
Neri, fy ngoleuni
Neriah, goleuni yr Arglwydd
Nethinim, wedi ei roddi, cyssegredig
Nicanor, buddugoliaethwr
Nicodemus, gorchfygwr y bobl, gwaed gwirion
Nicholas, gorchfygu y bobl
Nicopolis, dinas y fuddugoliaeth
Niger, du
Nimrim, llewpardiaid, cyfnewidiadau
Nimrod, gwrthryfel
Nimshi, wedi ei achub
Ninefeh, hyfryd, preswylfod
Nisan, ffoedigaeth, prawf
No, preswylfod
Noadiah, tyst, cynnulleidfa, neu addurn yr Arglwydd
Noah, gorphwysfa, cysur
Nob, prophwydoliaeth, ymadrodd
Nobah, crwydryn
Nun, mab, hiliogaeth, tragywyddol
Nymphas, priodasfab

Obadiah, gwas yr Arglwydd
Obal, henaint
[illegible]l, gwas
Obededom, gwas Edom
Obil, hen, wylofain
Ocran, cynhyrfwr
Oded, dal i fynu
Og, teisen, bara wedi ei bobi mewn lludw
Ohel, pabell, disgleirdeb
Olympas, nefol
Omar, Omri, gorchymmyngar, ymadrodd
Ohomri, ysgub o ŷd
On, Onan, poen, anwiredd
Onesimus, ennillgar
Onesiphorus, yn dwyn elw
Ophel, twr
Ophir, yn llawn o ludw
Ophrah, llwch, plwm
Oreb, cigfran, prydnawn, cymmysgedd
Othniel, amser Duw
Ozem, ymprydio

Paarai, Peor, twll, agoriad
Padan-aram, palas Syria, neu Syria rhwng y ddwy afon
Pagiel, eiriolaeth gyda Duw
Palet, Pulti, Phalti, gwaredigaeth
Pamphylia, holl lwythau
Paphos, poeth, berwedig
Paran, harddwch, gogoniant
Parmenas, arosiad
Parosh, chwannen
Parna, blodeuog
Pashur, helaethu y twll
Pathros, congl y gwlith
Patmos, pren turpentine, gwasgu
Patrobas, cammau'r tad
Paulus, Paul, bychan
Pedahzar, craig iechydwriaeth
Pedaiah, iechydwriaeth yr Arglwydd
Pekah, Pekahiah, agoriad yr Arglwydd
Pelatiah, gwaredigaeth yr Arglwydd
Peleg, rhaniad
Pelethiaid, barnwyr, dinystrwyr
Peniel, Penuel, Phanuel, wyneb Duw
Peninuah, perl, carreg werthfawr
Perga, daearol iawn

Pergamos, uchelfa, cyfodi i fynu
Perizziaid, wedi gwasgaru ar hyd y pentrefydd
Persiaid, Persis, Parthiaid, rhanedig, marchogion
Peter, craig
Pethuel, helaethiad Duw
Phallu, rhyfeddol, cuddiedig
Pharez, Perazim, torri allan
Pharpar, ffrwythlon
Phebe, disglair, pur
Phenice, coch, porphor, palmwydden
Phichol, genau cyflawn
Philadelphia, cariad brodyr
Philemon, cusanwr, cariadus
Philetus, cariadus, diangol
Philip, Philippi, cariad meirch
Philistiaid, treiglo, cloddio
Philologus, carwr dysgeidiaeth
Phineas, edrych, ymddiffyniad
Phlegon, llosgiad
Phrygiad, sych, diffrwyth
Phurah, tyfedig, ffrwythlon
Phygellus, bychan, ffoadur
Pihahiroth, mynedfa Hiroth
Pilate, arfog o biccellau
Pinon, Punon, edrych, perl
Pirathon, gwasgaru, adwy, dial
Pisgah, bryn, uchel, amddiffynfa
Pisidia, llawn pyg
Pison, cyfnewid, genau llydan
Pithon, rhodd y genau
Pontius, Pontus, y môr
Prisca, Priscilla, hen
Prochorus, pennaeth y cantorion
Puah, congl, tyfu, ymddangos
Pudens, wyneb cywilyddus
Pul, ffunen, dinystr
Pur, coelbren
Put, Phut, tewder
Patiel, Duw yw fy nhewder
Puteoli, drewedig, ffynnonau bychain

Quartus, y pedwerydd

Raamah, taran, ysigfa
Rabbah, mawredd, ymrysonfa
Rab, meistr
Rabbi, fy meistr
Rachel, niweidiol, arogli, dafad
Rahab, balch, ymrysongar
Rakkath, Rakon, gwag, poeryn
Ram, Ramah, Ramath, Arimathea, uchel, dyrchafu i fynu, gwrthodedig
Ramathaim-Zophim, Ramah ddyblyg y gwylwyr
Rapha, Raphu, iachau
Reba, y pedwerydd
Rebekah, wedi tewychu
Rechab, pedwar-onglog, cerbyd marchogaeth
Regim, llabyddio
Rehab, Rehoboth, heol, anialwch, ehangder
Rehabiah, yr Arglwydd a helaetha
Rehoboam, helaethwr y bobl
Reham, trugarog
Rel, fy nghyfaill
Remaliah, yr Arglwydd a ddyrchafa
Remmon, Rimmon, uchelfa, pomgranad
Rephael, Duw sydd yn iachau
Rephaim, cewri, iachawyr
Rephidim, gwelyau o orphwysfa
Resen, ffrwyn
Reu, neu Ragau, ei gyfaill
Reuel, Raguel, cyfaill Duw
Reuben, gweler Mab
Reumah, uchel
Rezin, ewyllysgar, rhedegwr
Rezon, Zeneu, bychan, tywysog
Rhegium, adwy
Rhoda, Rhodes, rhosyn
Riblah, blaendarddu
Riphoth, iachau
Riphath, dyfrhau, gwlithog
Rodanim, disgyn
Romamtiezer, dyfradwy
Rome, cryfdwr, uchel
Rosh, pen, dechreuad
Rufus, coch
Ruhamah, wedi cael trugaredd
Rumah, dyrchafedig
Ruth, llawn, a foddlonwyd

Sabtah, amgylchynu
Sabtecha, amgylchynu, taro

oblegid cysgant â'u llygaid yn agored. Pan yn ymlid ar ol eu hysglyfaeth, gwnant swn chwibanllyd, a gwnant yr un swn pan fyddant yn sefyll ar eu hymddiffyniad, gan estyn eu tafodau allan; rhai mewn gwirionedd a ymddangosant yn dra brawychus i'r rhai ni wyddant ddim oddiwrth gyfansoddiad nadredd. Yn y gwledydd poethion lle y mae y nadredd liosoccaf, anaml y clywir hwynt yn y dydd, ond tua'r hwyr deuant allan o'u tyllau gan wneuthur swn uchel. Pob nadredd a allant fyw ar y tir neu yn y dwfr, ond y mae rhai yn fwy tueddol i'r dwfr nag eraill. Y gwahaniaeth mwyaf mewn nadredd ydyw, bod rhai yn wenwynig, a'r lleill yn ddi-wenwyn. Y mae llawer wedi cael ei ddywedyd o bryd i bryd ynghylch eu gwenwyn; ei liw sydd felyn, y mae yn dew, ac yn whybwr diflas; ond os trosglwyddir ef i archoll yn y cnawd, achosa boen mawr, chwydd, ac ar brydiau angeu; ond dyweda naturiaethwyr y gellir llyngcu gwenwyn nadredd yn ddiberygl. Er nad ydyw pob nadredd yn wenwynig, etto am na ellir yn union-gyrchol wahaniaethu rhwng y rhai gwenwynig a'r rhai diwenwyn, y maent oll yn wrthddrychau o fraw.

Y cobra di capello ydyw y mwyaf peryglus o bob nadredd, o herwydd ei bod yn brathu yn frawychus. Y nadredd hyn ydynt o dair i wyth troedfedd o hyd, ac y mae iddynt ddau ddant mawr gwenwynig yn crogi allan o'r ên uchaf. Y neidr gynffon-drwst, *(rattle-snake,)* sydd berthynol i America. Rhai o'r nadredd hyn ydynt mor ffyrf a choes gwr, a thua chwech troedfedd o hyd, ond nid ydynt yn gyffredin o'r hyd hwn. Eu dannedd gwenwynig ydynt ofnadwy, ac yn gwneuthur archollion brawychus. Eu cynffonnau ydynt yn gymmalog; mwyhant gymmal bob blwyddyn; a phan ysgogant, gwna eu cynffonnau drwst uchel. Y cerastes, neu y neidr gorniog, a elwir felly oblegid bod dau gorn ar eu pennau. Y mae gwenwyn y neidr hon yn dra pheryglus, a dychryna a thwylla adar i ddinystr. Y neidr ddu sydd berthynol i America, ond y mae hon yn gwbl ddiniwed, ac yn heinif iawn. Dringa goed ar ol ei hysglyfaeth, ac ymlusga ar hyd y ddaear fel saeth. Ar achlysuron ymgyfyd i fynu. Ymddengys ei llygaid fel dwy ganwyll, ac y mae rhai yn dywedyd y gall lygad-dynnu adar a ehedant uwch ei phen, fel y syrthiant i'w genau. Y boa constrictor ydyw y fwyaf o'r holl rywogaeth hon, oblegid dywedir y mesura y bwystfil hwn yn fynych o ddeg troedfedd ar hugain i ddeugain troedfedd o hyd. Dinystria y creaduriaid hyn ddefaid, geifr, ac ychain. Ymdorchant oddi amgylch eu hysglyfaeth, a gwasgant ef hyd oni byddo ei esgyrn yn ddrylliau, ac yna wedi ei orchuddio â'u poer, hwy a'i llyngcant ef ar un tammaid. Aeth llongwr unwaith i dir yn Celebes, yn yr India Ddwyreiniol, ac a orweddodd i lawr, a chysgodd. Yn y nos clywyd ef yn ysgermain gan ei gymdeithion, ac yn gwaeddi am gynnorthwy. Aethant yn union-gyrchol i'r lan, ond yr oedd yn rhy ddiweddar i achub ei fywyd, oblegid yr oedd neidr fawr wedi ei lethu i farwolaeth. Y fath ydoedd sylw yr anghenfil ar ei ysglyfaeth, fel y cafodd y morwyr gyfle i dorri ymaith ei ben. Yr oedd y neidr wedi ymaflyd yng ngarddwrn ddehau y llongwr, oblegid yr oedd ei dannedd yn amlwg yno, ac yr oedd ei holl gorph wedi ei wneuthur yn ddrylliau. Yr oedd gwr bonheddig yn Virginia, yn

America, yn rhodio allan ar hyd y caeau, a digwyddodd sathru ar neidr gynffon-drwst, yr hon a'i brathodd yn ei law. Y gwr bonheddig, er mwyn ymddial ar ei elyn marwol, a laddodd y neidr, ac wedi ei lladd a'i dygodd adref, ac a'i taflodd i lawr ger bron ei deulu, gan ddywedyd, "Yr wyf wedi fy lladd, a thyma y llofrudd." Gwnaed y defnydd goreu o bob meddyginiaeth, ac er syndod i bawb efe a wellhaodd.

Crybwyllir am nadredd yn foreu yn yr ysgrythyrau, a'r gyntaf yw y sarph yr hon a fu yn offeryn i dynnu ein rhieni cyntaf oddiar lwybr eu dyledswydd. Bu y nadredd yn farnedigaeth drom ar yr Israeliaid yn yr anialwch, oblegid syrthiodd nifer fawr o honynt drwy frathiadau y seirph tanllyd.

## GWIBER.

Tybia rhai am y wiber mai neidr fawr ydyw, âg adenydd iddi, yn gallu ehedeg yn yr awyr, ond yn lle hynny neidr fain ydyw, o ddeutu troedfedd a hanner o hyd. Ei thafod sydd fforchog, a phan ei cyffroir, hi a'i hestyn allan yn frawychus, a'i llygaid fel canhwyllau yn ei phen. Y mae pen y wiber yn fawr mewn cydmariaeth i'w chorph. Ei chefn sydd wedi ei nodi â brychau tywyll, pedwar onglog. Ei hysgogiad sydd araf, ac ni all ysbongcio fel nadredd eraill. Y gwiberod ydynt gyffredin drwy holl wledydd Ewrop; eu gwenwyn sydd yn eu dannedd, a phan frathont, y mae y fan yn fuan yn myned yn boenus, ac yn chwyddo; a'r feddyginiaeth oreu ydyw rhwbio y briw, ac oddi amgylch y briw, âg *Olive Oil* neu *Salad Oil* poeth. Gwellha hyn y brathiad ond ei ddilyn.

## ASP.

Crwyn yr aspiaid sydd eirwon, ac y maent o wahanol faintioli, o droedfedd a hanner i chwech troedfedd o hyd. Dywedir mai y rhai lleiaf o'r aspiaid ydyw y rhai mwyaf peryglus, ac mai gwenwyn y rhai lleiaf a laddant gyntaf. Gwenwyn yr aspiaid a redant drwy ddau o'u dannedd, y rhai ydynt yn hwy na'r lleill; ac mor fuan yw ei effeithiau, fel y bydd y rhai a frethir ganddynt farw yn uniongyrchol; o leiaf, ym mhen y tair awr wedi eu brethir. Y modd yr effeithia gwenwyn yr aspiaid, ydyw trwy beri i'r rhai brathedig gysgu. Trwy frathiad aspiaid yr ewyllysiodd Cleopatra, brenhines yr Aipht, farw. Cyfeirir at yr asp yn yr ysgrythyrau oblegid ei gwenwyn, yr hwn ydyw y mwyaf peryglus. Dywedir am ddynion drygionus, yn neillduol y rhai a niweidiant bersonau â'u tafodau, "Gwenwyn aspiaid sydd dan eu gwefusau." Rhuf. 3. 13.

## NEIDR Y MOR.

Nadredd y môr, neu ddreigiau y môr, ydynt anghenfilod anferth eu maintioli, y rhai y mae eu dannedd fel llifiau, â'r rhai y gwnant fwy o niweidiau nag â'u gwenwyn. Er y genir hwynt yn eigionau y môr, etto gwelir hwynt weithiau mewn dyfroedd croyw, a deuant yn fynych i'r tir er difyrru eu hunain a gwneuthur difrodiadau. Ar

dueddau Affrica y mae rhai o honynt mor fawrion fel yr ymladdant âg ychain, a gorchfygant hwynt; ac mor gryfion ydynt fel y dymchwelant gychod mawrion ar y dwfr. Mesura rhai o honynt o ugain i ddeg troedfedd ar hugain o hyd. Yr hydra sydd neidr ddwfr, yr hon sydd tu hwnt i bob neidr arall mewn harddwch, ac yn fwy gwenwynig nag unrhyw rywogaeth o nadredd. Y mae gwahaniaeth mawr rhwng nadredd y dwfr a nadredd y tir; rhai yn fychain ac eraill yn fawrion; rhai yn wenwynig ac eraill yn ddiwenwyn. Dywedir i fôr-nadredd o faintioli anferth gael eu gweled o bryd i bryd ar y môr, ac y mae llawer iawn wedi ei ysgrifenu yn eu cylch yn y blynyddoedd diweddaf hyn. Crybwylla haneswyr am frwydr fawr a fu yn Nhwrci rhwng môr-nadredd a nadredd y tir, yn amser Bajazet, yr hon a barhaodd o'r bore hyd y nos; ac wedi llawer iawn o ddinystr, i'r môr-nadredd ddiengyd i'r dyfroedd dyfnion. Adroddа Peter Van Coerden, llyngesydd, iddo ef, pan yn angori yn Mosambigue, ym môr yr India, golli bachgenyn a berthynai i'r llong dan yr amgylchiadau canlynol. Aeth y bachgenyn i ymolchi i'r môr, a phan yn difyrru ei hun yn yr elfen ddyfrllyd, ymaflwyd ynddo gan neidr o faintioli anferth, yr hon a'i tynnodd dan y dwfr, ac ni welwyd mo hono mwyach. Yn y flwyddyn 1807, brathwyd bys pysgottwr ieuangc yng nghymmydogaeth Calicut, yn yr India Ddwyreiniol, gan fôr-neidr fechan a ymddrysodd yn ei rwyd. Wedi iddi roddi brathiad bychan iddo efe a'i taflodd i'r môr, gan feddwl mai creadur diniwed ydoedd. Ym mhen tuag awr wedi hynny teimlai boen mawr yn ei fys ac ar hyd yr holl fraich. Cynnyddodd y poen, ac er pob moddion a arferwyd bu farw bore drannoeth mewn ing dirfawr. Pan ddyweda yr Arglwydd drwy y prophwyd am analluogrwydd Israel i ddiengyd rhag barn y nefoedd, arferir yr ymadroddion canlynol; "A phe llechent ar ben Carmel, chwiliwn a chymmerwn hwynt oddiyno; a phe ymguddient o'm golwg yng ngwaelod y môr, oddiyno y gorchymmynaf i'r sarph eu brathu hwynt." Crybwyllir am ddreigiau yn fynych yn yr ysgrythyrau, ond y mae ysgrifenwyr yn anghyttuno ac yn amrywio yn eu barnau pa greaduriaid a feddylir wrth y rhai hyn; rhai a dybiant mai y môr-nadredd ydynt, ac eraill mai y crocodiliaid. Yn Esay 27. 1. dywedir, "Y dydd hwnnw yr ymwel yr Arglwydd â'i gleddyf caled, mawr, a chadarn, â lefiathan y sarph hir-braff, ïe â lefiathan y sarph dorchog: ac efe a ladd y ddraig sydd yn y môr." Wrth y ddraig yn y môr y deallir gallu ac awdurdod yr Aipht, ond ar yr un pryd rhaid bod rhyw greadur yng ngolwg y prophwyd yn y cyfeiriad a wnai. "Ond ti a ddrylliaist Rahab (yr Aipht) ac a archollaist ben y ddraig?" Tebygol mai y crocodil ydyw y ddraig hon.

# PYSG Y MOR,

## Y RHAI A GRYBWYLLIR YN YR YSGRYTHYRAU,

*Ynghyd âg eraill mwyaf hynod mewn hanesyddiaeth.*

Y MAE y môr mawr a llydan yn llawn trigolion o bob maintioli a rhywogaethau; ac oblegid eu bod yn preswylio yn yr eigionau, ac yn cael ei gweled yn dra anfynych, ni ellir dywedyd nemmawr am niferi lliosog o honynt. Ond y mae llawer iawn o honynt yn adnabyddus, a hanes cywir am danynt; eithr ni chrybwyllir ond am ychydig o honynt yn yr ysgrythyrau: ond gan fod cymmaint o ryfeddodau y Creawdwr yn ganfyddedig ym mhysg y moroedd, gwneir crybwylliad am rai o honynt.

### MORFIL.

O HOLL greaduriaid y moroedd mawrion, dywedir mai y morfil ydyw y cryfaf a'r mwyaf o honynt oll; ac ymddengys ei fod mewn rhyw bethau yn gyffelyb i bedwar-carnolion y ddaear, oblegid y mae y fenyw yn dwyn ei rhai bychain yn fyw, ac yn eu maethu am ryw hyd â llaeth ei bronnau. Hen awdwyr boreuol a ddywedant fod y morfilod, yn eu hamser hwynt, yn amryw gannoedd o droedfeddi o hyd; ond os oeddynt o'r maintioli hyn, yn yr oesau a'r amserau gynt, nid ydynt i'w cael o'r hyd hwn yn bresennol. Hyd y rhai mwyaf yn y moroedd gogleddol yn bresennol sydd ychydig gyda chan' troedfedd, ac y maent yn ugain troedfedd o led; ond yn y moroedd deheuol, a than y cylch poeth, dywedir bod rhai yn cael eu dal ynghylch cant a thrugain troedfedd o hyd. Yn yr amserau gynt, nid oeddynt yn cael eu dal fel yn bresennol, o ganlyniad caent amser i dyfu i eithaf eu maintioli; ac oblegid bod y fath ddinystr arnynt yn yr oesoedd diweddaf hyn, tybir mai dyna yr achos eu bod yn llai.

Anhawdd penderfynu mewn perthynas i hyd oes yr anghenfil hwn; ond y mae rhai wedi barnu, oddiwrth anferthwch ei faintioli, ynghyd â phethau eraill perthynol i'w gyfansoddiad, y cyrhaedda gan' mlwydd oed. Ond y fath ydyw y dinystr a wneir arnynt yn bresennol gan ein pysgotwyr, fel mai anfynych y delir morfil dros hanner cant oed. Amrywia y pysgod dan sylw yn anghyffredin mewn lliwiau: cefnau rhai o honynt ydynt gochion, a'r bol yn gyffredin yn wyn; rhai o honynt ydynt dduon, a rhai yn frithion. Eu lliwiau yn y dwfr sydd dra phrydferth, a'u crwyn ydynt lyfn iawn. Y mae pob rhywogaeth o'r creaduriaid hyn yn ffyddlon iawn at eu gilydd, ac ni wnant gyd-gymmysgu â'r lleill. Y mae amryw droadau yn ffroenau y morfil, ac nid oes un math o asgell ar ei gefn. Y mae ei ben a'i gorph yn dra anghyfartal i'w gilydd gyda golwg ar eu maintioli, oblegid y mae y pen ei hun yn drydedd ran o

wan, fel y mae hyd yn nod y ceiliog rhedyn, yr ymborth gwanaf, yn faich i'w gylla. Eraill a feddyliant wrth fod y ceiliog rhedyn yn faich, y deallir fod henaint mor llesg a gwan, fel y teimlant y pwysau lleiaf, fel y bydd, hyd yn nod y ceiliog rhedyn. y creadur ysgafnaf, pan ddisgyno arnynt, yn faich trwm iddynt.

## CILION.

Rhoir yr enw cilion ar bryfaid o wahanol rywogaethau, i'r rhai y mae adenydd, a'r rhai a welir yn fynych yn ehedeg ar hyd y tai ac yn y maesydd. Ym mis Medi, pan ddechreuo oeri, ciliant ymaith mewn ychydig o ddiwrnodau, ond pa le y maent yn myned, a pha beth sydd yn dyfod o honynt, nid ydyw naturiaethwyr yn cyduno. Y mae cilionen frawychus iawn yn y gwledydd dwyreiniol o'r enw Oestrum, yr hon pan ehedo, sydd yn edrych fel tân, a dywedir bod ei brathiad yn angherddol o boenus. Yn yr Aipht, fel y dywed haneswyr, pan frather tarw gan yr Oestrum, rheda ymaith mewn cynddaredd, ac ni phaid â rhedeg a bugunadu hyd oni syrthio yn farw. Os o'r rhywogaeth hon yr ydoedd y cilion a wnaent y gymmysg-bla yn yr Aipht, yr oedd yn ddiau yn dra brawychus. Yr oedd y gymmysg-bla yn ofnadwy i'r Aiphtiaid drygionus, yn ol fel ei darlunir yn Ecsod. 8. 20—24. Crybwyllir am gilionen neillduol yn Esay 7. 18. "A bydd yn y dydd hwnnw, i'r Arglwydd chwibanu am y gwybedyn sydd yn eithaf afonydd yr Aipht, ac am y wenynen sydd yn nhir Assyria." Dyweda haneswyr am gilionen ddychrynllyd sydd yn dyfod i lawr o Abyssinia i'r Aipht ar amserau, chwibaniad yr hon a glywir o bell; a phan glywer ei swn, y mae yr holl greaduriaid yn rhedeg gyda y gwylltineb mwyaf, a phob un a frethir, bydd yn sicr o farw yn yr arteithiau mwyaf. Ond wrth y gwybedyn yn y brophwydoliaeth a goffawyd, y deallir yr ymosodiad disymmwth a wnaed gan Pharaoh-Necho yn erbyn Josiah, brenin Judah, 2 Bren. 23. 29—35.

## GELE.

Ni chrybwyllir am y gele ond unwaith yn yr ysgrythyrau, ac y mae yn angenrheidiol nodi y fan honno er mwyn gwneuthur rhyw sylwadau a allant fod yn ddefnyddiol, Diar. 30. 14, 15. "Y mae cenhedlaeth, a'i dannedd yn gleddyfau, a'i childdannedd yn gyllyll, i ddifa'r tlodion oddiar y ddaear, a'r anghenus o blith dynion." Ac yn ddiau y mae hyn mewn cyssylltiad â'r hyn a ddywedir yn ganlynol, "I'r gele y mae dwy ferch, yn llefain moes, moes." Wrth ddwy ferch y gele y deallir creulondeb a syched am waed, yr hyn bethau ni ddiwellir. Y mae dwy duedd neillduol yng ngorthrymmwr y tlawd, sef creulondeb a chybudd-dod, pa rai ni ddywedant byth ddigon, ond yn ymofyn am ychwaneg yn barhaus.

## GWENYNEN.

Y mae y wenynen a'r llestr gwenyn wedi tynnu sylw naturiaethwyr yr oesau, ac y mae llawer iawn wedi ei ysgrifenu yn eu cylch o

bryd i bryd. Gellir yn dra phriodol gydmaru llestraid o wenyn i ddinas boblogaidd, yn cynnwys miloedd o breswylwyr. Llywodraeth y gwenyn ydyw brenhiniaeth, oblegid y mae ym mhob llestr frenhines, yr hon sydd bennaf yn eu plith, a chanddi balas neillduol i fyw ynddo. Y mae ar amserau ym mhob llestr dri math o wenyn, y gwrrywaid, y benywaid, a gwenyn di-ystlem, y rhai ydynt amlaf, a'r gwenyn gweithgar hefyd. Y frenhines yn gyffredin ydyw yr unig wenynen fenyw yn y llestr; hi sydd yn dodwy, ac o'i hwyau hi y deillia yr heidiau sydd yn torri allan o'r llestr, y rhai a amrywiant yn eu nifer o ddeg i ugain mil. Pan fyddo gwenyn yn dwyn gorchwylion y llestr ym mlaen, rhanant eu hunain yn bedwar dosparth. Un dosparth allan yn y caeau yn ymofyn defnyddiau; y lleill yn llunio dosparthion y celloedd; y lleill yn eu llyfnhau; a'r lleill yn dwyn ymborth iddynt. Y fath ydyw eu diwydrwydd, fel y gwnant ddigon o gelloedd mewn un diwrnod i ddeng mil o wenyn. Y gwenyn a sugnant y mel a ant allan ar hyd y caeau i ymofyn blodau, ar y rhai y disgynant, ac o'r rhai y sugnant y sudd melus, yr hwn a lyngcant, hyd oni fyddo y cwdau mel yn llawnion, ac yna dychwelant yn ol i'r llestr, ac a arllwysant y mel i'r celloedd, y rhai yn union-gyrchol a gloir, rhag i'r mel redeg o honynt; ac felly parhant am oriau yn ddiflino. Y mae dau fath o gelloedd gan y gwenyn, sef celloedd i gadw mel, a chelloedd i'r frenhines ddodwy ynddynt, yr hon a â, ac a esyd wy ym mhob un o honynt. Ym mhen diwrnod neu ddau wedi gosod yr wyau yn y celloedd, torrir pob un o honynt, a bydd yno bryfyn bychan gwyn. Pan dyfo'r pryfyn i'w gyflawn faintioli, yr hyn a wna ym mhen tua chwech diwrnod, cauir arno mewn cwyr, rhag iddo dderbyn niwed, ac ym mhen ychydig ddiwrnodau â drwy y cyfnewidiad diweddaf, a thyr allan o'i charchar yn wenynen berffaith, ac ym mhen ychydig oriau eheda ymaith, a bydd mor berffaith wybodus yn ei chelfyddyd a phe buasai wedi bod flynyddoedd yn dysgu. Pan fyddo lliosogrwydd o wenyn ieuaingc wedi eu dwyn yn y llestr, y mae yn myned yn rhy fychan i'r trigolion, ac erlidir y rhai ieuaingc ymaith, a deuant yn heidiau o hono, gan ymsefydlu ar ganghen o bren, o ba le y cymmerir hwynt er eu gosod mewn llestr, yr hwn yn fuan a lanwant o fêl a thrigolion. Pan ddigwyddo i falwoden fyned i lestr gwenyn, y gwenyn yn union-gyrchol a'i brathant i farwolaeth; a chan na fedrant ei chludo ymaith, na dioddef ei harogl ddrewllyd, ânt allan ar hyd y coedydd, a chasglant yn fuan ddigon o sudd tew er ei hamdoi yn y llestr. Ymddengys bod gwlad Canaan yn llawn iawn o wenyn, oblegid dywedir eu bod yn llifeirio o laeth a mêl. Y fath ydoedd y cyflawnder mawr o fêl, fel y dywedir yn Salm 81. 16. "Ac â mêl o'r graig y'th ddiwallaswn." Byddai y gwenyn yn nythu yn hen geubrenni ac yn agenau y creigiau; a phan fyddai yr hin yn wresog, rhedai y mêl allan ar hyd y ddaear, yr hwn a ystyrid y mêl gwerthfawroccaf. At hyn y cyfeirir pan ddywedir yn 1 Sam. 14. 25—27. "A rhai o'r holl wlad a ddaethant i goed, lle yr oedd mêl ar hyd wyneb y tir. A phan ddaeth y bobl i'r coed, wele'r mêl yn diferi." Cafodd Samson fêl yn ysgerbwd y llew, Barn 14. 8, 9. Ymborth Ioan fedyddiwr ydoedd locustiaid a mêl gwyllt.

## GWYFYN.

Anaml y gwelir y gwyfyn yn ehedeg oddi amgylch, oddieithr yn yr hwyr ac yn y nos, ym mha amser y mae efe yn ymofyn am ymborth. Gwyfyn y dillad sydd greadur bychan iawn, ac yn adnabyddus yn y niweidiau a wna i ddillad gwlan, ac i grwyn blewog. A y gwyfyn i mewn i'r rhai hyn, ac a esyd yno ei wyau; ym mhen amser daw allan yn wyfyn cyflawn, wedi iddo yn gyntaf anafu y dilledyn. Y mae arogl olew Terebinth, *(Turpentine,)* yn farwolaeth union-gyrchol i wyfynod. Yr hanes hwn am y gwyfyn a'n cynnorthwya i ddeall amrywiol rannau o'r ysgrythyrau. Yn ei sefyllfa gyntaf, y mae y gwyfyn yn bryf heb adenydd, y pryd hyn y mae yn niweidiol i ddillad. Yn y dilledyn y gwna efe ei dŷ, a diwrnod ar ol diwrnod y difa efe y dilledyn lle byddo yn anneddu, hyd oni ddygir y ddau weithiau i ddim. Arddangosir drwy hyn lwyddiant calon ddrygionus dyn, am yr hwn y dywedir yn Job. 27. 18. "Efe a adeiladodd ei dŷ fel gwyfyn, ac fel bwth a wna gwyliwr." Y mae meddiannau dynion drygionus yn ansicr, ac yn fynych yn darfod yn ddisymmwth. Y mae balchder ymddangosiad dyn, a'r ymddiried a rydd efe, yn gwbl ofer, a chyffelybir ef i sefyllfa ddadfeiliedig y gwyfyn; Salm 39. 11. "Pan gospit ddyn â cheryddon am ei anwiredd, dattodit fel gwyfyn ei ardderchogrwydd ef; gwagedd yn ddiau yw pob dyn." Cyffelybir barnedigaethau dirgelaidd Duw i wyfyn, Hos. 5. 12. "Am hynny y byddaf fel gwyfyn i Ephraim, ac fel pydredd i dŷ Judah."

## LOCUST.

Er bod y ceiliog rhedyn a'r locust yn amrywio mewn dull, maintioli, a lliw, y mae y ddau greadur yn hollol debygol i'w gilydd mewn natur, ac yn y cyfnewidiadau y maent yn myned drwyddynt. Nid ydyw y locustiaid yn fwy niweidiol na cheiliogod rhedyn, ond eu bod hwy yn finteioedd gyda'u gilydd, a'r ceiliogod rhedyn heb fod felly. Hyd y locust yn gyffredin ydyw tair modfedd, ac y mae iddo ddau gorn, a phob un o honynt tua modfedd o hyd. Pen a chyrn y locust sydd o liw llwyd. Y mae yn las o ddeutu ei enau, ac o'r tu fewn i'w draed. Rhannau uchaf ei gorph sydd lwyd, a rhai mannau duon; a'r rhan isaf o'i gorph sydd o liw porphor. Y mae i'r locust bedair aden, y rhai uchaf yn llwyd, a'r rhai isaf yn llwyd oleu, cymmysgedig â gwyrdd. Nid oes unrhyw greaduriaid o fewn i'r greadigaeth yn lliosogi mor fuan a'r locustiaid, yn neillduol yn y gwledydd hynny lle y mae yr haul yn boeth a'r ddaear yn sych. Pan liosogont i raddau mawr, ehedant fel cwmmwl du, a gwnant y dydd yn nos gan eu lliosogrwydd. Pan ddisgynant ar y ddaear, dinystriant yn fuan y glaswellt, dail y coedydd, a phob peth a fyddo ar eu ffordd; ac mewn ychydig ennyd gwnant y dyffrynoedd ffrwythlonaf yn anialwch diffrwyth. Crybwylla teithiwr diweddar am haid liosog o locustiaid a welodd ac a gyfarfyddodd efe o fewn deuddeg milldir i Ephesus, yr hon a gyrhaeddai dros filldiroedd o'r wlad. Yr oedd y ddaear yn orchuddiedig hollol ganddynt, -- mor lliosog oeddynt yn yr awyr, fel yr ymddangosent yn gyffelyb